YR

# HAUL

[1 8 9 1]

Ail Gyfres Caerfyrddin

CYFROL VII.

DAN OLYGIAETH ELIS WYN O WYRFAI.

"YNG NGWYNEB HAUL A LLYGAD GOLEUNI"
"A GAIR DUW YN UCHAF"



CAERFYRDDIN: W. SPURRELL A'I FAB
MDCCCXCI.

Digitized by Google

# RHAGYMADRODD.

---

Pan yn terfynu y seithfed gyfrol o Ail Gyfres *Haul* Caerfyrddin, dymunwn gyflwyno ein diolchgarwch gwresocaf i'r oll o'n gohebwyr a darllenwyr am eu cymhorth a'u nawddogaeth barhäus. Nid mewn ysbryd ymffrost, ond fel mater o ffaith, y dywedwn ddarfod i ni wneuthur ein goreu i gael i'r *Haul* ysgrifau teilwng o'r genedl a'r Eglwys. Ni arbedasom nac amser na llafur i barotoi ein rhan, a buom yn daer hyd at haerllugrwydd yn ceisio gan lenorion galluog, ond llawn gwaith, ein cynnysgaeddu â'u cynnyrchion. Ni buasem yn meddwl arfer cymmaint o daerineb oni bai fod golygyddion cyfnodolion ereill wedi rhoddi i ni esampl yn hyn.

Nid gwaith bychan, fel y profasom, ydyw gofalu am gylchgrawn fel yr *Haul*, a'i wneuthur yn dderbyniol i rifedi lluosog o ddarllenwyr, pan y ceir cynnifer o gylchgronau enwadol a chenedlaethol galluog yn cydymgeisio am nawddogaeth darllenwyr Cymreig.

Cwynir mai anfynych y gwelir urddasolion yr Eglwys yn ysgrifenu i'r Wasg Gymreig. Y mae hyny yn wir, ond nid canlyniad difaterwch, llawer llai diystyrwch, ydyw. Nid swyddi o "urddas hamddenol" ydyw galwedigaeth esgobion, deoniaid, ac archddiaconiaid mwy, eithr safleoedd o brysurdeb a llafur diorphwys bron. Nid heuliau sefydlog ydynt yng nghanol wybren dawel fel y tlws ddychymmygir gan lawer, ond yn hytrach ser gwibiog ar ymweliadau prysur a mân ser sefydlog offeiriaid y gwahanol blwyfydd. Anhawdd iawn i wŷr yn y fath brysurdeb gael hamdden i ysgrifenu.

Cwyn arall a glywsom ydyw na chydnabyddir llafur y dynion a ysgrifenant i'r Wasg wrth drefnu nawddogaeth Eglwysig. Naturiol ydyw fod peth sail i hyn, gan y gellir dodi rheswm neu esgus drosto. Y mae yr ysgrifenwr i'r Wasg yn gwasanaethu pedair esgobaeth, a gwasgar ei ychydig oleuni dros Gymru oll. Os yn teilyngu, derbynia wobr gwasanaethu y cyhoedd; a dyma yr oll o'i swm erioed—*canmoliaeth*. Am y pregethwr hyawdl a'r offeiriad plwyf llafurus ymroddgar yr edrycha y nawddogwr wrth benodi gweinidog Eglwysig. Ni all y gwr a *ysgrifena lawer* fyned o amgylch ogylch i bregethu a llewyrchu dros derfyn ei blwyf, am yr un rheswm ag na all y saer maen esgyn *dwy* ysgol ar unwaith. Nwydd a fawr ganmolir yng Nghymru ydyw llenyddiaeth, ond ni thalodd erioed am dani ei hun. Bu felly yn Lloegr, fel y tystia yr hen linell adnabyddus—

> "They sang his praise who late denied him bread."

Rhaid i ni foddloni ar symmud achosion cwyno yn araf, ac ymdrechu gosod y naill gŵyn ar gyfer y llall.

A dyma gŵyn gwrthgyferbyniol. Achwynir fod dyrchafu llenorion i safleoedd pwysig yn rhoddi terfyn ar eu defnyddioldeb llenyddol. Y mae hyn

Digitized by Google

yn wirionedd, ond nid yw yn achos cwyn. Ni all offeiriad a wnelo ei ddyledswydd mewn plwyf eang, poblogaidd, gael hamdden i lenydda. Dyma dri ateb llenorion llafurus pan wesgid am gynnyrchion o'u dwylaw: "Mi a ysgrifenaf ar ol gorphen adeiladu yr Eglwys newydd;" eto, "Yr ydwyf ar ganol casglu at adgyweirio'r Eglwys;" eto, "Yr wyf newydd ychwanegu gwasanaeth yn yr ysgoldy ym mhen uchaf y plwyf, ac hyd nes cael curad ni allaf gael hamdden i ysgrifenu." Mae y dyn a fedd ddigon o allu ac o yni i ysgrifenu llawer pan fo mewn hamdden, yn sicr o lenwi pob awr o'i amser â llafur o fath arall yn y plwyf poblogaidd. Dynion ar lawn gwaith ydyw ein cynnorthwywyr, ac yr ydym yn ddiolchgar am bob dernyn o'u llaw.

Y mae ein rhagolwg ar gyfer y flwyddyn nesaf yn bob peth a ddymunem. Gorphenir "Llan Cwm Awen;" addewir i ni gyfres o ysgrifau ar Lenorion Eglwysig a Chymmwynaswyr mawrion ein cenedl gan y llenor addfed Charles Ashton. Elir ym mlaen gyda'r "Gwersi at Wasanaeth yr Ysgol Sul ar yr Efengyl yn ol St. Matthew;" yr ysgrifau dyddorol ar Anianyddiaeth gan Ab Cernyw; ail ymafaela Eos Llechid yn ei bwnc dyddorol o fywgraffiadau cerddorion; dygir i mewn chwedleuawd boblogaidd gyda darluniau ("Baner y Ffydd"); cyfieithad W. M. R.; gydag ysgrifau ereill ar wahanol bynciau cymdeithasol ac Eglwysig gan awduron goreu yr Eglwys, ym mysg y rhai y mae deon Llanelwy, yr Archddiacon Howell, rheithor Llandyrnog, a'r enwau sydd eisoes mor hysbys ar ddalenau yr *Haul*. Gan ddymuno i'n gohebwyr a darllenwyr bob bendith ar eu llafur oll,

Y gorphwys, yr eiddoch yn gywir,

Y GOLYGYDD.

Digitized by Google

Rhys Edwards Trefeglwys

# YR HAUL.

## Ail Gyfres Caerfyrddin.

"YNG NGWYNEB HAUL A LLYGAD GOLEUNI."
"A GAIR DUW YN UCHAF."

RHIFYN 73. IONAWR, 1891. CYF. VII.



### COLEG EGLWYS CRIST, RHYDYCHAIN.

Cynlluniwyd y coleg hwn gan y Cardinal Wolsey, a sefydlwyd ef gan Henry VIII. yn 1546—7. Cynnwysai ddeon ac wyth o ganoniaid, a chant o efrydwyr, wyth o gaplaniaid, ysgolfeistr, organydd, wyth o glercod, ac wyth o gorganwyr. Yn 1664 ychwanegwyd un efrydydd drwy gymmunrodd William Thurstone, Ysw.

Drwy weithred seneddol dan deyrnasiad Victoria, tynwyd rhif y canoniaid i chwech a'r efrydwyr i bedwar ugain. Allan o'r pedwar ugain hyn gelwir wyth ar hugain yn efrydwyr henaf, a deuddeg a



Digitized by Google

deugain yn efrydwyr ieuengaf. O'r deuddeg a deugain hyn etholir un ar hugain, tri bob blwyddyn o ysgol Westminster, a chadwant eu lle am saith mlynedd. Etholir yr un ar ddeg ar hugain ysgolheigion neu efrydwyr ieuengaf ar yr ail Sadwrn yn y Garawys, a chadwant eu lle am bum mlynedd. Y mae un ran o dair o'r ysgoloriaethau yn gyfyngedig i Fesuroniaeth a Gwyddoreg Anianyddol.

---

## GRIFFITH JONES, LLANDDOWROR.

*(Parhâd o dud. 292, Cyf. VI.)*

Nid oes un dosbarth o ddynion gwedi bod mor ddefnyddiol i ddyrchafu chwaeth eu cenedl a offeiriaid duwiol a dysgedig yr Eglwys. Nid oes cymmaint o son am danynt ac am lawer sydd wedi bod o lawer llai o wir wasanaeth, ond nid yw hyny ond yn profi eu dylanwad dwfn-dreiddiol a chyffredinol. O'r golwg y mae y galluoedd mwyaf mewn natur. Un ddystaw iawn ac anweledig yw deddf dysgyrchiant; nid yw yn cadw unrhyw dwrw neu swn, ac eto dyma'r gallu cryfaf a mwyaf cyffredinol mewn natur. Ac felly am y gwaith mwyaf a gyflawnir gan y dynion mwyaf, dygir ef ym mlaen fel gwaith y deml gynt heb swn y morthwylion. Pe buasai seneddwyr ein gwlad wedi cyflawnu y gweithredoedd nerthol a gyflawnwyd gan Griffith Jones, Esgob Morgan, a Ficer Pritchard, buasai clod a gogoniant mawr yn dilyn eu gweithredoedd. Ond y mae gwobr y rhai rhagorol yma mewn byd arall, lle y bernir yn fwy cyfiawn eu bywyd gwerthfawr: a'r rhai a droant lawer i gyfiawnder a fyddant fel y ser byth ac yn dragywydd. Yr oedd sefydlu 218 o ysgolion rhad a rhydd mewn gwlad gymharol dlawd yn waith teilwng o'r gallu a'r yni mwyaf. Nis gallai dim ond y cariad dyfnaf tuag at ddynion gyflawnu gorchwyl mor fawr a grasol; ac ymaflodd yn y gwaith ag oedd yn fwyaf angenrheidiol ar y pryd, sef taenu gwybodaeth o Air Duw ym mysg y *werin bobl*, a dysgu ieuenctyd Cymru yn egwyddorion crefydd. Credai gyda St. Paul fod gras Duw yn allu sydd yn dysgu ac yn dyrchafu dyn ym mhob gwedd—fod eisieu dysgu dynion i fyw yn sobr, yn gyfiawn, ac yn dduwiol yn y byd sydd yr awr hon. Trwy gael llin ar lin, a gorchymmyn ar orchymmyn, y mae cael dynion i ymhyfrydu yn yr hyn sydd bur a sanctaidd. Y mae yn ddiau ffrwyth toreithiog o gynnydd mewn crefydd a moesoldeb gwedi dilyn ei ymdrechion cywir.

Yr ydym ni yn rhy dueddol i edrych ar yr anhawsderau sydd o'n blaen, a digaloni o blegid diffyg moddion cyfaddas i ddwyn ein hamcanion i ben. Llwfrdra pechadurus yw hyn, ac yn aml ddiffyg ysbryd cywir a gonest. Edrych ar yr anhawsderau yr ydoedd corff y genedl gynt pan yn teithio yn yr anialwch, a hyny am fod eu calon yn edrych yn ol tua'r Aipht; tra yr oedd Joshua a Chaleb yn llawn penderfyniad a gwroldeb i fyned i mewn i wlad yr addewid, ac nid oedd y ddau yma yn meddwl am y rhwystrau, ond aethant i ysbïo'r wlad, ac a ddygasant yn ol gyda hwynt rawnsypiau melus ag oedd yn profi cyfoeth y wlad. Felly dywedai llawer o'i frodyr llwfr wrth Griffith Jones fod llew ar y ffordd, a bod goresgyn y wlad a feddiannid gan elynion crefydd a duwioldeb yn ammhosibl; ond aeth G. Jones ei hunan i ysbïo'r wlad, a chafodd yno rawnsypiau per yn brawf fod y wlad yn eiddo iddynt ond myned ym mlaen yn ysbryd yr Arglwydd. Yn wir, wrth edrych ar ei waith, gorfodir ni i ddywedyd, "Nid trwy lu ac nid trwy nerth, ond trwy ysbryd gwrol a duwiolfrydig" y cyflawnwyd y gwaith mawr. Cafodd yntau fel Joshua ei anghefnogi gan ei bobl ei hun, ond nid attaliwyd ef yn ei ymdrech. Felly y mae hi gwedi bod, ac felly y bydd. Dyma ran y dewr a'r gwrol ym mhob oes canys y mae y mwyafrif yn llwfr; y mae y mwyafrif yn rhy foddlawn ar fywyd yr anialwch, ac y mae rhwystrau yn eu dychrynu. Oni buasai am ysbryd anorchfygol Columbus, ni chyrhaeddasai ei gyd-forwyr mo Wlad y Gorllewin, ac heb ein Stanley ddewr "*in darkest Affrica*" y buasai ei gyd-deithwyr hyd yn awr yn adeiladu eu tai o goed, ac yn byw ar ysglyfaeth; ac *in darkest Wales* y buasai yr Eglwys heddyw, ond am y dewrion G. Jones a'r Ficer Pritchard, Morgan ac Harris. "Ereill a lafuriasant a chwithau a aethoch i mewn i'w llafur hwynt." Diffyg ysbryd sydd wrth wraidd pob aflwyddiant. I'r hwn sydd yn credu pob peth sydd bosibl. Dysgir hyn i ni trwy hanesyddiaeth. Pa beth, tybed, a ddywedasai dynion luaws o flynyddoedd yn ol pe dywedasai un wrthynt y byddai Eglwysi ysblenydd yn cael eu hadeiladu mewn amser byr ym mhob tref a phentref, a chwm a bryn o Gymru? "Ammhosibl" a fuasai yr adsain o bob cyfeiriad. O ba le y daw y coed a'r ceryg a'r haiarn a'r pres a'r dynion i wneuthur y peth hwn? Gyda dynion llwfr, ac ofnus, a digred, ammhosibl yw hyn, ond gydag ysbryd dewr a ffyddiog y mae pob peth o fewn ein cyrhaedd. Ond i ni feddiannu ysbryd teilwng i amcanu pethau mawr a haeddgar, daw y moddion cyfaddas at ein llaw. Felly y mae diwygiad allanol bob amser yn

Digitized by Google

cydfyned â bywyd newydd yng nghalon yr Eglwys. Tra ar y llaw arall, y mae marwolaeth yn ysgrifenedig ar furiau a thyrau allanol Sïon, os bydd calon yr Eglwys yn farwaidd a chaled. Oddi fewn y mae y gwelliant yn dechreu, nes y mae y cynnydd a'r bywyd yn treiddio trwy y dyn oddi allan. Na thwyllwn ein hunain trwy ddyweyd fod yr ysbryd yn barod, ond bod y defnyddiau allanol yn eisieu. Pan osododd Moses, gwr Duw, o'i flaen y gorchwyl o adeiladu tabernacl i Dduw yn yr anialwch, yr holl bobl a ddaethant â'i rhoddion o bob math i'w gynnorthwyo—eu clust-dlysau a'i haddurniadau drudfawr a roddwyd i addurno tŷ Jehofah. A phan y meddyliodd Dafydd Frenin yn ei galon am adeiladu teml i'r Arglwydd, efe a gynnorthwywyd gan dywysogion a blaenoriaid y genedl yn gystal a chan y bobl gyffredin. "Pwy wyf fi a phwy yw fy mhobl fel yr aberthwn yn ewyllysgar fel hyn i'r Arglwydd?" Synodd a diolchodd Dafydd wrth weled y fath barodrwydd yn y bobl i gyflwyno eu cyfoeth tuag at waith cyssegredig. Yr un modd y cafodd Griffith Jones achos i ddiolch wrth weled y parodrwydd a'r haelioni â pha un y nerthwyd ef gan leygwyr duwiol.

Aberthodd ei holl dalent a'i amser i wasanaeth y werin bobl. Gallasai dyn o'i dalentau dysglaer ef gyflawnu gwaith ar faesydd llenyddiaeth Seisoneg, fel ag i hawlio y sefyllfaoedd uchaf yn yr Eglwys. Canfyddwn yn ei lyfrau godidog i'r werin gymhwysder neillduol a gallu o'r gradd uchaf. Ond dewisodd yn hytrach fod o wasanaeth i'r werin bobl; a phe buasai yr awenau Eglwysig yn nwylaw y werin ac nid yn llaw estroniaid, ni adawsid i Griffith Jones fyned i'r bedd heb eistedd yng nghadair esgob. Ond ei wlad a'i iaith a'i genedl ei hun gafodd y fraint o fwynhau ffrwyth ei lafur gwerthfawr. Gellir dweyd yr un peth am Ficer Pritchard. Gosododd yntau ei bregethau ar gân yn iaith y werin, ac ni feddyliodd am ddim ond lefeinio calon y bobl â gwirioneddau yr Efengyl. Pa mor ddyledus ydym fel cenedl i'r caneuon hyn nis gall neb ddweyd. Nid ar unwaith y lefeinir cenedl â'r fath barch tuag at Air Duw ag sydd yn nodweddu ein cenedl ni. Nid trwy ddamwain a dygwydd y gwelir y fath agwedd ar feddwl cenedl gyfan, ond trwy lafur a diwylliant llawer o flynyddoedd. O na bai mwy o offeiriaid galluog yn dilyn esampl G. Jones a'r Ficer Pritchard yn hyn o beth, sef yn yr ymgais i fod o wasanaeth i'w gwlad a'u cenedl.

Nyni a adwaenwn rai offeiriaid doniol ac sydd gwedi esgeuluso i raddau mawr eu cenedl, ac wedi cyssegru bron eu holl amser i'r Seison, a hwythau wedi eu cynnysgaeddu â doniau mwy defnyddiol a bendithiol yn iaith eu mam. Ac, ysywaeth, clywir y rhai hyn yn cwyno fod corff y genedl yn elynol i'r Eglwys. Pa ryfedd pan y maent hwy, y rhai a fwriadwyd i borthi a dysgu eu cenedl, gwedi troi ymaith oddi wrthynt i gyflawnu gwaith na fwriadwyd iddynt, a gwaith y gallai y Seison ei wneyd yn llawer amgenach; ac ofnwn fod hyn wedi ei wneyd er mwyn dyrchafiad bydol, neu o leiaf dyrchafiad Eglwysig. Nid digon fod yr Arglwydd yn gwenu arnynt a'r bobl yn llawn diolchgarwch, rhaid i'r esgobion, y rhai hyd yn ddiweddar oeddynt Seison uniaith, weled a gwerthfawrogi eu llafur, ac felly rhaid oedd myned i gylch Seisoneg. Mor wahanol i ysbryd y tadau, ac yn wir i'r ysbryd newydd a ganfyddir yn y to sydd yn codi. Ymddengys fel pe bai ysbryd y tadau gwedi syrthio ar y Cymry sydd yn Rhydychain. Nid yw y rhai hyn yn anwybyddu eu hiaith a'u cenedl, ond ysgrifenant a siaradant eu meddyliau goreu yn iaith a llafar Cymru. Gall yr Eglwys yn sicr ddenu yn ol i'w mynwes gannoedd a miloedd o'i phlant, ond iddi ddangos ysbryd y tadau tuag atynt, sef parodrwydd i lafurio yn eu mysg ac er eu hadeiladaeth. Y mae genym yn awr bedwar Cymro yn esgobion, fel na raid i neb aberthu teimladau mwyaf anwyl y fron er mwyn budrelw, canys gwel a gwobrwya y rhai hyn lafur a gwasanaeth ym mysg y Cymry. Ac os na wnânt, ni bydd hyny yn ddigon o demtasiwn i lawer o'r to "sydd yn codi i roi fyny lafurio er dyrchafiad a lles eu pobl. Fe ga *promotion* fyned gyda'r gwynt, ac fe ä y dynion yna yn llawen a dirwgnach gyda'r bobl.

Gofalodd G. Jones nid yn unig am weinidogaethu yn iaith y bobl, ond hefyd i borthi archwaeth newydd y bobl am wybodaeth grefyddol. Rhoddir tystiolaeth i'w ragoriaeth fel awdwr gan neb llai na Dr. Edwards y Bala. Y mae ei esboniad ar y Catecism yn bob peth a ellid ei ddymuno. Nid esgyrn sychion ydyw ei bennodau, ond llawn ydynt o fywyd a gwres y gwirionedd. Dysgodd iawn gyfranu Gair y Gwirionedd. Yma y gwelir cuddiad ei gryfder: yr oedd yn wr cadarn yn yr Ysgrythyrau, ac yn llawn o'r Ysbryd Glân. Ni a adwaenom ereill ef allai yn meddu cymmaint o wybodaeth o'r Gair, ond heb feddu cymmaint o'r Ysbryd Glân, ac felly ni ddefnyddiant y Gair gyda'r un debeurwydd a bendith ysbrydol i ereill. Adeiladu y saint yn y sancteiddiaf ffydd ydoedd ei nod, ac i hyn yr ysgrifenodd ei lyfrau godidog.

Yn ei ragymadrodd i'r Catecism cynghora benau teuluoedd a meistriaid i ddarllen yng nghlywedigaeth

Digitized by Google

y gweision a'r plant y rhanau hyny ag oedd yn fwyaf pwrpasol iddynt. Ymdrinia yn helaeth â'r deg gorchymmyn er dysgu ei gyd-wladwyr i fod yn foesol a dichlynaidd eu bywyd. Nid ar air yn unig, ond mewn gweithred a gwirionedd, yr oedd dynion i ddangos proffes o Grist. Trueni na bai mwy o sylw yn cael ei dalu i'r llyfr yn ein hysgolion Cymreig, oblegid y mae mor gyfaddas i bob oedran a chyflwr. Ynddo y gosodir allan athrawiaethau mawrion y ffydd mewn dull syml a deniadol i'r ieuanc, ac y mae yn hynod o rad ei bris.

Cyfansoddwyd hefyd lyfr gweddi teuluaidd, yr hwn a ddefnyddid yn fawr gan y bobl, ac a werthfawrogid gan ddynion goreu y wlad: yr oedd hwn i fyned law yn llaw â'r Catecism. Mawr yw serch pob gwir Eglwyswr tuag at lyfr gweddi. Hoff iawn ydym o Lyfr Gweddi y Gwasanaeth, oblegid yr ysbryd defosiynol ac addolgar a feithrinir trwyddo. Tŷ gweddi y gelwir y tŷ, ac un o'n prif freintiau ydyw anfon ein heirchion i fyny trwy eiriau cyssegredig ein Llyfr Gweddi. Diolch am iaith gyfaddas a geiriau cymmeradwy a roddir yn ein geneu gan yr Eglwys. Felly rhoddai Griffith Jones, fel pob duwiol, le pwysig i weddi a gweddïo. Na fydded i ni golli y goron yma o'u gwasanaeth dwyfol. Rhaid wrth weddïo yn ddibaid. Gan yr enwadau y mae gweddïo yn y gwasanaeth ar y Sul gwedi syrthio o'r golwg i raddau pell; a'r canlyniad yw, fod calon y bobl yn sychedu am weddi, a chynnaliant gyfarfodydd gweddi yn yr wythnos, y rhai sydd i lanw y bwlch yn y gwasanaeth dwyfol. Ond er mor fendithiol ydynt, nid ydynt *yn iawn* dros esgeuluso gweddïau yn y gwasanaeth mwyaf cyhoeddus. Rhaid wrth ymbiliau a gweddïau dros bob dyn. Yr oedd y penau teuluoedd i ddefnyddio y gweddïau yng nglŷn â'r gwersi ar yr athrawiaeth. Nid athrawiaeth yn unig, ond buchedd a bywyd a mawl yn y galon. Cael dyn Duw yn berffaith gwedi ei berffeithio i bob gweithred dda. Felly y llafuriodd ac felly y bendithiodd yr Arglwydd lafur ei was ffyddlawn. Y mae yr un nerth a'r un ysbryd a'r un addewidion eto i ninnau, ond i ni ymaflyd o ddifrif yn ein gwaith. Yr Arglwydd a'n gwnelo yn fwy gwrol dros y gwirionedd, ac yn dystion ffyddlawn yn ein dydd a'n tymmor.

*Cymmer, Llantrisant.* LEWIS HUGHES, M.A.

---

Nid yw Duw yn ewyllysgar, ond hefyd yn alluog, ac nid yn unig yn alluog, ond yn ewyllysgar hefyd i gyflawnu ei addewidion i'w eiddo.

## DUWINYDDIAETH: NEU SYLWADAU AT WASANAETH YR YSGOL SUL AR YR EFENGYL YN OL ST. MATTHEW.

### GWERS IX.—Y BREGETH AR Y MYNYDD.

*St. Matt. v. 1—12. Fel rhagbarotoad darllener Salm xxxiv. 1—22; St. Luc vi. 20—26.*

#### I. AMSER. O.C. 28.

FEL y soniwyd o'r blaen dylem gofio nad yw St. Matthew ddim yn cofnodi hanes gweinidogaeth gyntaf yr Arglwydd Iesu yn Judea. Ceir hanes y rhan hwnw o'i waith yn Efengyl St. Ioan, y drydedd, y bedwaredd, a'r bummed bennod. Ond traddodwyd y bregeth hon rywbryd cyn gwyl y Pentecost, ym mlwyddyn gyntaf gweinidogaeth gyhoeddus yr Arglwydd Iesu, a phan oedd Efe wedi tynu cymmaint o sylw ar ei daith drwy Galilea. Gan fod gwyl y Pentecost yn coffäu dodiad y ddeddf ar Sinai, nid annhebygol i'n Hiachawdwr gymmeryd yr achlysur yn gyfleusdra i eglurhau y ddeddf hono.

#### II. Y LLE—MYNYDD Y BENDITHION.

Cyfeirir mewn traddodiad at fryndir bychan ond amlwg ar lan Môr Galilea fel y mynydd y traddodwyd y bregeth hon arno. Nid yw y bryndir ddim amgen na chyfodiad tir ar ffurf crwn yn dyrchafu yn fryncyn ar ei gŵr uchaf, ond gan ei fod yn cael ei amgylchu gan wastadedd o un ochr a'r môr o'r ochr arall, y mae yn amlwg iawn ac yn gyflëus i gyrchu yno. Ychydig o ffordd oddi wrth y grib uchaf y mae "gwastattir" yn ffurfio pantle cyflëus i dorf sefyll arno neu eistedd i wrandaw y Gair. Gelwir y lle "*Mount Beatitudes*" oddi wrth y geiriau Lladin, "*Beati sunt*" (gwyn eu byd) a ddefnyddir yn nechreu y bregeth.

#### III. EGLURHAD ESBONIADOL.

Adn. 1: "*Tyrfaoedd*" (gwel iv. 25). "*Mynydd.*" Dodwyd y ddeddf ar fynydd tanllyd, creigiog, serth, yn anialwch Arabia; esboniwyd hi gan Grist, ei Chyflawnydd, ar fynydd porfäog, hawdd ei esgyn, yn ardal wlithog ffrwythlawn Galilea.

Adn. 2: "*Efe a agorodd ei enau.*" Arddangosir yma urddas mawreddig y llefarydd dwyfol.

Adn. 3: "*Gwyn eu byd.*" *Blessed are* (*Beati sunt*). Dechreua y bregeth ar y mynydd fel y Salmau gyda dysgrifiad o'r cyfiawn: gwel Salm i.

"*Y tlodion yn yr ysbryd.*" Dyma'r teimlad priodol i roddi careg sylfaen cymmeriad cyfiawn i lawr. "Myfi yn dlawd heb feddu dim," &c. Efe a lanwodd y rhai gweigion, &c. Cofier am y "bachgenyn."

Digitized by Google

"*Eiddynt yw teyrnas nefoedd.*" Yn yr enaid wedi ei waghäu o'i holl hunanoldeb yr adeiladir y deyrnas; a'r rhai a deimlant eu hunain heb ddim a'i meddiannant hi.

Adn. 4: "*Galaru*" (gwel Esaiah lxi. 1—3). Rhai yn gweled eu "tlodi" sydd yn galaru am eu cyflwr. Y mae pob galar yn cyfodi oddi ar ryw amddifadrwydd; a'r galar dyfnaf oll yw y galar o herwydd pechod.

Adn. 5: "*Rhai addfwyn*"—rhai "llariaidd" y ddaiar. Efe a brydfertha y rhai "llednais" (*meek*). Y mae y "tlodion" a'r "galarus" yn "addfwyn." Tardda y naill gymmeriad o'r llall.

"*Etifeddant y ddaiar*" (gwel Salm xxvvi.. 11; a St. Matt. xi. 29). Y rhai addfwyn--y genedl dawel, heddychol, unol â'u gilydd sydd yn meddiannu mwyaf o'r ddaiar, a'r teuluoedd addfwyn ydyw y rhai mwyaf llwyddiannus. Y mae ymrysonau yn dinystrio pob peth: gwel y pummed gorchymmyn.

Adn. 6: *Y rhai sydd arnynt newyn*," &c. Y mae yr enaid "tlawd," "galarus," "addfwyn," bellach wedi dyfod i wybod pa beth a'i digona. Dim ond "*cyfiawnder.*" Dyma gareg sylfaen y cymmeriad yn cael ei gosod i lawr: cyfiawnder ydyw hòno. Cyfiawnder yn ei ystyr eangaf—bod yn gyfiawn, cael cyfiawnhâd. Y mae y neb a deimlo ei newyn a syched yn sicr o ymborthi ar yr hyn a ddarparwyd ar ei gyfer—cyfiawnder Iawn y Groes.

"Ceisiwch wisgoedd y briodas,
 Gwisgoedd hyfryd hardd eu lliw;
Nid oes enw teilwng arnynt,
 Ond cyfiawnder pur fy Nuw," &c.

Adn. 7: "*Y rhai trugarogion,*" &c. (gwel Salm xviii. 25; Col. iii. 13; Eph. iv. 32). Y mae y cyfiawn yn "drugarog:" y cyfiawn yn unig a all fod yn drugarog.

Adn. 8: "*Pur o galon,*" &c., "*a welant Dduw*" (gwel Esai xxxiii. 17—20). Purdeb calon sydd yn puro llygaid. Os bydd y galon yn llawn aflendid pechod, fe fydd y llygaid yn ddeillion i bresennoldeb Duw.

Adn. 9: "*Tangnefeddwyr,*" &c., "*yn blant i Dduw.*" Gwaith Satan oedd creu ymryson; ond gwaith Mab Duw yw creu tangnefedd: gwel Ecsod. xxxiv. 6; 2 Cor. v. 19, 20. "Efe yw ein tangnefedd." Dyma nodwedd fwyaf amlwg a nefol plant Duw. Yma yr ymdebygant fwyaf i Fab Duw.

Adn. 10: "*Y rhai a erlidir.*" Rhyfedd meddwl fod yn ddichonadwy i erlidigaeth gyfodi yn erbyn y cymmeriad "tlawd yn yr ysbryd," "galarus," "addfwyn," yn "sychedu am gyfiawnder," yn "bur o galon," ac yn "dangnefeddus." Ond dyma y cymmeriadau ag y cymmer y byd annuwiol fantais ar eu llarieidd-dra i'w herlid. Un o nodweddion amlycaf pechod ydyw ymddwyn yn draws ac yn greulawn lle y *gall.* (Sylwer ar greulondeb naturiol plant at greaduriaid direswm.)

Adn. 11 a'r 12. Prophwydoliaeth a chysur yng ngwyneb erlidigaeth sydd yma. Y mae y saith nodwedd neu gymmeriad yn arddangos perffeithrwydd. Dyma ddarlun o'r cymmeriad Cristionogol. Y mae yn ddelw o'r duwiol, a darlun o Grist ei hun ac o'r driniaeth a dderbyniodd.

### CWESTIYNAU.

Pa amser y traddodwyd y bregeth ar y mynydd? Ym mha le? Pa le y mae y mynydd hwnw? Pa wahaniaeth maint a golwg sydd rhyngddo a mynydd Sinai? O ba le y daeth y tyrfaoedd yno? Dysgrifiad o ba beth sydd yn nechreu y bregeth ar y mynydd? Pa beth yw y gras cyntaf a enwir? Yr ail? Y trydydd? Pedwerydd? Pummed? Chweched? Seithfed? Pa sawl gras neu gymmeriad a enwir? Pa beth a gaiff pob un? Pa beth a oddefant? Pwy a fu erioed yn llenwi yr holl rasusau a enwir? Darlun felly o bwy ydyw yn gyflawn? Pa driniaeth dderbyniodd?

### GWERS X.—Y BREGETH AR Y MYNYDD.

*St. Matthew v. 13—20. Fel rhagbarotoad dysger allan St. Luc xiv. 34, 35; a darllener St. Marc iv. 21, 22.*

Arweiniad i mewn: Dangosodd Iesu Grist yn adnodau cyntaf y bregeth hon, pa fath yw y cymmeriad Cristionogol i fod. Y mae dysgyblion Crist i fod yn "dlodion yn yr ysbryd," "yn rhai a alarant am bechod," "yn addfwyn," yn "sychedu am gyfiawnder," yn "bur o galon," yn "drugarog," yn "dangnefeddwyr," ac yn alluog i *ddal* yng ngwyneb erlidigaethau, a "llawenychu mewn gorthrymderau" er mwyn Iesu Grist. Rhaid i ni ddal mewn cof yn barhäus fod milwyr Iesu Grist i orchfygu drygioni drwy ddaioni (gwel Rhuf. xii. 21) ac fel ei Oadben mawr i gael eu perffeithio trwy ddyoddefiadau, Heb. ii. 10.

### II. EGLURHAD ESBONIADOL.

Adn. 13: "*Halen y ddaiar.*" Gwaith halen ydyw pereiddio blas a chadw rhag llygru. Gwna crefydd Crist ddyrchafu y da ac attal rhag drwg. Trydd ddwfr y bywyd hwn yn win, a cheidw i fywyd tragwyddol.

"*O diflasodd,*" &c. Pan gyll crefydd ei rhin-

Digitized by Google

wedd, nid oes un gallu ar y ddaiar a ddyrchafa ddyn.

Adn. 14: "*Goleuni y byd.*" Goleuni oddi allan yw Goleuni gwybodaeth; â'r deall yr ymwna; halen purdeb oddi mewn ar y serchiadau y gweithreda. Crist yw y gwir oleuni; Ioan oedd "ganwyll yn llosgi a goleuo." Y mae pob Cristion i fod yn ganwyll fechan i oleuo.

"*Dinas a osodir,*" &c. Y mae proffes y Cristion yn ei wneuthur yn nod amlwg i edrych arno—un yw yn cario lamp yn y byd tywyll.

Adn. 15: "*Ni oleuant ganwyll,*" &c. Amcan sefydliad teyrnas Crist yw rhoddi goleuni i'r byd, Dad. i. 20: gwel hefyd Dad. xxi. 24.

Adn. 16: "*Felly,*" &c. Llewyrched goleuni y Cristion fel goleuni canwyll yng nghanol tŷ, ac ymddangosed tegwch ei gymmeriad fel dinas ar fryn. Nid yw y ganwyll yn ymwybodol o'i goleuni, na'r ddinas o'i thegwch. Ereill sydd yn ymogoneddu ynddynt. Felly y mae yr Eglwys a phob aelod ar ben ei hun i ddangos gogoniant Duw yn anymwybodol.

ADDYSGIADAU.

Rhinweddau naturiol neu gymmeriad y Cristion sydd i buro a goleuo y byd, a hyny heb un ymdrech neillduol ar ran proffeswyr crefydd i arddangos eu rhinweddau. Y mae yr hyn sydd dda ynddo ei hun yn sicr o ddangos ei ddaioni pan elir i'w chwilio. O *dan erlidigaeth* y dangosodd crefydd Crist ei gwerth a'i mawredd.

"Pan losgai saint yr Arglwydd wrth y stanciau,
Goleuwyd tragwyddoldeb gan y ffaglau."

Nid crefydd newydd oedd yr Arglwydd Iesu ar sefydlu, ond i ysbrydoli yr hen y daeth.

Adn. 17: "*Y gyfraith neu'r prophwydi.*" Dadguddiad Duw yn yr Hen Destament a feddylir yma.

"*Cyflawnu.*" Cadw y gyfraith yn ei berson ei Hun. "Cyflawnu pob cyfiawnder." Dengys y gyfraith briodoleddau Duw a dyledswydd dyn mewn geiriau; dangosodd Iesu Grist y naill a'r llall drwy eu cyflawnu yn ei fywyd Cyflawnodd yr Arglwydd Iesu y gyfraith yn ei fywyd ac yn ei farwolaeth.

Adn. 18 (gwel Erthygl vii). Y mae Gair Duw fel deddfau Duw yn anghyfnewidiol. Ni ellir tori deddfau natur: dryllio ei hun y mae y neb a ymgura yn eu herbyn. Felly Gair Duw ni ellir ei dori na'i ddilëu.

Adn. 19: "*Pwy bynag a doro,*" &c. "Lleiaf y gelwir ef." Teyrnas y gwirionedd ydyw teyrnas Crist. Cyfiawnder a sancteiddrwydd ydyw ei gwisg, a chariad yw ffynnonell ei bywyd. Y mae esgeulusiad o un gwirionedd, neu feithriniad o un pechod neu goll, yn ei gwanychu. Yn ol mesur cyflawnder ei grasusau y bydd ei mawredd. Y gangen Eglwys, neu berson unigol, a lyno wrth fwyaf o'r gwirionedd, a fydd y mwyaf.

Adn. 20: "*Oni fydd eich cyfiawnder,*" &c. Pechod mawr yr Ysgrifenyddion a'r Phariseaid oedd esgeuluso byw i fyny â'r gwirionedd. Llunient esgusion dros esgeuluso cadw y gyfraith. Gwnaent Air Duw yn ddirym drwy eu traddodiadau. Felly lleiaf oeddynt yn nheyrnas nefoedd. Rhaid i gyfiawnder y Cristion fod yn llawer uwch na dim a allai y Pharisead ei ddychymmygu wrth esbonio'r gyfraith. Crist ydyw safon cyfiawnder personol y Cristion, a Christ yw sail ei gyfiawnhâd. Crist *ynddo* ef yw gobaith gogoniant, ac y mae i wisgo am dano yr Arglwydd Iesu Grist yn ei ymarweddiad, Rhuf. xiii. 14.

CWESTIYNAU.

Pa beth y mae adnodau cyntaf y bregeth ar y mynydd yn ei ddangos? Pa beth yw gwaith halen? Enwch y ddau rinwedd sydd ynddo. Pa beth a wna crefydd fel halen? Pwy a elwir yn oleuni y byd? O ba le y mae y goleuni yn dyfod, oddi mewn ai oddi allan i ni? Beth a ddylai pob Cristion fod? Beth a ddywedodd yr Iesu unwaith am Ioan Fedyddiwr? Pa fodd y mae yr Eglwys yn debyg i ddinas ar fryn? O dan ba amgylchiadau y mae y gwir Gristion yn debyg o ddangos mwyaf o'i ddaioni? Pa bryd y dengys y ganwyll fwyaf o'i goleuni, ai y nos ai y dydd? Pa un ai crefydd newydd ai ynte yr hen grefydd wedi ei diwygio a bregethai Iesu Grist? Pa sut y cyflawnodd Iesu Grist y gyfraith? Pa beth sydd yn anghyfnewidiol heb law Gair Duw? (Eglurhaer yma nas gellir tori deddfau iechyd, &c., na throi y dwfr yn ol, na gwneyd i gareg ehedeg: yr un modd nis gellir tori gorchymmyn Duw. Dyfetha ei hun y mae y pechadur.)

GWERS XI.—Y BREGETH AR Y MYNYDD.

*St. Matthew v. 21—26.*

YSBRYDOLRWYDD Y CHWECHED GORCHYMMYN.

*Darllener Ecsodus xx. 13 a Deut. v. 17.*

I. EGLURHAD ESBONIADOL.

Adn. 21: "*Gan y rhai gynt,*" neu "*wrth y rhai gynt.*" Gwrthgyferbynir yma esboniad dwfn ysbrydol Crist. Nid oedd hyd yn nod "*dynion* sanctaidd Duw, 2 Pedr i. 21, dan yr Hen Destament ddim yn deall hyd, lled, uchder, a dyfnder ysbrydol deddfau Duw. Gofal Tad yr ysbrydoedd am fywyd a chy-

Digitized by Google

sur ei blant a barodd iddo roddi y chweched gorchymmyn. *Cariad* ydyw ei wreiddyn.

"*Pwy bynag a laddo a fydd euog o farn* ("o'r farn" yn ol y Cyfieithad Diwygiedig). Ni welai y rhai gynt bechod y trosedd. "Trosedd gwladol" oedd lladd yn eu golwg hwy. Yr oeddynt yn cyfyngu cylch moesoldeb. Tybient mai mater i'w farnu mewn llys gwladol yn unig oedd. Anghofient fod dyn yn dwyn delw Duw. Dryllio delw Duw, sarhau delw Duw (gwel Gen. i. 26; ix. 6) ydyw lladd neu ddiystyru dyn.

Adn. 22: "*A ddigio heb ystyr.*" (Gadewir allan y geiriau "heb ystyr" yn y Cyfieithad Diwygiedig.) "Digio heb ystyr" ydyw arddangos nwydau cynhyrfus. Goddef i'r meddwl gael ei gynhyrfu nes cymylu y farn. Creadur rhesymol ydyw dyn. Wrth reswm y mae i farnu a gweithredu. Pan gynhyrfo ei ddig nes i'r nwyd ddiorseddu pwyll a rheswm, y mae yn pechu.

"*A phwy bynag a ddywedo.*" Gall dyn gyfyngu yr arddangosiad o'i ddig i edrychiad ac ymddygiad. Gall ddigio wrth ei frawd ac edrych yn ddu arno, neu droi oddi wrtho a pheidio siarad ag ef. Y mae hyn yn bechod. Gadewir i haul (Eph. iv. 26) dyddiau lawer godi a machlud ar eu digofaint. Y mae hyn yn bechod. Mae yr Arglwydd Iesu yma yn darlunio tair gradd o bechadurusrwydd mewn digofaint yn ol yr arddangosiadau o hono; ac yn eglurhau graddau eu heuogrwydd oddi wrth lysoedd barnol yr Iuddewon ar y pryd, a'u dull hwy o gospi.

(1.) "Y mae digio heb ystyr"—dal dig, neu ymollwng i wylltineb, yn bechod i'w gondemnio. Y mae yn "euog o farn" neu gondemniad.

(2.) Y mae defnyddiad o air cas yn gwneuthur y pechod yn fwy. "Pwy bynag a ddywedo wrth ei frawd "*Raca.*" Ystyr y gair "*Raca*" ydyw ynfytyn. Gair sarhäus a ddefnyddir heb ystyr rhwng math o ddifrif a chwareu, ond mewn dibrisdod. Y mae dibrisio y naill a'r llall mewn geiriau ysgafn yn bechod. "Euog o gynghor:" barn drom y Sanhedrim a feddylir yma.

"*A phwy bynag a ddywedo, O ynfyd,*" &c. Ystyr y gair ynfyd yw, nid yn unig dyn amddifad o synwyr, ond dyn o amcan drygionus. Y mae defnyddio gair brwnt a phriodoli amcan drwg i ddyn yn bechod gwaeth—yn bechod marwol i'r enaid. Bydd y digofaint wedi llwyr ddiorseddu barn, nes peri i'r ddychymmyg wisgo y neb y digir fel hyn wrtho yn gas yr olwg.

"*Fydd euog o dân uffern.*" Dyma y gosp drymaf —tân Gehenna, sef y tân a losgai ysgarthion dinas Jerusalem yn nyffryn Hinnom. Arddengys hyn yn ysbrydol y "pryf nad yw yn marw a'r tân nad yw diffodd," Dad. xiv. 11. Ond a ellir digio heb bechu? Gellir: cawn hanes yr Arglwydd Iesu yn y synagog ar un Sabbath "yn edrych arnynt o amgylch yn ddigllawn, gan dristäu am galedwch eu calon hwynt," St. Marc iii. 5. Yr oedd digter yn ymchwyddo yn mynwes y Gwaredwr at greulondeb y Phariseäid, y rhai o genfigen iddo Ef ni fynent i'r dyn â llaw wedi gwywo gael iachâd ar y Sabbath. Y mae i'r nwyd o ddigofaint ei le yn y fynwes ddynol i roddi attalfa ar droseddau trwy wneuthur barn. Eiddigedd dros yr hyn sydd dda yw gwir ddigter yn erbyn drwg, Eph. iv. 26; Rhuf. xii. 19.

Adn. 23: "*Gan hyny,*" &c. Gan fod "anghariadoldeb" neu ddigofaint yn bechod mor niweidiol i'r enaid, peidiwn â rhyfygu nesäu at allor Duw mewn ysbryd anghymmodlawn (gwel St. Matt. vi. 15; Esai i. 12—18; a Chatecism yr Eglwys, yr ateb olaf, "A ydys mewn cariad perffaith â phob dyn."

Adn. 25: *Cytuna â'th wrthwynebwr,*" &c. Hyny yw, yn llythyrenol. Dychwel i *deimlad da* â'th wrthwynebwr: gwel Rhuf. xii. 18. Dammeg ydyw yr adnod hon: cymhara y pechadur a fyddo mewn anghariad â'i gydbechadur i ddau achwynwr, y naill yn erbyn y llall yn myned i lys y gyfraith i osod eu hachos o flaen y barnwr. Tra y byddo y ddau ymrysonwr ar y ffordd i'r llys, y mae yr achos yn eu llaw eu hunain, a gallant ymgymmodi drwy *gymmeryd a rhoi*, a maddeu i'w gilydd; ond gwedi myned i'r llys, bydd yr achos allan o'u llaw. Tystio yn *erbyn y naill y llall* fydd yno, a bydd y ddedfryd ddigyfnewid yn llaw y barnwr didderbyn wyneb. Ar y ffordd yr ydym oll i ymddangos ger bron brawdle Crist. Tra ar y ffordd gallwn ymgymmodi â'r naill y llall a gwneuthur iawn i'n gilydd; ond unwaith yr elom ger bron y Barnwr, bydd yn rhy ddiweddar i allu maddeu a chael maddeuant. (Sylwer yma ar awydd pobl ar wely angeu i faddeu i bawb. Rhodder pwys ar gymmod ac iawn am bob camwri.)

#### CASGLIADAU.

1. Peth mor bwysig yw darostwng digter y teimlad dan lywodraeth pwyll a rheswm!

2. Ni dderbyn Duw ein gwasanaeth crefyddol tra y meithrinwn ysbryd digofus (gwel adn. 23, 24; hanes Cain, Gen. iv. 5—8; a drydedd ruddell o o flaen Trefn Gweinyddiad y Cymmun Bendigaid).

3. Peth mor ofnadwy meddwl am farw ac ymddangos yn y farn mewn gelyniaeth â neb.

#### CWESTIYNAU.

Beth ydyw pwnc yr adnodau a ddarllenwyd?

Digitized by Google

Pa beth a osodir ar gyfer eu gilydd ynddynt? Pa beth yw gwreiddyn y chweched gorchymmyn? Pa beth yw digio heb ystyr? Pa un ydyw y gwaethaf, digio ai digio a dweyd gair cas? Beth yw Raca? Pa sawl gradd o bechu sydd mewn digio? Pa beth a feddylir wrth dân uffern? Pa bryd y mae dynion i gymmodi â'u gilydd? Beth ydyw y perygl o beidio cymmodi? Os na fydd i ni gymmodi beth fydd y canlyniad?

GWERS XII.—Y BREGETH AR Y MYNYDD.

*St. Matt. 27—32.*

YSBRYDOLRWYDD Y SEITHFED GORCHYMMYN.

*Dysger allan Ecs. xx. 14; Deut. v. 18.*

EGLURHAD ESBONIADOL.

Adn. 27: "*Rhai gynt.*" Moses ac esbonwyr y gyfraith oeddynt.

"*Na wna odineb.*" Dyma y seithfed gorchymmyn. Condemnia y gorchymmyn y trosedd neu ddrwg weithred. Ni all cyfraith neu ddeddf ymwneyd â'r galon neu yr enaid.

Adn. 28: "*Eithr yr ydwyf fi,*" &c. Rhoddir pwyslais ar *fi*. Gall Crist fyned ym mhellach. Y mae Efe yn gwybod beth sydd mewn dyn. Yn deall y meddwl o bell, Salm. cxxxix. 2.

"*Pob un sydd yn edrych*" (gwel Job xxxi. 1; Diar. vi. 25). At y llygaid yr appeliodd pechod gynt, Gen. iii. 6. Appelia y pechod hwn at y llygaid yn aml, 2 Sam. xi. 2, 3.

Adn. 29: "*Ac os dy lygad deheu,*" &c. Y llygad ydyw ein haelod mwyaf gwerthfawr o'r cwbl. Rhaid cael y llygad i'w le, neu ni ellir gweled yn iawn.

"*A'th rwystra.*" A fydd yn *faen tramgwydd* i ni —yn *scandal*—yn dwyn gwarth. Rhaid aberthu y llygad deheu er mwyn achub yr holl gorff.

Adn. 30: *Ac os dy law ddeheu,*" &c. Dyma yr aelod mwyaf defnyddiol, ac ymarferol, ac ennillfawr. Dyma y llaw sydd wedi ei *hymarfer* â phob gorchwyl. Rhaid ymwrthod â phob *drwg arfer*: gwel Col. iii. 5, a rhan olaf y Cynghor yng Ngwasanaeth Bedydd. "Gan farwolaethu yn wastad ein holl ddrygioni a'n gwyniau llygredig," &c.

"*Ac na thafler dy holl gorff,*" &c. Cynnwysa y geiriau uchod ddammeg briodol ac addysgiadol oddi wrth afiechyd marwol, megys *mortification* neu y *cancer*, yn ymddangos yn y llaw neu'r llygad. Abertha y meddyg y llaw neu y llygad er mwyn achub yr holl gorff; felly pan ymwreiddio pechod mewn unrhyw gynneddf o'r enaid, nid y pechod o anlladrwydd yn unig, eithr unrhyw arferiad pechadurus, rhaid ei aberthu, a gwell ei aberthu na bwrw yr holl gorff i uffern.

YSGARIAETH.

Adn. 31: "*A dywedyd,*" &c., Deut. xxiv. 1. Y mae ysgariad ynddo ei hun yn bechod. Y mae yn arddangos pechod yn y naill neu'r llall o'r pleidiau, sef y gwr neu y wraig. Goddefai deddf Moses i wr ysgaru ei wraig pan gai drosedd ynddi. Rhoddai deddf Moses gryn lawer o awdurdod barnol i wr ar ei wraig, canys nid oedd merch y pryd hwnw wedi dyfod i fwynhâd o gydraddoldeb breintiau crefyddol a dinesig a dyn.

Adn. 32: "*Ond yr ydwyf fi.*" Mynai deddf Moses i wr roddi *rheswm* dros ysgar â'i wraig, ond ai yr Arglwydd Iesu ym mhellach i ddangos nad oedd dim ond un rheswm dros ysgaru. Braint priodas ydyw undeb annattodol yn gwneuthur dau yn un fel ffynnonell bywyd pur, fel y byddo yr hiliogaeth yn gangenau cyssegredig o'r un cnawd. Undeb o greadigaeth ac ordinhâd Duw ydyw.

"*Pwy bynag a ollyngo,*" &c. Y mae pob cyfleusdra i ysgariaeth yn fath o gymhelliad i odineb. Lle y mae deddfau priodas lacaf y mae y pechodau mwyaf. Nid trefniad gwladol yw ammodau priodasol i'w newid yn ol llais y mwyafrif mewn senedd, ond deddf dragwyddol Duw na ellir ei newid na'i thori heb ddwyn barn dymmorol ar y wlad a thragwyddol ar eneidiau. Ni all y rhai a ysgarwyd ymbriodi yn unol â Gair Duw a threfn yr Eglwys.

Nid oes un pechod mor niweidiol i foesoldeb personol ac iechyd corfforol dyn ag anniweirdeb; a phriodas ydyw careg sylfaen dedwyddwch teuluaidd, a heddwch a dedwyddwch cymdeithasol. Diraddiad priodas oedd pechod mawr y Canaanëaid gynt, a dyna a ddinystriodd ymherodraeth Rhufain. Dywedodd y bardd Lladinaidd,

Fecunda culpae secula nuptias,
Primum inquinavere, et genus, et domos;
Hoc fonte derivata clades
In patriam populumque fluxit.

*Horace, Ode III.*

Halogi wnaeth oes ffrwythlawn o bob drwg
Lân briodasau, hil a theulu oll;
Nes o'r ffynnon hon dylifodd dinystr erch
Dros bobl a gwlad fy nhadau megys llif.

Mae cyflwr Ffrainc yn druenus oddi wrth y pechod, ac y mae Unol Daleithiau America wedi suddo yn lled ddwfn iddo. Y mae gan Gymru lawer o achos i holi ei hun, gwrido, cywilyddio, a *diwygio* yn y peth yma. Ymffrostia, a hyny yn gyfiawn, yn ei

Digitized by Google

"menyg gwynion" yn llys y barnwr gwladol. Rhodded Duw i'r genedl ras i allu ymddangos mewn "menyg gwynion" ger ei fron Ef yn ei deml mewn glân briodas.

CWESTIYNAU.

Pa orchymmyn a esbonir yr yr adnodau uchod? Pwy oedd "y rhai gynt"? Pwy ydyw y "*fi*" a enwir? Ar ba beth yr edrycha Crist? Drwy ba beth y denwyd Efa i bechu? Beth a feddylir wrth y llygad de? Beth wrth y llaw ddeheu? Beth fyddai yn rhaid wneyd i'r llygad neu y llaw ddeheu pe byddai afiechyd angeuol yn gafael ynddynt? Pa beth yw afiechyd angeuol yr enaid? Gan bwy yr oedd awdurdod i ysgaru dan yr Hen Destament? Pa beth ydyw priodas, ai trefn Duw, neu drefn cyfraith gwlad? Pa un ai cytundeb a ellir newid, neu un anghyfnewidiol? A all pobl wedi ysgaru ail-briodi yn ol trefn yr Eglwys a Gair Duw? Pa un ai trosedd moesol ai trosedd gwladol ydyw tori priodas ac ysgaru?

---

## PREGETH

*A draddodwyd yn Eglwys Bodedeyrn, Mon, Tachwedd 6fed, 1890, gan y Parch. E. Davies, periglor Llanllechid, ar yr achlysur o gyflwyniad ffenestr liwiedig i goffadwriaeth yr Hybarch Archddiacon John Wynne Jones, M.A., diweddar berson y plwyf hwnw, ac archddiacon Bangor.*

"A thrwyddi hi y mae efe wedi marw yn llefaru eto."—Heb. xi. 4.

SWN galar sydd yn y geiriau, "Y mae efe wedi marw." Mae'r swn yma wedi treiddio trwy'r holl ddaiar, a'r geiriau hyd eithafoedd byd, "Efe a fu farw." Yn y geiriau hyn y claddwyd gobeithion, serchiadau, a dysgwyliadau fyrdd o Adda hyd heddyw. Dyma y frawddeg gyntaf ddaw dros ein gwefusau pan y gesyd Duw ei law yn drom trwy gymmeryd oddi wrthym ein hanwyliaid i'r bedd, "Y mae efe wedi marw." Dyma y geiriau oedd yng ngeneu pawb o honom ddwy flynedd i Chwefror diweddaf, pan y cyrhaeddodd y newydd pruddaidd ein cymmydogaeth o farwolaeth yr Hybarch a'r anwyl Archddiacon Wynne Jones, "Y mae efe wedi marw." Dyma y geiriau a glywid nid yn unig yn y cylch perthynasol lle y cerid ef mor anwyl ac y perchid ef mor fawr, ond hyn hefyd oedd i'w glywed o ben i ben ac o dŷ i dŷ trwy yr holl blwyf, ac ymdaenodd y newydd gyda galar drwy yr holl sir a'r esgobaeth, "Y mae yr Hybarch Archddiacon Wynne Jones wedi marw." Hefyd y mae yr amgylchiad pruddaidd hwnw yn ail-feddiannu ein meddyliau a'n calonau ar yr achlysur o gyflwyniad y ffenestr liwiedig a osodwyd i fyny yn yr Eglwys hon i *ogoniant Duw ac i'w barchus goffadwriaeth yntau.*

A pha beth a ddywedwn? Mae yma rai yn bresennol yn ei gwneyd yn anhawdd dywedyd dim heb dristäu eu meddyliau. Pe dywedwn fod eu colled hwy yn elw annhraethol iddo ef; pe dywedwn, "Na thristëwch fel rhai heb obaith," eto mi a wn mai yr hwn sydd yn rhoddi y fath sicrwydd i'w gobaith sydd hefyd yn rhoddi y fath fin ar eu galar. Ni cheisiaf ynte ddywedyd dim yn y cyfeiriad yna, ac ni cheisiaf chwaith dalu teyrnged o *ganmoliaeth* i goffadwriaeth yr ymadawedig. Nid oes eisieu canmol yr hwn ag y mae ei glod yn yr holl Eglwysi. A gwn yn dda na fuasai dim yn fwy gwrthwyneb i deimlad ac ewyllys yr hwn yr ydym heddyw yn anrhydeddu ei goffadwriaeth na'r cyfryw ganmoliaeth. Buasai ei ysbryd addfwyn, diymhongar, a hynaws yn arswydo rhag gwrando ar y fath ganmoliaeth, er ei fod wedi llwyr ennill hyny ar ffordd cyfiawnder. Yr oedd ei gymmeriad ef yn rhy uchel i ddysgwyl dim oddi wrth ganmoliaeth, nac i ofni dim oddi wrth sen. Fe fydd i ddiniweidrwydd a sancteiddrwydd ei fuchedd—tynerwch ei galon—y ffyddlondeb gyda pha un y cyflawnodd ei ddyledswyddau, a'r tawelwch gyda pha un y rhedodd yr yrfa—adael argraff annileadwy ar feddyliau ei gyfeillion a'i gydnabod.

Yr ydych chwi yn yr Eglwys hon wedi colli cyfaill, cynghorwr, a bugail—un ag oedd yn awyddus ar bob achlysur i gyflawnu eich angenion ysbrydol a thymmorol; un a wyddai pa fodd i fod "yn llawen gyda'r rhai sydd lawen, ac i wylo gyda'r rhai sydd yn wylo." Cawsoch chwi eich bendithio am flynyddoedd â'i weinidogaeth gysson, ei brofiad addfed, a'i annogaethau tyner, a gobeithio yr ymddengys yn nydd y farn "nad yn ofer y llafuriodd, ac nad am ddim y treuliodd ei nerth. Yn y cyfeiriad yma yn benaf yr wyf yn bwriadu llefaru am dano. Mae yn wir y rhaid i ni lefaru am dano gydag edmygedd a chariad; ond ceisiwn lefaru am yr oll oeddym yn ei edmygu ac yn ei garu ynddo, fel ag i ddyrchafu gogoniant a gras Duw, ac felly droi ei fywyd a'i farwolaeth yn *bregeth* i ni ar yr achlysur presennol. Caiff ef ein dysgu unwaith yn rhagor, ac eisteddwn ninnau megys wrth ei draed unwaith eto i wrando ar "yr hwn sydd wedi marw yn llefaru eto." Mewn un ystyr y mae pob

Digitized by Google

enaid ymadawedig yn llefaru eto—mae eu testyn a'u pregeth yr un—"Pob cnawd sydd wellt, a'i holl odidogrwydd fel blodeuyn y maes. Gwywa y gwelltyn, syrth y blodeuyn; canys Ysbryd yr Arglwydd a chwythodd arno: gwellt yn ddiau yw'r bobl," Esai xl. 6, 7. Dyma ran pawb. Pe bai yn frenin fel Saul, yn brophwyd fel Jeremiah, yn ddoeth fel Solomon, yn ffol fel Nabal, yn sanctaidd fel Isaac, neu yn halogedig fel Esai—"Pob cnawd sydd wellt."

Cafodd yr anwyl archddiacon hir ddyddiau i weled daioni. Cafodd ei ollwng yn y diwedd "mewn tangnefedd" fel Simeon,* "wedi gweled iachawdwriaeth Duw," ac y mae ef "wedi marw yn llefaru eto" mai "gwellt yn ddiau yw'r bobl." "Gwr Duw oedd efe." Yr oedd yn un o "gymmanfa a chynnulleidfa Eglwys y rhai cyntafanedig, y rhai a ysgrifenwyd yn y nefoedd." "Mewn ffydd y bu farw y rhai hyn oll" ac y maent hwy "wedi marw yn llefaru eto." A dywed St. Paul yn ein testyn pa fodd y maent yn llefaru eto. "*Trwyddi hi*," meddai am Abel, "y mae efe wedi marw yn llefaru eto:" "trwyddi hi," sef ffydd, fel y gwelwn oddi wrth ddechreu yr adnod. Am hyny, dywed yr apostol ei fod ef a'r holl dduwiolion, y rhai a gawsant gyffelyb werthfawr ffydd ag yntau, yn ffurfio cwmwl mawr o dystion o'n hamgylch ni—tystion, nid o'r hyn a *wneir* genym ni, ond o'r hyn a *wnaed* ganddynt hwy. A beth a wnaethant hwy? Edrychasant ar Iesu; rhedasant yr yrfa; cadwasant y ffydd. Felly y maent hwy "wedi marw yn llefaru eto." A baich eu cenadwri wythym ydyw, "Felly rhedwch fel y caffoch afael." I'r dyben yma yr ysgrifenodd St. Paul y bennod ogoneddus hon. I'r dyben yma y mae y saint ymadawedig "wedi marw yn llefaru eto." Nid oedd y rhestr yn gyflawn pan ysgrifenodd St. Paul y bennod: yr oedd ei enw ei hun a'i gyd-apostolion, ac enw llawer sant a chyffeswr i gael ei ychwanegu at y rhestr. Ac yn awr y mae yna enw arall, ag y gwyddom yn dda am dano er ys dros ddwy flynedd wedi ei ychwanegu ati, ac er "wedi marw yn llefaru eto."

Gadëwch i ni, ynte, wrando beth y mae—I. Ei fywyd; II. Ei gariad; III. Ei ostyngeiddrwydd; IV. Ei ffyddlondeb yn ei lefaru wrthm.

I. Beth yw lleferydd ei fywyd? Yr oedd yn ddisgynydd o un o hen deuluoedd mwyaf urddasol Ynys Fon, a bu fyw yn y mwynhâd o deimladau tyneraf ei gymmydogion tuag ato ar hyd ei oes. Ordeiniwyd ef yn ddiacon yn 1827, ac yn offeiriad yn y flwyddyn ganlynol. Maes cyntaf ei lafur oedd curadiaeth Llechylched a Cheirchiog, lle y llafuriodd yn ddiwyd am chwe mlynedd, ac yr adeiladodd ysgoldy genedlaethol ar dir a roddwyd i'r perwyl hwnw gan ei barchedig dad. Oddi yno symmudodd i Gaergybi, lle y cynnyddodd yr Eglwys yn fawr dan ei ofal, fel yr oedd rhif y cymmunwyr ar ei ymadawiad yn lluosocach na rhif y gynnulleidfa ar ei fynediad yno.

Yn 1844 gwnaed ef yn beriglor Heneglwys a Gwalchmai, a chyn pen dwy flynedd yr oedd wedi ail-adeiladu Eglwys y plwyf cyntaf, ac adgyweiriodd Eglwys yr ail blwyf ar ei gost ei hun, a chadwodd ysgolfeistr yno am lawer o flynyddoedd i addysgu plant y plwyf. Yn 1863 derbyniodd archddiaconiaeth Bangor, ac yn y swydd hon ennillodd barch ac edmygedd holl glerigwyr ei ofal, a chyflawnodd ei ddyledswyddau mewn ysbryd cariad ac addfwynder. Yn y flwyddyn 1867 derbyniodd bersonoliaeth y plwyf hwn, ac yn 1870 adgyweiriodd yr Eglwys yma, yr hon sydd yn un o'r rhai harddaf yn yr ynys.

Prif nodweddion ei fywyd oedd gonestrwydd amcan ac addfedrwydd barn. Nid amcanai at gyhoeddusrwydd. Ni cheisieu glod gan ddynion. Ni phregethai ei *hunan*, ond llefarai y gwir mewn cariad. Fel yna y mae efe drwy ei oes faith, gysson, a llafurus, er "wedi marw yn llefaru eto."

II. Beth yw lleferydd ei gariad? Y prawf mwyaf diymwad o wir ddysgybl i Grist yw cariad helaeth at ereill. "Wrth hyn y gwybydd pawb mai dysgyblion i mi ydych, os bydd genych gariad helaeth at eich gilydd." Yr oedd ef yn nodedig yn y gras hwn. Deuai ei ysbryd addfwyn a charüaidd i'r golwg ym mhob man ac o dan bob amgylchiad. Ac er fod y cylch uchel y troai ynddo mewn byd ac Eglwys yn ddigon i beri i ysbryd llawer un ymfalchïo ac ymddyrchafu, ond pwyso ar fynwes yr Iesu a wnai ef fel y dysgybl yr hwn yr oedd yr Iesu yn ei garu. Hir y parhao dylanwad ei ysbryd carüaidd yn ein mysg, fel y byddo i bob llid a dig, a rhagrith a chenfigen ddiflanu o'n mysg wrth wrando ar gariad yr hwn sydd "wedi marw yn llefaru eto."

III. Y mae yna wers arall eto i'w dysgu oddi wrth ei ostyngeiddrwydd. Yr oedd rhywbeth tarawiadol iawn yn ei ostyngeiddrwydd diymhongar. Teimlai dyn wrth ymddyddan ag ef, ei fod yn ymddyddan ag un oedd yn "ystyried ereill yn well nag ef ei hun." Yr oedd yr ymddygiad gostyngedig yma i raddau yn reddf naturiol

* Darlun o Simeon a'r baban Iesu yn ei freichiau sydd ar y ffenestr.

Digitized by Google

ynddo ef, ond harddwyd a pherffeithiwyd ni trwy ddylanwad "ysbryd gras a gweddïau. Ac fel hyn y mae efe "wedi marw yn llefaru eto." Dyma yn fyr ac heb ormodiaith ydoedd ei gymmeriad fel dyn, boneddwr, a Christion; ond beth a ddywedaf am dano fel gweinidog i Grist a goruchwyliwr ar ddirgeledigaethau Duw. Dim ond hyn—

IV. Ei fod yn ffyddlawn. "Yr ydys yn dysgwyl mewn goruchwyliwr gael un yn ffyddlawn." Tystion ydych chwi oll na phetrusodd erioed draethu i chwi holl gynghor Duw—nad anghofiodd erioed bwysigrwydd dyledswyddau ei gommissiwn mawr. Yr oedd yn ffyddlawn yn ei blwyf—wrth erchwyn gwely y claf yn gystal ag yng ngwasanaethau cyhoeddus y cyssegr: fel hyn y mae efe wedi marw yn llefaru eto wrthym ni, ei frodyr yn y weinidogaeth. Y mae yn llefaru hefyd wrth ei *braidd.* Y mae angeu yn rhoddi gallu a grym ychwanegol hyd yn od yng ngeiriau y gweinidog ffyddlonaf. Bydded felly gyda y cynghorion, y rhybuddion, a'r annogaethau a draddododd i chwi. Bydded felly gyda y gwirioneddau—yr athrawiaethau a gredodd a'r egwyddorion a garodd. "Y mae efe wedi marw yn llefaru eto."

Yn awr, frodyr, yr ydym wedi dilyn yr anwyl archddiacon i byrth y bedd. Yno y gorphwys yr hyn sydd farwol o hono "mewn gwir ddiogel obaith o'r adgyfodiad i fywyd tragwyddol," tra y mae y rhan anfarwol "gydag eneidiau y ffyddloniaid, wedi darfod eu rhyddhau oddi wrth faich y cnawd, mewn llawenydd a dedwyddwch."

Paham yr wylwn am y rhai
Sydd wedi cyrhaedd fry heb fraw
Yn rhydd oddi wrth bob poen a bai?
Maent eto'n fyw yr ochr draw.

Os rhoed eu cyrff i'r ddaiar ddu
I orphwys hyd y farn a ddaw,
Ehedodd eu heneidiau fry:
Maent eto'n fyw yr ochr draw.

Gan hyny, mi a ysgrifenaf, "O hyn allan gwynfydedig yw y meirw sydd yn marw yn yr Arglwydd: felly y dywed yr Ysbryd; canys y maent yn gorphwys oddi wrth eu llafur."

---

Gofynwyd unwaith i fachgenyn mud a byddar, "Beth yw gwirionedd?" Symmudodd ei fys mewn llinell *uniawn.* "Beth yw anwiredd?" Gwnaeth â'i fys symmudiad *gwyrgam.* Gwirionedd yw y llinell uniawn, anwiredd yw y llwybr gwyrgam.—*Colton.*

## LLAN CWM AWEN:

### NEU DDEFFROAD EGLWYSIG HANNER CANRIF YN OL.

#### PENNOD I

"Gwirionedd draethir mewn chwedlonaidd wisg,
Ac wrth ddifyru rhoddir gwersi dysg."

Flynyddau yn ol gorphwysai offeiriad ieuanc a phwys ei ben ar ei law a'i benelin ar ei fwrdd ysgrifenu mewn ystafell fechan yn un o brif drefydd Cymru. Ymddangosai mewn myfyrdod dwys, a gellid tybio wrth y dull anesmwyth yr edrychai weithiau at lythyr agored o'i flaen, ac yna at nen a muriau yr ystafell, ei fod yn methu dyfod i benderfyniad boddhaol ar y testyn a lyncasai ei feddylfryd ar y pryd. Edrychai yn lled welw ei wedd, a'r cnawd wedi curio ar ei wynebpryd, gan adael llinellau hirion a lled ddyfnion ar hyd y gruddiau lle blodeuasai rhosynau gwridog iechyd ac ireidd-dra ieuenctyd ychydig amser yn flaenorol. Pan yn gadael Rhydychain ryw saith neu wyth mlynedd cyn hyny, yr oedd y gwr ieuanc hwn yn hynod am lunieidd-dra ei gorff, harddwch ei osgedd, hoewder ei ysgogiadau, a iachusrwydd ei wedd, ac arddangosai yr un yni ac aiddgarwch yn rhwyfo ei gwch, ac yn rhedeg gyrfaoedd o ymdrechfa, ag a wnaethai yn ei efrydiaeth pan yn ymegnïo i gyrhaedd y dosbarth cyntaf yn y celfyddydau cain (*literae humaniores*). Ond buasai i lafur curadiaeth mewn dinas boblog, parotoi tair o bregethau yn wythnosol, ymweled â'r cleifion, a'r mil mân orchwylion sydd yn galw am sylw y gweinidog ffyddlawn, gyda rhoddiad heibio yr ymarferion corfforol yn llwyr, gan ymddiried i lafur y cerdded o dŷ i dŷ ar ymweliadau wneyd i fyny am y diffyg hwn, wanychu cyfansoddiad a ddaliasai faich efrydiaeth yr ysgolion a'r brif-athrofa. Felly yn ddeg ar hugain oed teimlai Llewelyn Llwyd ei hun yn colli ei nerth ac yn darfod yn ei wisgoedd. Yr ydoedd dan orfod ymadael o'i guradiaeth, a gwnaethid appeliad drosto gan y deon gwladol ac un o ganonau yr Eglwys at ar esgob yr iddo gael symmudiad i blwyf llai a gwasanaeth ysgafnach, lle y gallasai adnewyddu ei nerth. Atebiad yr esgob oedd yn awr o'i flaen, a chymmerwn y cyfleusdra hwn i'w gopïo. Rhedai fel y canlyn, ond ei fod yn Seisoneg:—

Y Palas, Llan,
Hydref 9fed, 1835.

Garedig Syr,—Y mae bywoliaeth Cwm Awen weithian yn wag, ac y mae yn hyfryd genym ei chynnyg i chwi, gan fy mod yn credu y bydd i hinsawdd y lle ddygymmod â'ch iechyd chwi, a'ch bod chwithau yn gymhwys i gymmeryd gofal y plwyf.

Digitized by Google

Y mae y fywoliaeth yn gant a hanner o bunnoedd yn y flwyddyn cyn taliad y trethi; ac y mae yno dŷ annedd a thair erw o dir, ond fod yr annedd mewn angen adgyweiriad, a bu y diweddar D. P., y ficer, farw heb adael dim eiddo ar ei ol.—Ydwyf, garedig Syr, yr eiddoch yn gywir, S. S.

Gwedi darllen ac ail ddarllen ac aros yn hir mewn dystaw-fyfyrdod uwch ben y llythyr uchod, cymmerodd yr offeiriad ieuanc ei bin ysgrifenu a dechreuodd osod i lawr y llythyr canlynol. Ond dylem ddweyd iddo fras amlinellu y llythyr, ysgrifenu a chroesi allan, ac ail ysgrifenu, brawddeg ar ol brawddeg, ar dair neu bedair dalen o bapyr cyn cynnyrchu yr isod, ac eto ni ryfeddwn ddim nad yr ymgais cyntaf oedd y goreu. Ond dyma yr argraffiad diweddaf:

W——,
Hydref 10fed, 1835.

Anwyl Angharad,—Yr wyf yn amgau i chwi heddyw lythyr a dderbyniais oddi wrth yr Esgob S. Y mae yn dangos teimlad caredig ataf a gofal am danaf, ac nis gwn pwy a osododd ar ddeall i'r esgob fod fy iechyd yn wan, ond ar yr un pryd, y mae y llythyr, fel ag y gallwch chwi yn hawdd weled, gwedi fy ngosod mewn sefyllfa gyfyng iawn. Y mae Cwm Awen yn un o'r plwyfydd mwyaf gwledig yn yr holl esgobaeth. Amgylchir ef bron yn gyfan gan fynyddoedd uchel o un tu, a chan fôr agored heb un porthladd iddo am dros bum milltir, oddi eithr un gilfach i ddau neu dri o gychod o'r tu arall. Y mae arwynebedd y plwyf yn fawr iawn, ond y tir llafur yn ychydig, a'r preswylwyr yn wasgarog a theneu iawn. Nid oes un uchelwr yn preswylio yn y plwyf, nac ar ei gyffiniau, nes cyrhaedd tref fechan D-n-s, ddeng milltir i'r Gogledd. Nis gwn a oes yno neb, oddi eithr ef allai ambell i hen gychwr, yn medru Seisoneg o gwbl. Yr wyf yn teimlo nad yw y cyfryw blwyf yn lle i chwi, a phe byddech gyda'ch parodrwydd arferol i aberthu eich tueddiadau personol yn barod i wynebu ar y fangre anghysbell, nis gallwn ofyn i'ch tad a'ch mam eich gollwng o ganol y gymdeithas y'ch dygwyd i fyny ynddi i'r fath unigedd ac unigolrwydd. Fy nheimlad personol mewn perthynas i'm rhwymedigaethau Eglwysig yw, y dylwn ar unwaith lenwi y safle a ymddiriedir i mi gan fy esgob, fel ag y cymmer y milwr ei safle gyda'i adran o'r fyddin, bydded hi gartref neu mewn bro estronol, heb ymofyn yng nghylch rhagddewisiad a manteision tymmorol; ond nid oes genyf hawl na thuedd i ofyn i chwi fabwysiadu fy rhwymedigaethau swyddogol i. Yr ydych yn ieuanc mewn dyddiau, a gall y Goruchaf agor drws i mi ddyfod eto yn ol i gymdeithas gyffelyb i'r hon a fwynhäwn yn bresennol, a lle y gallaf finnau, heb deimlo fy mod yn gofyn llawer o aberth cymdeithasol oddi ar eich llaw, geisio genych chwi a'ch rhieni yr aberth personol o honoch yn ol ein hymrwymiadau dyweddïol. Yr wyf yn amcanu derbyn cynnyg yr esgob, ond gofynaf iddo roddi i mi ychydig ddyddiau i'w dderbyn yn ffurfiol, ac os bydd genych air o sylw ar yr amgylchiad cyfyng hwn, bydd yn dda genyf ei gael. Ond un peth a ddymunwn ddweyd wrth ddiweddu yw, peidiwch â chymmeryd cam mewn un cyfeiriad heb gynghor neu gydwelediad cyflawn eich rhieni. Pa beth bynag a all fod eich rhwymau ammodol i mi, y mae eich rhwymedigaethau moesol a naturiol hyd eto yn aros tuag at eich rhieni; ac ni allwn esmwythäu dim ar ein gobenydd ein hunain trwy roddi draen yn eu gobenydd hwy. Gyda diffuant serch ac edmygedd.—Ydwyf, anwyl Angharad, yr eiddoch yn gyflawn,

LLEWELYN LLWYD.

Gwedi darllen y llythyryn drosodd fwy nag unwaith, a than ddylanwad yr un gwendidau neu gadernid serch ag sydd yn nodweddu plant Adda yn gyffredin dan yr un amgylchiadau, cusanodd y gwr ieuanc y llythyr, neu hwyrach yr enw yn ei waelod, amblygodd ef, cauodd a seliodd ef, ac yna gan gipio ei het aeth ag ef yn ofalus i'r *post*. Arosodd fynyd o flaen derbynfa y llythyrdy fel pe buasai yn dysgwyl gweled llaw ei anwylyd yn derbyn ei lythyr yno; ond fel un yn deffro o'i freuddwyd troes yn ol, ac nis gallwn ninnau fyned ym mlaen â'r hanes nes caiff yntau ateb.

## PENNOD II.

### *Offeiriad Cwm Awen.*

Y trydydd foreu gwedi dygwyddiad yr amgylchiadau a nodwyd yn y bennod flaenorol, deffröes adsain mynorddiad ("mynordd" ydyw yr enw a roddir ar *door knocker* yn un o'r Mabinogion) y llythyr-gludydd gyffro dyeithr ym mynwes Llewelyn Llwyd, a dechreuodd ei galon guro yn gyflym iawn pan ymddangosodd morwynig yn dwyn dyrnaid o lythyrau i'w gosod ar y bwrdd o'i flaen. Eto ymdrechai ymddangos a theimlo yn ddifraw, a hunanfeddiannol, ac fel cosp ar ei wendid neu wers o ddysgyblaeth ymarferol, troes o'r neilldu y llythyr mwyaf dyddorol iddo a nesaf at ei galon, a darllenodd ohebiaethau negeseuol byd a'i bethau yn gyntaf. Ond er rhedeg o'r llygaid dros y rhai hyn, yr oedd y meddwl a'r hoffder wedi ei gadwyno wrth y llythyr destlus, a'r llwybreiddiad o hono mewn llaw deg Italaidd, yn ol arddull boneddigesau yr oes. Cymmerodd hwn yn ei law, edrychodd yn fanwl ar y sel, yr hon a ddygai lun blaidd ar lawn rhediad; edrychodd hefyd ar farc y *post*, ond ni wiw i ni nodi hwn yn bresennol. Gwedi trethu ei amynedd ei hun, dyfalu beth a allai fod cynnwysiad y nodyn, agorodd ef yn ddestlus, a darllenodd ef yn ofalus. Dyma fras-gyfieithad o hono:—

Gelli'r Cogau,
Hyd. 11fed, 1835.

Anwyl Llewelyn,—Yr wyf yn brysio dychwelyd i chwi lythyr caredig yr Esgob S., a chredaf iddo gael ei anfon i chwi gyda'r amcanion goreu, a chan olygu eich lles yn llawn cymmaint a'ch defnyddioldeb. Yr oeddwn yn deall o'r blaen fod sefyllfa eich iechyd yn galw am radd o lacâd o leiaf ar eich llafur, ac egyr eich esgob i chwi ddrws yn bresennol i gyrhaedd yr amcan da hwn, a phwy a ŵyr nad offeryn amserol yn llaw Rhagluniaeth yw efe yn dwyn hyn oddi amgylch.

Digitized by Google

Dywedir i mi fod Cwm Awen yn blwyf iach a difyr ynddo ei hun, yn cyfuno awyron a golygfeydd amrywiaethol môr a thir, ac eto yn cael ei gysgodi mewn rhan oddi wrth wyntoedd gerwin dwyrain a gorllewin. Dangosais eich llythyr i'm tad, a'r unig sylw a wnaeth efe mewn hanner digrifwch oedd, nad ydyw Cwm Awen ddim mor anghysbell a Nugpoor yn India, lle y mae fy chwaer Ellin i fyned at ei gwr (Cadben Wynn o'r *Royal Artillery*) y mis nesaf. Ac am wraig offeiriad, os na allai fod mor hunanymwadol a gwraig milwr, gwell fyddai iddi ymgadw o'r safle na bod yn faen tramgwydd ynddi. Fel hen filwr ei hunan, chwi a welwch nad oes gan fy nhad un syniad ond dyledswydd bob amser, ac felly ni bydd i chwi gefnogwr mwy gwresog nag ef ar y llwybr hwnw. Am danaf fi, nid oes genyf ddim pellach i ddweyd na'm bod yn barod i gyflawnu fy ammodau yn y modd ac ar y pryd y bydd hyny yn gysur ac yn gymhorth i chwi, a gallaf eich sicrhau na bydd hyny yn ddim aberth. Gwell genyf, o ran fy nheimlad personol, fyned gyda chwi i'r plwyf anghysbell a'r gwaddoliad bychan, nag i'r plwyf cyfoethog a'r gymdeithas foneddigaidd. Gall y dosbarth boneddigaidd a da eu byd gael digon i'w gwasanaethu; bydd yn dda genyf finnau roddi'm gwasanaeth i'r iselradd.

Ymgynghorwch chwi â lles eich swydd a'ch iechyd; ac os wyf finnau i fod yn wraig i chwi, ymgynghoraf â'ch lles chwithau.—Ydwyf, fy anwyl Llewelyn, yr eiddoch yn ffyddlawn,

ANGHARAD E. CROSSFORD.

Nid rhaid dweyd i'r llythyr uchod roddi cyflawn foddhâd i Llewelyn Llwyd, ac er mai nid efe oedd y cyntaf i fyned drwy deimladau o'r fath, bron y gallai ymattal rhag addoli Angharad. Tybiai na fu dyn erioed mor ddedwydd ag ef. Torodd yr haul allan megys o gysgod cwmwl, a thywynai ar Gwm Awen nes ei oleuo drosto ar unwaith, a'i droi yn baradwys o'r fath brydferthaf a dedwyddaf: daeth yr ardal anghysbell yn encilfa ymbleseru—y preswylwyr gwledig yn fugeiliaid symlfoes a llawn dyddordeb, a'r plant a'r gwragedd yn fwy eu tlysni na'r tylwyth teg. Gwisgodd cyfaredd cariad yr holl olygfa a'r rhagddysgwyliad â'r fath swyn a dymunoldeb nes adnewyddu holl feddwl ac ysbryd Llewelyn Llwyd, ac ystyriai ei hun ar fyned i breswylio i gyssegrfa dedwyddwch a daioni. Cawsai afael ar rywbeth mwy gwerthfawr a mwy effeithiol na maen y gwyddonydd i droi pob peth o'i amgylch yn aur a pherlau. Aeth Llewelyn Llwyd trwy gylch y dyledswyddau yng nglŷn â symmudiad ei sefyllfa weinidogaethol, a chyfnewidiad ei gyflwr cymdeithasol a phersonol, yn dra thebyg i ereill dan gyffelyb amgylchiadau, ac nid awn i flino y darllenydd â'u manylion.

### YMWELED AG ANGHARAD.

Tra y rhagbarotoai Llewelyn Llwyd ar gyfer newid ei blwyf, dechreuai y son ymledu fod Angharad, Gelli'r Cogau, yn myned i briodi Curad Llan ———, ac i gartrefu gydag ef yng Nghwm Awen. Un o'r ymwelwyr cyntaf â hi o dan yr amgylchiadau tyner a dyddorol hyn oedd Miss Vaughan, Penllys—boneddiges o waedoliaeth uchel, hen linach enwog, a dygiad i fyny yng nghanol pob arddangosiad o fawredd o moethau. Gwedi ychydig o ragymgom caredig, ond yn amlygu peth sych-goegni dan gochl arabedd, dywedai Miss Vaughan, "Wele, Angharad, yr ydych ar fyned yn wraig offeiriad."

"Yr wyf dan ammodau i hyny," atebai Angharad, dan wrido nes ymddangosai ei gruddiau fel rhosynau, a gwyn ei thalcen a rhanau o'i gwddf fel y lili, a thaflu ias o genfigen trwy fynwes Miss Vaughan wrth weled mor dlos a dedwydd oedd yr enethig gariadus.

Ychwanegai Miss Vaughan, "Yr ydych yn credu fod Mr. Lloyd ar ei ffordd i'r gadair esgobol yn sicr, Angharad, neu ni buasech yn ymostwng i briodi gwr Eglwysig heb ganddo ddim eiddo. Y mae Mr. Lloyd bid siwr yn ysgolhaig, a gall dylanwad eich tad gael iddo ddyrchafiad i rai o blwyfydd goreu yr esgobaeth, ac ef allai eich bod yn meddwl y gellir ei ddyrchafu yn esgob."

"Maddeuwch i mi, Miss Vaughan," meddai Angharad, gan dwymo ychydig, "ni feddyliais i am ddim o'r fath beth erioed. Y mae Mr. Lloyd wedi ei benodi yn reithor Cwm Awen, ac yno yr wyf fi yn amcanu myned gydag ef; a gallaf eich sicrhau na feddyliais ddim erioed am safle uwch na gwraig offeiriad syml, ac ni bydd i'm tad byth symmud bys i ddylanwadu ar na phendefig nac esgob o blaid neb o'i deulu. Y mae yn amser i'r byd a'r Eglwys hefyd fyned ym mlaen heb nawddogaeth ffafriol yr uchrelradd. Dywed fy nhad mai ar faes y frwydr y mae ennill dyrchafiad. Felly ym maes llafur y mae grisiau dyrchafiad Eglwysig i fod, meddai efe."

"O," atebai Miss Vaughan, "y mae gan eich tad, Major Crossford, bob amser ryw syniadau hynod. Y mae'n debyg mai yn yr India, neu Spaen a Ffrainc, yn y rhyfel gyda'r Duc Wellington y cafodd hwy. Ond yn sicr nid yw yn cymmeradwyo i chwi fyned i gongl mor ddinad-man a Chwm Awen. Nid yw yn agos i un lle. Y mae gan fy ewythr, Syr R. Vaughan, ran o fynydd yno, ac ni welodd le erioed mor unigol. Pe buaswn i chwi, Miss Crossford," ychwanegai, "ni buaswn byth yn addaw myned i'r fath le heb ei weled."

Atebai hithau, "Y mae fy chwaer yn myned i Nugpoor, yn India, heb ei weled; ac fel y dywedodd fy nhad, nid yw Cwm Awen mor bell a Nugpoor."

"Ond," atebai Miss Vaughan yn fuddugoliaethus, "y mae Cadben Wynn yno yn barod, ac y mae

Digitized by Google

rhagor mawr rhwng y fyddin a'r Eglwys. Gall Mrs. Cadben Wynn gael pob gwasanaeth, ac y mae moddion arianol y cadben gymmaint yn fwy na chyflog curad. Mewn plwyf tlawd fel Cwm Awen, rhaid i chwi gadw Mr. Lloyd, yn lle Mr. Lloyd eich cadw chwi, Miss Crossford."

Braidd y gallai Angharad ateb ei hen gyfeilles heb ymddangos yn anfoesgar, o herwydd teimlai ei hysbryd yn gwresogi bron, ond llwyddodd i ddweyd yn lled dawel, "Chwi a wyddoch, Miss Vaughan, na bydd ar wraig offeiriad gwledig eisieu llawer o foethau, ac er fod gan fy nhad ddigon o foddion, dysgodd i ni oll fyw heb foethau, ac yr wyf finnau yn ddigon parod i wynebu ar fywoliaeth syml yr offeiriad gwledig."

"Wel," ebai y gyfeilles sychlyd, gan amcanu bod yn rasol iawn, "yr wyf fi yn dymuno i chwi bob hapusrwydd; ac er eich bod yn myned ym mhell, ef allai mai ffordd gwmpasog ydyw yn myned ar ei hunion i'r palas. Boreu da i chwi, Angharad."

"Ac i chwithau, Miss Vaughan," ebai hithau, gan deimlo ei mynwes yn ymryddhau, a chael ei hun yn anadlu yn rhwydd. "Pa ham, yn enw rheswm," meddai Angharad wrthi ei hun, "na allai boneddigesau fel hyn ymweled â'u gilydd heb ymdrechu planu drain ym mynwesau neu obenydd y naill y llall? Onid digon iddynt sugno eu dedwyddwch o'u ffynnonau eu hunain heb chwerwi y dwfr yn llestri bychain eu cymmydogion?"

(*I'w barhau.*)

---

## GWAWL MEWN GWYLL.

Rhwng helyg glyn angeu
Sy'n taflu cysgodau
  Pruddhaol dros wyneb y llawr,
Daw heulog belydrau
Ar flodion y llethrau
  Bereiddiant y fangre â'u sawr.

Ar gangau ymblygol
Y coed galarnadol,
  Lle sibrwd y lleddfwynt ei gŵyn,
Aderyn perorol
Rydd gân lawenychol,
  A'i seiniau yn orlawn o swyn.

At ddeigryn ein hafar
Daw'r gwlithyn yn llachar,
  A drych o'r dihalog yw ef;
Mae gwynfyd mewn galar—
Uwch *angeu* a *daiar*
  Yn wastad ceir *bywyd* a *nef!*

Na wylwn heb obaith
Am rai sy'n myn'd ymaith
  Hyd lwybrau dirgelaidd y glyn:
I'r Cristion ddaw'n berffaith,
Os du ydyw'r ymdaith,
  Mae bywyd Paradwys yn wyn!

BERW.

---

## YR EGLWYS.

DYMA air sydd yng ngeneu pawb, pa un ai er drwg neu er da. Y mae cryn gefnogaeth i ysgrifenu ar y fath bwnc a hwn, o herwydd yr ydym yn byw mewn oes dra chrefyddol. Y mae pawb yn cymmeryd dyddordeb mewn crefydd. O senedd-dŷ St. Stephan i lawr i senedd fechan y pentref gwledig, y pwnc mawr dyddorol ydyw crefydd. Bron nad ymladdwn yng nghylch crefydd. Nid dyma y ffordd fwyaf dymunol, nac ychwaith y fwyaf crefyddol o ddangos ein crefydd; ond modd bynag, nid ydyw pobl yn ymladd os na fydd y ddwy blaid o ddifrif yng nghylch yr hyn a ymladdant drosto, fel y mae, hyd yn nod ein brwydrau yn dangos mor grefyddol ydyw yr oes. Treulir hyd yn nod symiau mawr o arian i ymladd yng nghylch crefydd. Nid ydyw y Cymro yn gyffredin yn hoffi treulio ei arian heb gael rhywbeth yn eu lle; ond fe geir cannoedd o Gymry yn barod i dreulio miloedd o bunnau i ymladd yng nghylch crefydd. Gwell fuasai i bobl garu eu gilydd, ond modd bynag rhaid i ddynion fod o ddifrif; o leiaf, felly y ceir dynion i feddwl yng nghylch yr hyn a ddywedir ar bwnc o'r fath.

Nid ammhriodol ef allai fyddai troi golwg yn ol ar *egwyddorion sylfaenol*, fel y gwnaeth trigolion Ephesus gynt yn amser St. Chrysostom; ond rhaid i'n hegwyddorion sylfaenol fod y cyfryw ag sydd yn perthyn i gyfansoddiad yr Eglwys, ac nid i ymddygiad moesol yn unig. A oes yna, ynte, egwyddorion sylfaenol at ba rai y gallwn droi yn ol? Yn ffodus y mae dwy i'w cael y rhai a dderbynir gan bawb, a'r rhai a allant ein cynnorthwyo; sef, yn gyntaf, yr Ysgrythyr, ac yn ail, Person Crist. Ar y ddwy egwyddor yma gadëwch i ni ofyn, pa beth ydyw yr Eglwys—Pa beth ynddi ei hun? Pa beth fel cymdeithas? Pa beth ei llywodraeth? Pa beth ei deddfwriaerh? Pa beth ei dysgyblaeth? Pwy a

Digitized by Google

pha beth ei lleygwyr? Pa beth, ynte, ydyw yr Eglwys? Rhaid chwilio am yr ateb yn ei tharddiad. O ba le y mae hi yn dyfod? Y mae yr Eglwys yn dyfod oddi wrth Dduw. Os ceisiwn roddi unrhyw ateb arall, y mae yn fethiant. Ei doniau, doniau oddi wrth Dduw ac nid neb arall ydynt. Os nad ydyw hi oddi wrth Dduw, hi ydyw y twyll mwyaf. Yn Eden, ar ol y cwymp, sefydlwyd hi ganddo Ef. Yn amser y patriarchiaid o dan y gyfraith, pa un ai yn ystod bywyd Moses neu o dan y barnwyr, breninoedd, a phrophwydi, Efe a'i chynnaliodd ac a'i haddasodd hi. O'r diwedd, yn ei Uniganedig Fab, cymmerodd ei hagwedd bresennol.

1. Pa beth, gan hyny, ydyw Eglwys Crist? Yr Eglwys ydyw Crist, medd St. Paul, ac y mae efe yn awdurdod dda. Nid yn unig y mae ei eiriau yn eiriau yr Ysbryd Glân, ond y mae efe yn gywir yr un o'r cenadon nefol anfonedig hyny ag y mae eu tystiolaeth uwch law ammheuaeth. Yr Eglwys ydyw Crist: "Canys fel y mae'r corff yn un, ac iddo aelodau lawer, a holl aelodau'r un corff, cydbyddont lawer, ydynt un corff; felly y mae Crist hefyd. O herwydd trwy un Ysbryd y bedyddiwyd ni oll yn un corff . . . ac ni a ddiodwyd oll i un Ysbryd," 1 Cor. xii.

2. Beth, gan hyny, ydyw Crist? Duw-ddyn ydyw Efe: "Y Gair a wnaethpwyd yn gnawd." Efe ydyw y tragwyddol Dduw; Efe hefyd ydyw "Had y wraig." Yr had oedd i syrthio i'r ddaiar a marw, a thyfu i fyny yn bren mawr, a llenwi yr holl ddaiar. Efe a ddaeth fel Duw personol, gan egluro y Drindod i'r byd. Anfonodd y Tad Ef: "Ni welodd neb Dduw erioed; yr Uniganedig Fab yr Hwn sydd ym mynwes y Tad, Hwnw a'i hysbysodd Ef." Dyma y Crist hwnw am yr Hwn y dywedir gan St. Paul, mai yr Eglwys ydyw Crist—"cyflawnder yr Hwn sydd yn cyflawnu oll yn oll."

3. Yr Eglwys ydyw corff Crist. Pa fodd ynte? Trwy ei hanfoniad: "Megys y danfonodd y Tad fi, yr wyf finnau yn eich danfon chwi," St. Ioan xx. 21. "Bod Duw yng Nghrist yn cymmodi y byd ag ef ei hun, heb gyfrif iddynt eu pechodau, ac wedi gosod ynom ni air y cymmod," 2 Cor. v. 19. "Megys pe byddai Duw yn deisyf arnoch trwom ni, yr ydym yn erfyn dros Grist, cymmoder chwi â Duw." Duw Fab, ynte, ddaeth allan i egluro Duw i ddyn. Efe a gymmerodd at ei Ddwyfol Berson ein dynoliaeth, gan fod yr un a'r unrhyw berson ym mhob un o'r ddwy natur, eto yn cadw y ddwy natur ar wahân yn yr un person, fel y byddai iddo egluro Duw i ddyn trwy gyfranu i ddyn, trwy ei ddynoliaeth ei Hun, y gallu i fod yn gyfranog o'r ddwyfol anian. Wedi ei berffeithio a'i ogoneddu fel dyn yn ei ddyoddefaint a'i adgyfodiad, Efe a adawodd ar y ddaiar ei Eglwys, ei gorff ei Hun, yn gynnwysedig o aelodau bywiol, wedi eu cenedlu gan adenedigaeth ysbrydol a genedigaeth oruwchnaturiol: yn cael ei phreswylio gan ei Ysbryd ei Hun i fod yn eglurhâd parhaol o Dduw, gan fyw ynddi ar y ddaiar er mwyn hyny.

Pa beth ydyw bywyd yr Eglwys? Ei bywyd ydyw Crist: "Eithr byw ydwyf; eto nid myfi, ond Crist sydd yn byw ynof fi." Ei nerth ydyw Crist; Crist ydyw yr un sydd yn gweithio ynddi. Ei swydd ydyw dwyn tystiolaeth i Grist: tystiolaeth yr Iesu ydyw ysbryd prophwydoliaeth. Mae i fod mor wirioneddol gynnrychiolydd o Grist, fel y mae pawb sydd yn derbyn neu yn gwrthod y rhai ag y mae Efe yn a thrwyddi hi yn eu hanfon, yn derbyn neu yn ei wrthod Ef. Ei llywodraeth, ei goruchwyliaeth, ei gallu i wneuthur deddfau, ei gweithred symlaf ei eiddo Ef ydyw. Ei eiddo Ef ydyw y bywyd ym mhob rhan, yn gyflawn yn yr aelod distadlaf yn ogystal ag yn y cyfan-gorff: megys ag y mae y llinynau meinaf yn ein cyrff yn gweithredu trwy rinwedd yr un bywyd ag sydd yn rhoddi cyffro yn yr ymenydd, felly gyda Christ yn ei Eglwys. Y mae yn byw ac yn gweithredu yr un fath yng ngeirwiredd y plentyn bach ag ydyw yn noethineb y Cynghor Eglwysig eangaf. Ym mhob un yn ol cyfartaledd y weithred ceir bywyd Crist. Felly hefyd bywyd pob esgobaeth ar ei phen ei hun, bywyd Crist ydyw mor berffaith ar gyfer yr esgobaeth hòno ag ydyw bywyd corfforol y cynghor ar gyfer gwaith y gynghorfa. Hyn neu ddim ydyw yr Eglwys. Dwyfol o ran ei genedigaeth, ei chynnydd, a'i bywyd. Lle bynag y mae hi, a pha beth bynag ei chyfoeth neu ei chyfyngder, nid ydyw ond ein Harglwydd wedi ei amlygu yng ngwendid ein cnawd. Hyn ydyw ei natur ddwyfol a'i rhagorfraint yn rhinwedd ei tharddiad oddi wrth Dduw. Nis gall golli y natur hon ond trwy gael ei diddymu—trwy beidio â bod. Hanfod dynoliaeth ydyw bod yn ddelw Duw; felly yn gyffelyb hanfod Eglwys ydyw bod yn ddelw Duw wedi ymddangos yn y cnawd—Crist, ei gorff yr hwn ydyw yr Eglwys, dros yr hon y teyrnasa yn y nefoedd, a'r hon sydd yn eistedd gydag Ef yno. Gall fod wedi darostwng ei hun i'r byd, neu fod wedi ei chaethiwo gan y byd; ond erys ei natur nefol yn rhydd i ysgwyd ymaith ei llyfetheiriau pan y myno Duw. Gall dyn fod yn gaethwas, ond y mae delw Duw arno er hyny; a phan y myno Duw ddryllio y llyfetheiriau, saif allan ar lun

Digitized by Google

yr hwn a'i creodd. Felly hefyd y gwna yr Eglwys. Nis gall dyn wneuthur Eglwys, er y gall ffurfio crefydd; canys crefydd dynol ydyw, dim ond coel. Gall dyn wneuthur hyn, ond gwneyd Eglwys nis gall, fel y dywed Berw—

"Eglwys Ion! mae'r gwael syniad—o'i difa
'N groes i'w dwyfol darddiad;
Sai' 'n *Duw* i'r Eglwys yn Dad,
Ond *dynion* fu'n gwneyd enwad."

Hyn, ynte, ydyw ffrwyth ein hymchwiliad cyntaf. Yr Eglwys o Dduw y mae, wedi ei chreu yn Eden, wedi ei diogelu a'i haddasu i amgylchiadau o dan y patriarchiaid, y ddeddf, y breninoedd, a'r prophwydi; wedi ei hamlygu yn gyflawn yn Nuw Fab, yn bodoli yn y byd fel estyniad o'r ymgnawdoliad, y bywyd parhaol ymgnawdoledig hwn.

"Yr Eglwys fel cymdeithas" gaiff fod ein hystyriaeth nesaf.

CRAIG Y LLAN.

---

## OLDREM AR Y FLWYDDYN 1890.

WRTH daflu oldrem ar y flwyddyn ddiweddaf, teimlwn fod arnom rwymau mawrion i ddiolch am lawer o drugareddau tymmorol ac ysbrydol. Cawsom ein cadw a'n bendithio â llawer o drugareddau yn ystod y flwyddyn, ac yn ol pob golwg mae gwlad ac Eglwys wedi ennill tir yn y cyfnod dan ein sylw. Cymmerwn olwg ar brif ddygwyddiadau y flwyddyn, gan ddechreu gyda'r Eglwys.

### LLYS YR ARCHESGOB, LAMBETH.

Un o'r materion mwyaf pwysig a gymmerodd le mewn cyssylltiad â'r Eglwys yn y deyrnas hon oedd erlyniad esgob Lincoln yn Llys yr Archesgob, a'r ddedfryd a gyhoeddwyd ganddo ef ar ddydd Gwener, yr 21fed o Dachwedd diweddaf. Mewn byr grynoad nis gellir rhoddi un amgyffred o eangder y pwnc mewn dadl. Y mae y ddedfryd ei hun yn llenwi dwy golofn ar hugain o'r newyddiadur, *Guardian*, mewn llythyren fân, ac y mae y cyfeiriadau at yr awdurdodau tu cefn i'r ddedfryd yn llenwi naw colofn yn ychwaneg. Yr oedd gan yr Archesgob fel cynnorthwywyr bum esgob arall, a'r ficer-general, a nifer dda o brif gyfreithwyr Eglwysig y deyrnas. Y mae yn annichonadwy i'r lleiaf ei ddysg beidio gweled yn yr achos ol llafur a dysg nas gellir yn ddigonol ei amgyffred. Ni arbedwyd llafur i ffurfio barn uniawn. Ond y pethau penaf y dymunem alw sylw atynt yw—(*a*) Mai dyma y tro cyntaf er ys amser maith i esgob gael ei osod ar brawf ger bron yr Archesgob a'i gynnorthwywyr. Dadleuwyd yn erbyn yr Archesgob i ddechreu, ond cadarnhawyd yr awdurdod. (*b*) Cwynion o droseddau defodol oedd yr achos o'r ymgyfreithio, a llys Eglwysig digymmysg ydyw Llys yr Archesgob. Ni ellir dadleu yn erbyn ei awdurdod Eglwysig. (*c*) Seiliwyd y ddedfryd ar seiliau defod ac arfer Eglwys Loegr, a deddfau y deyrnas hon. Y pwnc mawr o flaen Llys yr Archesgob oedd, nid pa beth a orchymmynwyd yn rhuddellau (neu reolau defod) amser y Diwygiad, ond hefyd pa beth a *waharddwyd* o'r arferion cyntefig. Fe welir ar unwaith oddi wrth daflen y cyfeiriadau at yr awdurdodau yr ymgynghorid â hwy, eu bod yn cyrhaedd mor bell yn ol a dechreu y drydedd ganrif ar ddeg. Y mae yn amlwg yr ystyriai yr Archesgob a'i lys mai (1) tyfiant amser oedd defod neu arfer; (2) fod arfer y naill oes yn taflu goleuni ar y llall; (3) fod pob defod neu arfer yn gyfreithlawn ar ol ei sefydlu hyd nes y gwaherddid y cyfryw gan y gyfraith Eglwysig neu wladol, neu y ddwy. Barn wedi ei seilio ar y gyfraith Eglwysig a'r deddfau seneddol yng ngoleuni hanesiaeth yr oesau ydyw dedfryd Llys yr Archesgob, ac y mae yn deilwng o ystyriaeth ddifrifol pob Eglwyswr, a hyny yng ngwyneb yr ol-nodion difrifol a'i canlyna. Dyma y geiriau:—

"CYNGHOR HEDD.

"Y mae llys o'r fath natur a chyfansoddiad a'r llys hwn, gan fod ganddo ddyledswyddau eangach tuag at y pleidiau mewn dadl, a'r rhai hyny yn ddyledswyddau anwahanadwy oddi wrth y safle (safle esgobion) a'u gosodasant yn farnwyr, yn ystyried eu hunain yn rhwym i sylwi yn fyr mewn perthynas i'r achos hwn—

"1. Er y gall pobl grefyddol pan y brifir eu teimladau hwy deimlo dan rwymau i ddyfod ym mlaen fel tystion yn y fath achos a hwn, eto nid yw yn weddus i bobl grefyddol gyflogi tystion i ymwthio i addoliad pobl ereill gydag amcan ysbiwyr. Wrth ddadgan y syniad hwn, nid ydyw y llys yn bwriadu beirniadu y tystiolaethau eu hunain, y rhai a ddygwyd ym mlaen yn yr achos presennol.

"2. Teimlai y llys yn ddwfn nid yn unig yr anghyssondeb o gyfodi cwestiynau a dadleuon ar fanylion bychain mewn pynciau mawrion a chyssegredig, ond dymuna ddadgan ei syniad fod amser a sylw yn cael ei droi oddi wrth ymdrech wirioneddol yr Eglwys yn erbyn drygau, ac oddi wrth adeilad-

Digitized by Google

aeth mewn daioni, gan y rhai a roddant a'r rhai a gymmerant dramgwydd diangen yn y cyfryw bethau.

"3. Y mae gan y dyfarniad apostolaidd yr un berthynas â'r materion hyn ag sydd ganddi â materion ereill o ddefodaeth; hyny yw, nad ydyw yr oll ag y bernir yn gyfiawn eu bod yn gyfreithlawn ddim ar sail y rheswm hwn yn dyfod yn fuddiol a chymhwys.

"4. Un o'r ordinhadau dwyfol ag sydd yn etifeddiaeth i'r Eglwys i ddwyn oddi amgylch frawdol undeb dynolryw ydyw addoliad cyhoeddus."

Y mae gan yr Eglwys felly hawl i ofyn na byddo i'w chynnulleidfaoedd gael eu rhwygo ar un llaw gan arferion diangenrhaid, ac ar y llaw arall gan ddrwgdybiaeth eithafol o arferion heb fod ynddynt eu hunain yn anghyfreithlawn. Y mae y naill dueddiad fel y llall yn hollol groes i'r dymuniad dwfn ac eang sydd yn ymgodi am gyd-ddealltwriaeth o bob tu. Yr offeiriaid ydyw hyrwyddwyr a meithrinwyr naturiol y reddf ddwyfol o "ddilyn y pethau a berthynant i heddwch, a'r pethau a berthynant i adeiladaeth ein gilydd."

Gwelsom feirniadu y dyfarniad dan sylw o'r ddau du, ond rhaid i ni ystyried y cynghorion diweddol fel rhai doeth a gwir apostolaidd. Y mae pob dyn a symmudo y rhwystr lleiaf oddi ar ffordd duwiol undeb yn parotoi y ffordd o flaen wyneb yr Arglwydd, ac y mae y neb a dramgwydda un o rai lleiaf Crist yn pechu yn ei erbyn Ef. Rhyddid mewn rhwymau ac amrywiaeth mewn undeb, ydyw nod y cynghorion uchod.

### Y GENADAETH DRAMOR.

Y mae Cristionogaeth Prydain yn parhau yn fwy blaenllaw na'r eiddo un wlad arall mewn ymdrech i ledaenu yr Efengyl mewn gwledydd paganaidd. Bu y flwyddyn ddiweddaf yn un dra llwyddiannus yn yr ystyr yma. Yn ol y cyfrif diweddaf, gwariwyd ar genadaethau tramor fel y canlyn:—

| | p. |
|---|---|
| Cymdeithasau Eglwys Loegr ... ... | 523,236 |
| Cymdeithasau unedig yr Eglwys a'r Anghydffurfwyr ... ... ... | 217,963 |
| Cymdeithasau Ymneillduol Lloegr a Chymru | 364,652 |
| Presbyteriaid Scotland a'r Iwerddon ... | 185,646 |
| Cymdeithasau Pabyddol ... ... | 9,819 |
| | 1301,316p. |

O'r cyfanswm uchod ystyria Canon Scott Roberts, un o'r awdurdodau goreu ar y fath bwnc, fod yr Eglwys Sefydledig wedi cyfranu 670,000p.

Y mae corff y Methodistiaid Calfinaidd eleni yn dathlu jubili eu cenadaeth dramor, ac yn ymdrechu casglu cronfa o gan mil o bunnau tuag at helaethu maes eu llafur gyda phob arwydd o gyrhaedd eu hamcan. Y mae ym mysg y tanysgrifwyr enwau cyfranwyr tywysogaidd.

### CYNLLUN GENERAL BOOTH I EFENGYLU I'R TLODION.

Symmudiad mawreddog arall tuag at efengyleiddio gwehilion y gymdeithas ddynol yn ninas Llundain yn neillduol ydyw cynllun *miliwn punnau* General Booth, i gyfodi y dosbarth truenus yma o gwterydd meddwdod a llygredd i gymdeithas wareiddiedig. Parodd ei lyfr, "*In Darkest England*," gyffro nid bychan ym mysg dyngarwyr o bob gradd a phroffes Gristionogol, drwy y darlun byw, grymus, teimladwy a ddyry o drueni ac anfoesoldeb segurwyr, crwydriaid, a chymmeriadau newynog a llygredig y deyrnas Gristionogol hon. Paentia General Booth eu cyflwr gyda nerth a grymusder Carlyle, a chyda thynerwch yr Esgob Beveridge. Nod General Booth yn ei amcan-gynllun ydyw creu gobaith yng nghalonau y trueiniaid trwy fyned i'w mysg fel brodyr, megys y gwna Byddin yr Iachawdwriaeth, ac ar yr un pryd agor drysau o ymwared cymdeithasol iddynt, megys ymborth i'r tlawd newynog, ymgeledd i'r afiach, ysgolion diwygiadol i'r troseddwyr edifeiriol, anneddau mewn lleoedd iach i'r rhai digartref, gwaith i'r rhai galluog i lafurio, a moddion cysuron, adeiladaeth, a mwynhâd ysbrydol i'r oll. Gofyna General Booth am filiwn o bunnau i gychwyn y gwaith da hwn ar seiliau digon eang a diogel i'w gario allan yn effeithiol.

Er fod gan yr Eglwys Sefydledig, y Pabyddion, a'r Anghydffurfwyr gymdeithasau yn llafurio ym mysg y dosbarth truenus dan sylw, nid ydyw eu hymdrechion yn ymddangos o bell ond megys nifer o lanteri ar lwybrau y nos yn heolydd culion Llundain. Myn General Booth lenwi yr oll megys â lampau ar unwaith, a chyffroi holl lochesau anwiredd yng nghyd, gan hudo allan y rhai a ymguddiant o'u mewn i oleuni; ac y mae prif ddyngarwyr y deyrnas, o'r Archesgob a Cardinal Manning, a phrif flaenoriaid y gwahanol enwadau, hyd yr anffyddwyr, yn cefnogi ei ymdrech, ac y mae eisoes dros bedwar ugain mil o bunnau wedi eu haddaw iddo at yr achos. Nid oes a wnelom â beirniadu y gwaith, na prophwydo pa beth a ddaw o hono; ond gallwn ddysgu oddi wrtho fod calonau miloedd o ddyngarwyr yn y deyrnas hon yn teimlo i'r byw dros drueiniaid y tir, ac yn barod i wneuthur aberth mawr i'w llesäu. Y mae General Booth, o fewn yr ugain



Digitized by Google

mlynedd diweddaf, wedi gwneuthur pethau mawrion ym mysg dosbarth isaf cymdeithas drwy y byd. Y mae yn meddu ar y gallu i greu ymddiried, ennyn brwdfrydedd, trefnu, a mynu ufudd-dod. Unbenaeth *filwrol* ydyw ei gyfundrefn grefyddol, ac y mae ganddo yntau allu *Bonaparte* i gynnyrchu cydweithrediad, hunan-aberth, a defosiwn personol. Gall dyn o'r fath yma gychwyn pethau mawrion. *Un* dyn sydd bob amser yn cychwyn symmudiadau grymus, gan anadlu, megys o'i ysbryd ei hun, yni a gwres i eneidiau ei ganlynwyr.

GWADDOLIADAU BYDDIN YR IACHAWDWRIAETH.

Tuag ugain mlynedd sydd er pan gychwynodd Byddin yr Iachawdwriaeth ei gyrfa, ac y mae eisoes mewn meddiant o waddol fel y canlyn:—

| | p. |
|---|---|
| Ym Mhrydain Fawr ... ... | 377,500 |
| Canada ... ... ... | 98,728 |
| Australia ... ... ... | 86,251 |
| New Zealand ... ... ... | 14,798 |
| Sweden ... ... ... | 13,598 |
| Norway ... ... ... | 11,676 |
| South Africa ... ... ... | 10,401 |
| Ffrainc a Switzerland ... ... | 10,000 |
| Holland ... ... ... | 7,188 |
| Unol Daleithiau America ... ... | 6,601 |
| India ... ... ... | 5,537 |
| Denmark ... ... ... | 2,340 |
| | 644,618p. |

*Review of Reviews*, tud. 392, Hydref, 1890.

UNDEBAU LLAFUR A SYMMUDIAD YR WYTH AWR Y DYDD.

Bu aml ysgarmes galed y flwyddyn ddiweddaf rhwng yr undebau llafur a'r meistri gwaith a chwmnïon dros holl faes llafur y byd; ac yn nechreu y flwyddyn ennillodd yr undebau llafur y frwydr, ym mhorthladd Llundain yn neillduol. Ond bu yr ail frwydr yn Awstralia yn anffodus i'r eithaf i lafur. Collodd "marchogion llafur" y maes yn llwyr yn Unol Daleithiau America; a'r un dynged fu i heddgeidwaid a gweision y llythyrdai, gyda gweithwyr y gwaith nwy (*gasworks*) yn Llundain. Bu ysgarmes ffyrnig dros ychydig ddyddiau ar ffyrdd haiarn deheubarth Morganwg, ond terfynodd drwy gymmeryd a rhoi o'r ddau du. Bu i'r brwydrau hyn ddirfawr beryglu masnach y wlad, a rhai o'r gwersi a ddysgir i ni drwyddynt ydyw, "Mai trech gwlad nag arglwydd." Pa le bynag yr oedd teimlad y wlad fel cyfangorff o blaid yr undebau, yr oedd eu *strikes* yn llwyddo; a lle bynag y byddai yn erbyn, yr oedd yn aflwyddiannus. Y mae yr holl wlad yn *fwy* nag unrhyw *run* o honi, ac ni all *un* blaid ddim *gorthrymu* yr oll. Llesiant masnachol a'r syniad o gyfiawnder ym mynwes y lluaws ydyw ceidwaid goreu iawnderau gweithwyr a meistriaid gwaith. Nid yn erbyn eu gilydd y mae gweithwyr Prydain yn cydymgeisio, ond yn erbyn gweithwyr y byd oll.

WYTH AWR Y DYDD.

Y mae y symmudiad hwn wedi dyfod i guro wrth ddrws y Senedd. Mae wyth awr y dydd yn ddigon i ddyn lafurio mewn llawer math o waith, megys mewn ffwrneisiau ac o dan y ddaiar, ac mewn llawer caledwaith neu gaswaith arall; ond ni ellir cyfyngu oriau dyledswyddau y rhan fwyaf o weithwyr i wyth awr heb yr anghyfiawnder mwyaf. Y mae *puddler* yn colli mwy o chwys a gwario mwy o'i nerth mewn pedair awr nag a wna llawer llanc gweini mewn mis, oddi gerth amser cynauaf. Da genym weled meibion y chwys wyneb a'r llafur gewynol yn dyrchafu fel dosbarth, gan *lefelu i fyny* i sefyll ysgwydd yn ysgwydd gyda'u brodyr sydd wedi cael y blaen arnynt mewn *addysg ac eiddo*. Ond drwy hunanymddiried, darbodaeth, diwydrwydd, a chymmedroldeb a sobrwydd, a thrwy gynnilo a bod yn alluog i gymmeryd rhanau mewn cwmnïon, y llwyddant i *reoli llafur*.

GWLEIDYDDIAETH DRAMOR.

*Ewrop*.—Er fod yr oll o genedloedd Ewrop yn dal i ymarfogi, y mae yr awyrgylch wleidyddol wedi goleuo llawer yn ystod y flwyddyn. Teimlir fod y perygl o ryfeloedd mawrion yn llawer llai nag yr oeddynt. Y mae y cynghrair cadarn rhwng Germani, Awstria, ac Itali yn wrthglawdd cryf rhag i Rwssia na Ffrainc ryfygu tori ar yr heddwch, a hyny yn fwy gan y gwyddys fod Lloegr o ochr y pleidiau heddychol.

*Unol Daleithiau America*.—Un o ddygwyddiadau mawrion America oedd pasio Mesur Diffyn Dollau McKinley, yr hon sydd yn dyblu y doll a godir ar lawer iawn o'r nwyddau a gludir o wledydd ereill i America. Amcan y mesur hwn yw cyfodi cymmaint o dollau ar nwyddau gwledydd ereill fel na allent gael gwerthiant yn America, a thrwy hyny ddenu cwmnïon arianog y fath weithydd yn Lloegr i gyfodi llaw-weithfëydd neu *factories* yn yr Unol Daleithiau i wneuthur y nwyddau yno, lle y caent eu gwerthu heb dalu toll. Proffesid mai darparu gwaith a

Digitized by Google

chyflog da oedd cais y Blaid Werinol wrth gefnogi y mesur. Ond yr oedd y Democratiaid yn erbyn y mesur hwnw; ac yn yr etholiad a ddilynodd yn lled fuan, hwy a ennillasant fwyafrif aruthrol. Ni wyddys pa beth a fydd canlyniad hyn. Dysgwylia rhai y bydd yn rhaid newid mesur y tollau afresymol, ac fod cyfnod masnach ryddach yn nesu; ond ychydig o arwyddion sydd. Ar yr egwyddor hunanol y gweithredir yno hyd eto.

*Taleithiau Deheuol America.*—Cyffröus iawn fu cyflwr y taleithiau pabyddol a hanner Hispanaidd hyn. Diorseddodd blaenoriaid milwyr Brazil eu hymerawdwr, un o ddynion goreu yr oes, a sefydlasant weriniaeth mewn enw, ond math o lywodraeth clymblaid ydyw hyd yn hyn.

Bu tair gweriniaeth arall nad ydynt braidd yn werth eu henwi, yn rhyfela â'u gilydd yn ffyrnig, dan y broffes o geisio *undeb agosach*. Clywsom son droiau am ddynion parod i *ymladd am heddwch* ar bob mynyd; felly y gwnai gweriniaethau Canoldir America.

Mynodd "Gweriniaeth Arianin" (*The Argentine Republic*) hithau chwareu ag arfau rhyfel a dadymchwelyd ei llywodraeth y llynedd. Y gwir anesmwythder oedd tuchan dan ddyled ar ol benthyca gormodedd o arian, a methu talu y llogau. Pobl ddiog ddyfethgar ydyw preswylwyr Hispaenaidd y rhan yma o'r byd; ac y maent yn benthyca arian o Loegr yn barhäus, ac mewn canlyniad i hyn y bu agos i fanc mawr Baring a'i Gwmni dori. Y mae y banc hwn wedi rhoddi benthyg *miliynau o bunnau* i'r gweriniaethau terfysglyd hyn at wneuthur ffyrdd haiarn, a phorthladdoedd, a llongau, ac y maent yn methu cael y llogau.

### GWLEIDYDDIAETH GARTREF.

Cychwynodd y weinyddiaeth ei gyrfa ar ddechreu y flwyddyn yn llwyddiannus, gan addaw pethau mawrion. Tybid fod cyllideb Mr. Goschen yn orchestwaith; ond ar ol myned ym mlaen dros ennyd yn dda, dygodd Canghellydd y Trysorlys allan ddarpariaeth fechan at leihau nifer y tafarndai, lle y tybid fod gormod o honynt, drwy brynu y trwyddedau a'u *dilëu*.

Yr oedd darpariaeth mesur y trwyddedau yn hyn yn debyg i ddarpariaeth deddfau anifeiliaid heintus. Darperir yno fod yr anifail heintus i gael ei ladd, a'r meddiannwr i gael tâl am yr anifail o dreth a gyfodir ar yr ardal. Felly cododd Mr. Goschen dreth o chwecheiniog y galwyn ar wirodydd, ac amcanodd i un rhan o *dair* o'r dreth hòno fyned at dalu am drwyddedau y tai diangen—fel lleoedd heintus—er mwyn eu dilëu; a darparai hefyd nad oedd trwyddedau newyddion i gael eu rhoddi yn y fath leoedd. Ond cyfodwyd gwaedd o "waddoli tafarndai" yn erbyn y mesur. Cynhyrfwyd teimlad y lluaws; credodd cefnogwyr sobrwydd drwy y wlad fod y gwaith yn ddrwg, a rhoddwyd attalfa hollol i amcan da drwy roddi iddo enw drwg.

Bu agos i hyn â rhoddi ergyd marwol i'r weinyddiaeth. Llwyr-feddwodd yr wrthblaid ar ei llwyddiant, ac ymdrechodd drwy bob dyfais deg ac annheg i ddyrysu holl waith y weinyddiaeth, a llwyddodd i fesur helaeth. Aeth Mesur Pryniad y Tir yn yr Iwerddon yn ofer, a Mesur Taliad y Degwm yn Lloegr dros y bwrdd; a phenderfynodd y weinyddiaeth, rhwng ofn a gobaith, ail-ddechreu ei Senedd-dymmor nesaf yn y mis Tachwedd.

Ar ol tori yr eisteddiad gwnaeth Arglwydd Salisbury cytundeb cydweithrediad trafnidiol, a sefydliad terfynau trefedigaethau gyda Germani, er mawr foddhâd i'r ddwy ymherodraeth. Y mae ar y ffordd i wneyd yr un peth â Ffrainc, Itali, a Phortugal; ond eto y fath oedd y clwyf a gawsai y weinyddiaeth drwy *waedd gwlad* yn erbyn Mesur y Trwyddedau, fel y gwasgai yr wrthblaid yn barhäus am Etholiad Cyffredinol. Y waedd barhäus gan y Rhyddfrydwyr oedd am Etholiad Cyffredinol o dan faner unig Mr. Gladstone a Parnell. Gladstone sydd fawr a Pharnell yw ei brophwyd oedd llef y lluaws Rhyddfrydig, hyd nes yr ymsaethodd goleuni o Lys Ysgariaeth i

### DDYNOETHI PARNELL,

a'i ddangos yn ei liw ei hun. Tynwyd y gorchudd ar unwaith oddi ar lwybr ei fywyd aflan, a llen yr hud a chyfaredd oddi ar lygaid y rhan grefyddol o'i edmygwyr yn y wlad hon; a gwelwyd ynddo gyfuniad o lygrwr aflan bywyd teuluaidd, a thwyllwr anwireddus cyfaill a chydwladwr ymddiriedol.

Yr oedd gwyngalchiad cyflawn meistr mawr yr ymadroddion swynol wedi gwisgo Parnell yn nychymmyg rhan fawr o'r cyhoedd fel rhyw angel o wladgarwr nas gallai na chamweithredu na chamgymmeryd. Yr oedd ei nodwedd enciliedig yntau yn ymgadw o'r neilldu, gan ddyfod allan ar adegau megys o gyssegrfan myfyrdod, ac "ol cystudd ar ei ruddiau," i wasanaethu ei wlad, wedi ei wneuthur yn wrthddrych edmygedd ei blaid. Ond dyma oleuni Llys yr Ysgariaeth yn ei ddangos yn ei liw ei hun, a theimlad moesol a chrefyddol cenedl gyfan yn cael ei archolli, a'r *wlad* yn codi gwaedd.

Digitized by Google

GWAEDD GWLAD

a *ddeffröes* y gwleidyddion i weled hagrwch cymmeriad Parnell. Yr oedd rhai o *flaenoriaid* Radicaliaid Lloegr ar unwaith am ei ail wyngalchu; brysiai yr aelodau *Gwyddelig oll* i dyru o'i amgylch, ei gofleidio a'i gusanu. Pasiodd bron yr oll gyrff cyhoeddus—pwyllgorau y *Land League*, byrddau gwarcheidwaid, cynghorau dinesig, a dirprwywyr dinesig drwy yr Iwerddon bleidleisiau o ymddiried ynddo; a safodd yr offeiriadaeth babaidd yn fud, gan ofni gweithredu yn rhy fuan. Ond clywodd Mr. Gladstone floedd fawr yr Ymneillduwyr Seisonig a'r Presbyteriaid Ysgotaidd; a da iawn genym ychwanegu, yr oll a welsom o'r wasg Gymreig, a rhoddes allan ei lythyr politicaidd at Mr. Morley—llythyr nid ar y pwnc o'r hyn oedd weddus ynddo ei hun, ond ar yr hyn oedd gyflëus a manteisiol dan yr amgylchiadau. Yr ydym yn diolch i Mr. Gladstone am barchu cydwybodau y rhan grefyddol o'i blaid, ond nis gallwn ei ddyrchafu i binacl uchaf amddiffynwr *moesoldeb gwleidyddol*. Y mae mor bur a chryf a neb fel amddiffynwr moesoldeb teuluaidd a chyssegredigrwydd priodas, ond y mae yn gwbl ddall i lygredd yr offerynau a ddefnyddia i gario allan ei gynlluniau gwleidyddol.

Gwyddai Mr. Gladstone chwe mlynedd yn ol fod cymmeriad Parnell yn bob peth y pryd hwnw ag ydyw yn awr ond ei odineb, a darluniodd ef yn y lliw hwnw. Ond gollyngodd ef o garchar, cyfododd ef o'r ffos, diosgodd ef o wisgoedd ei anwiredd, a thrais, a chreulondeb, a gwisgodd am dano â'i ddillad ei hun (neu cymmerodd wisgoedd Parnell am dano ei hun), a chymmerodd ef i fyny i farchogaeth yn ail gydag ef yn ei gerbyd gwleidyddol. Bu Mr. Gladstone a'i blaid, dan ddylanwad swyn a chyfaredd *swydd am swyddi*, am bum mlynedd yn hanner addoli Parnell aflan. A bu Mr. Gladstone wyth niwrnod cyfan, medd Parnell, heb awgrymu un gwrthwynebiad i gydweithredu ag ef mewn gwleidyddiaeth. *Gwaedd y wlad*, y mae pob lle i gredu, a ddeffröes gydwybod y prif-wleidyddwr Rhyddfrydol; ac yr ydym yn diolch o galon fod gan y wlad eto gydwybod a bar iddi waeddi allan yn erbyn llygredd moesol. Deffröes troseddiad erchyll o'r seithfed gorchymmyn hi.

Ond y mae y chweched, yr wythfed, a'r nawfed gorchymmyn wedi bod dan draed gwleidyddol er ys rhai blynyddoedd. A raid cael trosedd erchyll i agor llygaid y wlad i weled cyssegredigrwydd y rhai hyn?

MOESOLDEB PERSONOL GWLEIDYDDWYR.

Y mae yr achos o odineb a brofwyd yn erbyn Parnell wedi dwyn i'r wyneb y pwnc o foesoldeb personol ein deddfwyr. Myn rhai o'n hawdurdodau politicaidd nad oes dim â wnelo moesoldeb personol â gwasanaeth cyhoeddus. Y mae y cyfryw syniad cableddus y fath ag na fyn y gydwybod ddynol ei oddef, oni bydd y syniadau moesol wedi eu pylu gan nwyd a chwant. Ni bu erioed mor bwysig i'r wlad edrych am wŷr o gymmeriadau moesol pur i'w cynnrychioli. Nid cynnrychioli *dosbarth* y mae aelodau seneddol yr oes hon, ond holl benau teuluoedd y wlad a'i thŷ-ddeiliad. Y mae llygaid gwlad yn agored ar ei chynnrychiolwyr; ac er mwyn cael gwlad dawel, gofynir i'w deddfau fod yn *gyssegredig* yn ei golwg. "Gweinidog Duw" ydyw y deddfwneuthurwr mor wirioneddol a'r pen coronog a fyddo yn rhoddi y deddfau a lunir mewn grym. Y mae o bwys neillduol i bob sir a thref ddewis y dynion mwyaf moesol ac anrhydeddus a allant gael i'w hanfon i'r Senedd; a chofier hyn, os gelwir am waith anonest, na cheir cymmeriadau o'r fath oreu i'w gyflawnu.

MEDDYGINIAETH DR. KOCH.

Y mae pob lle i gredu y bydd y flwyddyn 1890 yn un deilwng o "lythyren goch" yng nghalendar y meddygon, drwy ddarganfyddiad moddion i welläu yr afiechyd mwyaf difaol a nychlyd yn ein gwlad, a chredir yn gryf fod y Dr. Koch, o Berlin, wedi cael allan foddion i'w attal ac iachäu mor effeithiol ag ydyw *cowpock* i attal y frech wen. Defnyddir ddull cyffelyb i roddi *cowpock* drwy chwistrellu ychydig o *lymph* neu wlybwr meddygol i'r corff dynol tua chanol y cefn. Effeithia hyn fel *cowpock* ar yr holl gyfansoddiad.

Y WASG GYMREIG.

Siaradwyd gryn lawer, gan wŷr o'r *pellder* yn fwyaf neillduol, ar y Wasg Eglwysig yn y flwyddyn ddiweddaf. Y mae hyny yn dda, ond y mae gweithredu mewn cylchoedd *agos* yn well. Y mae cylch seiat fisol y Methodistiaid Calfinaidd yn dwyn mawr debygolrwydd i gylch deoniaeth wladol yr Eglwys. Dengys y dyfyniad canlynol o weithrediadau

CYFARFOD MISOL LLEYN AC EIFIONYDD

y modd y gweithredir yno:—

"Rhoddwyd adroddiad am gylchrediad y *Drysorfa* a *Thrysorfa y Plant* o fewn cylch y cyfarfod misol, a dosbarthwyd llythyr argraffedig y Parch. W. Williams, Abertawe, ar gylchrediad y *Drysorfa*.

Digitized by Google

Penderfynwyd fod i'r llythyr gael ei ddarllen ym mhob Ysgol Sabbathol, yn gystal ag yn yr eglwysi, a rhoddwyd annogaethau i ymdrech adnewyddol ym mhlaid eu cylchrediad at y flwyddyn ddyfodol—yr hysbysrwydd am ychwanegiad yn rhif y naill neu y llall i'w anfon i'r goruchwyliwr sirol, heb fod yn ddiweddarach na Rhagfyr 24ydd."—*Y Goleuad.* Gwneler yr un peth yn ein deoniaethau gwladol.

---

## SERCH ADGOF

*Am Margaret Catherine Williams, diweddar wraig Mr. W. Williams, 6, Egerton-street, Wrexham, ac unig ferch i John Jones, clochydd, Llansantffraid, yr hon a fu farw ar enedigaeth merch fechan y 7fed o Dachwedd, 1889, yn 31 mlwydd oed.*

GWELWN wrth ryw feddrod tawel,
Yn y gladdfa brudd ger llaw,
Dirion dad yn plygu'n isel
Gyda'i blentyn yn ei law,
Ac yn gosod pleth o flodau
Tyner ar y dystaw fedd,
Gan eu hiro hwy â'i ddagrau—
Tristwch dwfn oedd ar ei wedd.

Gwedd y plentyn bach ac yntau
Wnai i'm calon ymlesgäu,
A chan araf laesu 'nghamrau
Safwn o'r tu ol i'r ddau;
Yno gan alarus gwynfan
Syrthiai'i ddagrau o un i un,
Llefai wrth ei fachgen bychan,
Ac yn rhanol wrtho'i hun—

"O! fy anwyl blentyn bychan,
Diwrnod pygddu ydyw hwn!
Rhy ddiniwed wyt ti weithian
I amgyffred maint fy mhwn;
Ond os cei estyniad dyddiau
Teimli di a'th frawd paham
'Rwyf yn awr yn wylo dagrau
Galar mawr ar fedd dy fam.

"Fe aeth blwyddyn hirfaith heibio
Er y dydd y ciliodd hi,
A chan adael, 'rwyt yn cofio,
Dy chwaer fechan gyda ni:
Clywai ganu yr angylion,
A chan swyn y nefol gân
Brysiodd hi tu draw i'r afon
At y côr angylaidd glân.

"Ond er hyn chwith ydyw cofio
Am y tŷ a'r gadair wag,
Ac nid rhyfedd 'mod i'n wylo
Dros fy mhlant ar ddechreu mag:
Wylai'i mam, a'i thad, a'i brodyr
Ddagrau serch am dani hi,
Ond myfi fy hun ŵyr ystyr
Dyfnder maint fy ngolled i.

"Ofer chwilio cyfrol natur
Am esboniad ar y drefn,
Rhaid wrth lawnach esboniadur
Er mwyn canfod Duw tu cefn:
Pell tu hwnt i ddeall anian
Ydyw troion prudd fel hyn,
Diffodd mae ei llusern egwan
Yn nhywyllwch nos y glyn.

"Aneffeithiol ar y goreu
Ydyw cydymdeimlad dyn,
Pan y deifia anadl angeu
Degwch gwedd y blodau cun:
Pan fo hoffder oes yn cilio
Megys niwl o'r awyr draw,
Egwan iawn er cryfed fyddo
Ydyw gafael dynol law.

"Nis gall swyn telynau daiar,
Er mor uchel fyddo'u tant,
Gyrhaedd dyfnder calon galar
Pan yn plygu yn y pant:
Rhaid wrth swyn rhyw fiwsig arall,
Seiniau tyner telyn Duw,
Nid oes neb ond Ef yn deall
Dyfnder teimlad calon friw.

"Tua'r bedd ni phlygwn mwyach,
Yno nid oes dim i'w gael—
Dim a ddeffry'r hen gyfeillach,
Dim a nertha'r galon wael;
Trigfan tywell nos sydd yno,
Nos a byla'n llygaid prudd,
Nes i ddagrau ymddylifo
Megys afon dros y rudd."

Weithian tybiwn weled angel
Draw o entrych nefol wlad
Yn dynesu'n ddystaw dawel
At y trallodedig dad;
Lledai esgyll gwynion drosto
Ef a'i blentyn wrth y bedd,
A llefara'n dyner wrtho
Eiriau o gysurlawn hedd—

Digitized by Google

"Paid ag aros yn y gladdfa
Er mor hoff yw'r lle ei hun,
Edrych draw trwy ffydd i Wynfa
Am dy ddiwair ffyddlawn fun:
Bydd yn dawel ennyd fechan,
Er mor dywyll ydyw'r glyn,
Cariad Duw sydd yn y cyfan,
Ti gei wybod ar ol hyn."

PENFRO.

---

## BETH YW CYDWYBOD DDA?

CYDWYBOD ydyw y gynneddf hòno o eiddo'r enaid dynol, trwy yr hon y ceisia creaduriaid rhesymol ffurfio barn am eu hegwyddorion a'u hymarferion, fel ag i benderfynu pa un ai da ai drwg ydynt. Cydnabyddir yn gyffredinol ei bod yn un o'r galluoedd mwyaf gwerthfawr a ryngodd bodd i'n hollddoeth a graslawn Greawdwr ein cynnysgaeddu ag ef. Amrywiol a lluosog yw y syniadau a ffynant ym mysg dynion yng nghylch cydwybod. Modd bynag am hyny, ond i ni dynu ein syniadau o Air Duw—unig safon gwirionedd—credwn fod cydwybod, fel pob cynneddf arall o eiddo yr enaid, wedi ei gosod yn agored i holl effeithiau dirywiol y cwymp. Y mae wrth natur, fel y galon, yn anwybodus, yn ammhlygedig, ac aflan. Cyn y gall gyflawnu yr amcanion ei bwriadwyd, rhaid iddi gael ei haddysgu, ei harwain, a'i phuro gan yr Ysbryd Glân. Yn ei chyflwr dirywiol presennol gall wneyd dyfarniadau tra gwahanol i ewyllys ddadguddiedig y nefoedd: gall gymmeradwyo y gweithredoedd a gondemnia Duw, gall esgusodi y pechodau a ffieiddia Duw, gall lefaru heddwch pan fygythia Duw lid.

Gŵyr pob un sydd ychydig yn gydnabyddus o'r syniadau a fodolant ym mysg dynion, fod y rhai hyny nad ydynt yn cymmeryd unrhyw ddyddordeb ym mendithion yr Efengyl yn dra mynych yn hawlio cydwybod dda, a hawlir y rhagorfraint mor gyffredin gan y byd, fel nad oes ond y rhai gwaethaf ac aflanaf yn cael eu tybio i fod yn amddifad o'r fendith werthfawr hon. Mae yn alarus meddwl fod golygon cyfeiliornus ar y pwnc hwn yn dra chyffredin. Gan hyny, y mae yn wir bwysig ar fod i'r golygon hyny gael eu harchwilio er dangos eu twyll a'u perygl.

Ar rai prydiau camgymmerir tymmer naturiol, swynol, a charüaidd am gydwybod dda. Er mor lygredig yw y galon ddynol, arddengys yn aml ei bod yn feddiannol ar beth daioni. Pa sawl rhiant yr hwn nad yw ei galon yn uniawn ger bron Duw, eto a "ddyry roddion da i'w blant"! Sawl cyfaill, yr hwn mae ei galon yn dwyllodrus yng ngolwg Duw, eto a geidw gyfeillgarwch dilys! Sawl un na ddarfu i'w galon erioed lochesu yr un syniad cywir am fawr ddrwg pechod fel ei cyflawnir yn erbyn Duw cyfiawn a sanctaidd, er hyn i gyd a deimlodd wrth weled trueni dynolryw, ac a wnaeth ryw gymmaint er lliniaru dyoddefiadau dynolryw. Ond nid yw hyn yn brawf fod y gydwybod yn iawn.

Edifeirwch rhanol am bechod a gamgymmerir weithiau am gydwybod dda. Y mae llawer a arweinir gan air neu wialen y Goruchaf i ddangos gofid ysbryd blin o herwydd eu troseddau; ond y mae yn eglur nad oes ganddynt y duwiol dristwch hwnw "sydd yn gweithio edifeirwch er iachawdwriaeth, ond tristwch y byd (hwnw) sydd yn gweithio angeu." Pwy sydd yn dangos mwy o ofid ar brydiau na'r meddwyn? a phwy sydd yn dychwelyd mor fuan a pharod at ei chwantau a'i arferion ag ef?

Camgymmerir ymwrthodiad hannerol â drwg am gydwybod dda. Ceir llawer a ofalus ochelant rai pechodau, tra y rhuthrant i rai ereill. Gochelant gyflawnu troseddau agored, ac eto rhydd ymollyngant i gyflawnu rhai cuddiedig a dirgel. Prawf y cyfryw dröedigaeth ranol, a hannerog ymwrthodiad â phechod, nad yw y galon yn uniawn ger bron Duw, na'r gydwybod yr hyn a ddylai fod.

Y cyfryw yw rhai o'r camgymmeriadau y syrth dynion iddynt mewn perthynas â chydwybod. Gan hyny, gofynwn yn awr, beth yw cydwybod dda yn yr ystyr Ysgrythyrol? Cydwybod *wedi ei hadnewyddu gan ras dwyfol ydyw*. Mae y cyfnewidiad mawr hwn, yr hwn a effeithir trwy nerthol weithrediad Ysbryd y gwirionedd, yn anhebgorol i'r rhai oll a fynant fwynhau y ffafr ddwyfol. "Rhaid eich geni chwi drachefn," ydyw dadganiad pendant ein Harglwydd. Hyd nes y cawn ein haileni, mae y meddwl a'r gydwybod yn halogedig. Rhaid cael egwyddorion newydd ynom, rhaid bwrw yr hen bethau ymaith yn llwyr oddi wrthym, rhaid ein creu o'r newydd yng Nghrist Iesu, cyn y gallwn gael cydwybod dda.

Y mae hefyd yn gydwybod *a reoleiddir gan yr Ysgrythyrau Sanctaidd*. Hyd yn oed gwedi i egwyddorion pur gael eu planu ynom, mae y gydwybod yn agored i gyfeiliorni os na bydd rhyw safon wedi ei ddarparu wrth ba un y mae ei phenderfyniadau i gael eu harwain a'u llywodraethu. Ceir y safon yna yng Ngair Duw. Rhaid i ni appelio at hwn ym mhob sefyllfa y'n gosodir ynddi. Rhaid i ni dynu

ein holl hyfforddiant o hwn. Ni ddylem adael i'n hopiniynau ein hunain sefyll yn wrthwynebol i feddwl dadguddiedig y nefoedd. Rhaid i'n penderfyniadau a'n barnau mewn pethau ysbrydol bob amser gael eu rheoleiddio gan y gyfraith a'r dystiolaeth.

Gallem nodi nodweddion ereill cydwybod dda; ond ymddengys i ni fod yr hyn a nodwyd yn cynnwys y gweddill. Pan mae yr enaid wedi ei adnewyddu, a barnau yr enaid adnewyddedig yn cael eu rheoleiddio gan a'u ffurfio wrth Air Duw, diau gallwn ddweyd yn ddiryfyg fod genym gydwybod dda. Y cyfryw gydwybod a gydnabyddir gan Dduw yn dda, o blegid ei bod wedi ei ffurfio gan yr Ysbryd Glân ei Hun, ac yn ceisio dilyn ei ewyllys Ef ym mhob peth. Y cyfryw gydwybod a arddelir gan Dduw yn nydd Crist yn dda, o blegid y bydd yn unol â phenderfyniadau y dydd mawr hwnw. Y fath fendith annhraethol yw cydwybod dda! Priodol gall y sawl sydd feddiannol arni ddweyd, "Ein gorfoledd ni yw tystiolaeth ein cydwybod." Ac O! mor ymdrechgar y dylem fod i "ymarfer cydwybod ddirwystr tuag at Dduw a dyn."

Ofnadwy yn wir yw brathiadau cydwybod euog! Yr oedd trueni Cain a Judas yn anamgyffredadwy; ac annhraethol hefyd yw poenau meddyliol y pechadur, pan y teimla geryddon cydwybod euog. Beth a ddywedwn am gydwybod wedi ei chaledu trwy dwyll pechod—wedi ei rhoddi i fyny i lywodraethiad y Diafol, ac wedi ei serio â haiarn poeth? Ond bendigedig fyddo Duw, gall gwerthfawr waed Crist olchi ymaith yr euogrwydd dyfnaf, a phuro y gydwybod aflanaf. Am hyny, gweddïwn am gymhwysiad o'r gwerthfawr waed hwn.

*10, Bryn Castell, Dinbych.* R. HUGHES.

---

## Y PARCH. RICHARD JONES, AINON.

(*Parhâd o dudal. 278*).

### PENNOD XXV.

*Ymadael â'r Tlotty. Dewis galwedigaeth.*

YR oeddwn y pryd hwn yn tynu ym mlaen at fy mhymthegfed mlwydd, ac yn dechreu dysgwyl ac hiraethu am gael gollyngdod o'r tlotty er myned i ddysgu rhyw alwedigaeth neu gilydd, er ennill fy mywoliaeth. Yr alwedigaeth ddewisedig genyf oedd eiddo y crydd, ac yr oedd fy mhryder yn fawr iawn o barthed a gawn i ddewis fy ngalwedigaeth neu beidio. Un prydnawn, wedi dychwelyd o'r ysgol, ymwelwyd â mi gan gaplan y sefydliad, a chymmerodd yr ymddyddan canlynol le rhyngom:—

"Wel, fy machgen, y mae dy dymmor yn y sefydliad yma bron â dyrwyn i fyny, a gelli ddysgwyl gorchymmyn un o'r dyddiau nesaf yma i ymbarotoi i adael y lle er myned i ddysgu crefft, fel ag i fod yn alluog i ennill dy fywoliaeth yn y dyfodol. Pa grefft yr wyt yn ei feddwl fyddai oreu genyt?"

"Crydd, syr."

"Wel, yn wir, yr wyt yn peri i mi wenu wrth dy glywed, gan mai yn grydd y cefais i fy ngodi, a chredwn pan oddeutu dy oed di, ond i mi ddyfod yn alluog i wneuthur dwy esgid, y byddwn wedi llwyddo i gyrhaedd y ffin uchaf yn ysgol perffeithrwydd; ond yn wir, wedi llwyddo i hyny gwelais yn fuan iawn fy nghamsynied, ac os y gwrandewi ar gynghor un ag sydd yn brofiadol, ti wnei rhoddi heibio feddwl am fod yn grydd, a dewis rhyw alwedigaeth arall a fyddo yn iachach ac yn rhagorach."

"Na, crydd wyf i fod. Yr wyf wedi penderfynu hyny yn fy meddwl er ys llawer dydd bellach, ac nid yw ond ofer waith i neb i geisio troi fy mhenderfyniad yn ol."

"Wyt ti wedi pwyso a mesur pethau yn ddifrifol yn dy feddwl?"

"Credaf fy mod."

"Yn awr, a wyt wedi ystyried fod yr alwedigaeth o grydd gyda'r neu yn hytrach y mwyaf afiachus a blinderus i'r natur ddynol o bob galwedigaeth. Ystyria y mater yn drwyadl, da tithau. Meddwl eistedd i lawr o saith o'r gloch y boreu hyd ddeg, neu yn fynych un ar ddeg a deuddeg o'r gloch yn yr hwyr yn yr un agwedd, ac yn aml mewn ystafell ddioleu, a'i awyriad yn bob peth ond yn ddymunol—y mae yn ddigon i ladd y cyfansoddiad cryfaf. Y mae yr oriau yn afresymol o faith, ac fel rheol ni hynodir y frawdoliaeth gryddol gan diriondeb ac amynedd at eu prentisiaid, neu dyna fel y cefais i fy hen feistr: hen greadur drwg-dymmerog a rheglyd, a llawer gwaith y teimlais yr ystrapen yn plethu o gylch fy nghoesau, a hyny am y peth nesaf i ddim."

"Nid yw o un gwahaniaeth genyf fi, os na chaf ddysgu bod yn grydd, gwell fyddai genyf fyned i gymmeryd fy siawns yn y gweithfëydd."

"Na, paid ar un cyfrif, fy machgen, â meddwl am fyned i'r gweithfëydd; waith os gwnei, ystyriaf hyny fel y cam cyntaf o dy eiddo i ddistryw."

"Wel, os na chaf fyned i ddysgu bod yn grydd, i'r gweithfëydd yr af fi. Y mae yn y gweithfëydd gystal dynion ag y deuir o hyd iddynt mewn un man, neu mewn unrhyw ddosbarth o gymdeithas."

Digitized by Google

"Gwir, ac mor wired a hyny y mae yno cynddrwg, a gwaeth hefyd os oes modd, nag y deuir o hyd iddynt yn un man arall, ac ond odid na fydd iddynt geisio dy ddenu di sydd yn ieuanc i'w ffyrdd dryg-ionus hwy. Yr oeddwn pwy ddydd yma yn teithio ar y rheilffordd, ac mewn gorsaf ag oedd yn sefyll yng nghanol y gweithfëydd, wele hanner dwsin yn dyfod i mewn i'r cerbyd ataf, ac O! y fath iaith ofnadwy, a'r fath ymadroddion anllad a ddefnyddid ganddynt: teimlwn fy ngwallt yn sefyll yn syth ar fy mhen, ac fy ngwaed yn rhewi yn ei rhydwelïau. Braidd y credwn fy hun mai ym mhlith dynion oeddwn, ac na thueddid fi i gredu fy mod wedi cael fy nhrawssymmud i fysg ellyllon damnedig y pwll diwaelod; a chan dy fod mor benderfynol o fynu dysgu bod yn grydd, gwnaf fy ngoreu drosot er sicrhau lle dymunol a meistr tirion a chrefyddol i ti. Yr wyf wedi cael fy hysbysu y bydd i'r bwrdd i drafod dy fater yn eu heisteddiad nesaf."

Ymadawodd fy nghyfaill parchedig â mi ar hyn, a theimlwn fy meddwl yn dawel, gan fy mod yn sicr y byddai iddo ef fod yn unol â'i air, ac y gwnelai ei oreu drosof. Bellach nid oedd genyf ond dysgwyl am ddyfodiad y dydd Mercher canlynol, pryd y byddai i aelodau y bwrdd gyfarfod ar fy mater; a phrydnawn dydd Mawrth, derbyniais yr hysbysrwydd nad oeddwn i fyned i'r ysgol dranoeth, gan fy mod i ymddangos o flaen urddasolion y Bwrdd Gwarcheidiol, ac yn gynnar prydnawn y dydd canlynol cefais fy ngwysio i'w presennoldeb. Holwyd fi ol a gwrthol ganddynt, ond daliwn yn ddiollwng a diysgog at fy mhender-fyniad blaenorol o fynu bod yn grydd; ac yn wir, darfu iddynt roddi i mewn, a chefais fy nymuniad. Gollyngwyd fi yn rhydd gyda rhybudd i osod fy hun yn barod mor fuan ag y gallwn er myned i ddechreu ar fy mhrentisiaeth, ac ym mhen yr wythnos yr oeddwn wrthi yn ymbarotoi gogyfer a myned at fy meistr newydd. Teimlwn yn dra phryderus gyda golwg ar newid fy sefyllfa. Yn wir yr oeddwn wedi ymgydnabyddu i'r fath raddau â fy sefyllfa ddarostyngedig, ac wedi derbyn cymmaint o serch-ogrwydd a charedigrwydd oddi ar ddwylaw rhai o'r swyddogion, nes y teimlwn i raddau yn hiraethlawn i ymadael â hwy, ac ymgodai rhyw deimladau rhyfedd yn fy mynwes ar fy ngwaith yn colli golwg ar y sefydliad y boreu yr oeddwn yn cychwyn i fy lle newydd. Hebryngodd y caplan fi hyd at yr orsaf, a mynodd fy ngweled, yng nghyd â'r hyn a berthyn-ai i mi, yn ddiogel yn y cerbyd, ac wrth siglo dwy-law â mi ar waith y gerbydres yn cychwyn i'w thaith, gollyngodd rywbeth i fy llaw, yr hyn a feddyliwn ar y pryd oedd yn ddernyn chwecheiniog, ond ar fy ngwaith ym mhen ychydig yn gosod fy llaw yn fy llogell, tynais ef allan, ac erbyn edrych, braidd y gallwn gredu fy llygaid, nid chwecheiniog ond hanner penadur oedd! Y pryd hwn teimlwn fy hun wedi cychwyn i'r byd mawr llydan er ymladd dros fy hun, heb na châr na chyfaill yn agos ataf, nac yn gofalu beth a ddeuai o honof. Mor unig a digalon y teimlwn fy hun tra y cyflymai y gerbydres rhag ei blaen! Yr oedd yno lawer heb law fy hunan yn y cerbyd, ond gwynebau dyeithr oeddynt i mi: nid oedd yn eu plith yr un ag yr oeddwn wedi ei weled yn flaenorol. O'r diwedd cyrhaeddodd y gerbydres orsaf Llanfair, yn yr hon yr oeddwn i ddisgyn. Yr oedd yn gwlawio yn drwm ar y pryd, a chysgod-ion prudd yr hwyr yn disgyn. Holais un o'r swyddogion ag oedd yn gwybod rhywbeth am un o'r enw Hugh Thomas y crydd.

"Gwn o'r goreu. Yr oedd ei wraig yma y fynyd yma yn holi os oeddwn wedi gweled rhywun yn chwilio am dani."

"I ba le yr aeth?"

"Wn i ddim, os na ddychwelodd gartref. O dyma hi gyda y gair," ebai, ar waith menyw olygus, o wynebpryd siriol a llawen, o ddeutu canol oed, yn dynesu atom. Deallodd ar unwaith pwy oeddwn, ac yna cychwynasom tua'm cartref dyfodol mor gynted ag y gallem. Yr oedd genym o ddeutu dwy filltir a hanner i'w teithio, a chyn i mi gerdded yr hanner yr oeddwn yn wlyb i'r croen. Yn wir, erbyn llwyddo i gyrhaedd i'r tŷ yr oedd fy meistres a minnau wedi dyfod yn gyfeillion eisoes, ac yr oedd wedi llwyddo i ennill yn llwyr fy ymddiriedaeth.

### PENNOD XXVI.

#### *Fy meistr newydd.*

Os y darfu i fy meistres drwy ei hynawsedd a'i serchogrwydd lwyddo i ennill fy edmygedd a'm hym-ddiriedaeth, cymmerodd pethau gwrs hollol wahanol gyda golwg ar fy meistr. Byth yr anghofiaf yr aeth a'r braw a ymgripiai drosof pryd y cyflwynwyd fi iddo. Edrychai yn llym arnaf, heb gynnyg llefaru yr un gair, a thybiwn ar y pryd fod ei lygaid llymion yn treiddio drwof. Yr oedd rhywbeth ag oedd yn fawreddog ac awdurdodol yn ei ymddangos-iad a berai i mi deimlo yn bobpeth ond yn gartrefol yn ei bresennoldeb. Yn wir, caseais ef â chasineb cyflawn y tro cyntaf y gwelais ei wyneb; ac oni buasai y ffaith ei bod yn nos, a minnau o herwydd y gwlybaniaeth mor anghysurus, lled debyg y byddai i mi ffoi ymaith yn llechwraidd yn ystod y nos

Digitized by Google

hòno, er myned tua'r gweithiau. Yr oedd genyf ddigon o arian er fy nghludo yno, ac ymddyheuai fy nghalon yn aml am gael cyfle i fyned. Ond cyfiawnder a chwareu teg â fy meistr yw dywedyd i mi gael achos lawer gwaith, mewn llawer amgylchiad, i edifarhau am ffurfio barn mor galed am dano. Nid oedd yr holl erwindeb a'r llymder a hynodai ei wyneb ond ymddangosiadol yn unig; o dan yr oll yr oedd calon dyner, deimladwy, a serchog.

"Pa beth yw dy enw, fy ngwas?" holai ym mhen ychydig ar ol iddo edrych drosof yn fanwl.

"Richard Jones, neu fel y byddaf yn cael fy ngalw fynychaf Dic o'r Llethr."

"O'r goreu, Richard, nid wyf wedi arfer cael fy llysenwi fy hun, ac nid wyf ychwaith yn barod i lysenwi ereill Pa faint yw dy oedran?"

"Pymtheg mlwydd yn acos."

"Pwy faint o amsar y buot ti yn y *workhouse?*"

"Blwyddyn a hannar."

"Wyt ti'n gwpot rhwpath am dy dad a dy fam?"

"O, otw, wy'n i cofio nhw yn reit dda. Ffermwr odd fy nhad ac miwn sefyllfa dda; ond darfu iddo fachnïo dyn ag odd yn berchan ar bwll glo, a fe dorws hwnw, ac o achos hyny fe grogws fy nhad i hunan, a fe gitshiwyd yn y cwbwl gan y bwms, a gwasgwyd fy mam i ofyn am dâl plwyf iddi hi, ac i gwni Gweni fy chwâr a finna. Ond ma mam wedi marw ys ar blwyddyn a hannar, a dyna pan yr elwyd Gweni a finna i'r *workhouse.*"

"Oti dy chwâr yn fyw yn awr?"

"Nag yw, y ma hi wedi marw ys ar wech mis yn ol."

"Druan bach o honot," ebai fy meistr, gyda y dagrau mawrion yn troi yn ei lygaid. "Dere di, paid di â gatal i dy galon i fyn'd i lawr ar un cyfrif, cei bob chware teg gyda ni. Nid yw y byd yn wych iawn arnom, ond ti gei di shâr o'r hyn fo yn pasio, a chofia 'does yma neb o'm rhan i i ddod i wpot ma prentis plwyf wyt ti. Cadw di dy enau yn nghau, ac ni fydd neb callach o'm plegid i na Rachel."

"Y mae y gwr bach yn wlyb dyferu i'r croen," ychwanegai y meistres, "a gwell fyddai iddo newid."

Ac felly y bu: cefais ddillad sych i'w gosod am danaf, a digonedd o ymborth iachus, a chysgais yn dawel ac hyfryd y noswaith gyntaf yn fy lle newydd. Boreu dranoeth dechreuais drafod y "pwyntredyn" a'r mynawyd, a gwnes oreu fyth ag y allwn o dan yr amgylchiadau, ond rhaid cyfaddef mai lledchwith iawn y teimlwn tra yn ymdrafod ag offerynau y grefft. Yr oedd tynfa holl amaethwyr y gymmydogaeth i'r siop grydd, a daeth hyny â mi i gyffyrddiad â llawer i hen gymmeriad doniol o hen drigolion "Cymru fu," yng nghyd â'u dull hynod o fyw. Dylaswn fod wedi nodi fod fy meistr yn ddyn crefyddol iawn, a'i fod yn cael ei gyfrif gan bawb yn wr duwiol ac o rodiad diargyhoedd. Perthynai i gyfundeb yr Annibynwyr, ac o ran ei ddaliadau athrawiaethol perthynai i'r hen ysgol uchel Galfinaidd, a mynych y dadleuai o blaid ei athrawiaeth â hen frawd o Wesleyad a arferai gyrchu ato i'r siop waith. Yr wyf wedi synu lawer gwaith tra yn galw i gof ac ystyriaeth fod dyn fel fy meistr, heb fod yn alluog i ddarllen ond yn unig y Gymraeg, wedi dyfod yn feddiannol ar y fath doraeth o wybodaeth; waith yn annibynol ar y ffaith ei fod wedi cael ei gynnysgaeddu â galluoedd eneidiol ym mhell uwch law y cyffredin, yr oedd yn wybodus iawn. Yr oedd yr Ysgrythyrau megys ar ben bys ganddo; nid wyf yn credu fod yr un adnod o ddechreu Genesis hyd ddiwedd Dadguddiad nad oedd yn berffaith gyfarwydd â hi. Er yn Annibynwr cydwybodol nid oedd yn ddallbleidiol, nac ychwaith yn rhagfarnllyd, apherodd un sylw o'i eiddo un diwrnod, tra yn ymddyddan ag offeiriad y plwyf, i mi dybied nad oedd yn hollol iach yn y ffydd. Yr oeddwn i bob amser wedi cael fy nysgu i edrych ar ac i ystyried y Pabyddion fel gelynion gwir grefydd, ac i'w cyfrif yn gyfeiliornwyr damniol. Ond yn ystod yr ymddyddan o dan sylw clywais ef yn dywedyd ei fod yn gydwybodol o'r farn fod miloedd, ïe miliynau o'r cyfryw a broffesant eu hunain yn Babyddion ar y ddaiar wedi llwyddo i gyrhaedd y nefoedd. I un, fel y sylwyd o'r blaen, ag oedd wedi cael ei ddwyn i fyny o'i fabandod i edrych ar y Pabyddion fel y nesaf peth i gythreuliaid ymgnawdoledig a rheibus, yr oedd y dywediad yn swnio yn ddyeithr iawn, ond y mae blynyddau o ymchwiliad i mewn i wirioneddau wedi fy llwyr argyhoeddi nad oedd fy meistr o'i le wrth wneyd hyny.

Y Sabbath cyntaf ar ol fy nyfodiad i'r pentref, wedi cynnaliad y dyledswydd deuluaidd, holodd fy meistr gyda pha enwad crefyddol yr oeddwn wedi cael fy nghodi, ac atebais mai gyda'r Annibynwyr, ond fod fy rhieni wedi troi yn eu hamser diweddaf at y Bedyddwyr.

"Pa un gwell genyt gyrchu at yr Annibynwyr neu at y Bedyddwyr yn awr?"

Atebais mai at y Bedydddwyr, a rhoddodd ganiatâd yn rhwydd i mi fyned yno, ond fod yn rhaid i mi gyrchu i'r oedfa foreuol, yr Ysgol Sul, yng nghyd ac oedfa hwyrol; ag yn wir, y mae adgofion o'r Sabbath cyntaf a dreuliais yno yn fyw

Digitized by Google

yn fy meddwl hyd heddyw, a phleser yw genyf yn awr ac eilwaith i droi yn ol at y cyfryw Sabbath. Yr oedd pawb fel pe yn ymryson i ddangos caredigrwydd i mi, ac mor wahanol y teimlwn eu caredigrwydd i'r dull yr ymddygid ataf yn y tlotty! Gwir nad oedd genyf le i achwyn ar awdurdodau y lle hwnw, gan i mi dderbyn pob tiriondeb oddi ar eu dwylaw; ond eto, yr oedd y syniad o gaethineb, ac mai swyddogion awdurdodedig oeddynt yn gweinyddu arnaf er ennill bywoliaeth, yn peri nad oedd fy meddwl mor gysurus; ond yma caredigrwydd pur heb gymhellydd, yn tarddu o galonau gwresog at alltud ac estron oedd. Yn wir, braidd y gallwn ymattal rhag wylo yng ngwyneb y fath gyfnewidiad. Wedi dychwelyd o'r oedfa foreuol yn gystal ag hwyrol, yr oeddwn i dan orfod i adrodd testyn y pregethwr, yng nghyd â rhaniadau ei bregeth, yr hyn fu yn gryn dasc i mi am beth amser, ond llwyddais i feistroli y tasc cyn hir. Gwnelai fy meistr hyn er boddloni ei hun fy mod yn iawn ymddwyn ym moddion gras, ac yn talu y sylw dyladwy i'r hyn a draethid.

(*I'w barhau.*)

*Quaker's Yard.* I. Craigfryn Hughes.

---

## EMYN NADOLIG.

Pa ryw gynghaneddion pur
Lifant drwy y nefol dir?
Dathlu'r ymgnawdoliad mawr
Mae angylion gwynion gwawr;
Heddyw ganed Awdwr Hedd,
Bywyd byd, a thranc y bedd.

Trwy yr oesoedd plant y ffydd
Ddwys ruddfanent am y dydd—
Dydd symmudai wyll y bedd,
Ddug i'r ddaiar "fôr o hedd:"
Daeth y wawr! agorodd Duw
"Ffordd i godi'r marw'n fyw."

Fyd colledig! cwyd dy drem,
Ganwyd Crist ym Methlehem,
Harddwch a gogoniant nef
Gwrddant yn ei Berson Ef;
Ynddo trig cyflawnder Duw:
O! fy enaid, digon yw.

Elldeyrn.

## NODION IFOR LLWYD.

### PERYGLON PREGETHWYR.

Mewn ysgrif dan y penawd uchod, amcan yr hon ydyw "dyfnhau yr argraff ar feddyliau gweinidogion ieuainc fod eu swydd yn un a amgylchir gan beryglon amrywiol a beunyddiol," dywed y *Drych* fel y canlyn:—"O herwydd eu sefyllfa ddibynol ar eu heglwysi, tueddir llawer o bregethwyr i fod yn anwrol, sycophantaidd, merchedaidd, llygad-wasanaethgar, glas-wengar; mewn gair, i fod yn gymmeriadau eiddil, llibin, llyswenaidd mewn cymdeithas. Nis gall llwfrddyn felly wneyd fawr iawn o les yn y byd yma. Geilw y pwlpud am y *manliness* cryfaf yn ogystal ag addfwynaf; am yr ysbryd mwyaf annibynol, fel am yr ysbryd mwyaf gostyngedig; am y dilolrwydd llwyraf, fel am y sirioldeb hawddgaraf. . . . Nid yn aml y ceir yn ein dyddiau ni 'filwr da i Iesu Grist' nad all ddweyd mor wirioneddol a Paul, 'Ym mheryglon lladron,' &c. A gŵyr llawer o'n cydoeswyr ni, yn llawn cystal a'r apostol yn Ephesus, beth yw ymladd ag anifeiliaid.' . . . Y mae gwr Duw mewn enbydrwydd yn fynych oddi wrth ffalsder gwenieithwyr mêl-weflog ond llewys-bicellog; oddi wrth rwgnachwyr duwiol-donog, cybyddion Phariseaidd, ac oddi wrth gabledd ceg-fudr annuwiolion cyhoeddus ag y dygwyddodd iddo eu hanfoddloni yn nghyflawniad ffyddlawn ei ddyledswyddau. Nid yw yr eglwys heb ambell ddyhiryn ag y byddai bron yn berygl bywyd i weinidog ei alw i gyfrif am ei gamymddygiadau. Nid yw yn anhysbys yn ein mysg ni fel Cymry i ragrithiwr dieflig ddial am ei esgymmundod trwy osod rhai ar waith i dyngu celwydd ar y bugail, neu trwy chwilota ym mhell ac yn agos am achwynwyr i'w erbyn am ryw hen achosion neu gilydd." A ddarlleno, ystyried. Y *Drych* ydyw prif newyddiadur Cymry gwerinol America. Arddangosir gallu arbenig yn ei ddygiad ym mlaen; ac y mae iddo gylchrediad tra helaeth yn y wlad hon yn ogystal ag yn America. Y mae'n ddiammheu nad yw golygydd neu olygyddion newyddiadur mor barchus a dylanwadol yn cyhoeddi cyhuddiadau difrifol o fath yr uchod heb feddu seiliau digonol wrth law i gyfiawnhau y gorchwyl.

### "DIC-SIONA."

Y mae bron bob peth a ysgrifena'r adnabyddus Michael D. Jones yn ddoniol, os nad yn ddoeth. Credaf ei fod yn wr hollol ddidderbyn wyneb, gan ei fod yn arfer ymosod ar yr hyn a ystyria yn feius yn ei blaid ei hun yr un mor ddiarbed ag ar ffaeleddau

Digitized by Google

gwirioneddol neu ddychymmygol ei wrthwynebwyr. Y mae Mr. Michael D. Jones yn Gymro, ac yn Gymro eithafol. O dan y penawd dyeithr "Dic-Siona," yr hyn, fel y dywed ef ei hun, sydd dalfyriad er mwyn hwylusdod o Ddic-Sion-Dafydda, ysgrifena, "Ffyrdd y llanciau o Ddic-Siona yw ysmygu, poeri yn arglwyddaidd, ac yswagro yfed yn y tafarndai. Mae aml i hogyn o chwarelwr yn gwagdybio os medr gydio mewn rholysmygen (*cigar*) yn foneddigaidd, ymsythu ar ei gadair yn arglwyddaidd, gyda chadwen felen draws ei gest, gan nad beth fo ei defnydd, ei fod yn ddarn o wr boneddig, yn enwedig os medr gega tipyn o Seisoneg." Gwirionedd bob gair; ac nid yw'r cyfan, i'm tyb i, ond effaith uniongyrchol dysgeidiaeth chwyldroadol Radicaliaid cegrwth yr awr giniaw. Dysgir y llanc i feddwl ei hun yn well na'i feistr, ac i edrych i lawr yn ddiystyrllyd, druan, ar ei uwchafiaid. Penfeddwir ef gan hunanoldeb, a dysgrifir y canlyniadau yn gampus gan Mr. Michael D. Jones yn y brawddegau uchod. Ond êl Mr. Jones ym mlaen i ymdrin â'i destyn mewn agwedd arall. Dywed fod "bancwyr lawer, masnachwyr, meddygon, twrneiod, a mân ysweiniaid, yn Dic-Siona drwy fyned i'r prif dafarnau i chwareu pelre (*billiards*) a chyngwystlo, &c. Ac er mwyn cael troi ym mhlith y cacwn melynion a cholynog yma sydd yn byw ar fêl y gwenyn gweithgar, y mae lluaws o'n pregethwyr Dic Sion Dafyddol am godi capeli Seisoneg, er na wna Seison, fel rheol, mewn unrhyw wlad y teyrnasant ynddi godi addoldy i neb ond y rhai a addolant yn eu hiaith. Ymfawrygu a Dic-Siona y mae y pregethwr balch sydd yn gwaeddi am gapel Seisoneg diraid, am fod rhyw nifer o boblach rhygyngog, ag y gellir nithio ffa wrth wynt eu cynffonau, yn galw am hyny." Gwelir fod Mr. Jones yn galw bancwyr, masnachwyr, meddygon, a thwrneiod, yn "gacwn melynion a cholynog sydd yn byw ar fêl y gwenyn gweithgar." Yn sicr, nid drwy arfer iaith annheilwng fel hyn am ddosbarthiadau parchus a llafurus y mae dyfod â'r "hogyn o chwarelwr" i'w iawn bwyll. Gyda golwg ar y pregethwyr: wel, y mae Mr. Jones yn bregethwr ei hun, ac y mae yr hyn a ddywed am ei frodyr, o'r hyn lleiaf, yn dangos ei annibyniaeth, a'i fod fel y dywedais yn ddidderbyn wyneb. Nid oes ammheuaeth nad oes llawer o wir hefyd yn yr hyn a ddywed am yr achosion Seisoneg diraid. Y mae yr anhawsder dwyieithog gwirioneddol yn ddigon o gloffrwym ar offeiriad a phregethwr heb i'r un *Cymro* penchwiban gynhyrfu am Eglwys neu gapel Seisoneg, o dan y grediniaeth gyfeiliornus fod addoli Duw yn y cyfryw yn fwy *respectable*.

IE, IE, HM, WEL, WEL.

Gan fy mod wedi dechreu drwy ddyfynu o'r *Drych*, ef allai y maddeuir i mi am osod ger bron darllenwyr yr *Haul* y dyfyniad byr, ond tra chywir a dysgrifiadol a ganlyn allan o'r un newyddiadur:—"Y mae yn hen arferiad ym mysg pregethwyr a diaconiaid Ymneillduol Cymru ddweyd yr un gair drosodd a throsodd a throsodd drachefn wrth ymddyddan, pan fyddo y gair hwnw yn atebiad i ofyniad. Yn gyffredin, ail-adroddir ef gydag ymddangosiad o absennoldeb meddwl, ac ef allai gyda pheswch neu ebychiad defosiynol rhwng yr ail-ynganiad o hono, megys, 'Ië—ïe, hm—ïe—hm—hm—ïe,' &c. Nid ydym yn gwybod a ydyw clerigwyr yr Eglwys Sefydledig yn ddarostyngedig i'r arferiad hwn ai peidio. Pa un bynag am hyny, hen arferiad afreidiol ac anolygus ydyw. O rodres a ffugiad yr hanodd, ac o'r un tarddiad, mewn cyssylltiad â dynwarediad, y rhoddir parhâd iddo. Gair segur yw pob gair nad yw yn ateb dyben. Pa ddyben sydd i "Ië" fwy nag unwaith mewn atebiad i'r un cwestiwn? Dim. . . . Os bydd 'gwr ieuanc gobeithiol' â'i fryd ar fyned yn bregethwr, odid nad yn ei beswch, ac mewn cydymffurfiad â'r arferiad o ddweyd 'Ië, ïe, ïe,' &c., yn synfyfyriol, y ceir yr amlygiadau cyntaf o hyny. Yng nglŷn â hyny, dichon y bydd yn ymestyn at 'hwyl' wrth weddïo! Hyn oll sydd wagedd a gorthrymder ysbryd. Y mae y dyn ieuanc hwnw ar y llwybr chwithig. Yn hytrach nag arfer gyda *cant* o'r fath, gwell fyddai iddo arfer ei hun i fod yn syml, dilol, myfyrgar, a diwastraff o'i eiriau." Ymladdodd Brutus alluog gryn lawer ar dudalenau yr *Haul* yn erbyn yr arferion jackyddol ag y cwyna'r golygydd Americanaidd mor briodol o'u plegid. Ond y mae tylwyth adgas Wil Brydydd y Coed yn dra lluosog eto yng Nghymru. Gallaf sicrhau y golygydd plaen a diweniaith, gan nad beth all fod ffaeleddau offeiriaid yr Eglwys, nad ydynt yn euog o wneyd mwncïod dynwaredol o honynt eu hunain o'r fath a ddysgrifia. Dynion gwynebagored, siriol, heb ystyried eu crefydd yn *faich*, ac yn arfer siarad iaith gyffredin y bobl heb unrhyw oslef swyddogol, ydyw cyfangorff yr offeiriaid Cymreig. Ond welsoch chwi erioed, er hyny, y fath ddylanwad sydd gan "Ië, ïe—hm, ïe, wel, wel" crefyddol rhai o'r pregethwyr a'r blaenoriaid ar hen wrageddos anwybodus eu cynnulleidfaoedd. Ond dylanwad arwynebol a thwyllodrus rhagrith ydyw; ac yng ngoleuni addysg y dyddiau presennol, gallwn ragweled y bydd hyd yn oed hen wrageddos yr oes nesaf uwch law cymmeryd eu camarwain gan sych-

Digitized by Google

besychiadau rhith-grefyddol Phariseaid hunanol â'u *lungs* yn llawer iachach a phurach na'u calonau.

EIN "DOCTORIAID."

Y mae y Parch. Sam Jones, yr "efengylydd" adnabyddus a llwyddiannus o'r tu arall i'r Werydd, wedi bod yn dweyd ei feddwl braidd yn blaen am ein "doctoriaid." Dywed ef fod D.D. ar ol enw pregethwr yn golygu *Devil's Dunce!* Ac wrth sylwi ar y peth dywed y *Saturday Globe*, newyddiadur a gyhoeddir yn Utica, fel hyn: "Mr. Jones may be too radical in his observation, but it is nevertheless true that honorary degrees conferred in this country *are not a sign of intellectual superiority*." Tystiolaeth y Proff. C. T. Smith, o Brifysgol Vanderbilt, ydyw fod yn America nifer helaeth o'r hyn a alwai ef yn brifysgolion "un ceffyl," ac nad yw y cyfryw yn ofalus a manwl o gwbl gyda golwg ar gymhwysder y dynion a chwennychant eu hanrhydeddu. Ceir ganddo hanes rhyfedd am brifysgol yn Texas, llywodraethwyr a phroffeswyr yr hon a wneid i fyny yn gyfangwbl o dad a dau fab. Anrhegwyd yr hen wr gan y ddau fab â'r gradd o LL.D., a chydnabyddwyd yr anrhydedd gan y tad diolchgar drwy gyflwyno i'r ddau fab y gradd o Ph.D.! "Cân di bennill mwyn i'th nain, fe gân dy nain i tithau." Yr oedd tref neillduol yn Arkansas wedi dyfod mor lewyrchus a llwyddiannus, fel y penderfynodd rhai o'r trefwyr mwyaf blaenllaw—yn cael eu harwain gan oruchwyliwr peiriannau gwnïo—mai dymunol fyddai cael prifysgol i'w plith. Fe gludwyd llwyth o goed, a dymchwelwyd ef ar y dernyn tir a ddewisasid i adeiladu'r brifysgol arno; ac ar y llwyth hwn o goed yr eisteddodd y bwrdd o ymddiriedolwyr i gynnal eu cyfarfod swyddogol cyntaf. Yr unig waith a gyflawnwyd ydoedd ethol y goruchwyliwr peiriannau gwnïo i'r gradd o D.D., ar ol yr hyn yr ymwahanasant, byth i gyfarfod mwy, gan i wr y nodwyddau ddianc ymaith yn globyn o "ddoctor," ac i adeilad y brifysgol mewn canlyniad, yn y ffurf o lwyth o goed, gael ei gludo ymaith. Gellir dwyn ym mlaen lawer o enghreifftiau tebyg i'r uchod; ond nid yw yn ofynol ychwanegu atynt er dangos pa mor ddiwerth ydyw rhai o'r "teitlau anrhydeddus" a dderbynir dros y môr. Dyddorol fyddai gwybod *o ba le* ac *am ba beth* y cafodd y llu o "ddoctoriaid" pregethwrol sydd yng Nghymru eu teitlau swnfawr. Ef allai nad oes gan y Parch. Sam Jones, wedi'r cyfan, ond ffordd lled arw o ddweyd y gwir.

PENODIADAU EGLWYSIG Y PRIFWEINIDOG.

Nid yn aml y syrthiodd i ran unrhyw brifweinidog i lenwi cynnifer o wagleoedd yn swyddau uchaf yr Eglwys ag yn ystod y weinyddiaeth bresennol. Wrth sylwi ar hyn, dywed y *Daily Graphic* ei bod yn ffaith wybyddus nad oedd Arglwydd Melbourne yn ystyried y gorchwyl o ddewis a phenodi esgob yn fendith ddigymmysg. Yr oedd hawliau a dyfalgeisiadau y clerigwyr yn ei yru ef i benbleth, a thymmerau drwg ar adegau. Ond "*other times, other manners*." Mae cyfangorff y clerigwyr yn y dyddiau hyn yn cael dylanwadu arnynt gan amgenach ac anrhydeddusach uchelgais na dymuniad am sicrhau dyrchafiad iddynt eu hunain; ac nid oes ammheuaeth (medd y *Daily Graphic*) nad yw y cynnygiad o ddyrchafiad uchel yn dyfod fel "sudden and strong surprise" yn fynych iawn i'r offeiriad plwyfol gweithgar a fwriedir ei anrhydeddu. A chyda golwg ar amrywiol benodiadau Arglwydd Salisbury, rhaid cydnabod ei fod wedi arddangos dymuniad diduedd i osod anrhydedd ar ddynion goreu pob adran o feddylwyr yn yr Eglwys, gan amcanu drwy hyny dwyn oddi amgylch y llesiant goreu a mwyaf cyffredinol.

Y SWYDD O BREGETHU.

Ymddengys i ymdrafodaeth fywiog ar y pwnc uchod gymmeryd lle yn y gynnadledd esgobaethol a gynnaliwyd yn ddiweddar yn Henffordd. Ac mewn rhifyn o'r *Hereford Journal* fe geir sylwadau hynod o bert a phwrpasol ar yr ymdrafodaeth hòno gan y Parch. C. F. Grey, sylwadau ag yr hoffaswn allu eu gosod yn gyflawn ger bron darllenwyr yr *Haul*. Rhaid ymfoddloni, pa fodd bynag, ar ddim ond dangos eu rhediad. Dywed y gwr parchedig ei fod wedi darllen rhai o'r areithiau a draddodasid ar yr achlysur, a'i fod yn hollol gytuno â'r hyn a ddywedasai mwy nag un siaradwr, sef fod y rhan fwyaf o bregethau yr amser presennol yn llawer rhy uchel—ym mhell uwch law penau y gwrandawyr. Ond nid oedd unrhyw berygl i'r swydd o bregethu gael meddwl rhy ychydig o honi. Yr oedd y perygl yn y cyfeiriad arall. Nid yw yr Eglwys yr un fath a'r tŷ cwrdd—yn ddim ond tŷ pregethu. Y mae hi yn rhywbeth llawer mwy na hyny. Adeiledir Eglwysydd er mwyn i'r bobl eu mynychu i addoli Duw, a bod yn wyddfodol yn yr aberth diolch. Mae yn wir fod yr Apostolion Sanctaidd yn bregethwyr; ond yr oedd ganddynt hefyd waith annhraethol bwysicach na hyny i'w gyflawnu. Dywed St. Paul wrth anerch y Galatiaid, "I ba rai *o flaen eu llygaid y portreiadwyd Iesu Grist, wedi ei groeshoelio* yn eich plith" (Gal. iii. 1). Meddylia pobl yn gyffredin mai at *bregethu* y cyfeirir yn y fan yma; ond y mae yn amlwg fod y syniad

Digitized by Google

hwn yn gyfeiliornus, ac mai cyfeirio mae yr apostol at yr aberthau ysbrydol hyny a ffurfient addoliad arferol yr Eglwys Gristionogol. Yr ydym yn darllen hefyd, "Ac ar y dydd cyntaf o'r wythnos, *wedi i'r dysgyblion ddyfod yng nghyd i dori bara*, Paul a ymresymodd â hwynt" (Act. xx. 7). Yr oedd y bobl wedi dyfod yng nghyd i'r aberth i addoli Duw, ac nid i glywed Paul yn pregethu. Gwyddai yr apostol y byddai y bobl yn sicr o ddyfod i'r aberth, ac felly cymmerodd fantais ar y cyfleusdra i lefaru wrthynt. Credaf fod y sylwadau hyn yn deilwng o sylw ac ystyriaeth, yn enwedig felly yng Nghymru, lle mae cymmaint o duedd i ddyrchafu y pwlpud uwch law yr allor. Y mae pregethu yr Efengyl yn waith pwysig, ac yn ddyledswydd a orchymmynwyd gan y Gwaredwr Bendigedig ei Hun. Dylai y gwaith o bregethu gael ei gyflawnu yn y modd goreu ag sydd ddichonadwy; ond drwy roddi *gormod* o bwys arno, y mae perygl i ni lithro i gyflwr yr Ysgrifenyddion a'r Phariseaid a geryddid gan yr Arglwydd Iesu o blegid gadael heibio y "pethau trymach."

### LLYFR Y PARCH. G. S. REANEY.

Y mae y gwr parchedig uchod, sef y pregethwr poblogaidd ac adnabyddus a ymadawodd yn ddiweddar â'r Annibynwyr ac a ymunodd â'r Eglwys, newydd gyhoeddi llyfr lled drwchus yn gosod allan ei resymau dros y cam a gymmerodd. Nid yw y llyfr ond newydd ddyfod i'm llaw, ac nis gallaf mewn canlyniad wneyd llawer mwy na'i grybwyll y tro hwn. Os na welaf y bydd golygydd neu rywun o ohebwyr yr *Haul* yn ei gymmeryd dan sylw yn y rhifyn presennol, caf ddychwelyd ato eto. Cynnwysa'r llyfr ddadleniadau cyffröus, os nad arswydus. Pa sawl un, tybed, o'r Annibynwyr Cymreig sydd yn credu yn y Presennoldeb Dwyfol Gwirioneddol yn eu seiatau? Dyma fel y llefarwyd o gadair lywyddol yr Undeb Cynnulleidfaol ym mis Mai diweddaf: "Yr ydym yn dal yr athrawiaeth o'r Presennoldeb Gwirioneddol gyda chrediniaeth ddiammheuol—gyda theimlad o sicrwydd hollol; ac ystyriwn fod peidio dal yr athrawiaeth yma yn anffyddiaeth, ac yn wir o angenrheidrwydd yn annuwiaeth!" "Yr hyn a ddywed y Pabyddion," medd Mr. Reaney, "ei fod yn yr offeren, a'r Eglwyswyr ei fod yn y Cymmun Bendigaid, y mae y Cynnulleidfaolwr, gyda'r un gradd o sicrwydd, yn cadarnhau ei fod yn yr eglwys—yn y cyfarfod eglwysig! (seiat) i gyfarwyddo eu hymgynghoriadau, ac i gynnysgaeddu eu gweithrediadau â'i awdurdod ei Hun, fel pa beth bynag a rwymont ar y ddaiar, a fydd rhwymedig yn y nefoedd; a pha beth bynag a ryddhaont ar y ddaiar, a fydd wedi ei ryddhau yn y nefoedd." Bydd y syniadau dychrynllyd hyn yn newydd i'r mwyafrif o Annibynwyr Cymru; ond nis gallant yn rhwydd ymwrthod â hwy. Llefarwyd hwy o gadair eu Hundeb—*ex cathedra*—mor ddiweddar a mis Mai y flwyddyn sydd newydd fyned heibio. Wrth gymharu yr honiadau hyn â'r anghydwelediadau a'r ymladdau a gymmerant le yn rhy aml yng "nghyfarfodydd eglwysig" y sect, nis gallaf lai na'u hystyried yn gableddus.

IFOR LLWYD.

---

## NEWYDDION.

### BARBAREIDDIO CYMRU.

YMDDENGYS fod Mr. Lloyd George, yr aelod anrhydeddus dros fwrdeisdrefi Arfon, yn credu yn athrawiaeth Caiaphas mai buddiol yw aberthu un dros y lluaws, neu *wneyd drwg* fel y dêl daioni, o herwydd dywed fod "arwerthiadau fel oedd yn Llannor ar y 17fed o Ragfyr (1890) yn gwneyd mwy na chyfarfodydd cyhoeddus tuag at ddadsefydlu yr Eglwys." "A llongyfarchai y lluaws, a llawenhäi ei hun wrth weled cynnifer o bobl wedi dyfod yng nghyd i wrthdystio yn erbyn talu y degwm."

Y mae Mr. Lloyd George yn gyfreithiwr gwybodus, galluog, a gŵyr fod y degwm yn eiddo wrth *gyfraith gwlad* mor wirioneddol ag ydyw y wisg sydd ganddo ef ei hun am dano. Gŵyr hefyd mai eiddo offeiriaid Llannor a Phwllheli yw degwm Llannor, ac eto elai efe â myntai i'w ganlyn gyda phob dyfais mewn gwawdluniau, canu cyrn, curo padelli, a therfysgu i attal y dynion hyn i dderbyn eu cyfiawn eiddo, ac i rwystro i gyfraith gwlad wneyd cyfiawnder. Appeliodd Mr. Lloyd George oddi wrth gyfraith gwlad at drais y lluaws: appeliodd at nwyd y galon ddynol a barbareidd-dra natur lygredig. Aeth yn athraw barbareidd-dra, a dysgodd y lluaws gan belled ag y gallai i fathru cyfraith gwlad dan draed. Athrawiaeth Parnell, Healy, a'r Doctor Tanner yw; ac fe welir plaid y gwawdluniau, y cyrn pres, a'r lluchio llaid yn troi yr arfau hyn at eu gilydd eto; o herwydd os gwnânt hyn yn y pren ir, beth a wneir yn y crin?

### ALMANAC YR EGLWYSWR AM 1891.

Y mae Almanac yr Eglwyswr ger ein bron am y

Digitized by Google

drydedd flwyddyn, ac fel gwr ieuanc ar ei dyfiant y mae yn helaethach, llawnach, a mwy perffaith y naill flwyddyn ar ol y llall. Heb law ateb holl amcan ymarferol almanac, y mae yn cynnwys swm mawr o hanesiaeth a gwybodaeth fuddiol am yr Eglwys ym mhell ac agos, yn hen a diweddar. Ni ddylai un teulu Cymreig fod heb yr almanac hwn. Nid yw ei bris ond ceiniog, ac y mae i'w gael yn y "*Journal*" *office*, Rhyl, neu gan y *Church Defence Institution*, 9, Bridge-street, Westminster, S.W. Y mae Mr. Lewis Jones, yr awdwr, yn teilyngu pob cefnogaeth a diolchgarwch hefyd am y llafur a gymmer o flwyddyn i flwyddyn i berffeithio yr almanac buddiol hwn.

### CYMMWYNAS LEDNAIS.

Ysgrifenodd boneddwr o'r enw Mr. D. W. Stable i'r *Times* fel y canlyn:—"Yng ngwanwyn y flwyddyn hon (1890) cymmerwyd rheithor Llanbrynmair, swydd Drefaldwyn, yn glaf yn dra disymmwth o glefyd peryglus. Yr oedd degwm blwyddyn yn ddyledus iddo. Tra yr oedd y rheithor yn cael ei gaethiwo yn ei wely, cynnygiodd un o'i blwyfolion, blaenor ym mysg yr Ymneillduwyr, gasglu y degwm heb dâl nac elw ond o gydymdeimlad a chymmydogaeth dda yn unig. Derbyniwyd y cynnyg yn llawen. Anfonodd y Cristion teimladwy yr hysbysiadau am swm y degwm i bob talwr, a gosodwyd diwrnod y ffair yn Llanbrynmair i'w dderbyn, pryd y talwyd yr oll heb droi yn ol na chost o un math, a derbyniwyd peth ol-ddyled hefyd. Dyma hanes y taliad degwm diweddaf (ym mis Chwefror) yn un o blwyfydd Ymneillduol Cymru, ac y mae yn wir anrhydeddus i'r oll ag y bu a wnelont â'r gwaith da, ac yn esampl, yr wyf yn obeithio, a werthfawrogir yn briodol." Nid ydym yn adwaen Mr. D. W. Stable, ond gwnaeth gymmwynas i'n cenedl drwy gofnodi y weithred hon o gymmwynasgarwch Cristionogol.

### NAWDDOGAETH FREINIOL I LENYDDIAETH GYMREIG.

Peth gydmarol ddiweddar ydyw cydnabyddiaeth freiniol o lenyddiaeth Gymreig. Ym mysg y rhai cyntaf i dderbyn blwydd-dâl (*pension*) o 50p. yn y flwyddyn, fel cydnabyddiaeth o wasanaeth ei phriod i lenyddiaeth, yr oedd gweddw y llenor gwych, Ioan Emlyn. Yna caed gweddw y diweddar Ab Ithel yn mwynhau yr un amgeledd. Ar ol hyny daeth gweddw Nicander i'w derbyn. Os ydym yn cofio yn dda, y mae gweddw y bardd telynegol a gwladgarol Ceiriog Hughes yn derbyn yr un gydnabyddiaeth. Ym mysg derbynwyr rhoddion achlysurol bu Gweirydd ab Rhys lafurus, Robyn Ddu dalentog; ac yn ddiweddaf, yr Hybarch Archdderwydd rhadlawn, calon gynhes, Clwydfardd, sydd bob amser â'i lais a'i esampl o blaid rhinwedd a daioni.

Nid ydym yn cofio am un cerddor, neu weddw cerddor, a dderbyniodd y cyfryw gydnabyddiaeth. Y mae emynwyr a cherddorion ein cenedl yn gwneyd cymmaint, os nad mwy, na neb rhyw lenorion ereill tuag at buro a dyrchafu y genedl. Buasai cydnabod llafur Ieuan Gwyllt, Ambrose Lloyd, J. D. Jones, Rhuthin, Tanymarian, ac ereill a ellid enwi, yn sicr yn cyffwrdd â thant tyner ym mynwes y Cymry.

### BANGOR.

Gorseddwyd esgob Bangor gyda mawr foddhâd ac urddas priodol i'r amgylchiad, fel olynydd i'r llednais Ddoctor Campbell, a'r unfed ar bymtheg a thrigain mewn hir linach o esgobion a fu yn gofalu am esgobaeth Bangor Fawr, yng Ngwynedd. Ni wiw i ni dybied fod y llinach hon yn ddifwlch. Yn y canrifoedd cyntaf o esgobaeth Daniel, neu Deiniol Wyn, yn y flwyddyn 550, y mae y bylchau yn fawrion; ond o'r deuddegfed ganrif i waered y mae yr enwau bron oll ar gael. Y mae yr Esgob Lewis Lloyd yn ymgymmeryd â chyfrifoldeb mawr ar adeg hynod o bwysig.

Cynnaliodd yr Esgob Lloyd ei urddiad cyntaf ar yr 21fed o'r mis diweddaf. Urddwyd yn *ddiaconiaid* Frank Lampitt, B.A. prifysgol Llundain, gyda thrwydded yn gurad Caernarfon; A. C. E. Adams, Coleg Duwinyddol St. Aidan, gyda thrwydded i guradiaeth Llandinam; T. H. Williams, B.A., Coleg St. Pedr, Caergrawnt, gyda thrwydded i guradiaeth St. Mair, Bangor; T. Hughes, B.A., Coleg y Frenines, Caergrawnt, gyda thrwydded i guradiaeth Llanfihangel, Sir Feirionydd.

### LLANELWY.

*Urddiad Gweinidogion.*

Ar ddydd Sul, yr 21fed o'r mis diweddaf, derbyniwyd y boneddwyr canlynol i urddau sanctaidd:—

*Diaconiaid.*—Maurice Charles Dasent, B.A. Caergrawnt; David William Davies, Coleg Duwinyddol St. Aidan (efe a ddewiswyd i ddarllen yr Efengyl); Edward William Jones, B.A., Coleg Dewi Sant; John Hughes Parry, Llenor; John Morgan Parry, B.A., Coleg Worcester, Rhydychain; John Henry Rees, efrydydd, Rhydychain; Edwin Herbert Harrison, B.A., Rhydychain a St. Aidan.

Digitized by Google

*Offeiriaid.*—Hugh Frederic Bennett, B.A., Coleg Worcester, Rhydychain; Roger Francis Markham, B.A., Coleg y Drindod, Caergrawnt; Ellis Gregory Roberts, M.A., Coleg yr Iesu, Rhydychain; Henry Eaton Thomas, B.A., Coleg Dewi Sant; John Howell Thomas, Dewi Sant.

## GWNELER DY EWYLLYS.

Dysg fi, O Dduw, i ufuddhau
I dy ewyllys Di;
Os yw'm cystuddiau i barhau,
O Arglwydd, cofia fi.

Cymylau a thywyllwch mawr
Sydd rhyngof a Thydi;
Ond trwyddynt gad im' weled gwawr
O'th gariad ataf fi.

Rho nerth i ostwng i dy drefn,
Er croesau fwy na rhi';
A chofio'n wastad fod tu cefn
I'r oll, d'ewyllys Di.

Os byw mewn adfyd yw fy rhan,
Na ddiystyra'm cri;
Atolwg, gad i'm henaid gwan
Gael dy gymdeithas Di.

D'ewyllys wneler, O fy Nuw,
A boddlawn fyddaf fi
I'm hir gystuddio, ond cael byw
A'm golwg arnat Ti.

Os rhaid cael profedigaeth lem
Er ein hiawn-bwyllo ni,
Mewn tònau geirwon, O! am drem
Pryd hyn o'th gariad Di.

Rhaid ydyw puro'r aur drwy dân
I'w ddwyn i werth a bri;
A phuro'r saint a raid yn lân
Wrth dy ewyllys Di.

Er mwyn dy grog, O! Arglwydd da,
Na ddiystyra'm cri,
Ond dwg fi o fy mhoen a'm pla
I dy breswylfa Di.

*Swyddffynnon.* D. LLEDROD DAVIES.

## MANION.

Po mwyaf o ostyngeiddrwydd, mwyaf y lle a mwyaf y cyflawnder. Y mae y mynyddoedd uchel yn gadael i'r gwlaw redeg oddi arnynt, ond y mae y dyffrynoedd isel yn cael eu dyfrhau yn helaeth.—*St. Awstin.*

Ni fydd gan yr hwn sydd yn edifarhau bob dydd am bechodau pob dydd, pan ddaw i farw, ond pechod un dydd i edifarhau am dano.—*Esgob Ryle.*

Pechod mawr yw *gwneyd* llw i bechu, ond pechod mwy yw *cadw* y llw yna. Nis gellir rhwymo neb drwy gyssegr-lw i lofruddio.—*Shakespeare.*

### BETH WNAETH Y GROES.

Nid oes yr un dosbarth bron nad yw wedi ysgafnhau ei feichiau. Gwaredodd yr ymgleddyfwr (*gladiator*), rhyddhaodd y caeth, diogelodd y carcharor, ymgeleddodd y claf, amgylchynodd y plentyn egwan megys â mur o ddiniweidrwydd sanctaidd, fel na wneid iddo niwed. Yn holl agweddau bywyd, teimlid ei dylanwad i wellâu. Edrychid ar dosturi o hyn allan nid fel bai, ond fel rhinwedd. Dyrchafodd dlodi o fod yn felltith i fod yn wynfyd; gwnaeth lafur yn anrhydeddus; gwnaeth briodas yn gyssegredig; dadguddiodd brydferthwch sanctaidd purdeb. Hi roddodd fod hyd yn oed i'r syniad o fod yn dda wrth ereill.—*Bywyd Crist* (Farrar).

Wrth edrych, Iesu, ar dy Groes,
A chofio dyfnder d'angeu loes,
Pryd hyn 'rwyf yn dibrisio'r byd,
A'i holl ogoniant gwael i gyd.—*Williams.*

ELLDEYRN.

### GEIRIAU OLAF WILBERFORCE.

"Deuwch, eisteddwch yn fy ymyl, a gadëwch i mi roddi fy mhwys arnoch," ebai Wilberforce wrth gyfaill ychydig fynydau cyn marw. Ac wedi rhoddi ei freichiau am dano, efe a ddywedodd, "Duw a'ch bendithio fy anwylyn." Ar hyn aeth ychydig yn gynhyrfus, ac a dawodd. Ond yn fuan ychwanegodd, "Rhaid i mi eich gadael, fy nghyfaill; ni chawn gyd-ymlwybro yn hwy yn y byd hwn, ond gobeithio y cawn gyfarfod yn y nefoedd. Bydded i ni ymddyddan am y nefoedd. Na wylwch am danaf fi, canys yr wyf fi yn wir ddedwydd; ond meddyliwch am danaf fi, a bydded i hyny beri i chwi ymwthio ym mlaen. Nis gwybum beth oedd dedwyddwch hyd nes yr adnabum Grist yn Waredwr. Darllenwch y Beibl! Na roddwch ei le i un llyfr crefyddol. Yn fy holl helbulon a chyfyngderau, ni ddarllenais yr un llyfr arall, ac ni theimlwn eisieu yr un arall. Ef ydoedd fy efrydiaeth feunyddiol;

Digitized by Google

a'm holl wybodaeth o athrawiaethau, a'm cydnabyddiaeth o brofiad a gwirioneddau crefydd, a dynwyd o'r Beibl yn unig. Yr wyf yn credu nad yw crefyddwyr yn darllen digon arno. Gall llyfrau crefyddol fod yn ddefnyddiol, ond ni wnânt y tro yn lle gwirionedd syml y Beibl. Nid oes dim yn fy argyhoeddi yn fwy o wirioneddolrwydd y cyfnewidiad mewnol ynof na'r teimlad gyda'r hwn y gallaf fyfyrio ar fy ngwahaniad oddi wrth fy nheulu. Yr wyf yn teimlo mor llwyr ddiddyfnedig oddi wrth y ddaiar, a'm serchiadau mor llwyr yn y nefoedd, fel gallaf eich gadael oll heb ofidio na thristâu; eto nid wyf yn eich caru yn llai, ond Duw yn fwy."

### MEDDYGLYN BYWYD.

Yr enwog Rosenmüller a ddyfyna yr hanesyn addysgiadol a ganlyn o lyfr Mussar:—Rhyw ddyn, tra y cerddai trwy y ddinas, a lefai yn barhäus, "Pwy sydd eisieu meddyglyn bywyd?" Merch Rabbi Ioda a'i clywodd, ac a ddywedodd wrth ei thad, ac yntau a archodd ei alw i mewn. Wedi ei ddyfod i mewn, gofynodd y Rabbi iddo, "Beth yw y meddyglyn bywyd hwnw a werthi?" Yntau a atebodd, "Onid yw yn ysgrifenedig, 'Pwy yw y gwr a chwennych fywyd ac a gâr hir ddyddiau i weled daioni? Cadw dy dafod rhag drwg, a'th wefusau rhag traethu twyll.' Hwn ydyw meddyglyn bywyd, ac y mae i'w gael yng ngeneu pob dyn."

Dywed arwr yr hanesyn hwn yn ddoeth, "Dyma feddyglyn bywyd." Gwna llywodraethiad y tafod, yn cynnwys wrth gwrs iawn reoleiddiad y nwydau, fwy tuag at estyn a melysu bywyd na holl gyfferi y byd. "Y tafod, drwg aflywodraethus ydyw, yn llawn gwenwyn marwol, ac yn gosod troell naturiaeth yn fflam, ac wedi ei wneuthur yn fflam gan uffern." Trwy y tafod yr achosir y rhan fwyaf o ryfeloedd, y terfysgoedd a flinant gymdeithas, a llawer o'r cyffroadau a ddygant bryder a gofid a nosweithiau digwsg. Ond pwy all ddofi y tafod, a'i wneyd yn weinidog iechyd a heddwch? Neb ond Crist yn unig. Yr hwn, fel arwr ein hanes, a ddysgwyl ganfod meddyglyn bywyd yng ngeneu dyn, a siomir: ni chaiff yno o gŵ "gwenwyn aspiaid;" o blegid nid yw y meddyglyn hwn gan neb ond y Cristion. Nis gall yr un enaid, ond y cyfryw ag a "grewyd yn newydd yng Nghrist Iesu," gadwyno y nwydau drygionus, a'u dwyn dan lywodraethiad cariad, a thywallt balm melus a mwyn eiriau i archollion ei annedwyddwch ei hun neu ei gymmydog. "Y tafod, nis gall neb ei ddofi." Duw yn unig all gwblhau y weithred. Pwy bynag a fyno gael meddyglyn bywyd, rhaid iddynt ei geisio yn fferyllfa y Physigwr nefol, yr Hwn sydd "yn iachäu ein holl lesgedd," ac yn "llanw ein geneu â phethau da," a'r Hwn a "adnewydda ein hieuenctyd fel yr eryr."

H.

---

### PENODIAD MR. HELM.

Dymunir arnom hysbysu fod Cymdeithas Amddiffyniad yr Eglwys wedi penodi Mr. W. E. Helm fel ei hysgrifenydd yng Nghymru. Gellir ysgrifenu ato yn Granville Street, Shrewsbury.

Bydd yn dda ganddo dderbyn oddi wrth unrhyw un a fyddo cystal a'u hanfon iddo:—

1. Gwybodaeth am waith a chynnydd yr Eglwys.
2. Gwybodaeth am yr ymosodiadau ar yr Eglwys.
3. Pigion allan o newyddiaduron.
4. Ceisiadau am ddarlithiau, cyhoeddiadau, &c.
5. Tanysgrifiadau a chyfraniadau tuag at y Gronfa Gymreig.

---

### Y LLITHIAU PRIODOL, IONAWR, 1891.

| Dydd. | Suliau a Gwyliau. | Boreu. | Prydnawn. |
|---|---|---|---|
| 1 Iau | Enwaediad ein Harglwydd* | Gen. xvii. 9<br>Rhuf. ii. 17 | Deut. x 12<br>Col. ii 8—18 |
| 4 Sul | 2 Sul wedi'r Nadolig | Esai xlii.<br>Mat. iii. | Esai xliii. neu xliv.<br>Actau ii 22 |
| 6 Mawrth | Ystwyll ein Harglwydd† | Esai lx.<br>Luc iii. 15—23 | Esai xlix 13—24<br>Ioan ii hyd 12 |
| 11 Sul | 1 Sul gwedi'r Ystwyll | Esai li.<br>Mat. vi. 19 hyd vii. 7 | Esai lii 13 a liii. neu liv.<br>Actau vii hyd 35 |
| 18 Sul | 2 Sul gwedi'r Ystwyll | Esai lv.<br>Mat. x 24 | Esai lvii. or lxi.<br>Actau x. 24 [xxxviii. |
| 25 Sul | Septuagesima | Gen. i. a ii. hyd 4<br>Dad. xxi. hyd 9 | Gen. ii. 4 neu Job<br>Dad. xxi. 9 hyd xxii. 6 |
| | Troedigaeth Sant Paul | Esai xlix. hyd 13<br>Gal. i. 11 | Jer. i. hyd 11<br>Actau xxvi. hyd 21 |

* Y Colect Priodol, Epistol, ac Efengyl i wasanaethu hyd yr Ystwyll. Rhagymadrodd y Nadolig i'w arfer yn y Cymmun.
† Credo Sant Athanasius.

---

CARMARTHEN:
Printed and published by W. Spurrell & Son, at their Printing Office, situate and being at No. 87, King-street, in the Parish of Saint Peter, in the County of the Borough of Carmarthen, on Wednesday, the 31st of December, 1890.

Digitized by Google

# YR HAUL.

Ail Gyfres Caerfyrddin.

"YNG NGWYNEB HAUL A LLYGAD GOLEUNI."
"A GAIR DUW YN UCHAF."

RHIFYN 74. CHWEFROR, 1891. CYF. VII.




DIWEDDAR ARCHESGOB CAEREFROG.

## ADGOF UWCH ANGHOF.

DR. WILLIAM THOMSON, ARCHESGOB CAEREFROG.

AR ddydd Nadolig diweddaf bu farw yn ei ddeuddegfed mlwydd a thriugain William Thomson, archesgob Caerefrog, un o *feddylwyr grymusaf* yr oes. Yr oedd y Dr. Thomson yn ddyn gwir fawr ym mhob ystyr, ac yr oedd ei safle fel archesgob y dalaeth hynaf yn yr ynys hon yn yr oedran cymharol ieuanc o chwech a deugain yn brawf o ddadblygiad cynnar ei alluoedd meddyliol a'i egnïon llafurus, ac yn dystiolaeth amlwg fod grisiau dyrchafiad yn yr Eglwys yn agored i dalent uchel a gweithgarwch



Digitized by Google

effro eu hesgyn bob amser. Eto,. pan awn i ymgynghori â llyfrau y brif athrofa yn Rhydychain, cawn na raddiodd yn uwch na'r trydydd dosbarth yn y celfau cain (*literæ humaniores*). Profa hyn nad yw dosbarth y llenor yn Rhydychain bob amser yn profi safle yr efrydydd mewn dysg a galluoedd meddyliol.

Dywed y *Times*, "Mab oedd William Thomson i Mr. John Thomson, o Kelswick House, Whitehaven, gwr a chanddo ran helaeth ym masnach y dref a'r ardal hòno, a ganwyd ef ar yr 11fed o Chwefror, 1819." Anfonwyd ef i Ysgol Ramadegol yr Amwythig oedd ar y pryd dan ofal Samuel Butler, awdwr yr *atlas* adnabyddus a ddwg ei enw, a'r hwn a benodwyd yn Esgob Lichfield tua'r amser yr ymadawodd Thomson o'r ysgol. Aeth oddi yno i Rydychain, ac ennillodd neu dderbyniodd un o'r ysgoloriaethau (cauedig) oedd yn perthyn i'w fro enedigol, Gogledd Lloegr, yng nglŷn â Choleg y Frenines—coleg ag ydoedd y pryd hwnw fel yn awr yn dal cyssylltiad agos â Gogledd Lloegr. Ychydig sydd ar gof a chadw am ei efrydiaeth yn Rhydychain cyn graddio o hono. Yr oedd yno yng nghanol gwres a berw y deffroad Eglwysig, ac yn gydoesydd â Newman a Pusey, ond nid ymddengys i'w brwdfrydedd a defosiwn gyffwrdd â meddwl na theimlad grymus a phwyllog Thomson. Yr oedd ei olygiadau crefyddol wedi eu ffurfio a sefydlu yn gadarn ar hen sylfeini y blaid a elwid yn Efengylaidd cyn ei fyned i Rydychain. Yn y flwyddyn 1840 graddiodd yn y trydydd dosbarth, ond ni bu y safle isel yma yn rhwystr iddo gael ei ethol yn gymmrawd o'i goleg. Yn y safle hon daeth ei alluoedd mawrion i'r golwg. Ordeiniwyd ef yn ddiacon yn 1842, ac yn offeiriad yn 1843, a bu yn gweinidogaethu dros amser yn Guildford a Cuddeston; ond yn 1847 dychwelodd yn athraw a deon i Goleg y Frenines.

Yn 1855 ymbriododd â Zoë, merch i Mr. J. H. Skene, boneddwr yn dal cyssylltiad â llys-negeseuaeth Caergystenyn; a phenodwyd ef gan Arglwydd Palmerston i fywoliaeth Eglwys All Souls, Marylebone. Ychydig a arosodd yma cyn ei benodi yn *brovost* Coleg y Frenines; yr oedd hefyd ar yr un pryd yn pregethu yn *Lincoln's Inn*, ac yn dal y swydd o gapelydd y Frenines. Daeth yn dra buan yn dra chymmeradwy gyda'i Mawrhydi a'r Tywysog Albert. Penodwyd ef yn 1861 i esgobaeth Gloucester a Bristol, ac yn 1863 i archesgobaeth Caerefrog. Fel Archesgob Efrog y cofir am dano, ac yma y y gwnaeth ei waith mawr dros un o'r cyfnodau mwyaf cyfoethog mewn llenyddiaeth a llafur plwyfol ym mywyd Eglwys y wlad hon. Ychydig o amser cyn ei benodiad i Gaerefrog ymddangosai traethodau llosg yr "Athrawiaeth Newydd," "*Vestiges of Creation*," "*Colenso on the Romans*," "*Essays and Reviews*," a "*Colenso on the Pentateuch*." Cynhyrfodd ymddangosiad y llyfrau hyn yr holl Eglwys. Ymosodiad grymus a galluog, a hynod o olygus hefyd, oedd ar uniongrededd crefydd Crist, neu grefydd ysbrydoledig. Tynid y Beibl i lawr i safle llyfr cyffredin, a dyrchefid dysgawdwyr yr oes hon yn feirniaid ar ysgrifenwyr ysbrydoledig Gair Duw. Daeth yr archesgob allan yn ei nerth i wrthwynebu hyn, a gwnaeth waith da fel golygydd *Aids to Faith*. Ysgrifenodd hefyd yn odidog ar "Y Cymmod" neu "Yr Iawn." Y mae ei arweiniad i mewn i'r tair efengyl gyntaf yn waith ardderchog hefyd, a'i luaws mawr traethodau athronyddol oll yn nerthol a llawn addysg. Gallai mai ei waith enwocaf ym maes llenyddiaeth yw ei *Outlines of the Laws of Thought*. Yr oedd ei dueddiad yn gryf at wyddoniaeth, a chymmerai olwg ymarferol ar bob peth, a chai wrandawiad llawen ym mysg gweithwyr deallus Gogledd Lloegr pa le bynag yr elai. Yr oedd o ymddangosiad personol tywysogaidd, wynebpryd llawn, goleu, agored, heulog, corff lluniaidd, talcen uchel, a safiad boneddigaidd, ac yn feddiannol ar ddawn ymadrodd hwylus llithrig, gyda môr o wybodaeth wrth gefn, ac felly yr oedd yn ffafr-ddyn y lluaws pa bryd bynag yr ymddangosai ar y llwyfan.

Nid oes ammheuaeth, medd y *Times*, na fyrhaodd y Dr. William Thomson ei ddyddiau drwy orlafur. Nid oedd derfyn ar ei weithgarwch oddi mewn ac allan, drwy y wasg, drwy y *post*; ar y llwyfan, yn y pwlpud, ar ei deithiau, a negesau swyddogol. Yr oedd er ys deng mlynedd yn dyoddef oddi wrth anhwyldeb ag y gwyddai y byddai yn angeuol iddo, ac fod llafur ac oerni yn ei waethygu, eto nid attaliodd awr ar ei waith. Daliodd ei law ar aradr ei weinidogaeth, gan dynu ei gŵys yn uniawn, nes i'r parlys ei daro i lawr pan newydd orphen ei arholiad o wŷr ieuainc yn ymgeisio am urddau sanctaidd, ar y dydd Gwener cyn y Nadolig, ac ehedodd ei anfarwol ran at Dduw yr Hwn a'i rhoes ar ddydd genedigaeth ei Geidwad.

---

Peidiwch byth â cholli cyfleusdra i weled unrhyw beth hardd. Llawysgrif Duw yw harddwch—sacrament min y ffordd. Croesawer ef ym mhob llysieuyn, a diolcher i Dduw am dano.—*Emerson*.

Digitized by Google

## DUWINYDDIAETH: NEU SYLWADAU AT WASANAETH YR YSGOL SUL AR YR EFENGYL YN OL ST. MATTHEW.

GWERS XIII.

*St. Matthew v. 33—37.*

DEDDFAU GEIRWIREDD A LLWON.

*Fel rhagbarotoad dysger allan Ecsodus xx. 7, ac Ephes. iv. 25; a darllener Lef. xix. 12, &c.; Deut. v. 11; Mal. iii. 5; Zech. v. 2—4; St. Mat. xxiii. 16—22.*

EGLURHAD ESBONIADOL.

Pen. v. 33: "*Na thwng anudon.*" "Anudon yw cadarnhau celwydd trwy lw," *Ymborth yr Enaid*, tud. 6. "A pha berygl sydd o dyngu yn *ofer* neu *yn anudon*," Homili i. 89; Geiriadur Cymraeg Canon D. S. Evans.

Adn. 34: "*Na thwng ddim.*" Pe byddai dyn yn greadur *geirwir*, ni byddai angen am lw o gwbl. Nid yw llw yn angenrheidiol i'r geirwir, mwy nag ysgariaeth i'r diwair. Na fydded gan hyny i'r Cristion arfer un math o lw yn ei ymddyddanion cyhoeddus neu gyffredin.

"*Nac i'r nef.*" (Adn. 35) "*Nac i'r ddaiar;*" "*Nac i Jerusalem.*" Arferai yr Iuddewon wneyd gwahaniaeth rhwng llw a llw (gwel St. Mat. xxiii. 16—22), gan dybio fod un math o lw yn fwy rhwymedig na'r llall; ond appeliad at Dduw sydd ym mhob llw a gyfeiria at bethau Duw neu enw Duw. Y mae yr oll yn *bechadurus*: appeliad rhyfygus at Dduw ydynt mewn perthynas i bethau nad oes gan ddyn un awdurdod na dylanwad arnynt.

Adn. 36: "*Ac na thwng i'th ben,*" &c. Ni all dyn ddim tyngu i'w ben ei hun, o herwydd nid oes ganddo awdurdod ar un blewyn o'i ben i brofi uniondeb ei eiriau. Y mae y fath lw yn *ofer* a phechadurus.

Adn. 37: "*Eithr bydded eich ymadrodd chwi, Ië, ïe,*" &c. Nid oes eisieu i ddynion mewn ymddyddan, nac wrth brynu na gwerthu, nac mewn unrhyw ddadleuon, wneyd un math o lw, na defnyddio enw y Goruchaf, nac un o'i briodoleddau mewn un modd. O'r drwg, o bechod y mae yr oll sydd dros ben hyn. Cymmeryd enw Duw yn ofer ydyw pob llw a rhith o lw, a phob defnydd o hanner geiriau sathredig, isel, fel y gwneir yn rhy fynych mewn ymadroddion ysgafn.

LLWON YN LLYS CYFRAITH GWLAD.

Cytuna esbonwyr hen a diweddar nad yw yr adnodau uchod ddim yn condemnio defnyddiad llwon yn llys cyfraith gwlad. Pe byddai cymdeithas gwlad yn *berffaith*, a phawb wedi dyfod i arfer "dywedyd y gwir bob un wrth ei gymmydog, o blegid ein bod yn aelodau i'n gilydd" (Eph. iv. 25), byddai llwon yn llys cyfraith yn ofer, a diangen am danynt. Ond tra y byddo cymdeithas yn gymmysg o ddrwg a da, geirwir ac anwir, rhaid cael tystiolaeth *trwy lw*, neu yr hyn sydd gyfystyr â llw. Y mae llw cyfraith gwlad yn syml iawn. "Felly cynnorthwyed Duw fi" ("*So help me God*") yw yr appeliad yn llys y gyfraith. Dywed y tyst ei fod yn fforffedu ffafr a chymhorth Duw, os na bydd yn dweyd y gwir. Dyma *wystl ei eirwiredd*, ac y mae yn gosod ei wystl i lawr: os dywed gelwydd, fe gyll ffafr Duw a'i gynnorthwy Ef.

Rhaid hefyd cael llwon yn llys y gyfraith er mwyn *gallu cospi* anudonwyr. Y mae gan lys cyfraith allu i orfodi dynion i ddweyd yr hyn a wyddant drwy groesholi ar *lw*, ac i gospi os dywedir celwydd.

Y mae digon o esamplau yn y Beibl o bobl dda yn defnyddio llwon ar adegau pwysig, gan *dyngu* i ffyddlondeb eu hymrwymiadau. Cymmerwn y cyfeiriadau hyn allan o "Bregeth yn erbyn Tyngu ac Anudoniaeth" llyfr cyntaf yr Homiliau, tudal. 58. Trydydd argraffiad: Bala, dan arolygiad Nicander. Deut. vi. 13; Salm. lxiii. 11; 2 Cor. i. 23; Gen. xxiv. 3—9; Gen. xxi. 23, 32; 1 Sam. xx. 42.

ADDYSGIADAU.

Y mae Eglwys Crist yn un corff, a phob aelod o honi wedi ei impio i mewn i Grist, canys trwy "un ysbryd y bedyddiwyd ni oll i un corff." Yr Ysbryd Glân, Ysbryd y Gwirionedd, ydyw yr ysbryd hwn. Satan ydyw tad y celwydd (St. Ioan viii. 44); efe a ddywedodd y celwydd cyntaf ar y ddaiar, a chan y sarph y cafodd fenthyg safn a thafod i ddweyd anwiredd. Dywed St. Ioan fod "yr holl gelwyddwyr yn myned i uffern."

CWESTIYNAU.

Pa beth yw tyngu anudon? Pa beth ydyw yr achos fod galw am lw o gwbl? I ba bethau yr arferai yr Iuddewon dyngu yn bechadurus? Pa beth a ddylai fod yn ddigon i ni? Paham y mae eisieu rhoddi dynion ar eu llw fel tystion? Pa fantais sydd o hyny? Pa beth yw geiriau llw yn llys y gyfraith? Adroddwch rai esamplau o'r Beibl yn dangos yr arferai dynion da fyned ar eu llw, ac ar ba achlysuron y gwnaent? Pa le y mae pregeth Eglwysig ar dyngu anudon?

Digitized by Google

GWERS XIV.

*St. Mat. v. 38—48.*

DEDDFAU DIAL NEU AD-DALEDIGAETH.

*Fel rhagbarotoad darllener St. Luc vi. 29, 30; Ecsodus xxi. 23—25; Lef. xxiv. 19, 20; Deut xix. 21. Dysger allan Rhuf. xii. 17—21.*

EGLURHAD ESBONIADOL.

Adn. 38: "*Llygad am lygad a dant am ddant.*" Dyma yw cospedigaeth gyfiawn, sef barn wrth bwys a chyfiawnder wrth fesur. Dyma glorian cyfiawnder cymdeithasol. Rhaid i gyfraith gwlad gospi, a rhaid i'r gosp fod yn gyfartal i fesur y trosedd.

Adn. 39: "*Eithr yr ydwyf fi yn dywedyd.*" Mab Duw ydyw y *Fi* yma; ac nid ydyw yn galw yn ol gosp cyfraith gwlad, ond dyry i lawr safon perffeithrwydd *personol.* Safon personol cyfraith cariad oddi mewn i Eglwys Dduw. Wrth ymddwyn fel hyn y gellir gorchfygu drygioni drwy ddaioni.

"*Na wrthwynebwch ddrwg.*" At yr ymddygiad personol y cyfeirir yma, ac fel gras Cristionogol y gellir ei ymarferyd.

"*Pwy bynag a'th darawo,*" &c. Sylwer ar ymddygiad ein Harglwydd yn llys yr archoffeiriad (St. Ioan xviii. 23), a St. Paul ger bron y Cynghor Iuddewig (Act. xxii. 3). Y mae urddas yn perthyn i oddefgarwch personol.

Adn. 40: "*Ac i'r neb a fyno ymgyfreithio â thi,* &c. At y naill ddyn yn myned i gyfraith am yr hyn sydd ddledus, neu a dybia yr achwynydd sydd ddyledus, y cyfeirir yma.

"*Gad iddo dy gochl,*" &c. Yn ol deddf Moses ni ellid cadw y dilledyn hwn oddi wrth y tlawd yn wystl dros nos, gan y defnyddiai ef ar ei wely (gwel Ecsodus xxii. 26, 27). Peidio â dangos ysbryd ymrysongar yng ngwyneb *caledi* cyfraith ydyw y wers yma.

Adn. 41: *A phwy bynag a'th gymhello,*" &c. At wasanaeth gorfodol wrth orchymmyn y swyddog gwladol y cyfeirir yma. Dan lywodraeth Persia gorfodid dynion i fyned ar negesau yng ngwasanaeth y brenin. Gorfodai y Rhufeiniaid, a llawer o bobl ereill, ddynion i wneyd gwaith annymunol. *Cymhellodd* y milwyr (hyny yw, *gorfodasant*) Simon o Cyrene i ddwyn croes yr Iesu (St. Mat. xxvii .32; St. Marc xv. 21). "Sylwer pa fodd y dewisa ein Harglwydd ei enghreifftiau: 1. Oddi wrth gamwri personol; 2. Oddi wrth ddedfryd galed cyfraith gwlad; 3. Oddi wrth faich anghyfiawn yn cael ei ddodi gan lywodraethwyr gorthrymus:" Esboniad yr Esgob Howe. Rhoddiad ar waith y rheol euraidd o orchfygu drygioni drwy ddaioni sydd yma.

CYFRAITH CARIAD.

*Gwel St. Luc vi. 27, 28, 32, 26.*

Adn. 43: "*Câr dy gymmydog, a chasâ dy elyn.*" Ychwanegiad o waith y dysgawdwyr Phariseaidd yw "casâ dy elyn." Y mae yn hollol groes i Air Duw: gwel Ecsodus xxiii. 4, 5; Job xxxi. 29; Diar. xxiv. 17; xxv. 21.

Adn. 44: "*Cerwch eich gelynion,*" &c. Cariad pur o ewyllys da calon sanctaidd yn tosturio wrth y gelyn a feddylir yma.

"*Gwnewch dda,*" &c. Cariad yn gweithredu at y gelyn ydyw hyn.

"*Gweddiwch dros,*" &c. Cariad a thosturi yn ymbil â Duw dros y gelyn sydd yma eto.

Adn. 45: "*Plant eich Tad,*" &c. Byddwch efelychwyr Duw, fel plant anwyl. Cariad fel cariad y Tad sydd yma: a dyma yw cariad y Mab; a thrwy undeb â Christ ac yn nerth Crist yn unig y gellir gwneyd hyn.

Adn. 46: "*Os cerwch y sawl a'ch caro.*" Gwna "publicanod," neu y dosbarth mwyaf dirmygedig hyn: gwna y pagan a'r anffyddiwr hyn.

Adn. 48: "*Byddwch berffaith,*" &c. Priodoliaethau perffaith Duw ydyw safon ymdrech dyn i fod. Crist yw ein hesampl ni, a'n braint yw dilyn ei ol Ef. Nis gall un dyn fod yn berffaith, ond dylai pawb ymdrechu cyrhaedd at berffeithrwydd.

SYLWADAU ADDYSGIADOL.

At foesoldeb personol y dyn ysbrydol y cyfeiria yr oll o'r bregeth ar y mynydd. Gellir edrych ar ddyn drwy hanesiaeth Feiblaidd yn y cyfnod patriarchaidd yn byw heb gyfraith, ond ewyllys y penteulu. Perthynas-waed oedd rhwymyn undeb y tylwyth, a chymhellion perthynas oedd yn dial pob sarhâd. Y cyfnesaf oedd dialydd y gwaed. Ar ol eu dyfodiad allan o'r Aipht, corfforwyd Israel yn genedl dan ddeddf Moses, a daeth y gyfraith yn rhwymyn eu hundeb, a swyddog neu farnwr llys y gyfraith yn gospwr a dialydd pob camwri. Daeth y gyfraith â deddf y "llygad am lygad a'r dant am ddant." Yng Nghrist cariad ydyw sail y berthynas a rhwymau undeb yr Eglwys. Cariad sydd ar orsedd y galon, a chyfraith cariad yn llywodraethu: darllener yn ofalus Ephesiaid v. 20—23 a vi. 1—9. Nid ydyw y Cristion pan yn ymwisgo mor gyflawn ag y gall yng ngrasusau yr Efengyl, yn amddifadu ei hun o amddiffyniad a nawdd cyfraith gwlad. Y

Digitized by Google

mae ganddo berffaith hawl i bob braint ddinesig a gwladol i'w defnyddio mewn ysbryd cariad.

Ni wiw i ddynion feddwl cymhwyso rheolau euraidd y bregeth ar y mynydd, neu gyfraith cariad, at lywodraeth gwlad. Rhaid i lywodraeth gwlad weinyddu cyfiawnder ac amddiffyn ei haelodau gweiniaid. Ni wiw i'r Cristion sefyll yn erbyn gweinyddiad cyfiawnder gan gyfraith gwlad. Y mae pob gwir Gristion yn caru ei gymmydog, ac yn caru pob cymmydog; ac felly yn caru yr oll, sef yn caru cymdeithas. Ni all efe oddef i aelodau dryg-ionus cymdeithas—lladron, llofruddion, a thorwyr priodas—bleiddiaid cymdeithas—niweidio corff cym-deithas, ïe ei dinystrio. Rhaid i'r barnwyr daiarol wneyd barn: darllener Rhuf. xiii. 1—6. Gras-usau y bregeth ar y mynydd, grasusau y merthyron mewn gwlad baganaidd ydynt, a'r rhai perffaith o dan gysgod cyfraith gwlad.

### CWESTIYNAU.

Beth a feddylir wrth lygad am lygad a dant am ddant? Pa le yn y Beibl y mae y geiriau? "Eithr yr wyf *fi* yn dywedyd," Pwy yw y *fi* yma? Pa gyfraith y mae Crist yn ei gosod i lawr? Pa sawl enghraifft o oddefgarwch a roddir i ni yn yr adnodau hyn? Pa rai ydynt? Paham yr enwir y gochl yn yr adnodau hyn? O ba le y daeth "casâ dy elyn" i mewn i gyfraith yr Iuddewon? Pa fodd y gallwn ni ddyfod yn blant i'n Tad? At ba foesoldeb y cy-feirir yn y bregeth ar y mynydd? Pa sawl cyfnod a enwir yn y Beibl ag y gallwn ddweyd fod dyn yn byw dan ddeddfau gwahanol ym mhob un?

### GWERS XV.

*St. Mat. vi. 1—5. Fel rhagbarotoad darllener Deut. xxiv. 10—14; Salm. xli. 1—3; cxii. 9. Dysger 14 a 15 adnod o'r bennod hon.*

### SYLWADAU AR Y BENNOD.

Yn y bennod o'r blaen rhoddes yr Iesu eglurhâd ar rinweddau a grasusau ysbrydol teyrnas Crist; ac yn y bennod hon rhoddir i ni y rhybuddion mwy-af difrifol rhag eu camarfer neu gamddefnyddio. Cawn yn y bennod ddysgrifiad o'r camddefnyddiad a wnelai rhagrithwyr o'r tair dyledswydd fawr ysbrydol—elusengarwch, gweddi, ac ympryd, gyda chynghor pa fodd i'w hiawn arfer.

Y tair dyledswydd ysbrydol—elusengarwch, gweddi, ac ympryd: Drwy elusengarwch y mae dyn yn cyf-lwyno ei eiddo i Dduw, drwy weddi y mae yn cyf-lwyno ei enaid i Dduw, a thrwy ympryd yn cyflwyno ei gorff. Eto, wrth feithrin elusengar-wch y mae dyn yn agor ffrydiau ei gariad at ei gyd-ddyn, gan sancteiddio ei eiddo; wrth feithrin ysbryd gweddïo y mae yn agor ffrydiau ei gariad at Dduw; ac wrth ymarfer ag ympryd y mae yn gwneuthur ei gorff yn deml i'r Ysbryd Glân. Yn ei elusengarwch, dengys dyn fod ganddo lywodraeth ar ei eiddo; yn ei weddïau, dengys fod ganddo lywodraeth ar ei enaid; ac yn ei ymprydiau, fod ganddo lywodraeth ar y corff.

### ESBONIAD EGLURHAOL

Pen. vi. 1: "*Gochelwch rhag gwneuthur eich elusen,*" &c. Yn lle y gair elusen darllenir "cyfiawn-derau" mewn llawer o hen gopïau. Os dyma y gair gwreiddiol, y meddwl yw, "Gochelwch gyflawnu eich dyledswyddau ysbrydol er mwyn cael eich gweled gan ddynion.

"*Gochelwch.*" Y mae hwn yn air cryf. Cyfieithir ef yn Deut. vi. 12; viii. 11, yn "cadw arnat;" yn xv. 9, "Gwylia arnat;" ac yn St. Luc xxi. 34, yn "edrychwch arnoch eich hunain." Y mae yr un peth a dweyd, "Byddwch ar eich gwyliadwriaeth." Pechod parod i amgylchynu pob dyn yw. Dyma y pechod y mynai diafol i Grist ei gyflawnu drwy fwrw ei hun i lawr oddi ar binacl y deml.

"*Os amgen, ni chewch dâl,*" &c. Nid oes un tâl i'w gael gan *Dduw* am yr hyn a wneir er mwyn cael ein gweled *gan ddynion.*

Adn. 2: "*Pan wnelych elusen, na udgana,*" &c. Cynnwys hyn bob math o ymgais at gyhoeddus-rwydd ac awydd tynu sylw.

"*Rhagrithwyr.*" Ystyr wreiddiol y gair hwn ydyw "chwarëydd mewn chwareudy" (*play actor*). Dyry y chwareuwyr hyn am danynt wisgoedd dyeithr i ddynwared ymddangosiad, swydd, safle, iaith ac arfer ac ystumiau, dynion ereill. Ceir yn aml chwareuwyr tlodion yn gwisgo dillad i ddynwared ymddangosiad brenin. Wedi myned allan o'r chwareudy byddant fel pobl ereill.

"*Synagogau.*" Tai addoliad Iuddewig. Yma cynnullai y bobl i *addoli*, a'r rhagrithiwr i *ddangos* ei hun a *dynwared* crefydd.

"*Ar yr heolydd.*" Lleoedd cyhoeddus y ddinas. Dyry y rhagrithiwr wisg y cymmwynaswr am dano, ac udgana o'i flaen yma i dynu sylw ato ei hun, a phorthi ei hunan-falchder.

"*Y maent yn derbyn eu gwobr.*" Canmoliaeth dynion a geisiant, ac y maent yn ei gael i borthi eu balchder a dinystrio eu heneidiau. Y mae gormod o hyn yn cael ei wneyd drwy y wasg yn awr.

Digitized by Google

Adn. 3: "*Na wyped,*" &c. Gwna dy elusen o gariad at y gwir angenus heb feddwl am ddim arall.

Adn. 4: "*Yn y dirgel,*" &c. Y mae gormod o elusen gyhoeddus yn niweidiol i'r rhoddwr a'r derbyniwr. Wrth roddi gormod cefnogir gwastraff a segurdod; wrth roddi yn ddirgel a *dystaw*, o *dosturi*, derbynia y rhoddwr a'i derbynydd fendith, a meithrinir cariad a diolchgarwch.

"*Efe, sef Duw, a dâl i ti yn yr amlwg.*" Yn nydd y farn (St. Matt. xxv. 34—40; ac yn adgyfodiad y cyfiawn: gwel St. Luc xiv. 14).

ADDYSGIADAU.

1. Aberth o ddiolchgarwch i Dduw am ei drugareddau tymmorol ydyw yr elusen a gyfrenir at bob achos da, bydded ef yn elusen personol, neu roddion at elusendai neu at *hospitals*, neu addysg i'r tlodion, neu at gynnal crefydd gartref, neu ledaenu yr achos cenadol.

2. Rhoddion elusengar ydyw holl waddoliadau yr Eglwys. Ystyr gwreiddiol y gair elusen yw "trugarhau a thosturio wrth."

CWESTIYNAU.

A pha beth yr ymdrinir yn y bennod hon? Pa sawl dyledswydd grefyddol sydd? Pa rai ydynt? Rhoddwch esampl o bob un? Beth ydych yn gyflwyno i Dduw wrth wneuthur elusen? Beth wrth weddïo? Beth wrth ymprydio? Pa beth yw ystyr y gair rhagrithiwr? Pa beth a wna? Pa beth yw y perygl? Ym mha le y gwna y rhagrithwyr hyn? Pa le y cânt eu tâl?

GWERS XVI.

*St. Mat. vi. 5—15.*

Y CAMDDEFNYDDIAD O WEDDI.

EGLURHAD ESBONIADOL.

Adn. 5: "*Pan weddïech.*" At weddi bersonol y cyfeirir yma, neu yr hyn a elwir genym ni, "Gweddi ddirgel."

"*Rhagrithwyr.*" Rhai yn ffug-weddïo ydynt; rhai yn dynwared gweddïo â'r geneu, a'r galon ym mhell oddi wrth Dduw.

"*Canys hwy a garant weddïo yn y synagogau.*" Y mae yr arferiad ym mysg Mahometaniaid gadael y *mosques* (capelydd) yn agored i bobl droi iddynt ar awr benodol i weddïo. Y mae yr un arferiad ym mysg y Pabyddion yn gyffredin; a cheir lluaws o eglwysydd yn y dinasoedd poblog yn agored drwy yr wythnos i bobl droi i mewn a gweddïo yn *ddirgel*, yr amser y mynont. Hen arferiad da ydyw, ond gellir ei gamddefnyddio: aiff y rhagrithiwr i mewn, fel y Pharisead i'r deml (gwel St. Luc xviii. 9—14), er mwyn dangos ei hun, tynu sylw, ac adrodd ei rinweddau.

"*Conglau yr heolydd.*" At y lleoedd gweigion ym mhrif heolydd llydain poblog y ddinas y cyfeirir yma. Yma *safai* y ffug-grefyddwr i ddangos ei hun, a thynu sylw ac edmygedd dynion. Yno y porthai ei falchder ysbrydol, ac y meithrinai hunanoldeb chwyddedig, i ladd pob syniad a theimlad da o'i fewn.

"*Y maent yn derbyn eu gwobr.*" Er mwyn cael eu gweled gan ddynion y gweddïent; ac yr oedd dynion yn eu gweled, ac yn eu cyfarch, a'u galw yn "athrawon," a dyna yr oll o'u gwobr.

Adn. 6: "*Dos i'th ystafell,*" &c. Am y gair ystafell fe ei defnyddir am Joseph yn arllwys ei deimladau o'r neilldu, Gen. xliii. 30.

"*Yn y dirgel.*" Mewnol ydyw gwraidd crefydd. "Bywyd wedi ei guddio gyda Duw" ydyw bywyd y gwir grefyddwr. Yn y dirgel neu wrtho ei hun, ac nid yng nghanol y lluaws, y gofyna plant am angenrheidiau bywyd gan eu tad. Felly yn y dirgel y cyffesa plentyn Duw ei anwireddau i'r Arglwydd, ac y gwna ei angenion ysbrydol yn hysbys. Cymmered pawb Fab Duw yn esampl, St. Mat. xiv. 23; St. Ioan viii. 29; xvi. 32.

"*Dâl i ti yn yr amlwg.*" Mewn bywyd cysson a sanctaidd yma, ac mewn gogoniant eto, Malachi iii. 18.

Adn. 7: "*A phan weddïoch.*" Y mae y gair "weddïoch" yma yn y rhif luosog, a thybia rhai fod yma gyfeiriad uniongyrchol at weddïo cyhoeddus, pan fyddo un dyn yn eneu i'r lluaws, neu luaws yn cyd-ddefnyddio yr un geiriau. Ond pa fodd bynag, y mae y gocheliad yn briodol i bob ymarferiad o weddi.

"*Na fyddwch siaradus,*" &c. Na fydded i chwi wag ail-adrodd yr un geiriau. Peidiwch â *baldorddi*. Cawn hanes prophwydi Baal yn llefain "o'r boreu hyd hanner dydd" (1 Bren. xviii. 26); ac addolwyr Diana yn llefain "dros ddwy awr" (Act. xix. 34), "Mawr yw Diana yr Ephesiaid." Gwaedda paganiaid Mahometaniaid hyd nes ymgolli o honynt mewn math o frwdfrydedd gorphwyllog, hollol niweidiol i adeiladaeth fuddiol. Y mae cynhyrfu *gormod* ar y teimladau yn niweidio dyn yn foesol ac ysbrydol. Nid condemnio taerineb mewn gweddi sydd yma, ond pob gwag arddangosiad ac ofergoeledd (St. Luc xviii. 1; 1 Tim. ii. 1—3).

Digitized by Google

Adn. 8: "*Canys gŵyr eich Tad*," &c. Y mae y berthynas fabol rhwng plentyn Duw a'i Dad nefol yn dilëu y pellder a'r galw am bethau mawrion. Eisieu calon hyderus a ffyddiog sydd, ac yna geiriau syml sydd yn gweddu i'r plant. Fe ddealla y Tad ymadrodd babanod yng Nghrist.

GWEDDI YR ARGLWYDD.

Adn. 9: "*Ein Tad.*" Dyma agosrwydd anwylder a hyder ar sail perthynas. Gwnaethpwyd ni yn blant i Dduw: gwel y Catecism.

"*Yn y nefoedd.*" Dyma ei fawredd ac urddas, Preg. v. 2; Esai lxvi. 1.

"*Sancteiddier dy enw.*" Enw Duw sydd genym ar y ddaiar, sef gwybodaeth am dano yn ei briodoleddau neu ei gymmeriad. Duw, cariad yw. Rhaid cyssegru a sancteiddio yr enw hwn yn y galon, fel ag i'w garu a mawrhau mewn duwiol barch; ac hefyd ystyried yn gyssegredig bob man lle y "gesyd yr Arglwydd ei enw yno."

Adn. 10: *Deled dy deyrnas.*" O amgylch enw Duw y cynnullir yng nghyd deyrnas Dduw. Lle y byddo enw Duw yn gyssegredig yn y galon, bydd Duw ei hun yn teyrnasu trwy ras arni. Deled dy deyrnas o'n mewn. Dy deyrnas—teyrnas Crist, sef ei Eglwys Ef ar y ddaiar.

"*Gwneler* [*neu bydded*] *dy ewyllys.*" Drwy yr Efengyl y gwneir ewyllys Duw yn hysbys, a thrwy ras Duw y cydffurfir ein hewyllys ni i ewyllys Duw: gwel St. Luc xxii. 40—42.

"Adn. 11: *Dyro i ni heddyw*," &c. Gweddi am bob peth angenrheidiol i'r corff a'r enaid sydd yma: gwel y Catecism ("Pa beth wyt ti yn ei ddysgu") ar ol gweddi'r Arglwydd.

"Adn. 12: *A maddeu i ni ein dyledion*," &c. Y mae yr erfyniad yn cynnwys gweddi am ddau beth, sef "maddeuant" o'n pechodau ac am faddeugarwch ysbryd, neu galon faddeugar.

"*Ein dyledion.*" Ein colliadau a diffygion oll: y pechod o esgeuluso dyledswyddau yn gystal a throseddu. Trwy gael maddeuant y gallwn dderbyn gras i allu maddeu, Ephesiaid iv. 32.

Adn. 13: "*Ac nac arwain*," &c. Y mae rhai pobl yn cyfarfod â mwy o brofedigaethau nag ereill. Profir dynion fel Job i ddangos eu rhinweddau (gwel St. Luc iv. 1; 1 Pedr ii. 21; Deut. viii. 1). Ond nid yw Duw yn temtio neb i ddrwg, Iago i. 13.

"*Eithr gwared ni rhag y drwg.*" Rhag yr un drwg (St. Luc xxii. 31, 32), a rhag pob math o ddrygau.

"*Canys eiddo Ti*," &c. Mawl-gân ydyw hon o gydnabyddiad mawredd a gogoniant y Tad nefol.

Adn. 14, 15: Rhaid cael ysbryd maddeugar, St. Mat. xviii. 23—35.

Cynnwysa gweddi yr Arglwydd saith deisyfiad—tri yn dwyn perthynas â gogoniant Duw, a phedwar ag angenion dynion.

CWESTIYNAU.

Pa sawl math o weddi sydd? Pa le yr arferai yr Iuddewon weddïo yn *breifat?* Pa beth yw y pechod a waherddir wrth weddïo? Pa fodd y cynghora Crist ni i weddïo? Pa le y tâl Duw? Rhoddwch esampl o baganiaid yn siaradus? Pa sawl deisyfiad sydd yng ngweddi yr Arglwydd? Beth yw y cyntaf? Yr ail? Y trydydd, &c.? Pa beth sydd yn rhaid i ddyn gael cyn y gall dderbyn maddeuant?

---

## PREGETH

*A draddodwyd yn Eglwys Holl Saint, Llundain, gan y Parch. E. Killin Roberts, caplan Cymreig, ar ddydd Sul y 27fed o Ebrill, 1890.*

"Lle mae Ysbryd yr Arglwydd yno y mae rhyddid."
2 Cor. iii. 17.

Er mwyn edrych i mewn i unrhyw bwnc, mor eang, mor ddwfn, ac mor bwysig a'r hwn a gynnwysir yn y testyn, mae yn rhaid i ni fyned ar unwaith i lawr yn unionsyth at ei ddechreuad. Os bydd arnoch eisieu gweled cyfeiriad unrhyw afon, mae yn rhaid i chwi astudio cychwyniad ei rhedfa yn ei tharddiad a'i ffrwd.

Fy nghyfeillion, y mae dyn yn y lle cyntaf yn ymddangos i ni fel bod deallgar a synwyrol, ac os ydyw geiriau yr apostol yn wir, yna y rhyddid a grybwyllir yw y rhyddid hyny yn y dealltwriaeth ag sydd yn perthyn i ni bawb o honom. Yn ddiammheu eich bod chwi a minnau yn gweled llawer o bethau yn amgen nag y maent. Diau ein bod wedi edrych laweroedd o weithiau ar fynyddoedd cribog "hen wlad ein tadau." Diammheu ein bod wedi syllu ar y blodau amryliw yn y gwanwyn, a'r dail yn syrthio yn yr hydref. Diau ein bod oll wedi edrych ar y môr mawr llydan, ac yn rhyfeddu wrth weled lluchiadau ei dònau trochionog ac ewynog, ac eto yr ŷm yn gwybod yn eithaf da y bydd i'n meddwl a'n dychymmyg yng nghylch y pethau hyn gael eu newid a'u cwtogi yn fawr pan y gosodwn ni y ffeithiau o flaen dynion ag sydd wedi astudio naturiaeth, fel fferyllwyr neu ynte fel celfyddydwyr. Mae yn wir ein bod ni yn edrych ar ymddangosiad allanol,

Digitized by Google

ac y mae yn wir hefyd fod llawer o bethau ag sydd yn gorwedd y tu cefn yn cael eu gorchuddio gan gymylau a thywyllwch, ac yn cael eu harwisgo â mantell gaddugawl. Ydynt y maent, ond ystyriwch am fynydyn a chofiwch hyn: dichon y gall hyn fod; ond er y cwbl, pa beth yw y gallu ag sydd o'ch mewn? Mae genych allu i ymarfer â'r dealltwriaeth ag sydd yn eich meddiant, rywfodd neu gilydd. Mae genych allu i wneuthur y peth ag sydd mor hanfodol i'r creadur—mae genych y gallu i ddeongli ffeithiau gyda rhywfaint o wirionedd. Mae yr hyn ag sydd yn ffaith yng nghylch y dealltwriaeth yn llawer mwy felly gyda golwg ar ewyllys y dyn. Mae pob un o honom yn gwybod fod arnom eisieu rhyw gyfeiriad newydd i'r cynneddfau hyny ag sydd ym meddiant pob un o honom. Yr ŷm yn gwybod fod yn rhaid i lyffetheiriau pechod gael eu tori ymaith; ond pwy sydd ddigonol i ddryllio y rhai hyn? Pwy sydd i ryddhau yr ewyllys? Pwy sydd i roddi i ni y gallu hyny, os ydym ni i ymddyrchafu i fyd arall? Fy mrodyr, fy chwiorydd, mae fy nhestyn yn eich ateb: "Lle mae Ysbryd yr Arglwydd, yno y mae rhyddid."

Pan yr edrychwn ar y byd ym mha un yr ydych chwi a minnau yn byw, pan yr ydym yn ymdrin ag eneidiau yng nghanol trefydd poblogaidd fel y ddinas fawr hon, pa beth ydym ni yn gael allan sydd arnynt hwy eisieu? Mae arnynt eisieu ewyllys ag sydd wedi ei ryddhau oddi wrth rwymau pechod, ac mae eisieu gobaith arnynt ag sydd yn obaith o ogoniant—gobaith cryf a dysglaer, cariad at Dduw a all ei droi i edifeirwch: y rhai hyn sydd yn angenrheidiol ar galonau dynion pechadurus.

Eglwys yr Iesu ydyw cartrefle Ysbryd Duw, a hon ydyw y corff mawr ym mha un mae'r Ysbryd yn gweithredu; a gwaith yr Eglwys ydyw mewn gwirionedd—gwaith yr Ysbryd yn dwyn rhyddid. Fel hyn y mae wedi bod erioed. Darllenwch hanes yr Eglwys a chwi a welwch yn eglur mae felly yr oedd. Pan ysgrifenodd Pliny at Trajan gan ddywedyd wrtho am y Crist; pan gofrestrodd Tacitus effeithiau ei brofiad; pan y safodd Basil o flaen y rhaglaw, ac y dywedodd wrtho yn ddiofn a dibryder pa beth oedd ar fedr ei wneuthur—y rhai hyn, un ac oll, nid oeddynt ond mynegu y gwirionedd ag ydych chwi a minnau yn ei wybod mor dda, sef bod Eglwys Iesu Grist wedi dyfod i roddi rhyddid i ddyn oblegid bod Ysbryd y Duw byw yn trigiannu ynddi.

Fy nghyfeillion, dymunaf eich adgoffa y prydnawn hwn fod Eglwys yr Iesu wedi bod erioed yn ffynnonell rhyddid crefyddol, a'i bod hi wedi dangos ei gwaith yn y ddau gyfeiriad lle y buasem yn dysgwyl iddi ddangos hyny; yn gyntaf i ddyn, ac yna i Dduw. Ond a ydyw hi wedi gwneuthur ei rhan tuag at ddyn? Dywedais wrthych fod Ysbryd Duw, ac felly Eglwys Dduw, yn ymdrin â'r dealltwriaeth ac hefyd â'r enaid; a phan y mae yr Eglwys yn dyfod i ymdrin â dyn, pa beth mae'n rhaid iddi ei wneuthur? Yn gyntaf, mae yn rhaid iddi gydnabod gwerth dyn fel bod rhesymol: rhaid iddi ymattal rhag gwneuthur gwahaniaeth rhwng y cyfoethog a'r tlawd, ond edrych ar bob dyn yn gydradd—pob enaid o herwydd ei anfarwoldeb; pob enaid o blegid ei fod yn dwyn delw ac argraff y byth fywiol Dduw; pob enaid o blegid rhag llaw fydd yr argraff a'r ddelw yma yn ddarluniad o'i ogoniant am dragwyddoldeb. Ië, dysgu *dyn* ydoedd ei dyledswydd, nid dysgu y mawrion ac esgeuluso y tlodion, ond pob un yn gyfartal heb esgeuluso y naill na'r llall.

Fy mrodyr a chwiorydd, aelodau yr Hen Eglwys Brydeinig, a ydym ni wedi cyflawnu ein dyledswydd a'n cenadwri? Bydded i ni edrych yn ol i'r ganrif a aeth heibio, a gofynwn yn sobr a wnaeth yr esgobion Seisonig eu dyledswydd yn eu dydd? A ydyw yr Eglwys wedi bod fel mam serchoglawn, â'i breichiau yn agored i roesawu ei phlant crwydredig? A ydyw hi wedi bod yn gartref i bawb? O, mae llawer o honom yn barod i wylo dagrau heilltion yn hidl wrth ateb mewn modd nacaol. Pan yn taflu ein golygon yn ol, pa beth a welwn ond corgellau ein Heglwysi â'u clustogau esmwyth, drysau cauedig, gwasanaethau anaml ac oeraidd, y ddeuawd anghydsain ac aflafar rhwng yr offeiriad a'r clochydd. Pa ateb allwn roi, ond fod yr Eglwys trwy ei hesgobion a'i gweinidogion wedi tarfu'r praidd trwy esgeuluso gweithredu mewn ysbryd o ryddid. Ond diolch i'r Nefoedd, yr ydym ni yn byw mewn oes newydd; mae genym esgobion yn Gymry o waed a chalon, ein hoffeiriaid yn llawn sel a brwdfrydedd, yn ddiwyd mewn amser ac allan o amser, a'r Arglwydd yn bendithio eu llafur. Mae adfywiad cyffredinol trwy Ogledd a Deheudir Cymru. Oes, mae cynhwrf mawr ym mhlith yr esgyrn sychion, ac y mae'r Arglwydd yn cael ei addoli "mewn prydferthwch sancteiddrwydd." Mae hen Eglwys ein tadau yn awr yn llawn o addolwyr defosiynol, gweinidogion ein Heglwys yn effro ac yn gwneyd eu dyledswydd, gan gymmeryd i mewn ddyn fel dyn; y caethwas tlawd ag sydd wedi ei rwymo gan gadwynau bydolrwydd, marweidd-dra, a phechod i ddyfod o dan nerth a dylanwad athrawiaeth y Meistr: canys "lle mae Ysbryd yr Arglwydd, yno y mae rhyddid."

O fy mrodyr a'm chwiorydd anwyl, mae llawer o'r

Digitized by Google

tlodion eto yn llewygu a newynu am fara "y bywyd;" ond yr ydym ni wedi eu hymlid allan trwy ein boneddigeiddrwydd pechadurus. Oni wnewch chwi eu cynnorthwyo i ddyfod yn ol? Onid ydych chwi yn caru yr Hen Fam Eglwys, yr hon sydd wedi eich magu a'ch meithrin hyd yn hyn? Oni chynnorthwywch chwi i ddwyn yn ol y rhai hyny a ddylasent fod o rifedi ei phlant, i gael eu porthi â Bara'r Bywyd, a'u harwain at Ysbryd yr Arglwydd, lle mae rhyddid i'w gael. Mae ein gwlad, ein trefydd, a'n dinasoedd mawrion yn llefain yn groch ar Eglwys Dduw—yn llefain, meddaf, gyda llais Arglwydd Dduw y lluoedd, yr Hwn a'ch barna chwi a minnau am ein rhan yn y frwydr—am ein gwaith neu ein hesgeulusdod. O, dygwch y bobl i Eglwys eu tadau; gwnewch eich goreu i ddwyn y defaid yn ol, fel y byddo un gorlan ac un Bugail.

---

## YR EGLWYS FEL CYMDEITHAS.

(*Parhâd o dudal. 16.*)

Y tro diweddaf buom yn edrych ar yr Eglwys yn ei tharddiad ac yn ei hanfod. Hi a ddaeth allan oddi wrth Dduw; dyna ei tharddiad—y "deyrnas a barotowyd er seiliad y byd," at yr hon y cyfeiria ein Harglwydd mewn modd neillduol yn y 25med bennod o efengyl St. Matthew. Cyhoeddwyd hi gan Dduw wrth Adda ar ei gwymp, a pharodd iddi ddysgleirio yn fwy a mwy tanbaid hyd nes yr ymddangosodd yn ei llawn oleu ddydd yn nyfodiad ei Fab. Yr Eglwys ydyw Crist—dyna ei hanfod, yr un fath ag y dywedir mai dynoliaeth dlawd syrthiedig ydyw Adda. Hi ydyw corff Crist: Efe ydyw y pen, hi y corff—ei haelodau hi ei aelodau Ef; ei bywyd hi ddim ond ei fywyd Ef wedi ei gyfranu ac yn gweithio ynddi, ac ym mhob rhan o honi hi. Yr Eglwys, yr hon a ddaeth felly oddi wrth Dduw a'r hon ydyw corff Crist, ydyw yr hyn oll ag ydyw trwy ei anfoniad Ef a thrwy ei Ysbryd ffurfnewidiol Ef: trwy yr hon y caiff dyn pechadurus, yn gorwedd yn yr iselderau, enedigaeth oddi uchod a mynediad i mewn fel etifedd, hyd yn nod ar y ddaiar, i deyrnas nefoedd. Y tro hwn edrychwn ar yr Eglwys fel *cymdeithas*.

Yr Eglwys, a'r Eglwys fel y cyfryw, a'i hawliau hi yn unig sydd o dan ein sylw ni yn bresennol. Wrth ddywedyd hyn nid ydym am anghofio na diystyru y gwasanaeth y mae yr enwadau crefyddol wedi ei roddi i Gymru ac i wledydd ereill. Y mae yn ammhosibl, heb fod yn angharedig iawn, peidio o leiaf gydnabod y lles y mae Ymneillduaeth wedi ei wneuthur yng Nghymru. Yn y ganrif ddiweddaf pan y daeth oerfelgarwch crefyddol i fewn gyda'r goresgyniad o dan Gwilym III., fe yrwyd Crist allan o'r pwlpud ac o'r bron oddi wrth allorau yr Eglwys: pryd hyny bu Wesley yn Lloegr; Harris, Rowlands, a Charles yng Nghymru—tu allan i'r Eglwys, pan na chawsent dderbyniad oddi mewn—o les annhraethol i gadw crefydd yn fyw yn y wlad. Yr oedd Rhufain, yr hon sydd yn awr yn ceisio cael genym gredu mai hi ydyw ein hunig obaith, mor analluog ag oerfelgarwch Erastaidd y Brenin Sior a'i olynwyr, ac nid ydyw wedi cyfodi i ddylanwad yn y wlad yma, ond er pan dywalltodd yr Eglwys Brydeinig beth o'i gwaed goreu i'w gwythïenau, a thrwy hyny adfywio y marworyn oedd ar ddiffodd. Am yr hyn oll a wnaeth Duw trwy gyfodi i fyny Ymneillduaeth yn y fath gyfnod, byddwn ddiolchgar a pheidiwn â diystyru ei foddion; ond, er hyny, nid yr Eglwys ydyw Ymneillduaeth.

Y mae yr Eglwys, ynte, yn gymdeithas. Fel yn ei tharddiad y mae hi yn ddwyfol yn rhinwedd yr ymgnawdoliad; felly hefyd trwy ffurf allanol ei bodolaeth mae yn ddynol, wedi ei mabwysiadu gan Dduw: mewn gwirionedd yn gymdeithas ddwyfol, megys ag y mae ei phen yn Dduw-ddyn. Yn gymmaint a'i bod yn gymdeithas ddwyfol, yn ogystal ag yn un ddynol, y mae yn rhaid fod yn perthyn iddi nodau ym mha rai y mae hi yn gwahaniaethu oddi wrth, yn ogystal ag yn cytuno â chymdeithasau ereill. Fel mewn cymdeithasau dynol, rhydd yr hwn sydd yn eu sylfaenu hwy â'r amcanion i ba rai y cyfansoddwyd hwynt, gymmeriad o nodwedd neillduol i bob un: felly, mewn dull llawer mwy neillduol, y rhaid iddi fod mewn cymdeithas ddwyfol. Ein gorchwyl cyntaf ni gaiff fod, ystyried y pethau ym mha rai y mae y gymdeithas ddwyfol-ddynol hon yn gwahaniaethu oddi wrth gymdeithasau dynol yn unig.

1. Perthyna ei gwahaniaeth i'w tharddiad ac i'w chyfansoddiad.

*a*. Trwy rinwedd ei tharddiad, hi ydyw yr henaf o'r holl gymdeithasau, yn blaenori arnynt oll mewn syniad ac mewn ffaith. Mewn syniad, hyny yw ym meddwl Duw, henach yw na'r byd, canys hi ydyw corff y rhai hyny yng Nghrist ag y mae Duw wedi eu dewis, fel yr ysgrifena yr Apostol St. Paul at yr Ephesiaid, "cyn seiliad y byd." Hi ydyw corff yr "Oen a laddwyd er dechreuad y byd"—corff y Mab tragwyddol, yr Ail Adda, yn ol delw yr Hwn, presennol yn y Meddyg Dwyfol, y ffurfiwyd yr Adda cyntaf. Mewn ffaith hefyd y mae hi o flaen

Digitized by Google

pob cymdeithas ddynol. Canys fel y mae hi yn ddynsawd wedi ei mabwysiadu gan Dduw, y mae hi yn ddadguddiad dwyfol o'r berthynas dragwyddol rhwng dyn a'i Wneuthurwr, perthynas a fodolai pan nad oedd ond Adda ei hun yn unig ar y ddaiar; o flaen hyd yn nod yr elfen foreuaf yn y gymdeithas ddynol, yr hon a ddygwyd i mewn i'r byd ar greadigaeth y wraig. Chwi a welwch felly y modd y mae y flaenoriaeth yma o eiddo'r Eglwys ar bob cymdeithas ddynol yn rhoddi iddi nodwedd neillduol—nodwedd sydd yn gwahardd iddi osod o'r neilldu, o herwydd rhyw fantais ddaiarol fo yn y golwg, unrhyw rhan o'r hyn a all fod wedi ei dderbyn fel genedigaeth fraint oddi wrth ei Chrëwr. Nid ei heiddo hi ydyw, ond eiddo Duw.

*b.* Trwy rinwedd y dwyfol darddiad hwn a bywyd dwyfol ynte, y mae ganddi o angenrheidrwydd gyfansoddiad dwyfol. Rhydd pob sylfaenydd cymdeithas gyfansoddiad i'r gymdeithas hòno, ac nid ydyw Duw wedi ymddwyn yn wahanol mewn perthynas i'w Eglwys ei Hun. O'r dechreuad, o dan y patriarchiaid a'r ddeddf, yn ei holl agweddau, Efe a drefnodd gyfansoddiad ei Eglwys; ac yng nghyflawnder yr amser, addasodd yr egwyddorion yn ol y rhai yr oedd wedi ei llywodraethu ar y cyntaf i'r amgylchiadau gwahanol yn ymgnawdoliad y Mab tragwyddol. A'r egwyddorion hyn, wedi eu haddasu yn y dull hwn, a roddodd Efe iddi dros byth. Felly, ynte, y mae i'r Eglwys, yn gymmaint a'i bod yn ddwyfol, fodolaeth o flaen pob cymdeithas ddynol, a chyfansoddiad yn ol yr hwn y mae i weinyddu doniau Duw a ymddiriedwyd iddi, a'r rhai nis gall eu newid ei hun, na chaniatâu i ereill eu newid. Y maent yn eu natur eu hunain yn ddigyfnewid ac yn dragwyddol, yn gorphwys yn natur dragwyddol Duw. Pe goddefai iddynt gael eu newid, byddai yr ymgais yn ofer. Ni fyddai gwaith ei gweinyddiad pan wedi ei gyflawnu ar wahân i'r cyfansoddiad hwn, yn ddim ond ffurfiau gweigion, amddifaid o synwyr, ystyr, a nerth.

2. Ond y mae iddynt nodweddion ym mha rai y cytunant. Gorphwys y rhai hyn ar y ffaith fod yn rhaid i bob cymdeithas gael rhyddid i weithredu drosti ei hun. Yng nglŷn â chymdeithasau yn gyffredinol, nid ydyw un gymdeithas yn trefnu materion cymdeithas arall: nid ydyw cymdeithas adeiladu yn ymyraeth â chymdeithas gyfeillgar, na'r gymdeithas gyfeillgar â chymdeithas yr amaethwyr. Byddai y fath ymgais yn ffolineb, o herwydd na fyddai ynddo ddim grym; a phe byddai i hyn unrhyw amser gymmeryd lle trwy orfodaeth, ni fyddai ond trais a gormes, pe trwy ddichell ni fyddai ond bradwriaeth. Felly o angenrhaid y bydd os byddys yn cellwair ag iawnderau y gymdeithas ddwyfol yn ei chymmeriad corfforedig, naill ai gan y wladwriaeth neu unrhyw gymdeithas arall, cyhyd ag y parhâ i weithredu o fewn ei chylch ei hun. Pa beth ydyw y cylch hwn? Dim ond yr ysbrydol, yr ysbrydol yn unig. Nid oes i'r Eglwys, oddi wrth Grist, ddim hawl i eiddo daiarol. Y mae gwladwriaeth yn gyffredin yn barod i ddiogelu meddiannau personau neu gymdeithas; ond nid ydyw yn un rhan o gymmeriad dwyfol yr Eglwys i fod yn berchen tai, tiroedd, arian, enwogrwydd bydol, nac unrhyw dda neu anrhydedd, oddi eithr yn unig y lleoedd a'r pethau hyny sydd yn hollol angenrheidiol at ei gwasanaeth: ac hyd yn nod y rhai hyn hefyd, y mae yn rhaid iddi eu rhoddi i fyny os dywed y llywodraeth wrthi am wneyd hyny, er fod yn anhawdd iawn gweled y gwahaniaeth rhwng y fath ymddygiad a gweithred ysbeilgar ac erlidigaeth.

3. Y mae genym eto i ystyried yn fyr agwedd allanol y gymdeithas. Ym mhob cymdeithas rhaid bod rhyw delerau penodol er derbyn aelodau—dull neillduol o'u derbyn (yn gyntaf ar brawf, yna fel cyflawn aelodau); telerau ar ba rai i barhau fel aelod, i gynnal llywodraeth, a gweinyddu dysgyblaeth. Caiff y pethau hyn ddyfod o dan ein hystyriaeth eto, ond cawn grybwyll ychydig o egwyddorion cyffredinol yn y fan hon—

*a.* Y mae yr Eglwys yn gynnwysedig o'i holl aelodau, a'i swyddogion hi ydyw yr offeiriaid. Rhaid i'r swyddogion hyn fod yn aelodau cyn y gallant fod yn swyddogion, a chael eu hethol, yn ol rhyw reol, gan yr aelodau ereill o'u plith eu hunain. Fe ddaw dull o'r etholiad o dan ein sylw eto rhag llaw.

*b.* Perthyna telerau ei haelodaeth, a'r hyn oll a ddeillia oddi wrthynt, i'w chyfansoddiad dwyfol: wedi eu rhoddi gan eu Harglwydd y maent. Telerau'r aelodaeth ydyw "edifeirwch a ffydd." Y ffurf o dderbyniad i mewn i'r radd isaf o aelodaeth ydyw Bedydd; y ffurf o ddyrchafiad i gyflawn aelodaeth ydyw Conffirmasiwn, neu Fedydd Esgob (fel y'i gelwir weithiau); a'r ffurf o fwynhâd breintiau aelod a pharhâd yn y gymdeithas ydyw y Cymmun Bendigaid. Rhed y llywodraeth a'r oruchwyliaeth i'w gweinidogion oddi wrth Grist ei hun, a dewisir hwynt drachefn gan ei bobl Ef, o dan arweiniad ei Ysbryd, yr hwn a breswylia yn eu plith yn barhäus.

Ein pwnc nesaf fydd llywodraeth yr Eglwys.

CRAIG Y LLAN.

---

Os na wyddoch werth punt, ewch i'w benthyca gan estron.—*Hunter*.

Digitized by Google

## LLAN CWM AWEN:

### NEU DDEFFROAD EGLWYSIG HANNER CANRIF YN OL.

(*Parhâd o dudalen 14*).

#### PENNOD III.

#### *Y Briodas.*

MEWN math o freuddwyd o dawel fwynhâd a phrysur olyniad golygfëydd a mân ddyledswyddau, aeth deufis o amser Llewelyn Llwyd heibio a chymmerodd amryw amgylchiadau anghyfnewidiol le yn ei gyssylltiadau personol a chymdeithasol. Cawsai ei hun yn sefyll ar ris uchaf ei ddedwyddwch personol pan yn eistedd yn Eglwys hynafol ond ardderchog St. Giles, a'i chlychau melus-bêr yn canu mewn tonau serchiadol wahoddiad ei briodasferch i mewn. Dychymmygai fod y clychau soniarus mewn cydymdeimlad breuddwydiol ag ef yn plethu enw ei ddyweddi deg mewn mydr ac odlau yn eu caniadaeth.

"Tyred, fy Angharad dlos,
Tyred, fy Angharad dlos."

Clywai swn y cerbydau yn sefyll o flaen porth y fynwent: tawai swn y clychau. Clywai droediad esmwyth yn dynesu at ddrws gogleddol yr Eglwys, a siffrwd sidan-wisgoedd yn taenu perarogl mwy dymunol na'r awelon a chwythant oddi ar erddi perlysieuog Arabia ddedwydd o'i gylch. Ar yr un mynyd anadlai yr *organ* ei dwfn berseiniau o'i holl bibellau ar unwaith, fel swn dyfroedd lawer yn disgyn dros raiadr pell y dyffryn, gan ddynesu yn gymmysg â suad y goedwig ar frig awelon hwyr; a chafodd Llewelyn Llwyd ei hun yn sefyll wrth ochr yr "un a garai fwyaf," ger bron allor St. Giles. Teimlai bob cynneddf o'r eiddo yn llawn bywyd newydd. Cymmerai i mewn yr holl olygfa megys ar unwaith, eto mewn olyniad sylweddoladwy, a chydag argraff hollol newydd ac annirnadwy o eglur. Y mae adeg weithiau ar fywyd pan ddeffröir yr holl gynneddfau i'r fath weithgarwch, fel yr ymddengys mynydau yn hanner oes. Cyfnod felly oedd chwarter gwedi un ar ddeg boreu Mawrth, y ddeuddegfed o Ragfyr, 1835, i Lewelyn Llwyd, pan safai fel delw yn allanol wrth ochr Angharad ger bron allor St. Giles. Taflai olwg hoff i gyfeiriad wyneb ei ddyweddi, a gwelai ei ddarlun ei hun mewn deigryn gloew yn ei llygad, a mantell o deneu-wrid tyner yn rhedeg dros y gruddiau fuasent welwon, fel tywyniad haul dros faes o wenith addfed. Oddi yno taflodd ei olwg at y ddau offeiriad a ddynesent yn eu gwenwisgoedd oddi wrth ddeuben yr allor atynt, a gorphwysai ei lygaid am fynyd ar y ffenestr ddwyreiniol liwiedig hardd, lle y ceid darlun tlws o'r Gwaredwr yn troi y dwfr yn win yn Cana Galilea.

Dystawodd swn yr *organ*, a thorai seiniau eglur, difrif-ddwys, a chynnwysfawr y gwasanaeth priodas ar ei glust. Teimlai pob gair yn disgyn ar ei glyw, ac yn aros yno. Darllenasai Ffurf Gweinyddiad Glân Briodas lawer gwaith gyda thynerwch cydymdeimlad, ac aml ddeigryn, ond ni theimlasai erioed ei gymhwysder yn bersonol fel y gwnai yn bresennol. Teimlai holl linynau euraidd serch a thannau persain cariad yn cael eu dwbl gyssegru, gan ei rwymo ef a'r deg angyles hoff wrth ei ochr, mewn cyfammod pur ac annattodadwy, wrth eu gilydd, ac wrth yr Anfeidrol ei Hun; a deffröes rywfath o eiddigedd duwiol, yn fflamio yn ei enaid, pan ddywedai yr offeiriad mewn llais eglur, "*Y rhai a gyssylltodd Duw yng nghyd, na wahaned dyn.*" Dan argraffiad dwfn y drychfeddwl gwag iddo ef y gallai dim byth ysgaru rhyngddynt, tynhaodd ei afael yn llaw Angharad, nes peri i wrid unwaith eto fantellu dros y gruddiau oeddynt fel y lili wen, neu eira mynydd. Deallodd hithau ystyr y *teimlo llaw wrth law*, ac atebodd ei chalon, "Nid oes ysgar na gwahanu byth." Beth bynag oedd teimlad Llewelyn Llwyd, yr oedd teimlad Angharad yn ddyfnach. Yr oedd yno ddyfnder yn cyfarfod dyfnder, gloewder yn cyfarfod gloewder, tynerwch yn cyfarfod tynerwch, ac amcan da yn cyfarfod amcan da, a dystaw weddi fel perarogl darth, yn esgyn o'r naill galon fel y llall am fendith Duw. Yng nghanol dymuniadau da y cymmydogion, yn Eglwys hynafol St. Giles, wedi ei hardd-wisgo ag olaf flodau haf, ac yng nghanol gweddïau eneiniedig y cyssegr, fel hyn y cyhoeddwyd Llewelyn Llwyd ac Angharad "yn wr ac yn wraig yng nghyd yn enw'r Tad, a'r Mab, a'r Ysbryd Glân." Aeth y gweddill o'r gwasanaeth drosodd yn y dull priodol, a'r priodfab a'r priodferch yn penlinio yng nghyd o flaen yr allor, tra y safai offeiriad oedranus St. Giles, â'i wallt gan wyned a'i wenwisg, gyda golwg batriarchaidd a llawn defosiwn, uwch eu penau, yn darllen a thraddodi y fendith mewn llais crynedig, toddiadol, ond, ar yr un pryd, eglur. Yn ol arferiad defosiynol yr hen Eglwys, gwedi dadgan y cynghor, gweinyddwyd sacrament sanctaidd Swper yr Arglwydd, a phenliniai yr hen filwr dewr General Grossford, tad Angharad, gyda'i mam, wrth y Bwrdd Sanctaidd, gyda'r ddau ieuainc dedwydd, i gyfranogi o'r Cymmun Bendigaid, a gallesid gweled llawer deigryn yn disgyn o lygad milwr a wynebasai fel llew ar furiau cedyrn Badajoez gyda Picton, lladdfa ofnadwy Albuera gyda Beresford, a brwydr angeuol Waterloo

Digitized by Google

gyda Maitland, o dan y Duc o Wellington. Wynebasai y gwladgarwr glew ar olygfëydd y peryglon hyny heb feddwl am ddim oddi eithr ei ddyledswydd a lles ei wlad, ond tywalltai ddagrau dan olygfëydd tyner dedwyddwch ei ferch, a dylanwad sanctaidd crefydd.

*Mynediad y pâr ieuanc i Lan Cwm Awen.*

Gwedi taith flinedig gyda'r *mail coach*, yr hon a gymmerasai un awr ar bymtheg i deithio pedwar ugain milltir ar hyd ffyrdd pantiog, a bryniog, gwyrgam, a throellog, garw diroedd Gogledd Cymru, cyrhaeddodd Llewelyn Llwyd ac Angharad dref ddystaw hynafol Dinas, ym mhell iawn gwedi machlud haul, ar yr ail ddydd y flwyddyn newydd yn 1836. Tarawai hen "gloc mawr" y dref ddeg o'r gloch pan ddisgynai y ddau ddyfodiaid dyeithr hyn o ben y cerbyd lle y buasent yn teithio am y tair awr olaf o'r siwrnai; o herwydd, er i Lewelyn Llwyd ac Angharad gymmeryd dwy eisteddle oddi mewn i'r llythyr-gerbyd, buasai iddynt roddi i fyny eu lle i wraig un o fôr-gadbeniaid bychain y môrlenydd a'i chwaer, y rhai a ddychwelent adref o un o borthladdoedd Lloegr. Yr oedd gwraig y cadben mewn cyflwr iechyd yn gofyn gofal ac ymgadw oddi wrth nos niwlion ac oerni y gauaf, a mynai Llewelyn Llwyd fyned allan i'r oerni i roddi lle iddi, gan ei gadael yng nghwmni Angharad; ond dywedai Angharad fod ei chwaer yn gwmni llawn mor briodol i'r wraig wan ei hiechyd, ac y byddai iddi hithau fwynhau awr neu ddwy yn yr awyr agored, gan fod ganddi ddigonedd o wisgoedd cynhes am dani. Gwyddai Angharad yn dda ei bod hi o ran ei nerth a'i hiechyd presennol yn llawer mwy atebol i wynebu awyron barugog y nos na'i phriod, a chymmerodd y ffordd hon i fod yn agos ato, ac i ofalu am dano mewn dull na byddai iddo ef feddwl am ofalu am dano ei hun. Gwedi gwneuthur iddo roddi ei ffunen gynhes am ei wddf, a chodi cwr o honi yn unplyg dros ei eneu, eisteddodd wrth ei ochr yn gwynebu y gwynt, a thaflodd hanner ei *shawl* frethyn dros ei ysgwyddau ef, gan ei dynu neu yn hytrach ei wasgu ati, a dweyd, "Rhaid i ni wneyd lle i ereill ar y fainc hon."

Y nesaf ati hi, a rhyngddi a'r ochr allanol, eisteddai morwr agored ei wynebpryd, llydain ei ysgwyddau, lled fyr ond cadarn o gorffolaeth. Eisteddai rhyw dawelwch a sirioldeb heulog yn ei wynebpryd gwridog a'i lygaid treiddgar. Buasid yn tybio wrth edrych ar ei wallt a'i farf wenllaes ei fod yn drigain oed, ond nid arddangosai ei wedd a'i ysgogiadau ei fod dros ddeugain. Darllenodd Angharad ei gymmeriad ar un edrychiad bron, a deallodd ei fod yn un ag a fyddai yn amddiffyniad i ddiniweidrwydd a rhinwedd. Cyfarchodd ef mewn math o esgusawd, "Syr, maddeuwch i mi am ymddangos dipyn yn ymyrgar a mursenllyd yn taflu rhan o'm gwisg dros fy mhriod a'i gysgodi. Y gwir yw, y mae yn lled wan ei gyfansoddiad, ac yn gofyn peth gofal."

Atebai y morwr gydag edrychiad llawn o sirioldeb a pheth edmygedd, ac mewn Seisneg morwrol llydan ond cywir, a phriodol i fôr-lanau Cymru, "Madam, ni raid i chwi wneyd esgusawd am eich gofal naturiol am eich priod. Y mae yn amlwg mai llestr lled wan i fyned allan nosweithiau fel hyn ydyw, ond y mae yn llestr o'r iawn wneuthuriad, ac yn werth i ofalu am dano. Yr oeddwn yn dysgwyl y *coach* pan ddaeth i mewn, gan amcanu cymmeryd lle i'r ddwy wraig y rhoddasoch chwi mor garedig le iddynt, a mawr oedd y siomiant pan ddywedwyd i mi fod y pedair eisteddle o'i mewn yn llawn. Taflais olwg i mewn i edrych a oedd neb o'r teithwyr yn gydnabod i mi, fel y gallaswn ofyn am newid lle, ond nid adwaenwn neb o honoch, ac ni buaswn yn dewis ychwaith gofyn i'ch priod roddi lle hyd yn nod i foneddiges, o herwydd edrychai yn wan a lluddiedig."

Atebai Llewelyn Llwyd drosto ei hun, "O syr, nid wyf wedi blino dim, a bydd awr neu ddwy o deithio yn awel min y môr yma, er ei bod beth yn oer, yn adfywiad i mi."

"Y mae genych ddull caredig o wneuthur cymmwynas," ebai y morwr drachefn. "Gwelais chwi yn rhoddi eich eisteddle i'r wraig wan ei hiechyd oddi mewn, a gobeithiaf na bydd yr aberth o gysur amserol yma yn niweidiol i chwi ar ol hyny. Gan fy mod ym deall, oddi wrth fy ymholiad am le yn y *coach*, eich bod yn myned i dref borthladd y Dinas, gallai yr esgusodwch fi am gyflwyno fy enw i chwi. Cadben William Griffith, o'r llong "Gwendolen," o Gaernarfon, yn masnachu i'r Hispaen a Minion Môr y Canoldir ydwyf. Merch i mi, Mrs. Cadben Parry, ydyw y foneddiges, neu y wraig wan ei hiechyd oddi mewn. Yr oeddwn wedi myned i geisio mwy o gynhesrwydd i'r gwragedd i ddal yr oerni, ac yr oeddynt hwythau wedi cymmeryd eu lle oddi mewn cyn fy nychweliad, neu buaswn wedi gwneyd fy ymddangosiad pan yr oeddych chwi yn newid â hwy."

Bellach, yr oedd y gyriedydd ar ei eisteddle, a'r gweddill diotgar a hwyrfrydig o'r teithwyr yn prysur ddringo ochrau y llythyr-gerbyd i'w ben, fel mai braidd y cafodd Llewelyn Llwyd gyfle i amlygu

Digitized by Google

ei enw a'i swydd i'r Cadben William Griffith cyn i'r cerbyd gychwyn, gan hercian, rhoncian, siglo, a thrystio dros y palmant garw, allan o oleuni gwestty y Llew Gwyn, a llusernau y gwasanaethwyr, i dywyllwch ac oerni y ffordd agored.

Teimlai Angharad ei hun yn dra sigledig ar ei chlwyd awyrol, ac ambell dro yn cael hergwd gan ei gwr, nes ei thaflu hithau ar ogwyddiad yn erbyn ochr Cadben Griffith, yn nes nag y buasai yn ddymunol ganddi gyda llawer un.

Ond eisteddai y cadben mor ddigrŷn a *buffer* cerbyd y ffordd-haiarn, a dywedai, "Peidiwch, Madam, ag ofni, yr ydych yn berffaith ddiogel. Teithiais lawer gyda'r hen gerbyd hwn, ac ni welais ddamwain iddo."

Aethpwyd yn fuan i'r ffordd wastad, ac ymgynnefinodd Angharad â'i sefyllfa; ac er cael ei gwasgu ambell dro yn lled gaeth rhwng ei gwr a'r Cadben Griffith, ni theimlai ddim anghysur. Yr oedd y cadben yn darian rhyngddi a'r ymylon, a rhyngddi a'r gwynt lawer tro; a phan ddygwyddai rhywbeth o ddyddordeb, yr oedd yn barod i ychwanegu at y dyddanwch cyffredinol. Teimlai y wraig ieuanc fod y gwr cadarn, grymus, wrth ei hochr, yn foneddwr cyflawn, ac yn fawr ei ddylanwad gyda'r gymmysgdorf ar y cerbyd.

Mewn dwy safle lle yr arosai y cerbyd ychydig fynydau, ymholai y cadben am angen neu gysur Angharad a'i gwr fel am yr eiddo ei ddwy ferch oddi mewn, a chymhellai arnynt gymmeryd llymaid er eu cynhesrwydd. Yr oedd gan y cadben ymddiried mewn dyferyn bychan o *French brandy* neu *Irish whiskey*, fel cynhesydd ar ben y cerbyd, ond ffieiddiai yr yfwr mochynaidd. Cymmerodd ei ddyferyn ei hun ddwywaith, ond ni lwyddodd i gael gan ei ddau gyd-deithydd ieuainc ddilyn ei esampl. Felly, aeth y daith hwyrol drosodd yn llawer mwy cysurus nag y dysgwyliasai Llewelyn ac Angharad. Buasai i bresennoldeb un gwr boneddigaidd a siriol, fel tywyniad haul, daenu cysuron o'i amgylch, a throi lludded ac oerni yn foddhâd ac ysgafnhâd.

Disgynodd Angharad yng Ngwestty yr Eryron yn Dinas, yn ddrych o iechyd gwridog, ac yn eilun o brydferthwch. Yr oedd oerni yr hwyr wedi dwyn i'w gruddiau rhosynaidd fwy o brydferthwch nag a allai un paentwaith ar y ddaiar. A phan aeth Cadben Griffith i mewn gyda Llewelyn Llwyd a hithau i ystafell oreu yr Eryron, gan gyflwyno y ddau megys y Parch. Llewelyn Lloyd, rheithor newydd Cwm Awen, a Mrs. Lloyd, i Mr. a Mrs. Rose, Gwesttywyr, tybiai Llewelyn na welsai Angharad erioed yn edrych mor angylaidd a thlos, ac nid oedd y gweddill o'r pleidiau yn wahanol iawn eu barn iddo ar y pwnc.

Ond ymddangosai Llewelyn ei hun yn lled welw a lluddiedig. Buasai yr oerni a'r lludded ychydig yn ormod iddo ef, gan anfon y gwaed i ymlochesu yn agos i'r galon, am fod nerth y peiriant hwnw yn wan; ond am Angharad, nid cynt yr anfonai yr oerni y gwaed o'r gwyneb a'r aelodau, na anfonai y galon ef yn ol wedi ei buro gan yr ysgyfaint yn fwy ei nerth nag o'r blaen; a'r hyn oedd wanychiad a lludded i un, nid oedd amgen na bywhâd i'r llall. Ond buan iawn y bu i ystafell gynhes a chysurus, a choffi da Mrs. Rose, gyda'i gofal manwl am gysuron ymdeithwyr, adferu Llewelyn Llwyd i'w hoenusrwydd cyffredin. Yr oedd ei gyfansoddiad eto yn iach, er wedi ei ordrethu â llafur, a buan iawn, ar ol ei daflu i lawr, y cyfyd hwn drachefn.

(*I'w barhau.*)

---

## PAID AG AROS YN RHY HWYR.

Ti, bechadur, euog marwol,
  Paid ag aros yn rhy hwyr;
Myn'd mae dyddiau gras achubol
  O dy afael oll yn llwyr:
Rhaid it' groesi afon angeu,
  Beth a wnei di, egwan wr?
Beth wnei heb y "Cyfaill goreu,"
  Iesu'th gynnal uwch ei dwr?

Ti ar lwybrau colledigaeth,
  Paid ag aros yn rhy hwyr,
Pa mor fuan daw marwolaeth,
  Nid oes heddyw neb a ŵyr:
Rhed i'r noddfa, rhed yn brydlon,
  Cyn i ddrws trugaredd gau,
Paid ag oedi d'od i'r ffynnon
  O bob pechod sy'n glanhau.

Penderfyna newid bywyd,
  Paid ag aros yn rhy hwyr;
Ar dy fyw annuwiol ynfyd,
  O! ffarwelia heddyw'n llwyr:
Ddyn, gochela, paid rhyfygu
  Sathru deddfau Duw yn sarn,
Pam na ro'i dy hun i'r Iesu?
  Byddi'n fuan yn y farn.

*Melin Geryg.* J. C. ROWLANDS.

Digitized by Google

## ESGOB LLANELWY A'I ERLIDWYR.

"Gwyn eich byd pan y'ch gwaradwyddant ac y'ch erlidiant, ac y dywedant bob drygair yn eich erbyn er fy mwyn i, a hwy yn gelwyddog."—ST. MAT. v. 11.

Os ydym yn deall safle y Methodistiaid Calfinaidd Cymreig fel corff Ymneillduol ar bwnc y Dadgyssylltiad a Dadwaddoliad, dywedant rywbeth tebyg i hyn:—

1. "Y mae yr Eglwys yng Nghrymru wedi colli ei gafael ar gorff y boblogaeth, nes dyfod yn Eglwys lleiafrif bychan o'r genedl.

2. "Y mae yr Enwadau Ymneillduol wedi llenwi y diffyg a esgeuluswyd ganddi hi mor gyflawn, fel nad oes angen am dani.

3. "Felly gellir yn hawdd hebgor ei chyllid hi, a'i droi at wasanaeth gwladol neu seciilaraidd, heb golledu y genedl yn ei chrefydd."

Gan hyny, ar y ddadl o rifedi y seilir yr ymosodiad ar feddiannau yr Eglwys, ac yr ymdrechir perswadio dynion gonest nad oes dim anghyfiawnder ei hymddifadu o honynt. I gyfarfod â dadl y rhifedi yma ysgrifenodd y Parch. A. G. Edwards, ficer Caerfyrddin ar y pryd, ond yn awr esgob Llanelwy, i'r *Times*, gan gopïo allan o adroddiad a wnaethid yng nghymdeithasfa y Corff yn Llandudno ar y 9fed o Dachwedd, 1887, i ddangos fod nifer y Methodistiaid wedi lleihau yng nghylch y gymdeithasfa, a dywedodd fod y "pwyllgor wedi enwi ym mysg ereill y pethau canlynol fel achosion y lleihâd, sef *esgeulusdra o'r tlodion a symmudiad ymaith o restr yr aelodau y rhai ydynt yn rhy dlawd i gyfranu at gynnaliaeth yr achos.*"

Ni chynnygiodd un o awdurdodau uchel y Corff wadu cywirdeb geiriau ficer Caerfyrddin, a gadawyd y dywediad heb ei wadu hyd o fewn ychydig wythnosau yn ol. Ond gan ymddiried ym myrder diarebol y cof politicaidd, ac wedi esgyn o ficer Caerfyrddin i gyhoeddusrwydd safle esgob Llanelwy, a gwneyd o hono aml ddadguddiad anghyflëus i awdurdodau cyhoeddus y Corff, dyma gyfodi gwaedd o Ddolgellau hyd Ddinbych yn erbyn yr esgob, a'i gyhuddo, a dweyd y lleiaf, o beidio gofalu digon am gadw at y gwirionedd. Y mae yr awdurdodau yn Dolgellau bob amser yn ymdrechu cadw *min da* ar eu harfau, ac felly gofynant yn llednais, "A ydyw esgob Llanelwy yn onest?" ac ymdrechant "trwy gelu gwir, trwy goelio gau" ddangos yn foneddigaidd nad yw. Ond taflwyd y pwnc ger bron "gwŷr y cwterydd" yn Ninbych, ac nid oes yno ddim ond pastynu a thrybaeddu yr esgob. Rhyfel y degwm yw cyrn pres, padelli heyrn, drain a mieri, cloncwyau, ffyn celyn, lluchio llaid, a phastynu. Dyma "resymeg olaf" Dinbych; a dyma y rhesymeg a ddefnyddir yn awr i wneuthur yr esgob yn lluniwr anwiredd.

Ond pa awdurdodau sydd eirwir, ai yr esgob ai gwasg Dolgellau a Dinbych? Awn at y wasg Ymneillduol i ymholi, a dyma eu tystiolaeth:—

*"Y Genedl Gymreig."*

Yn y *Genedl* am Tach. 16fed, 1887, ceir y sylwadau a ganlyn:—

CYMDEITHASFA LLANDUDNO, TACH. 9.

*Y Cyfrifeb.*—Y Parch. Thomas Roberts, Jerusalem, a gyflwynodd ger bron adroddiad y pwyllgor a fu yn edrych i mewn i'r achos o'r lleihâd yn nifer yr aelodau eglwysig. . . . Priodolwyd y lleihâd i raddau helaeth i ymfudiad, ac hefyd i'r ffaith nad oedd llawer o swyddogion eglwysig yn rhoddi i lawr enwau yr aelodau hyny oedd yn esgeuluso neu yn rhy dlodion i gyfranu eu tanysgrifiadau at yr achos, a chondemnid hyn yn fawr. Penderfynwyd galw sylw yr eglwysi at hyn.

Dyna dystiolaeth y *Genedl* air yn air, ac y mae yn gywir yr un fath ag eiddo'r esgob. Pwy sydd yn dweyd y gwir, yr esgob ynte y *Goleuad?*

Appeliwn yn nesaf at

*Yr Herald Gymreig,*

tyst arall nad yw ei ragfarnau yn ffafriol i esgob Llanelwy nac i'r Eglwys. Yn yr *Herald* am Tach. 15, 1887, ceir yr hyn a ganlyn:—

CYMDEITHASFA Y METHODISTIAID CALFINAIDD.

*Yr Ystadegau.*—Y Parch. Thomas Roberts, Bethesda, a ddarllenodd ganlyniad yr ymchwiliad a wnaeth efe a Mr. Samuel Hughes, Bod Ednyfed, Amlwch, i'r lleihâd tybiedig yn nifer aelodau y cyfundeb. Cawsant allan nad oedd lleihâd yn y Deheu, ond fod ychydig i'w ganfod yn y Gogledd. . . . Un rheswm dros y lleihâd y loedd yr ymfudiaeth a gymmerodd le, yn enwedig o Fon, Lleyn, ac Arfon, ond rheswm pwysig arall ydoedd y dull esgeulus ym mha un y cedwid cyfrifon rhai eglwysi. Gwyddent nad oedd aelodau tlodion bob amser yn gallu cyfranu, ac o'r herwydd yr oedd rhai swyddogion yn gadael y personau hyn allan o'r cyfrifon, yr hyn oedd i'w fawr gondemnio, &c.

Felly y dywed yr *Herald* ar y mater, ac yng ngwyneb hyn eto, pwy sydd i'w gredu—esgob Llanelwy ynte Mr. Gee ac ereill, y rhai a'i cyhuddant o ysgrifenu anwiredd i'r *Times?*

Unwaith eto galwn ar

*Y Celt*

i ddywedyd yr hyn a ŵyr efe am y pwnc mewn dadl. Yn y *Celt* am Tachwedd 18fed, 1887, ysgrifena "Ben-Hur" fel hyn:—

Digitized by Google

Priodolid y lleihâd yn Arfon a Mon yn benaf i ymfudiaeth, ond dywedir fod y lleihâd mewn ardaloedd ereill wedi ei achosi gan waith y swyddogion '*yn tynu oddi ar y llyfrau enwau pobl oeddynt yn rhy dlodion i dalu eu cyfraniadau*' Nid rhyfedd fod y pwyllgor yn condemnio y gwaith annheilwng hwn. Pwy fuasai yn meddwl am foment fod i'w cael yng Nghymru eglwys, swyddogion y rhai nid ydynt yn foddlawn i dlodion fod yn aelodau ynddynt, &c.

Yr ydym yn ddyledus i'r "Llan" am y 9fed o Ionawr diweddaf am ddyfod â'r tri thyst ffyddlawn hyn ym mlaen i brofi fod llythyr yr esgob i'r *Times* yn "gywir" a "gonest." Gwnaed cyffes o leihâd yn Llandudno ar yr amser a nodwyd, a rhoddwyd y rheswm a enwasai yr esgob dros y lleihâd. Ofer yw ymresymiadau melfedaidd cwmpasog Dolgellau a bloeddiadau rhochfawr nwydwyllt Dinbych, y mae tystiolaeth gwasg Caernarfon a Bangor wrth gefn "geirwiredd" a "gonestrwydd" esgob Llanelwy. Ni fynem fod yn galed mewn un modd ar achos gwan Dolgellau a Dinbych, ond dyfynwn ychydig eiriau a draddodwyd gan y Parch. D. Charles mewn cymmanfa o'r Corff yn 1864, lle y dywedai—"Y mae y newyddiaduron yn bresennol yn fwy eu dylanwad nag un moddion llenyddol ereill, ond y mae yn ddrwg genyf ddweyd fy mod yn gorfod edrych arnynt gyda gofid; o herwydd yn lle dyrchafu a choethi chwaeth y cyhoedd y maent yn ymollwng i ddifrïaeth bersonol drwy roddi cyfleusderau i wehilion y bobl bardduo cymmeriadau, a maeddu enw da *dynion cyhoeddus* a *sefydliadau cyhoeddus*." Y mae yr Esgob Edwards mewn swydd gyhoeddus yn sefydliad cyhoeddus Eglwys ei wlad, ac felly mewn lle cyflëus i ddau newyddiadur blaenllaw y Corff ei "bardduo" a "maeddu."

## EGLWYS LLANWRIN.

Cyn myned at yr Eglwys, cymmerwn ein rhyddid i rodiana ychydig o amgylch y plwyf. Dylem hysbysu yn y lle cyntaf fod plwyf Llanwrin yn gorwedd ar yr ochr orllewinol, sir Drefaldwyn, yn cael ei derfynu ar y gogledd gan blwyf Talyllyn, ar y dwyrain gan blwyfi Mallwyd a'r Cemmaes, ar y de-ddwyrain gan blwyf Darowen, ar y deheu gan blwyfi Darowen, Machynlleth, a Phenegoes, ac ar y gorllewin gan blwyfi Pennal a Talyllyn. Cynnwysa y plwyf, arwynebedd yr hwn sydd 10,351 o erwau, bedair trefgordd, sef Llanwrin, Blaenglesyrch, Rhiwgreiddin, a Glyncaerig. Yn ol deiliadeb 1881, yr oedd y boblogaeth yn 674—y gwrywaid yn 333 a'r menywaid yn 341. Rhifa yr annedd-dai oddeutu 152. Lled lechweddog a choediog ydyw y plwyf, ac ef allai fod a wnelo ei arwynebedd anwastad rywbeth â'r ffaith fod *Esgair* yn enw ar gryn lawer o'r amaethdai sydd ynddo. Pa fodd bynag, y mae pentref Llanwrin yn sefyll ar ymyl dyffryn prydferth trwy yr hwn yr ymddolena yr afon Dyfi. Y mae yn sefyll mewn ychydig o gilfach; ond gan fod pob tŷ o'i fewn, ac eithrio un neu ddau, â'i wyneb wedi ei wyngalchu, y mae yn galw sylw y teithiwr ag sydd yn gwibio heibio yn y gerbydres ar yr ochr arall i'r dyffryn, ac fel pe yn deisyfu arno i dosturio wrth ei unigedd. Ac os goddefir i ni ddadgan ein barn, gallai y teithiwr daro ar lawer llecyn llai rhamantus, llai prydferth, a llai deniadol na'r llecyn gwylaidd a neillduedig hwn.

Y mae yn wir nad oes yn y plwyf ryw lawer ag sydd yn galw sylw yr hynafiaethydd. Un o'r lleoedd hynotaf yn yr ystyr hwn ef allai ydyw Mathafarn. Amaethdy urddasol yr olwg, yn sefyll ar fin y ffordd yr eler o bentref Llanwrin i Ddinas Mawddwy, ryw filltir a hanner o'r blaenaf, ydyw Mathafarn. Y mae y rhodfa sydd yn arwain o'r ffordd at y tŷ yn cael ei chysgodi gan res o goed ag ydynt wedi herfeiddio ystormydd llawer gauaf gerwin. A thra yn son am goed, hwyrach y goddefir i ni osod ger bron y darllenydd nodiadau ag y bu y Canon D. Silvan Evans mor garedig a'n hanrhegu, parthed i bren ffawwydd mawr a safai yn ymyl Mathafarn hyd yn ddiweddar. Wele gopi o'r nodiadau a wnaed gan Canon Evans ar y pryd:—

### FFAWWYDDEN FAWR MATHAFARN.

Bid ar gof ddarfod i'r corwynt dychrynllyd ar ddydd Sadwrn, y 26fed o Ionawr, 1884, chwythu i lawr, o ddeutu tri o'r gloch, prydnawn, y Ffawwydden Arianaidd ddirfawr ei maint a dyfai yn ymyl Mathafarn, plwyf Llanwrin. Geilw y Seison y pren yn *Silver Fir*. Yr oedd yr afonig Ceirig wedi gweithio i raddau dan ei bon er ys rhai blynyddoedd. Cwympodd tuag at y tŷ annedd, a distrywiodd blaen ei brigau gryn dipyn ar dô y pen pellaf o'r afon i'r tŷ, a thorodd rai o'r ffenestri; ond ni wnaeth ddim niwed arall.

Mesurai amfesur bon y goeden fawrwych hon wrth y ddaiar, 17 troedfedd a 5 modfedd; ac yn ei hyd o'r ddaiar hyd ei fforch (canys ymranai yn ddwy fforch), mesurai 26 troedfedd; o'r bon i flaen y brig, 135 troedfedd. Yr oedd pob un o'r ddwy fforch yr ymranai iddynt yn goed mawrion. Aethym i'w gweled, am y tro diweddaf, brydnawn dydd Llun, Ionawr 28fed, 1884.

Dylid nodi mai *diwreiddio* ffyrwydden Mathafarn a wnaeth y gwynt, ac nid ei thori.

Yr oedd yr ystorm y cyfeiriwyd ati yn un hynod o ddychrynllyd; y rhyferthwynt cryfaf a glywais i erioed, hyd yr wyf yn cofio; y cryfaf yn ddiau yn nyffryn Dyfi er y flwyddyn 1862, pryd y daethym yn un o gyfanneddwyr y dyffryn. Y nos Sadwrn uchod diwreiddiodd y gwynt ddwy goeden ar y

Digitized by Google

llethr yn gyfagos i ddrws Persondy Llanwrin; ac yr oedd un o honynt yn bren lled hardd, gan ei fod agos oll mewn amwisg o eiddiorwg; ond ni wnaeth eu cwymp ddim niwed.

D. S. E.

Y mae Mathafarn wedi bod yn drigfan i linach hir o uchelwyr Cymru. Yma y cartrefai Einion ab Seisyllt, yr hwn oedd yn gydoeswr â Llywelyn ab Iorwerth, tywysog Cymru. Yr oedd yr Einion hwn yn hanu o Gwyddno Garanhir, tywysog Cantref y Gwaelod; ac yr oedd arglwyddi Mathafarn yn olrhain eu tarddiad iddo ef hyd yr amser yr aeth yr arglwyddiaeth, trwy bryniant, yn eiddo Wynniaid Wynnstay. Daliai Einion ab Seisyllt yr oll o blwyf Llanwrin, yr hwn y pryd hwnw a berthynai i gwmmwd Estumaner, o dan arglwyddi Meirionydd. Ond yn 1284, cwerylodd â Llywelyn Fawr ab Meredydd a'i frawd, a ffodd at Arglwydd Powys, i'r hwn y talodd warogaeth, a thorwyd ei gyssylltiad â Meirionydd. Yn yr Amgueddfa Brydeinig (*Add. Mss.* 14, 964, *fo.* 27 B.) ceir marwnad i Einion o waith Iorwerth Cyriog, ac y mae yn cynnwys rhai llinellau ag sydd yn awgrymu fod brwydrau gwaedlyd wedi cael eu hymladd ganddo:

"Awst y llas ymgastelli
Eilon dor o lan Dyfi
Pan fu ymgyrchu gorchest
'Eb rydau'r ffyn a brwydr ffest
Rhwng Cyveiliog enwog oed*
Ac Arwystli torri tiroed
Yno Einion a ennynod
At un y fu y tau oi fod
Ein cadpenau pen an parth
An paan cor a'n pen cyvarth
A fu Einion iw foned
Penaeth farn panaeth iw ved."

Ym mhellach ym mlaen yr ydym yn deall mai ei ladd mewn brwydr a gafodd, oblegid dywedir,

"Pan ladwyd hwn gwn y gwir
Llad Cenedl lluoed cwynir
Mathavarn gadarn gydwed
Mewn aur gynt mae'n oer eu gwed
Dwy lan Dyfi'n gwaedi'n goç*
Y deg ynys dy gwynoç
Llanwrin pob lle'n oeria
Clau iu pob llu clodu ia."

Claddwyd ef yn Llanwrin, fel y gwelir oddi wrth y ddwy linell ganlynol:—

"Ymled fyrhodion amled
Llanwrin ar fin ei fed."

Nid ydym yn hollol sicr yng nghylch yr "Iorwerth Cyriog vard Cadeiriog" a gyfansoddodd y farwnad y dyfynasom o honi. Mae dwy awdl o waith "Iorwerth ab y Cyriaiawg" yn argraffedig yn y *Myvyrian Archaiology*, ac y mae golygwyr y gwaith hwnw yn ei osod yn ei flodau rhwng 1320 a 1360. Ond y mae Owen Jones, yng *Ngeiriadur Cenedlaethol Cymru*, ac Isaac Foulkes, yn ei *Enwogion Cymru*, yn dweyd mai bardd o Fon ydoedd, a'i fod yn blodeuo rhwng 1360 a 1400. Os yr un oedd y bardd o Fon a'r hwn a ganodd farwnad Einion ab Seisyllt, rhaid ei fod gryn lawer yng ieuengach na Einion. Ac y mae y wybodaeth leol a arddangosa y farwnad o barthed i Machynlleth, Llanwrin, a glanau y Dyfi, yn awgrymu nad oedd y bardd yn ddyeithr yn yr ardal.

Y seithfed mewn disgyniad o'r Einion uchod oedd Dafydd Llwyd ab Llywelyn ab Gruffydd, y bardd talentog o Mathafarn. Ceir teitlau a llinellau cyntaf 55 o'i gywyddau, &c., ar amlen *Greal* Llundain am 1809; ac y mae Glasynys yn dyfynu ei gywydd ar Wyrthiau St. Tydecho yn ei draethawd difyrus ar "Arglwyddiaeth Mawddwy" (*Y Brython*, cyf. V.). Yn yr oesau a aethant heibio, byddai yr hwn a feddai fwy o addysg na'i gymmydogion, bydded fardd neu offeiriad, yn cael ei ystyried yn frudiwr. A daeth preswylwyr diniwed glanau y Dyfi i feddwl yn uchel o allu rhagfynegol Dafydd Llwyd. Yn wir, o dipyn i beth, aeth son am dano fel dewin ym mhell yn gystal ag yn agos; fel pan yr oedd Harri, iarll Richmwnd, ar ei daith o Aberdaugleddyf i'r Amwythig i ornestu am goron Lloegr gyda Richard III., galwodd am letty a chyfarwyddyd gan y brudiwr o Mathafarn. Y mae yn hawdd dyfalu i'r iarll gael derbyniad croesawgar. Ond pan gofynwyd y cwestiwn a fyddai yn debyg o lwyddo yn ei anturiaeth, nid oedd Dafydd Llwyd yn barod i ateb, a gofynodd am ganiatâd i ystyried y mater hyd dranoeth; ac yn lle ymgynghori â'r oraclau y tybiai ei gyfoedion oedd yn ei hysbysu am y dyfodol, nid oedd ganddo ond cosi ei ben ac edrych yn brudd a synllyd. Pa fodd bynag, yr oedd gan y bardd wraig mwy hirben nag ef ei hun, o leiaf mewn rhyw bethau. Ei henw, yn ol yr achyddwyr, oedd Margaret, merch Gwilym ab Llywelyn Fychan ab Llywelyn ab Ieuan Fychan o'r Garthfawr, ab Ieuan ab Rhys ab Llawdden, arglwydd uwch Aeron. Ond beth bynag am ei hachau, gofynodd ei gymhares iddo beth oedd yr achos o'r gwyneb hir a'r wefl laes, a hyny ar ymweliad pendefig mor urddasol. A phan yr hysbysodd hi o'r achos, atebodd ef mewn geiriau ag sydd yn awgrymu fod gwragedd yr oes hòno wedi dysgu bod yn wawdlyd wrth eu gwŷr. "Beth!" meddai, "tydi yn fardd, yn brophwyd, ac yn frudiwr, ac yn methu ateb gofyniad fel yna!

* Darllener y d yn *dd* a'r ç yn *ch*.

Dywed yn gadarn wrtho y bydd iddo ennill y frwydr; ac os trydd hyny allan i fod yn wir, bydd dy enw yn uchel ac anrhydeddus; ac os fel arall, rhaid i ti byth ofni y daw efe y ffordd yma o ddwylaw Dic Gefngrwm i'th gospi di fel gau brophwyd." Gwelodd Dafydd Llwyd rym ymresymiad ei wraig; a boreu dranoeth, gwnaeth yn ol ei chyfarwyddyd, ac aeth yr iarll ymaith yn llawen. Cyflawnwyd y rhagfynegiad, a choronwyd yr iarll yn frenin Lloegr wrth yr enw Harri VII. Ac ni anghofiwyd Dafydd Llwyd, oblegid gwnaeth y brenin ef yn un o'i ysweiniaid. Hysbysir ni mai oddi ar yr amgylchiad hwn y tarddodd y diareb, "Cynghor gwraig heb ei ofyn."

Y seithfed mewn disgyniad o'r Dafydd Llwyd uchod oedd Rowland Pugh o Mathafarn. Yn amser hwn, yn y flwyddyn 1644, ymosodwyd ar Mathafarn gan filwyr y Senedd, o dan arweiniad Syr Thomas Myddleton, a llosgwyd yr hen anneddd ŷ enwog i'r llawr. Ond yn y flwyddyn 1661, rhoddodd Siarl II. i John Pugh, ei fab, holl arglwyddiaeth Cyfeiliog fel ad-daliad am y gwasanaeth a wnaethid gan Rowland Pugh i'r ddau Siarl yn ystod yr ymdrech rhwng y Senedd a'r Goron. Cawn gyfeirio mewn man arall at y gofiech fynor a godwyd yng nghanghell Eglwys Llanwrin i William Pugh, mab y rhagddywededig John Pugh. Priododd y William Pugh hwn Margaret, merch John Lloyd o Maesypandy, ac o'r briodas hon cafwyd naw o blant: un o ba rai oedd Rowland Pugh, yr hwn a briododd Elizabeth, merch Roger Salisbury o'r Rûg, ac o'r briodas hon cafwyd tri o blant. Yr etifeddes oedd Maria Charlotte, yr hon a fedyddiwyd Medi 7fed, 1721. Priododd hon yn gyntaf Thomas Pryse, o'r Gogerddan, ac yn ail y Parch. John Lloyd, a bu farw Awst 26fed, 1780: claddwyd hi yn Corwen, lle mae cofadail wedi ei osod i fyny iddi. Gwerthodd y foneddiges hon arglwyddiaeth Cyfeiliog i Syr W. W. Wynn, yr hyn a rydd gyfrif am hawliau perchenog Wynnstay ym mhlwyf Llanwrin.

Yr ydym wedi ymdroi cymmaint o gwmpas Mathafarn, fel y mae yn rhaid i ni ohirio ein hymweliad ag Eglwys Llanwrin hyd ryw ddiwrnod eto.

*Dinas Mawddwy.* CHAS. ASHTON.

(*I'w barhau.*)

---

Y mae'n llai enbyd ac yn llai pechod wneuthur y pechod yr ŷm yn ymhyfrydu ynddo, nag ymhyfrydu yn y pechod yr ŷm yn ei wneuthur; ond goreu yw na ymhyfrydir mewn un pechod, ac nas gwnelir chwaith.



## MANYLDEB GORCHYMMYNION DUW.

WRTH i ni sylwi yn fanwl i'r cyfeiriad yma, gwelwn fod rhyw bwysigrwydd hynod yn gyssylltedig â'r hyn a gais yr Arglwydd genym. Onid oes rhyw fanyldeb digyffelyb yn nodweddu ei orchymmynion Ef? Onid yw y peth yma mewn modd neillduol yn profi fod eu cyflawnu yn eu gwahanol agweddau yn meddu pwysigrwydd diammheuol? Pan y gorchymmynai i Noah adeiladu arch i achub ei dŷ rhag dwfr y diluw, rhaid ydoedd iddo wneyd hyny yn gymhwys yn unol â'i gynllun ef. Yr oedd pob peth perthynol i'r arch i fod yn hollol fel y cynlluniai Duw ym mlaen llaw iddi fod—yr oll o'r defnyddiau i fod megys ag y dymunai Efe: yr oedd ei phobpeth i fod yn ol cynllun pendant o eiddo Duw.

Gwelir hyn ym mhob cyfeiriad gyda golwg ar holl orchymmynion Duw. Gyda gwneyd y tabernacl, &c., yn yr anialwch, ceir yr un manyldeb yn cael ei arfer. Mae Duw yn eiddigus dros ei orchymmynion; dangosodd hyn yn ei ymddygiadau tuag at y rhai a wrthodasant ufuddhau iddynt. Syrthiodd bersonau unigol gyda chenedloedd dan ei ddialedd am beidio cydymffurfio â hwy. Megys Achan yn achos y diofrydbeth, Cora, Dathan, ac Abiram, Pharaoh a'r Aiphtiaid, cenedl Israel, gyda chenedloedd ereill; ond nid yw o un dyben dwyn enghreifftiau i brofi y gosodiad hwn, gan mor luosog ydynt. Hawdd y gallesid cyfansoddi cyfrolau meithion ar yr enghreifftiau hyn: mae y gyfrol sanctaidd a hanesiaeth genedlig yn orlawn o honynt.

Mae manyldeb gorchymmynion Duw yn dysgu y dyn anianol. Hawdd i ddyn fel creadur gwrthgiliedig oddi wrth Dduw fethu cydweled ag Ef. Nid yw y cyfryw yn gallu cydymdeimlo â rheolau a gosodiadau y Deddfroddwr hollddoeth a daionus. Gallasem ni dybio na fuasai o un niwed i Samson dori ei wallt, ond gwnaeth hyny i Ysbryd yr Arglwydd gilio oddi wrtho; ac felly cafodd ei orchfygu gan y Philistiaid, a hyny o blegid diystyru peth mor fach a dibwys i'n golwg ni, o orchymmynion Duw. Er fod Naaman y Syriad yn wahanglwyfus ac angen iachâd arno, pan ddeallodd fod Duw Israel yn archu iddo ymolchi seithwaith yn yr Iorddonen, dechreuai teimlo yn anfoddlon—tybiai fod y prophwyd am wneyd ffŵl o hono. Ond rhaid fu iddo ufuddhau i gynllun Duw. Fel yna y mae y dyn anianol, mae manyldeb gorchymmynion Duw yn ei ddyrysu yn llwyr; gwell ganddo edrych i bob cyfeiriad yn lle cydweled â Duw. Metha weled un dyben mewn gwneyd fel a'r fel, yn ol fel bo Duw yn

Digitized by Google

ceisio, mwy na rhyw fel arall. Rhyw ddull o'i eiddo ef ei hunan a ddewisa; gwel hyny yn well na chydymffurfio â manyldeb gorchymmynion Duw. Ond rhaid ufuddhau iddo Ef, neu byddom byth yn golledwyr os gwrthodwn: dyna yw hanes pawb, a dyna fydd ein tynged ninnau hefyd.

Er manyldeb gorchymmynion Duw, nid ydynt yn yn anhawdd cydymffurfio â hwy. Maent yn fanwl, mae'n wir, ond yn hawdd eu dwyn; baich ysgafn ar iau esmwyth ydynt er hyny. "Cofia gadw yn sanctaidd y dydd Sabbath;" *cofia*—mae hyn yn bwysig. Mor fanwl mae Duw am i ni roi ystyriaeth i'r hyn a orchymmynai i ni. "Gwnewch hyn er coffa am danaf;" ïe, gwnewch hyn, a gwnewch hyn "hyd oni ddelwyf." Os nad yw yr Arglwydd Iesu yn fanwl yn y geiriau a nodwyd, nis gallaf weled pa beth o'i eiddo a geir felly. Mae y Mab a'r Tad yn cytuno mewn unoliaeth drwyadl yn hyn. Os nad yw Pen Mawr yr Eglwys yn y geiriau a nodwyd yn golygu i'r ordinhâd o Swper yr Arglwydd barhau gyda'i ddilynwyr, yna nid yw Duw chwaith am i sancteiddiad y Sabbath barhau. Credaf fod sancteiddiad y seithfed dydd yn ddeddf osodedig a pharhaol, a bod gorchymmyn yr Arglwydd Iesu, "gwnewch hyn er cof am danaf," mor barhaol hefyd.

Gwelir manyldeb y gorchymmynion hyn y fath, fel nad oes modd eu camddeall; ar yr un pryd nid oes dim ynddynt yn erbyn i ni allu cydymffurfio â hwy—dim oddi eithr ein bod dan lywodraeth Satan. Mae yn wir fod rhai dynion ar enw Cristionogion yn ceisio dilëu y sacramentau fel ordinhadau angenrheidiol er iachawdwriaeth; felly, i fod yn gysson â hwy eu hunain, dylai y cyfryw bobl hefyd wneyd i ffordd â rhanau ereill o orchymmynion yr Arglwydd, megys "*na ladd, na ladrata,*" &c. Wrth ammheu y priodoldeb o gadw rhai o orchymmynion Duw, bydd y cyfryw a wnaent hyny yn rhodio llwybrau peryglus, a diau ânt yn fuan i ymwrthod â'r gorchymmynion yn gyfangwbl: o dipyn i beth felly y mae dynion yn myned i anghofio Duw.

Mae manylrwydd gorchymmynion Duw yn profi ufudd-dod dynion iddo a'u ffydd ynddo. Gwelir hyn yng ngwaith Abraham yn aberthu Isaac. Gallasai y patriarch hwnw, pe buasai yn ymgynghori â chig a gwaed, ddwyn llawer o wrthddadleuon yn erbyn hyny; ond gan fod Duw yn gorchymmyn, yr oedd hyn yn symbylu Abraham i ufuddhau. Ond yn Jonah gwelir enghraifft o ddyn yn gwrthod cydymffurfio â chais yr Arglwydd. Nid oedd testyn y bregeth wrth ei fodd; gwelai le ynddo i'w hunan ef fyned o'r golwg. Diau pe cawsai ddweyd, "Deugain niwrnod eto a fydd, a Ninefeh a gwympir, os na bydd iddi edifarhau a cheisio trugaredd," ni buasai yn gwrthod ufuddhau; ond gan mai fel arall y gorchymmynai Duw, dylasai Jonah ufuddhau iddo, beth bynag a fyddai y canlyniad. Er nad oedd gwaith gwraig Lot yn edrych yn ol tua Sodom ond peth digon dibwys ynddo ei hun, eto gan fod gorchymmyn Duw iddi beidio, syrthiodd dan y farn. Fel hyn gwelwn mai nid dibwys yn ei olwg ydyw peidio cydymffurfio â'i orchymmynion yn holl gyssylltiadau eu manyldeb eithaf, er fod dynion yn barod iawn i beidio eu hystyried felly. Ceir yr Iesu ei hun yn yr efengylau mewn amryw gyssylltiadau yn gwneyd pethau i'n golwg ni yn afreidiol, megys iro y clai ar lygaid y dall, a'i anfon i ymolchi i lyn Siloam. Fel yma gwelir Duw yn ymostwng yn isel er mwyn addysgu dyn i ufuddhau iddo mewn pethau bychain yn ogystal a phethau mawrion ei ordinhadau.

Mae esgeuluso gorchymmynion Duw yn eu manyldeb seremonïol yn ein gosod ar y ffordd i'w diystyru yn eu hystyr foesol ac ysbrydol. "O cherwch fi, cedwch fy ngorchymmynion," meddai yr Arglwydd Iesu Grist. Rhydd yr Athraw mawr bwys neillduol ar i'w ddilynwyr gadw ei orchymmynion. A phan y bydd dyn yn gwrthod cydymffurfio â'r gorchymmynion yn eu gwedd allanol, llythyrenol, neu seremonïol, nis gallaf weled pa fodd y gall eu gwerthfawrogi yn eu hystyr fewnol a moesol. Gan ei fod yn eu condemnio yn eu hystyr arwyddocaol, onid yw yn berygl iddo ymwrthod â hwy ym mhob ystyr arall hefyd? Nid yw fod rhai yn camddefnyddio "Swper yr Arglwydd" yn un rheswm dros anwybyddu yr ordinhâd fel moddion angenrheidiol er iachawdwriaeth. Gallesid dyfod â'r un rhesymau ym mlaen yn erbyn y Sabbath; o blegid ceir dynion yn ei gamdreulio, yn ei halogi i gyflawnu eu hamcanion eu hunain: ofer dadleu yn erbyn y dydd cyssegredig o blegid hyny. Felly rhaid i ni edrych ar holl orchymmynion Duw; dylem ymdrechu cydymffurfio â hwy yn eu holl manylion gosodedig.

Mae ein gwaith yn eu gwrthod yn taflu sarhâd ar y Deddfroddwr. Wrth ymddwyn felly byddwn yn ymylu i ammheu doethineb a daioni Duw; byddwn fel yn gwneyd ein hunain yn ddoethach ac yn well nag Ef. Gan mai Gair Duw yw rheol ein bywyd, a chan fod ei orchymmynion yn eglur a phendant yn y Beibl, rhyfyg ynom fyddai ceisio ymryddhau oddi wrthynt. Mae penryddid felly yn ddinystriol. Gwyliwn rhag y llwybrau hyn.

*Penegoes.* J. C. Rowlands.

Digitized by Google

## YR HEN WR A'I FERCH YN Y FYNWENT.

Eisteddwn ar fin y sedd draw,
Cerddasom gryn ddwy filltir faith;
'Rwy'n teimlo fy hunan yn llesg,
Ac eto yn iach 'rol y daith:
Mor hoff genyf seiniau y clych,
A'r adar ym mrigau y coed,
Hwy ddygant i'm cof y pryd gynt
Yr oeddwn yn ysgafn fy nhroed.

Mae'm ffryndiau'n garedig i gyd,
A'm gwallt wedi myned yn wyn;
'Rwy'n aros ychydig ar ol,
Gan edrych yn unig a syn:
Ni feddaf ond amnaid i roi
Pan gwrddaf â chyfaill ar hynt,
Ond yma 'rwy'n teimlo fy mod
Yng nghanol fy ffryndiau hoff gynt.

O gareg i gareg 'rwy'n myn'd,
A dyga pob un i fy ngho',
Fod pawb a lon garwn i gynt
Yn gorwedd ar waelod y gro:
Mae'r deigryn yn gwlychu fy ngrudd
Wrth gofio mor felus oedd cerdd
Y bachgen sy'n huno fan hyn
O dan y dywarchen sy'n werdd.

Yr wythnos ddiweddaf i gyd,
Pan oeddwn yn myned trwy'r Llan,
Mi gwrddais â gwyneb rhyw fun
A alwn i'm cof yn y fan;
Gofynais i'r ferch dd'od yn nes,
Pryd gwenodd gan ateb yn ffraeth,
Fod hòno er's deugain mlwydd hir
Yn huno mewn beddrod yn gaeth.

Pa le yr ymgrwydrais mor bell,
'Rwy'n unig, yn d'rysu, yn syn;
Ni theimlaf yn iawn mewn un lle
Ond ym mysg y beddau fan hyn:
A dyrwyn yn gyflym mae'r dydd,
A'r nos sydd yn nesu â'i llen,
Pryd rhoddir fi'n waelaidd fy llun
I orwedd yn isel fy mhen.

Llafuriais yn galed drwy f'oes,
Fel tystia prif yswain y plwy';
Dysgwylia rhai ddim ond y tâl,
Ond cofiwn am rywbeth oedd fwy:
Nid ydwyf ond *scholar* lled wael,
Ni fedraf fi ddarllen yn glir;
Beth bynag ymaflai fy llaw,
Gyflawnwn ag egni yn wir.

Mi ddysgais y testyn yn dda,
Ni ddarfum ei ammheu erioed:
Llafuriais trwy ystod fy oes
I'w ddilyn a'i weithio'n ddioed,
O herwydd 'rwy'n credu na wna
Duw oddef y diog yn hir;
Am hyny, fe gydiwn mewn gwaith,
Awn drwyddo yn onest a chlir.

I'r Eglwys yr awn ar y Sul,
Darllenai'r offeiriad yn iawn;
Ni wyddwn pa beth oedd i ddweyd,
Ond dilyn y weddi a wnawn:
Hyderaf y gwela fy Nuw
Fy ngŵys yn y diwedd yn syth,
Ac nad aiff i gyfrif â mi—
Ni fedraf ei sefyll Ef byth.

Daeth blwyddau'r addewid i ben,
A prudd ydyw diwedd fy ngherdd;
Pan hunaf, O dyro, fy merch,
Fi orphwys dan frig'r ywen werdd:
Na wyla am hen-wr mor wael
Sy'n huno yn dawel mewn hedd;
Os gelli gael lle ambell dro,
Rho flodyn ar briddell fy medd.

Henri Myllin.

---

## BYR GOFIANT

***Am y diweddar David Roberts (Dewi Hafhesp), Llandderfel, Meirionydd.***

Y mae y bardd rhagorol hwn wedi gorphen ei daith ddaiarol, ac wedi cael ei osod ar oer wely marwoldeb ym mynwent henafol St. Derfel Gadarn. A ydyw llenorion Meirionydd am adael eu bardd awenyddol a thlws, ïe, y mwyaf awenyddol a feddai Cymru yr oes hon yn ddysylw? Yr oedd yn Wm. Edward, 'Sgeifiog, parodrwydd i englynu, ac yn Ddewi Wyn o Eifion mewn cywreinrwydd cynghaneddol. A gaiff y bardd mawr coeth hwn huno mewn llwch dinodedd heb gareg i ddal llinell uwch ei anneddle briddlyd, i nodi'r fan y gorwedd llwch y bardd awen-danawl Dewi, i'r oesau dyfodol weled hunfa yr englynwr goreu yn ei oes? Er cymmaint a gladdwyd ym mynwent Llandderfel, ni chladdwyd cyffelyb fardd i'r anwyl Dewi Hafhesp ynddi. Y mae llenyddwyr a beirdd o fri uchel wedi blodeuo er ys canrifoedd amgylch ogylch Llandderfel a'r Bala, ac y mae eto yn aros feirdd o dalentau awenyddol yn y cyfryw lanerch . . . ond y mwyaf o honynt yw gwrth-

Digitized by Google

ddrych ein sylw, sef y prif gampwr Dewi. Bydd yn chwithdod genyf weled colofnau barddonol y gwahanol newyddiaduron heb weled enw y prif fardd Hafhesp yn eu mysg. Er ys pan gollais ef, yr wyf wedi colli golwg am englyn tlws, yn llawn bywyd bob sill o hono. Yr oedd barddoni i Dewi mor naturiol a rhedfa dwfr i bant. Sylwn ar ei englyn i'w gariadferch; y mae uwch law yr un englyn na chywydd a welais i erioed o waith Dafydd ab Gwilym i'w Forfudd fad,—

Grudd fad is llygad glas llon,—a dwy ael
Is dellt crychfelynion:
Ha! fe alwyd nefolion
I hollti aur yn wallt i hon.

A gaiff awdwr yr englyn uchod aros yn hwy mewn llwch dinodedd? Pe buasai yn berchen golud neu ryw fath o bregethwr, cawsai huno o dan faen o farmor caboledig, a'i enw wedi ei argraffu arno gyda llythyrenau aur er ei goffadwriaeth; ond nid felly bu tynged Dewi, druan. Sylwn eto ar ei englyn pert i'r gwlith—

Gorenwog ddagrau anian—ar y wlad
Yw'r tyner wlith eirian,
Yn disgyn hyd y byd ban
O lys Ior fel *curls* arian.

Fflamychodd Dewi gannoedd o englynion byrfyfyr, heb eu hysgrifenu erioed i'r cyhoedd, a buasent yn anrhydedd i rai cadeirfeirdd yr oes hon gael rhoddi eu henwau wrthynt; a gwir y buasent yn tra rhagori ar gyfansoddiadau y rhan fwyaf o honynt, er iddynt gael eu gorfoli gan ryw ddosbarth o honom. A ydyw Dewi, tybed, wedi ei osod yn "Oriel y Beirdd?" Onid ydyw, dylasai fod yno wrth ochr ei gyfaill mynwesol a champusfardd Trebor Mai. Yr oedd y ddau yn gyfeillion gwreiddiol i'w gilydd tra y buont yn eu bywyd naturiol. Saif enw Dewi Hafhesp yn addurn i fynwent Llandderfel ym mhen oesoedd, os cyfodir cofadail ar ei lwch oer.

O! ein Dewi syld yn dawel—mewn tŷ
Mynwent hen Llandderfel;
Heinyf fu â'i awen fêl
Yn ei hafiaeth anhyfel.

Yn ei ogof unigedd,—y llawr oer
Lle'r erys arabedd;
Canu wna beirddion ceinwedd,
A Dewi'n fud yn ei fedd.

Ryw golofn aur o gylefn waith—addurnawl
O ddarnau'n orchestwaith;
I Dewi deg—gwedi'r daith,
Un a brofwyd am brifwaith.

Mawr enw gu Meirionydd—tiwy eni
Tra anwyl fardd celfydd;
Tra gwawr ei enw'n fawr fydd
Yn ei dwf enw Dafydd.

Yng nghafell y bedd mae 'nghyfaill bach—Dewi,
A dawodd byth mwyach;
Am gân—pwy fu'n amgenach? a thlysni
Awen yn berwi—a fu un burach?

Llawer noswaith ddifyr a gefais gyda'r awenfardd Dewi Hafhesp. Clywais y diweddar awenyddol fardd Owain Dinorwig yn dweyd ddarfod iddo fod yn llettya yn agos ato flynyddau cyn ei farwolaeth, pan oedd yn gweithio yn chwarel Cletwr. Yr amser hyny yr oedd Dewi yn anterth ei ddyddiau, ac yn llawn tân awenyddol. Dywedai am dano fel y canlyn:—"Ni welais i yr un bardd yn gyffelyb iddo mewn parodrwydd a chywirdeb; gwelais ddegau o feirdd y gogledd a'r deheudir, ond ni welais yr un o honynt i'w cymharu â bardd Llandderfel." Yr oedd hen wr arall awenyddol yn byw ar fin Llandderfel o'r enw W. Owen (Alltud Berwyn). Yr oedd y ddau yn hoffus iawn o'u gilydd. Un o Hafodlas, Llanllyfni, oedd yr hybarch dad W. Owen cyn symmud i Feirionydd. Yr oedd pawb yno yn gorhoffi yr hen bererin serchiadol. Yr oedd yn fardd awenyddol natur. Ond â Dewi y mae a wnelom ar hyn o bryd. Da chwi, feirdd a llengarwyr ei hoff ardal, ffurfiwch ryw gynllun i nodi llwch hynodol Dewi â chofgolofn o farmor grisialaidd. Cladder ei feiau yn llwch ebargofiant bythol. Nid oes neb heb ryw fai arno, neu buasai yn sant dysglaerwych, yn rhagori ar y ddynolryw oll ar wyneb ein daiar ni.

*Llanberis.* R. A. HUGHES (*Alarch Gwyrfai*).

---

## SICRWYDD CREFYDD.

Y MAE yn sylw o eiddo yr enwog Locke, pe byddai "gan ddynion feddylddrychau penderfynol a sefydlog am yr hyn y maent yn ymresymu, ymofyn, neu ddadleu yn ei gylch, byddai iddynt ganfod fod rhan fawr o'u hammheuon a'u dadleuon ar ben. Dibyna y rhan fwyaf o'r ymofyniadau a'r dadleuon a ddyrysant y ddynoliaeth, yn nefnyddiad ammhëus ac ansicr geiriau. Pe byddai gan ddynion ddrychfeddyliau sefydlog a phenderfynol yn eu hymofyniadau a'u hareithiau, canfyddent pa mor bell yr elai eu drychfeddyliau a'u hymresymiadau hwy, a gochelent y rhan fwyaf o'r dadleuon gydag ereill." Bu amser pan yr esgeulusid hyn mewn gwyddoniaeth,

Digitized by Google

a bu hyny yn dra dinystriol; modd bynag, er dyddiau Locke hyd yn awr, mae manylrwydd a chywirdeb (i raddau pell) yn nefnyddiad iaith wedi cael eu llawn werthfawrogi a'u harfer gan ymchwilwyr am y gwirionedd yn amrywiol ddosranau gwybodaeth ddynol. Trwy hyn mae dadleuon yng nghylch gwyddoniaeth wedi dyfod braidd i derfyniad. Modd bynag, mae yn syn gweled helynt llawer o Eglwysi Cristionogol y dyddiau hyn, ac i gymharu eu crefydd, ym mhob peth, gyda'r brasluniad a roddir yng Ngair Duw.

Cyfyngaf fy hun i un pwnc, yr hwn yn ddiau sydd yn bwnc hanfodol sylfaenol ac yn un oll-bwysig —fel y perthyna i wir sylwedd duwioldeb personol. Yr ymadrodd ag y trafferthir fwyaf yn ei gylch ydyw *sicrwydd*, yr hwn air sydd mewn llawer o achosion yn berfedd-bwnc terfysg ac ymddadleu. Arferir y gair yn y modd mwyaf ammhenodol; bydded i ni, gan hyny, geisio ei gadarnhau. Pa le bynag y byddo sicrwydd, rhaid fod yno wrthddrych neu nod. Rhaid, pan y mae person yn cael ei sicrhau, fod rhywbeth yn achos o'i sicrhâd. Rhaid cyfyngu y sicrwydd hwn i ddau nod o angenrheidrwydd—y naill i rywbeth presennol a'r llall i rywbeth dyfodol: yma y cyfeiria y ddau at un gwrthddrych ond mewn dau gyfnod, sef amser a thragwyddoldeb.

Gall yr ymadrodd o ganlyniad redeg fel hyn—sicrwydd crefydd, neu iachawdwriaeth a sicrwydd gogoniant. Ceisiaf, gan hyny, egluro athrawiaeth sicrwydd maboliaeth. Nid gwirionedd yr Efengyl ydyw y peth i gael sicrwydd o hono, o blegid y mae hyny yn cael ei ganiatäu. Yn yr oll o'r cyfryw achosion hyn, y mae cymmeriad Duw yn cael ei amgyffred, a'r canlyniadau sydd yn deilliaw o'r cymmeriad hwnw i bechodau dynion. Cydnabyddir hefyd fod yr Iawn wedi ei roddi a'i dderbyn, ac hefyd fod marwolaeth Crist yn angenrheidiol fel sylfaen gobaith, ac nad oes iachawdwriaeth yn neb arall. Ac ychwaith nis ammheuir ei alluogrwydd i achub, ac mai trwy ffydd yn ei waed y mae iachawdwriaeth i'w chael, ar wahan i bob haeddiant ar ran y creadur.

Y dyryswch mawr mewn dadl ydyw sicrwydd iachawdwriaeth, neu grefydd bersonol. Y cam cyntaf yn hyn ydyw ail-enedigaeth—gwaith uniongyrchol yr Ysbryd Glân ar enaid dyn; ac y mae adenedigaeth bob amser yn gyssylltedig ag edifeirwch tuag at Dduw, a ffydd yn yr Arglwydd Iesu Grist. Nid yw ail-enedigaeth byth yn cymmeryd lle ar wahan oddi wrth yr agweddau meddyliol yna, ac ni cheir hwythau ar wahan oddi wrth ddylanwad Ysbryd Duw: pechodau pob cyfryw un sydd wedi eu maddeu, ac y mae wedi ei fabwysiadu i deulu Duw; mae ei elyniaeth wedi ei chymmodi, a chariad Duw wedi ei dywallt ar led yn ei galon gan yr Ysbryd Glân. Mae hyn oll yn anhebgorol er iachawdwriaeth; ac a yw yn bosibl i'r pethau yma gymmeryd lle yn enaid dyn heb iddo fod yn gwybod?—heb iddo fod yn sicr o hono—yw y pwnc i'w benderfynu. Ymddengys i mi fod nodi y ffaith yn ddigon i bob dyn o reswm i roddi dedfryd nacaol. Os bywhawyd y marw, os rhoddwyd golwg i'r dall, os cymmodwyd y gelyn, yn sicr rhaid iddynt fod yn wybyddus o'r ffaith. Dengys natur pethau fod yn ammhosibl iddi fod yn wahanol. Rhaid peidio alltudio synwyr cyffredin o wlad crefydd. Rhaid i'r dyn a wnaed fel hyn yn greadur newydd, fod yn gwybod hyny; rhaid fod ganddo sicrwydd o'r cyfnewidiad, ac ni ddylai unrhyw un gymmeryd ei arwain gan ryw ffugiol ostyngeiddrwydd i gelu yr argyhoeddiad ac i wyrdroi llais a gweithrediad rheswm.

*10, Bryn Castell, Dinbych.* R. Hughes.

---

## CALENDAR Y MIS.

Gan ein bod yn yr *Haul* am 1887 wedi rhoddi dysgrifiad a hanes lled fanwl am wyliau Eglwysig y misoedd, rhaid i ni gyfyngu ein sylwadau presennol i fyfyrdod defosiynol am danynt. I ba beth y cofnodir y gwyliau hyn i ni, ac eu dygir ger ein bron mewn cylch difwlch o flwyddyn i flwyddyn? Ai ser ydynt yn ffurfafen hanesiol Eglwys Dduw yn troi mewn cylchoedd dysglaer uwch ben, gan wenu arnom yn eu tro fel Gwener siriol neu Iau fawreddog, i'n lloni ar daith y nos, gan weinyddu fel boreu ser i'n hadgofio fod yr Haul—Haul y Cyfiawnder—i gyfodi arnom? Y mae y goleuni a lewyrcha oddi ar wyneb y planedau dysglaer yn dangos fod yr haul a droes ei gefn ar y ddaiar yn tywynu arnynt hwy; ac onid yw y dysglaer gof am saint a fu, a'u cymmeriadau gloewon, megys yn amneidio arnom o ffurfafen hanesiaeth a dweyd fod goleuni Iesu Grist yn tywynu arnynt hwy? Ond fel cwpanau aur yn llaw hanesiaeth Eglwys Dduw yr edrychwn ni yma ar wyliau y saint—pob un yn llestr llawn o win defosiwn pur a sanctaidd yn cael ei drosglwyddo i lawr a'i osod wrth ein gwefusau ni.

Daw

PUREDIGAETH Y FENDIGAID FORWYN MAIR

ar yr ail ddydd o'r mis â darlun teg, dymunol, ger ein bron. Mae'r ddaiar yn deffroi dan wynt gor-

Digitized by Google

llewin llaith, ac yn diosg ei mantell eira, gan ddangos dan ei godrau y *snow drops* (clychau'r baban) gwynion eu gwisg a phur eu gwedd, y saffron eurliw, a'r briallu tyner tlysion—blodau morwyndod y flwyddyn. Pa amser mwy arwyddocaol ac arwyddluniol i'r Forwyn Fam ddwyn y "peth sanctaidd" a anwyd iddi—y Mab Bychan—i'w gyflwyno yn y deml? Pa ddrych mor dlws a welwyd erioed a phan gymmerddd Simeon dduwiol—y sant oedranus a burasid gan yr Ysbryd Glân yn llestr sanctaidd—yr Un dibechod yn ei freichiau i'w fendithio, ac yr edrychai y Forwyn â llygad cariad a syndod arno, ac y cyfodai y brophwydes oedranus a sancteiddiasid drwy oes o ddyoddef, ac o hunan-ymgyssegriad, i lefaru am dano Ef. Dyma ddrych o ddiniweidrwydd paradwysaidd yn y Mab Bychan, o ufudddod ymostyngol ffydd a phurdeb calon yn Mair, ac o sancteiddhâd, nes d'od yn demlau yr Ysbryd Glân megys yn sefyll ar riniog y nefoedd, yn Simeon â Hannah oedranus. Daw coffa o'r rhai hyn a chwpan llawn o feluswin i ni o deml ein Duw.

Daw ar y trydydd dydd

DDYDD GWYL BLASIUS, ESGOB A MERTHYR.

Pwy ydoedd? Esgob Sebaste yn Armenia. Cristion defosiynol yn caru bywyd o fyfyrdod a dilyn buchedd sanctaidd. Llewyrchai yn ei ddydd fel canwyll fechan ar ymylon heolydd aflan dinas Rufeinig, nes dynoethi budreddi ei phechodau. Yr oedd ei fywyd glân yn cywilyddio pechodau y dryg-ionus, a'i son am ddirwest, cyfiawnder, a'r farn a fydd yn deffro llid cydwybod ddrwg. Mynwyd diffodd goleuni'r sant mewn gwaed. Gwell yw buchedd sanctaidd na bywyd.

Ond ar y pummed dydd dyma

GOFFAD AGATHA, FORWYN A MERTHYRES.

Merch ieuanc, un o dlysaf blant prydferth Cicily oedd hon, gwedi ei geni o deulu uchel a derbyn addysg oreu yr oes. Hi gredai yng Nghrist, a chyssegrodd ei hun i'w wasanaethu. Tynodd ei thegwch deniadol, ei chyfoeth helaeth, a'i lledneisrwydd gweddus, sylw y llywodraethwr Rhufeinig Quintianus. Ceisiodd hi yn wraig—ceisiodd ei llygru; a phan wrthododd bob cais i'w denu ac ymostwng iddo, gwysiodd hi ger bron, a chyffesodd hithau ei bod wedi ymgyssegru yn forwyn bur i Grist. Dirdynwyd ei chorff prydferth, taflwyd hi i garchar, ac yn y diwedd merthyrwyd hi. Daw atom ni mewn serchus gof yng ngwynder ei morwyndod pur a'i duwioldeb dysglaer, i'n dysgu nad oes un llestr rhy wan i orchfygu byd yn nerth y nef.

Daw

MAWRTH YNYD

ar y degfed o Chwefror eleni. Pa beth yw ynyd? Ai dechreu y Garawys (Initium)? Dywedir mai e. Yna daw dydd Mercher y Lludw—y dydd cyntaf yn y Garawys (Quadragesima), sef y deugain dydd o ympryd yn terfynu ddydd Gwener y Groglith. Gwers fawr y Garawys yw mai mwy yw yr enaid na'r corff, a'i ddysgyblaeth yw "darostwng y corff i'r ympryd." Ymdrinir yn llawn ar y pen hwn yn y gwersi ar gyfer yr Ysgol Sul am y mis nesaf. Y mae Wythnos y Cydgoriau yn dechreu ar y Sul cyntaf yn y Garawys, a'r dyddiau penodol yw dyddiau Mercher, Gwener, a Sadwrn, y 14ydd, 16fed, a 17fed, pryd y dylid "dywedyd" (y weddi briodol) "bob dydd dros y rhai a dderbynir i urddau cyssegredig."

Yr wyl olaf yw

DYDD GWYL ST. MATHIAS, APOSTOL A MERTHYR.

Nid oes genym yn y Gair Sanctaidd ddim o hanes Sant Mathias ond yn unig ei etholiad wrth goelbren i lenwi lle Judas Iscariot (Actau i. 15—26). Cawn yno dystiolaeth ei fod gwedi dilyn yr Iesu yn ffyddlawn o Fedydd Ioan hyd y Groes a'r adgyfodiad a'r esgyniad. Pan feddyliwn am yr oll o waith yr apostolion sanctaidd, tarewir ni â syndod fod gan lleied o'u hanes ar gael. Nid yw llyfrau y Testament Newydd yn rhoddi dim ond amlinelliad byr o hanes nifer fechan o honynt, eto erys eu gwaith. Tybir mai yn rhanau gogleddol Asia Leiaf y llafuriodd St. Mathias, ac yno y terfynodd ei yrfa drwy ferthyrdod, meddir.

---

## GOHEBIAETHAU.

LLANNEFYDD A "BANER AC AMSERAU CYMRU."

*At Olygydd* YR HAUL.

NID ydwyf yn gwybod pa un a fyddwch chwi yn gweled *Baner ac Amserau Cymru* ai peidio, na chwaith a ydych chwi yn gwybod am Lannefydd. Os nad ydych yn gweled y naill ac yn gwybod am y llall, fe ddylech wybod, ac mi roddaf finnau i chwi beth gwybodaeth. Y mae pobl Llannefydd wedi tynu llawer o sylw a rhoddi cost fawr ar y sir drwy wrthod talu y degwm. Gwrthodasant dalu i ddechreu i'r dirprwywyr eglwysig oni chaent ddau swllt y bunt o droi yn ol, a gwrthodasant yn ddiweddar dalu i'r offeiriad os na chaent dri swllt y bunt yn ol. A thrwy hyn y mae yna gryn dwrw yn wastad, a

Digitized by Google

daeth gohebydd y *Faner a'r Amserau* yma ar y Sul yn ddiweddar i ysbïo gwallau, ac y mae ei sylwadau yn y *Faner* am ddydd Sadwrn, Ionawr y 10fed. Yn ei sylwadau ar adroddiad ei ohebydd, dywed golygydd y *Faner* nad oes dim ond un gwasanaeth yn cael ei gynnal yn yr Eglwys ar foreu Sul, ac "un arall ar adeg yr offrwm prydnawnol," neu yn y prydnawn feddyliwn, a dim un y nos, na dim un drwy yr wythnos. Os yw golygydd y *Faner* yn dweyd y gwir yma, y mae hi yn bryd i'r wardeniaid alw sylw yr esgob at yr esgeulusdra. Ond sut y mae barnu y rhan nesaf o adroddiad y *Faner?* Dyma fo. Pan aeth y gohebydd i mewn, meddai, ar foreu Sul y 4ydd o Ionawr, "Heb law y Parson Jones ac yntau yr oedd yno ddau ddyn, tair gwraig, a dau blentyn—yr holl eneidiau yn rhifo saith, heblaw y gweinidog a'r ymwelydd! A'r cyflog *am hyn*, cofier, yn *saith gant* ac *ugain punt yn y flwyddyn*!" Y fi sydd wedi rhoddi y geiriau olaf mewn llythyrenau Italaidd i dynu sylw at y *celwydd* sydd ynddynt. Wedi darllen y geiriau yr oeddwn i yn meddwl fod y "Parson Jones" a enwir ynddynt yn cael saith gant ac ugain punt yn y flwyddyn o gyflog am ddarllen dau wasanaeth yn yr wythnos; ond erbyn troi i lyfr y plwyf a gweled, yr wyf yn cael mai 292p. ydyw swm ei ddegwm ef cyn talu y trethi, a 230p. o arian clir. Y mae hyn yn llawn ddigon, ond paham yr oedd eisieu i'r *Faner* ddweyd saith gant ac ugain punt, fel pe buasai y person yn cael y cwbl? Eisieu codi teimlad drwg oedd arno y mae yn debyg; ac y mae pob dyn ag sydd yn ddigon maleisus i geisio creu teimlad drwg at gymmydog yn ddigon rhydd i awgrymu celwydd. Awgrymu celwydd yr oedd y *Faner*. Y mae *commutation* degwm yr holl blwyf yn saith gant ac ugain punt, ond y mae 460p. o hono dan hen les, heb fod *erioed* yn cael ei dalu i'r ficer, a'r *commissioners* sydd yn derbyn hwnw *dros y perchenogion*. Ond ni ddywedodd y *Faner* hyn. Dull erchyll o ledaenu celwydd yw dweyd hanner y gwir. Gadawaf rhwng person Llannefydd a'r *Faner* am bob mater *personol* sydd ynddi. Y mae yn rhoddi lliw drwg ar ei weinidogaeth a chyflwr yr Eglwys, ac nid oes genyf fi ddim cydymdeimlad â neb diog nac aflêr, mwy nag sydd genyf â dyn yn camddarlunio pethau.—Yr eiddoch,

ELIDANIAD.

[Yr ydym wedi llyfnhau peth ar y llythyr uchod.—GOL.]

---

Os caiff Duw ychydig o ogoniant oddi wrthym ni; nyni a gawn lawer oddi wrtho Ef.

## YR EGLWYS YN Y WLAD.

'Rwy'n cofio'r adeg hyfryd
Pan oeddwn blentyn mad,
Pan yn myn'd yn llaw fy mam
I'r Eglwys yn y wlad;
Hen gloch y Llan yn canu
A'm llonai ar fy hynt—
Cloch yr Eglwys yn y wlad,
Y dyddiau dedwydd gynt.

Mae hiraeth ar fy nghalon
Am gwmni'r rhai difrad,
Gynt gydrodient gyda mi
I'r Eglwys yn y wlad:
Nid hawdd cael Cymro heddyw,
Fel yr hen Gymry fu;
P'le ceir dynion 'nawr mor bur,
A merched hoff mor gu?

Fel gynt pan oeddwn gartref
Ar aelwyd mam a thad,
Mae'r gloch yn galw o hyd
I'r Eglwys yn y wlad;
Trwy droion amgylchiadau,
Helyntion dyrus fyd,
Geilw hon â'i llais yn glir
Ar ddyn at Grist mewn pryd.

A oes gwladgarol Gymro
A all lochesu brad
Yn ei fron er iselhau
Yr Eglwys yn y wlad?
Am ei gwasanaeth ini,
Ei noddi boed ein nod,
Tra yr erys Cymru wen,
Tra Cymro byw yn bod.

J. C. ROWLANDS.

---

## Y WASG.

"*Welsh Folk-Lore: a collection of the Folk-Tales and Legends of North Wales, being the prize essay of the National Eisteddfod, 1887. Revised and enlarged.*[1] *By the Rev. Elias Owen, M.A., F.S.A.*

Enw lled ddiweddar, am a wyddom, yw "Llên Gwerin" am *Folk-Lore,* neu chwedlau dyddan llafar gwlad am dylwyth teg a'u campau, arferion, a defodau. Y mae y rhan gyntaf o draethawd buddugol y Parch. Elias Owen ger ein bron, a chynnwysa

[1] Oswestry and Wrexham: Woodall, Minshall, & Co.

Digitized by Google

gryn nifer o'r chwedlau mwyaf adnabyddus ar y testyn swynol hwn. Rhodia i raddau yn ol traed y Proffeswr John Rhys, ac ereill o gyffelyb chwaeth a chraffder, ac ymdrecha olrhain tarddiad y chwedlau hyn a'u defnyddio fel drych mewn traddodiad i drosglwyddo rhyw gymmaint o hanes preswylwyr cyntefig oesau cyn-hanesiol yr ynysoedd hyn i waered atom ni.

Y seiliau yr adeilada ei ddamcaniaeth arnynt yw (1) cyffredinedd y chwedlau dros gynnifer o wledydd y byd; (2) y rhan sydd gan gyffyrddiad â haiarn, neu "daraw â haiarn," er yn ddamweiniol, i dori pob cytundeb a chyssylltiad rhwng preswylwyr cyffredin y wlad a'r tylwyth teg. Par y ffaith hon i Mr. Owen ddadleu mai gweddillion preswylwyr cyntefig oes y celf-feini (*stone age*) oedd y tylwyth teg. Pobl fychain oeddynt hefyd, heb ynddynt un duedd ymladdgar, ac felly yn cynnrychioli cenedl neu dylwythau gorchfygedig. Yn ol yr oll o'r chwedlau, neu o leiaf rediad cyffredin y chwedlau, nid oeddynt o gwbl yn Gristionogion neu grefyddol, ond oll yn gyfarwydd mewn swynion, hud, a lledrith. Ychwanega Mr. Owen eu bod yn bobl fychain, eirwir, gonest, a diolchgar, yn dra pharod ac yn alluog hefyd i ad-dalu am bob caredigrwydd. Os yw syniadau Mr. Owen yn gywir am darddiad chwedlonau y tylwyth teg, onid yw yn anrhydedd i gymmeriad yr oesau dibynol fod y traddodiadau hyn am gyndrigolion yr ynys wedi eu gwisgo mewn dull mor swynol, mor dlysion, ac mor ffafriol i nodwedd foesol y bodau a *deneuwyd* gan amser yn ddim ond enw a rhith? Y mae yn anhawdd dychymmygu ar y cyfan am gymmeriadau mwy prydferth nag a ddysgrifir yn llawer o chwedlau y tylwyth teg, a rhaid oedd dael meddyliau a chalonau da i'w paentio felly. Cawsom lawer o bleser wrth ddarllen y rhan gyntaf o draethawd buddugol Mr. Owen, a dysgwylir yn awyddus am weled yr oll.

---

*The Fathers for English Readers: St. Patrick—his Life and Teaching. By E. J. Newell, M.A., Head Master of Neath Proprietary School. Author of a "Popular History of the Ancient British Church," &c. Published under the direction of the Tract Society.*[2]

Y mae Mr. Newell er ys amser bellach yn hysbys i'r rhan fwyaf o ddarllenwyr yr *Haul* fel awdwr y llawlyfr poblogaidd Seisoneg, hanes yr "Hen Eglwys Brydeinig." Dangosodd yn y gwaith difyrus ac adeiladol hwnw ei fod yn hyddysg yn hanes ein cenedl, a'i fod yn ysgolhaig meddiannol ar wybodaeth a barn. Y mae yn dangos yr un llafurus ymdrech i gasglu gwybodaeth am St. Padrig—yr un gofal a phwyll ac amynedd i *nithio* yr oll ac ysgaru rhwng ffaith a ffug; a'r canlyniad yw, cyhoeddiad cyfrol ddestlus yn cynnwys 238 o dudalenau o hanes Efengylydd ac Apostol yr Iwerddon ag sydd yn ddyddorol iawn a gellir ymddiried yn ei degwch.

Nid oes un o efengylwyr boreuol yr Ynysoedd Prydeinig yn sefyll yn gymmaint ar ben ei hun, fel apostol mawr cenedl gyfan, a St. Padrig. Un ym mysg amryw o efengylwyr Cymru ydoedd Dewi Sant, a llafuriai mewn meusydd oeddynt eisoes dan arddwriaeth ysbrydol. *Negesydd pendefigaidd* mewn ystyr oedd St. Awstin Fynach, cenadwr cyntefig y Saeson, ac arwynebol oedd yr effaith ar ei ol. Ond am efengylydd yr Iwerddon, efe oedd yr unig genadwr o nod a gymmerodd mewn llaw bregethu Crist drwy yr Iwerddon oll yn ei hyd a'i lled, ac a wnaeth hyny yng ngrym ei yni personol a chymhorth gras Duw, a'r fath fu ei lwyddiant fel na chyfododd ar ei ol neb i wisgo ei fantell digon mawr ac enwog i gysgodi rhyngddo a'r oesau diweddar. Saif yn dŵr ar ei ben ei hun ar riniog boreu Cristionogaeth yr ynys, ac o'i amgylch ef y crynöir hanesiaeth a chwedloniaeth foreu.

Bu yn bwnc o ddadl, a gallai yr erys i fesur eto yn bwnc o ddadl, brodor o ba le oedd St. Padrig. Cytunir mai brodor o Brydain oedd. Ond hawlia Gwlad Gŵyr, yn Neheudir Cymru, ef yn fab iddi hi, a myn rhai o'n haneswyr mai yno ei ganwyd. Galwyd ef yn "Padrig Maenwyn, o Wlad Gŵyr" a honwyd ei fod yn "flaenor o gôr Illtud." Ond tuedda Mr Newell yn gryf iawn, fel y gogwydda Carnhuanawc, i gredu mai brodor o Ystrad Clwyd oedd. Fel y rhan fwyaf o enwogion y bummed ganrif, y mae lle cryf i gredu fod gwaed Rhufeinig yn gystal a Brythonaidd yng ngwythïenau St. Padrig. Os cywir y casgliad, fel ag y dywedir yn dra boreu, mai *Calpurnius* oedd enw ei dad, a'i fod yn Decurion, o ddinas rydd (*colony*) Bannaven Taberinae, yn Ystrad Clwyd, ac yn Gristion, rhaid addef fod St. Padrig wedi cael mantais dda yn ei febyd i ddyfod yn hyddysg yn Ngair Duw, a gallwn weled yn ei gymmeriad gyfuniad gwerthfawr o benderfyniad didroi yn ol y Rhufeiniwr, a gwresogrwydd ysbryd, boneddigeiddrwydd teimlad, a'r gallu rhyfedd sydd gan y Celt neu Gymro i ennill ymddiried, a chyfaddasu ei hun at amgylchiadau, ym mysg cenedloedd dyeithr.

[2] London: Society for Promoting Christian Knowledge, Northumberland Avenue, Charing Cross, W.C.

Digitized by Google

Gwedi ymdrechu dangos i ni pwy oedd St. Padrig, a pha fath gymmeriad oedd iddo, cymmer Mr Newell ni dan ei gyfarwyddyd, ac arweinia ni megys yng nghymdeithas yr efengylydd enwog drwy Iwerddon pedwar cant ar ddeg o flynyddoedd yn ol, i weled ansawdd y wlad, cyflwr ei thrigolion, a'r gwaith godidog a wnelai y sant yno. Y mae y pennodau hanesiol yn darllen, fel llawen chwedl, yn ddifyrus ac adeiladol, a'r llyfr yn gaffaeliad gwerthfawr i'r oes. Gobeithiwn nad oes offeiriad nac Eglwyswr galluog i ddarllen Seisoneg na fyn olwg ar frawd efengylydd enwog ein Dewi Sant. Teifl hanes y naill oleuni ar y llall, a changen o'r Eglwys Brydeinig yw'r Eglwys Wyddelig. Gallai mai buddiol dweyd mai planiad diweddar mewn cymhariaeth ydyw yr Eglwys *Babaidd* yn yr Iwerddon. Safodd yr Iwerddon yn hwy nag un o'r Ynysoedd Prydeinig yn erbyn ymostwng dan lywodraeth y Pab. Ond ar ol i Loegr daflu ymaith iau y Pab, mabwysiadodd yr Iwerddon yr iau yn gyflawn. Nid fel cenadwr i'r Pab, ond fel "cenad o anfoniad Duw" yr aeth St. Padrig i bregethu i'r Iwerddon, a'i "darostwng i Grist a wnaeth."

---

### *Y "Geninen" am Ionawr, 1891.*

Dyma y rhifyn cyntaf o'r nawfed gyfrol o'r *Geninen* allan o'r wasg, yn cynnwys chwe ysgrif ar hugain, oll o dan law goreuon ein hysgolheigion, ac amrywia y pynciau yr ymdrinir â hwy o "Gynnwys Barddonol y 'Gododin,'" gan y Parch. H. Elfed Lewis, ac "Ystorya Brenhined y Brytanyeit," gan y Proffeswr J. Morris Jones, M.A., i "Gychwyniad a Chynnydd yr Eglwys yng Nghymru," gan y Parch. E. T. Davies, B.A. (Dyfrig), ac "Ymreolaeth i Gymru," gan Mr. J. Arthur Price, B.A. Gwelir fel hyn fod llenyddiaeth y *Geninen* â gwrhyd hir iddo rhwng y bummed a'r bedwaredd ganrif ar bymtheg. Cawn hefyd gwpanaid dda o hufen barddoniaeth Eisteddfod Genedlaethol Bangor mewn dwy awdl o'r dosbarth uchaf ar destyn y gadair, y naill gan Gwilym Eryri a'r llall gan Glan Llyfnwy. Darllenasom y ddwy gyda mwynhâd ac edmygedd, a buasai y ddwy awdl yn unig yn gwerthu yn rhwydd am chwecheiniog yr un yn yr hen amser, pan oedd newyn llenyddol ein cenedl yn fwy am fod ei phicyn llenyddol yn wacach. Y mae awdl farddonol, gywrain, dlos Gwilym Eryri yn anrhydedd i goethder meddwl a dyfalbarhâd y gweithiwr Cymreig. Gresyn fod yr *offeiriad* a'r *pregethwr* yn cilgwthio y gweithiwr mor aml yn yr ymdrechfa lenyddol Gymreig. Ond gair wrth fyned heibio ydyw hyn. Y mae y *Geninen* am y mis diweddaf yn gyfoethog o ymborth llenyddol cenedlaethol blasus a ddylai fod ar fwrdd pob Cymro a all hyfforddio swllt i'w phrynu. Addewir eto *Geninen Gwyl Dewi* ar y cyntaf o Fawrth yn llawn o ysgrifau bywgraffyddol mewn rhyddiaith a barddoniaeth. Bydd ynddi goffa am yr enwogion Cymreig ymadawedig canlynol:—Y Parchedigion Canon Evans, D.D.; Lewis Edwards, D.D.; H. E. Thomas, D.D.; Vulcan; Cynddelw; Dewi o Ddyfed (Awdl Goffadwriaethol); Glanffrwd; Cynfaen; Gweirydd ab Rhys ;T. E. James, Glyn Nedd; J. R.; Y Tri Chrynwr; Morris Davies, Bangor; Ieuan Glan Geirionydd; Dr. Arthur Jones; Caeronwy; John Jones, Rhosllanerchrugog (Galareb Arobryn); Alfardd; Iorwerth Glan Aled; Lewis Jones; Fferyllfardd; Creuddynfab; Ioan Maethlu; J. D. Jones, Rhuthyn; Huw Derfel; Glanaraeth, &c.

---

## NODION IFOR LLWYD.

### RHESYMAU MR. REANEY.

Crybwyllais y mis diweddaf am y gyfrol sydd newydd ddyfod allan o'r wasg, yn cynnwys rhesymau y Parch. George Sale Reaney dros ymadael â'r Annibynwyr ac ymuno â'r Eglwys. Y mae'r llyfr yn werth galw sylw ato unwaith yn rhagor. Yr oedd Mr. Reaney yn wr enwog ym mhlith ei enwad, a'i enw yn adnabyddus ym mhlith Eglwyswyr ac Ymneillduwyr yn gyffredinol. Efe oedd gweinidog y capel Annibynol yn heol Cavendish, Manceinion; ac fel y cyfryw derbyniai rai cannoedd o bunnau o gyflog bob blwyddyn. Erbyn hyn y mae Mr. Reaney yn gwasanaethu fel offeiriad cynnorthwyol yn Eglwys St. Mair, Riverhead, a'r gydnabyddiaeth arianol a dderbynia yn ddim ond ychydig dros gan' punt y flwyddyn. Yr oedd llawer o ddamcanu wedi bod yng nghylch y rhesymau a arweiniasant i enciliad boneddwr ag oedd wedi ennill iddo ei hun safle mor anrhydeddus ac ennillgar yn y sect Gynnulleidfaol. Nid achos dibwys fuasai yn peri i bregethwr, yn anad neb, wneyd y fath aberth arianol o'i wirfodd. Yn y gyfrol dan sylw y mae'r awdwr yn egluro, mewn dull gonest a theg, "pa ham y gadawodd Gynnulleidfaoliaeth." Arddengys ysbryd boneddigaidd a Christionogol yn ei gyfeiriadau at ei watwarwyr; a chydnabydda yn gynhes deimladau da parhaol nifer luosog o aelodau y gwahanol gynnulleidfaoedd Annibynol fu dan ei ofal. Un o'r pethau cyntaf a ddywed Mr. Reaney ydyw mai Annibyniaeth, ac nid Annibynwyr, sydd yn annerbyniol

Digitized by Google

ganddo. Mewn pennod fer o ragarweiniad y mae'n dangos pa fodd y daeth ar y cyntaf i fod yn Ymneilldüwr penderfynol, yn Ddadsefydlwr cryf, yn Radical aiddgar, ac yn fugail Annibynol ymdrechgar a llafurus; ac yna gesyd iddo ei hun y gorchwyl o ateb y gofyniad, "Cynnulleidfaoliaeth—Beth ydyw?" Fel atebiad i'r ymholiad hwn y mae yn derbyn yr athrawiaeth o'r Presennoldeb Gwirioneddol "a hawlir i unrhyw gynnulliad o ddau neu dri o bersonau wedi ymgynnull yn enw Crist," fel y gosodir hi allan gan John Robinson, Dr. Dale, a Mr. Green. Mewn pennodau dilynol y mae'n profi fod yr athrawiaeth hon yn anymarferol ym mhlith y Cynnulleidfaolwyr, neu Annibynwyr, gan nad yw eu cyfarfodydd eglwysig (seiatau) yn cael eu dwyn ym mlaen yn y fath fodd fel ag i awgrymu fod y fath athrawiaeth yn gyffredin yn cael ei sylweddoli. Dengys hefyd mai egwyddor yr Annibynwyr ydyw yr egwyddor o ymwahaniad, neu unigoldeb. Gadawodd ef Annibyniaeth am ei fod yn credu ei *bod yn syrthio yn fyr o egluro a sylweddoli i bobl y wlad hon grefydd Crist*. Yn y cenedlaethol, mewn gwrthgyferbyniad i'r unigol, y mae hyn yn bosibl; ac yn yr Eglwys yn unig y mae yr egwyddor eang genedlaethol hon yn ganfyddadwy. "Tynodd Eglwys Loegr fi yn ol i'w chorlan," meddai, "drwy attyniad nerthol ei chyfundrefn blwyfol, drwy ei bod yn genedlaethol, drwy ei bod yn gyffredinol, drwy ei pharhâd hanesiol, a thrwy ei dysgeidiaeth a'i harfer ysgrythyrol a chyntefig."

### Y PARCH. NEWMAN HALL.

Yng nghapel prydferth y pregethwr adnabyddus uchod, yn Westminster Bridge-road, darllenir bob Sul y gwasanaeth boreuol a phrydnawnol allan o'r Llyfr Gweddi Gyffredin. Y mae "bwrdd y Cymmun" wedi ei osod mewn safle dyrchafedig ym mhen dwyreiniol yr adeilad. Gwisga Mr. Hall a'i weinidog cynnorthwyol wenwisgoedd, yr un fath yn hollol ag offeiriaid yr Eglwys. Nid yw pregethwyr Cymru wedi myned mor bell a hyn; ond nid oes neb a ŵyr pa beth a ddygir oddi amgylch mewn amser. Y mae y dosbarth ieuengaf o honynt yn barod i'w gweled mewn gwisgoedd clerigol ar hyd yr heolydd; a dywedir nad oes dim a foddlona rai o honynt yn fwy na chael eu camgymmeryd am guradiaid. Y mae y pregethwr ffunen ddu hen ffasiwn yn prysur fyned i'r un dosbarth a'r hen wraig het goryn hir. Nid wyf yn crybwyll hyn i feio'r pregethwyr ieuainc, ond yn hytrach i ddangos eu bod yn dechreu symmud ym mlaen. Nid oes gan gyfangorff yr Ymneillduwyr ddim yn erbyn athrawiaethau yr Eglwys; ac wedi dygymmod o honynt â'i defodau, pa beth fydd yn lluddias cais cyffredinol am undeb?

### CHWARELWYR CYMRU YN YMDDEFFROI.

Y mae ein chwarelwyr gweithgar, gwladgarol, a chrefyddol wedi ymfoddloni yn rhy hir ar gael eu harwain a'u llywodraethu gan gynhyrfwyr tafodrydd a diegwyddor. Y mae chwedl y gath a'r mwnci yn ddigon adnabyddus heb ei hailadrodd yma i'r dyben o'i chymhwyso at sefyllfa pethau yn y dyddiau presennol. Nid oes dim amlycach na'r ffaith fod y mwnci Radicalaidd a chwyldroadol yn gwneyd defnydd o'r palf gwerinol i gyflenwi ei hun â danteithion melus heb losgi ei bawen. Ond y mae'r gwres yn dechreu dwyn yr ewinedd o'r blew. Yng nghynnadledd Undeb Chwarelwyr Gogledd Cymru, yr hon a gynnaliwyd yng Nghaernarfon yn ddiweddar, dangosodd rhai o'r siaradwyr eu bod hwy, a'r sawl a gynnrychiolid ganddynt, yn dechreu ymddeffroi a sylweddoli eu cyflwr. Dywedai un o'r siaradwyr nad oedd y wasg Gymreig "yn talu ond ychydig iawn o sylw i angenion y gweithiwr yng Nghymru." Yr oedd ef wedi llwyr ddiflasu a blino "ar ddarllen colofnau cyfain yng nghylch y degwm, dadgyssylltiad, llywodraeth gartrefol, a dim arall." Tybiai ef ei bod yn hen bryd i'r chwarelwyr edrych ar ol eu buddiannau eu hunain. Ni lefarwyd erioed frawddegau llawnach o synwyr cyffredin na'r rhai uchod.

### ERLIDIGAETH LLANNOR.

Y mae ymddygiadau gwarthus, anghristionogol, ac annynol y gwrth-ddegymwyr yn dangos yn eglur fod ysbryd erlidigaeth a thywallt gwaed yr un mor gyffredin ag erioed ym mhlith adran arbenig o'r Ymneillduwyr. Nid oes dim amlycach na'r ffaith fod yr Eglwys Gymreig o dan erlidigaeth dost yn y dyddiau hyn. Y mae'r gwehilion cymdeithasol a losgant wŷr gwellt yng nghanol crechwen ddiefiig yn dangos pa beth a wnaent pe meiddient. Nid oes arnynt eisieu dim ond grym cyfraith o'r tu ol iddynt er adferu'r ystanciau a'r ffagodau unwaith yn rhagor i fod yn warth ar ein crefydd a'n gwareiddiad. Y mae hanes yr erlidigaeth greulawn yn Llannor wedi symbylu Eglwyswyr i fwy o ymroddiad nag erioed yn eu hymdrechion o blaid yr Eglwys. Wrth weled crefyddwyr proffesol yn gwneyd gwawd cyhoeddus o bethau cyssegredig, mae yn naturiol iddynt gasglu fod yna ryw bydredd marwol yn y grefydd a broffesir ganddynt. Ar yr achlysur dan sylw, gosodwyd gwr gwellt, wedi ei wisgo â gwenwisg, mewn cert, yng nghyd â bwrdd a photel win

Digitized by Google

arno, fel gwawdlun o offeiriad yn gweinyddu'r Cymmun Bendigaid. Pan lusgwyd y gwrthunbeth drwy heolydd Pwllheli, tynodd yr Ymneillduwyr cymmedrol a heddychol y gorchuddleni dros eu ffenestri rhag edrych arno. Neidiai Mr. Lloyd George i benau'r cloddiau i waeddi fod arddangosiadau o'r fath hyn yn sicr o brysuro dymchweliad yr Eglwys. Ni warafunwn i'r Aelod Seneddol dibrofiad hwn, a ddychwelwyd drwy fwyafrif o ugain, y fantais o herw-hela poblogrwydd ar dir aelod arall—rhyngddo ef a Mr. Bryn Roberts. Ond gellir dweyd ei fod yn twyllo ei hun yn ddirfawr wrth dybio fod ymddygiadau gwaeth na bwystfilaidd ei edmygwyr yn anfanteisiol i'r Eglwys Gymreig.

### PRIODASAU DIGREFYDD.

Y mae nifer cynnyddol y priodasau digrefydd a weinyddir yn swyddfa'r cofrestrydd wedi derbyn sylw lled helaeth yn ddiweddar yn y wasg yn ogystal ag mewn cynnadleddau Eglwysig. Dywed y *Truth*, newyddiadur Llundeinig, wrth sylwi ar y peth, fod "yn rhaid i'r clerigwyr, os dymunant ddal gafael yn eu hennillion oddi wrth briodasau, *ostwng eu teleran*." Dengys hyn mai y syniad cyffredin ydyw fod pobl yn myned i swyddfa'r cofrestrydd, yn hytrach nag i'r Eglwys, am y rheswm fod priodi yn y lle blaenaf yn rhatach. Ond profir gan y Parch. Thomas Cooper, ficer St. Stephen's in-the-Banks, mewn llythyr maith a galluog yn un o newyddiaduron Lerpwl, fod y syniad hwn yn gyfeiliornus. Dywed ef mai dirgeledd, yn hytrach na chynnildeb, sydd wrth wraidd y peth braidd ym mhob achos. Y mae'r bobl yn awyddus am briodi yn yr Eglwys, ac yn foddlawn ddigon i dalu yr offeiriad am ei waith. Ond nid ydynt yn hoffi gwynebu torf o'r ardalwyr ar eu dyfodiad allan, a chael eu dal mewn rhaff wedi ei hestyn ar draws y ffordd nes boddloni o honynt drachwant arianol eu poenydwyr. Nis gwyddwn o'r blaen fod yr arferiad adgas hwn mewn bri yn y plwyfydd Seisnig; ond gwyddwn, oddi ar brofiad blynyddau, ei fod wedi llwyr yru'r priodasau allan o fwy nag un Eglwys blwyfol ym Meirionydd. Ychydig o'n pobl ieuainc sydd yn gwybod y gallant hwy briodi yn yr Eglwys heb ostegion na thrwydded. Gallant briodi yn yr Eglwys yr un mor ddirgel ag yn swyddfa'r cofrestrydd, a thrwy hyny osgoi'r anghyfleusderau sydd yng nglŷn â chyhoeddusrwydd yn y naill fel y llall. Dyledswydd y clerigwyr ydyw goleuo a chyfarwyddo eu plwyfolion gyda golwg ar hyn. Os hysbysa deu-ddyn ieuainc eu dymuniad am gael priodi yn yr Eglwys, wrth roddi eu henwau i mewn yn y swyddfa, gallant gael tystysgrif oddi wrth y cofrestydd arolygol i'w chyflwyno i'r offeiriad, yr hon a gyfreithlona eu priodas yn yr Eglwys heb ostegion na thrwydded. (*Act 6 & 7, Will. 4, c. 85.*)

### "PRAWF" Y PARCH. PH. C. ELLIS.

Y mae prawf yn air amwys; ond afraid yw egluro nad yw y Parch. Ph. Constable Ellis wedi bod yn sefyll ei brawf mewn llys esgobol, nac mewn unrhyw lys arall. Cyfeirio wna'r penawd at bamphledyn rhagorol o eiddo'r gwr parchedig, yr hwn a enwir, "*Prawf* fod athrawiaeth awdurdodedig y Methodistiaid Calfinaidd a'r Methodistiaid Wesleyaidd, ar y Sacramentau, yn hollol gytûn ag athrawiaeth yr Eglwys; a bod y Methodistiaid Calfinaidd yn rhwymedig gan eu gweithred gyfansoddiadol i ddysgu yr athrawiaeth hon." Dull yr awdwr o brofi hyn ydyw rhoddi tair colofn gyfochrog o ddyfyniadau wedi eu codi allan o ffurfiau a llyfrau awdurdodol yr Eglwys, y Methodistiaid Calfinaidd, a'r Wesleyaid, fel hyn:—

| YR EGLWYS. | Y METHODISTIAID. | Y WESLEYAID. |
|---|---|---|
| *Bedydd.* | *Bedydd.* | *Bedydd.* |
| "*Pa beth yw'r gras ysbrydol oddi fewn?*" "Marwolaeth i bechod, a genedigaeth newydd i gyfiawnder: canys gan ein bod ni wrth naturiaeth wedi ein geni mewn pechod, ac yn blant digofaint, trwy fedydd y'n gwneir ni yn blant gras." "Wrth fy medyddio y'm gwnaethpwyd yn aelod i Grist, yn blentyn i Dduw, ac yn etifedd teyrnas nefoedd."—*Y Catecism.* | "*Beth yw gras ysbrydol oddi fewn?*" "Marwolaeth i bechod, a genedigaeth newydd i gyfiawnder: "Claddwyd ni gan hyny gydag ef trwy fedydd i farwolaeth; fel megys ag y cyfodwyd Crist o feirw trwy ogoniant y Tad, felly y rhodiom ninnau hefyd mewn newydd-deb buchedd.'"—*Hyfforddwr.* | "*Pa lesâd yr ydym yn ei gael trwy Fedydd?*" "Y cyntaf yw golchi ymaith euogrwydd pechod gwreiddiol trwy y cymhwysiad o haeddiant angeu Crist." "Megys trwy gamwedd un y daeth barn ar bob dyn i gondemniad; felly hefyd trwy gyfiawnder un y daeth y dawn ar bob dyn i gyfiawnhâd bywyd." &c.—*Gweithiau awdurdodol Wesley*, cyf. xix. 279. |

Nis gellid meddwl am ddull mwy teg ac eglur na'r uchod. Y mae'n dwyn y gwirionedd ar unwaith o flaen y llygad a'r meddwl mewn modd cryno, argyhoeddiadol, a hollol ammhosibl camsynied yn ei gylch. Anwybodaeth, yng nghyd â'r rhagfarn naturiol sydd yn deilliaw oddi ar anwybodaeth, sydd wrth wraidd pob gwrthwynebiad ystyfnig i'r Eglwys. Dyma fel y dywed Mr. Constable Ellis yn ei ragymadrodd: "Yr wyf yn cyflwyno y dyfyniadau hyn, a'r sylwadau byrion arnynt, i'ch sylw mwyaf difrifol, gan erfyn arnoch arafu ac ystyried pa un ai

Digitized by Google

arwydd o gynnydd ffydd a duwioldeb yn ein plith, ai ynte arwydd o ddirywiad crefyddol ydyw fod cynnifer yn taflu sarhâd ar Sacramentau Crist, ac yn eu gwaghau o'r gras sydd yn eu gwneyd yn Sacramentau. Credaf fod llawer yn gwneyd hyn mewn *anwybodaeth*, ac yn meddwl eu bod yn gwneyd gwasanaeth i Dduw trwy ymosod yn erbyn ei Eglwys. Ond wedi dangos i chwi eu bod ar yr un pryd yn ymosod yn erbyn athrawiaethau sylfaenol y Methodistiaid a'r Wesleyaid, gobeithiaf yr agorir eich llygaid i weled y perygl y maent ynddo o lithro ym mhellach eto oddi wrth y gwirionedd; ac yn lle diystyru cariad y Tad yn ein mabwysiadu ni wrth ein bedyddio yn feibion ac yn ferched iddo ei Hun, ac yn darparu lluniaeth ysbrydol i ni ar ei fwrdd, y cydnabyddwch y berthynas, ac y byddwch yn "ddilynwyr Duw fel plant anwyl," gan ddiolch iddo "am ei ddawn annhraethol." Amcan caredigion yr Eglwys ydyw addysgu a goleuo eu gwrthwynebwyr ym mhob cyfeiriad, a hyny am y rheswm nad oes ganddynt ddim i'w gelu. Beth pe byddai i gyfarfodydd misol y Methodistiaid Calfinaidd a chynnadleddau y Methodistiaid Wesleyaidd anfon allan annogaeth swyddogol i fynychwyr eu capelau ddarllen y pamphledyn cynnwysfawr hwn? Llawenychem ni fel Eglwyswyr pe gwnelent hyny; ac nis gallant hwythau, os ydynt yn credu mai o'u tu hwynt y mae'r gwirionedd, wrthwynebu'r peth gyda llawer o gyssondeb. Nid yw'r gwir yn waeth er ei chwilio; ac nid oes neb mor ddall a'r hwn ni fyn weled.

IFOR LLWYD.

---

## NEWYDDION.

### ARCHESGOB NEWYDD CAEREFROG.

YMDDENGYS yn ol tystiolaeth newyddiaduron Lloegr yn gyffredinol fod penodiad y Dr. Magee, esgob poblogaidd a galluog Peterborough, i gadair archesgobol Efrog, wedi rhoddi boddlonrwydd i gorff y boblogaeth yn llên a lleyg. Gwyddel o enedigaeth ydyw Dr. Magee, ac ŵyr i un o archesgobion Dublin, a nai i'r diweddar Ddoctor McNeile o Liverpool gynt. Y mae yn ysgolor o Goleg y Drindod, Dublin, a graddiodd yno gydag anrhydedd yn 1841. Derbyniodd urddau sanctaidd diacon yn 1844 ac offeiriad yn 1845. Gwedi gweinidogaethu am ugain mlynedd mewn amryw blwyfydd yn Lloegr a'r Iwerddon, penodwyd ef yn ddeon Cork yn 1864, lle y bu hyd 1868. Pa le bynag yr elai ennillai ffafr gyffredinol fel boneddwr lednais, ysgolhaig coeth, cydymaith pur dyddan mewn cwmnïon, a phleserus i gydweithredu ag ef, a siaradwr a phregethwr o'r dosbarth blaenaf.

Yn nechreu cadgyrchiad ffyrnig Mr. Gladstone yn erbyn yr Eglwys Wyddelig, daeth y Dr. Magee allan fel cawr mewn areithyddiaeth a llyfrgell mewn gwybodaeth i amddiffyn. Ym Medi, 1868, yng Nghynnadledd Eglwysig Dublin, traddododd ei bregeth fyth-gofiadwy ar St. Luc v. 7: "A hwy a amneidiasant ar eu cyfeillion oedd yn y llong arall i ddyfod i'w cynnorthwyo hwynt." Yr oedd y bregeth mor llawn o hyawdledd tyner drwyddi ac o gyffyrddiad lednais teimladwy at y chwaer Eglwys yn Lloegr, er heb ei henwi, nes swyno yr holl dorf fawr a gwefreiddio Lloegr oll. Daeth adsain o rym y bregeth hòno yn ol o Loegr i'r Iwerddon mewn ffordd o ddyrchafiad i'r Dr. Magee o ddeoniaeth Cork i esgobaeth Peterborough. Yr oedd y Dr. Magee ar y fainc esgobol yn Nhŷ yr Arglwyddi, yr ieuengaf o ran penodiad ar y fainc, pan ddaeth *bill* dadgyssylltiad yr Eglwys Wyddelig yno i'w ail ddarllen. Am ddeg o'r gloch y drydedd nos o'r ddadl, cyfododd Magee ar ei draed, a'r tŷ yn orlawn o brif ddynion y genedl, a thraddododd araith yn erbyn y mesur na seiniodd ei grymusach o fewn y muriau erioed. Yr oedd pleidwyr y mesur wrth yr ugeiniau yn gorfod edmygu a churo dwylaw o blaid yr anerchiad, er yn benderfynol o bleidleisio dros ddadgyssylltiad.

Am ddwy flynedd ar ugain ar ol hyn bu Dr. Magee yn gofalu am esgobaeth Peterborough, yn weithgar, cymmeradwy, a llafurus, gartref ac oddi cartref. Y mae yn awr yn ddeng mlwydd a thrigain oed, ac heb fod yn gryf o ran iechyd corfforol, ond mor iraidd ei feddwl ag erioed. O ran ei olygiadau Eglwysig, dygwyd ef i fyny yn yr Iwerddon wyneb yn wyneb â honiadau *uchel*, ond cyflawniadau digon *isel* yr Eglwys Babaidd. Felly naturiol iddo oedd cilio ym mhell oddi wrth y Babaeth, a derbyn yr enw o Eglwyswr efengylaidd. Efengylwr mewn gwirionedd yw yn ystyr gyflawn ac eang y gair. Ni ellir rhoddi arno nod uchel nac isel. *Ymleda* yn ei gydymdeimlad a chydweithrediad o'r canol hyd yr ymylon oddi mewn i weinidogaeth Eglwys Loegr. Gallai nad yw yn gymmaint o athronydd a'r diweddar archesgob; ond y mae yn fwy galluog ar y llwyfan ac yn y pulpud, yn fwy boddhäus mewn ymddyddanion, ac yn llawer eangach a thynerach ei syniadau Eglwysig, a bydd yn alluog i ennill ymddiried yr oll o'i offeiriaid ef allai yn llwyrach na'i ragflaenydd. Archesgobaeth Frythonaidd oedd

Digitized by Google

Efrog gyntaf; ac ar ol ei dadymchwel gan y Saeson paganaidd, cenadon Brythonaidd a Gwyddelig a fuont yn foddion i'w hail sefydlu, ac nis gallwn, fel Cymro, beidio cydnabod gweddusder cael Dr. Magee y Celt enwog i lenwi y gadair yn bresennol. Rhodded Pen Mawr yr Eglwys y fendith o iechyd a gras iddo i haul tyner ei einioes, a gwlith eneiniedig hwyr ei fywyd sirioli a phrydferthu gwaith yr Eglwys yn yr archesgobaeth ogleddol am amser eto.

#### CRONFA YR ESGOB PHILPOTT.

*Pension offeiriaid oedranus.*

Ar ymddiswyddiad diweddar yr Esgob Philpott o esgobaeth Worcester, ar ol gweinyddu yno am ddeng mlynedd ar hugain, gan na fynai ei arglwyddiaeth dderbyn tysteb bersonol, neillduodd y swm o 1348p. 7s. 9p., a gasglesid fel arwydd o barch iddo, at gronfa (*fund*) i gynnorthwyo rhoddi blwydd-daliadau i offeiriaid oedranus a methiant yn yr esgobaeth. Teimlai yr esgob fod darpariaeth ar gyfer *pension* i offeiriaid methiantus yn hollol angenrheidiol er mwyn lles yr Eglwys a chysur y weinidogaeth.

#### YMDDISWYDDIAD ESGOB WINCHESTER.

Y mae y llenor llafurus ac enwog Dr. Harold Brown, esgob Winchester, gwedi teimlo dan orfod o herwydd gwendidau henaint roddi heibio ofal yr esgobaeth bwysig hòno. Y mae yr esgob enwog yn gosod o'r neilldu arfogaeth a fu o ddirfawr wasanaeth i'r Eglwys. Bu yn *Vice-Principal* a Phroffeswr Hebraeg yng Ngholeg Dewi Sant o 1843 i 1849, ac yn Ganon Tŷ Ddewi o 1848 i 1850. Daeth ei esboniad llafurfawr ar "Y Deugain Erthygl ond Un" allan mewn dwy gyfrol yn 1852—53: ar ol y gwaith hwnw, ysgrifenodd amryw gyfrolau ar dduwinyddiaeth, megys "Pregethau ar yr Iawn," 5s.; "Y Messïah," 4s.; ar Bum Llyfr Moses a'r Salmau, 2s.; Esboniad ar Lyfr Genesis i'r *Speaker's Commentary*, heb law amryw fân gyfrolau.

#### Y MAE Y CYFOETHOGION YN MEIRW.

Cofnodir marwolaeth cynnifer a phump o gyfoethogion y flwyddyn ddiweddaf ag yr oedd cyfoeth pob un dros filiwn o bunnau, sef

| | p. |
|---|---|
| Mr. Junius Spencer Morgan, Banker Americanaidd, yn 76 mlwydd oed ... | 2,022,054 |
| Mr. Christopher Rice Mansel Talbot, A.S., Margam Abbey, yn 87 ml. oed ... | 1,399,173 |
| Mr. Samuel Frilden Todmorden, U.H. *cotton spinner*, yn 73 mlwydd oed ... | 1,170,113 |
| Mr. Christian Allhusen, Stoke Court, gweithiwr *chemicals*, yn 87 ml. oed ... | 1,126,852 |
| Syr Richard Wallace, Bart., Hertfort House, yn 72 mlwydd oed ... ... | 1,055,780 |
| Cyfanswm ... ... | 6,773,972p. |

Profwyd ewyllys y bragwyr cyfoethog canlynol hefyd:—

| | p. |
|---|---|
| Mr. C. F. Young, Wandsworth ... ... | 349,915 |
| „ P. Phipps, Northampton ... ... | 263,811 |
| „ L. W. Wethered, Marlow ... ... | 234,002 |
| „ H. T. Tennent, Glasgow ... ... | 230,226 |
| „ F. Walker ... ... ... | 200,223 |
| „ J. M. Pleuse, Bedvale, Yorkshire ... | 131,204 |
| „ M. P. D'Arcy, Dublin ... ... | 129,444 |

Y mae y cyfoeth uchod wedi cael ei gasglu yn ddiau oddi ar feusydd tlodi a thrueni lawer.

Dyma gynnyrch y casgliadau at yr *hospitals* yn Llundain ar y Sul penodol i gynnorthwyo y cleifion y flwyddyn ddiweddaf:—

| | p. | s. | c. |
|---|---|---|---|
| Yn yr Eglwysydd ... ... | 30,962 | 14 | 4 |
| Capelydd yr Annibynwyr ... ... | 1818 | 11 | 10 |
| „ y Wesleyaid ... ... | 1048 | 0 | 6 |
| „ y Presbyteriaid ... ... | 1000 | 1 | 6 |
| „ yr Iuddewon ... ... | 992 | 1 | 10 |
| „ Bedyddwyr ... ... | 964 | 12 | 1 |
| „ Pabyddion ... ... | 539 | 1 | 1 |
| „ Undodiaid ... ... | 340 | 0 | 5 |
| „ Quaceriaid ... ... | 157 | 13 | 1 |
| „ Eglwys Scotland ... | 137 | 12 | 6 |
| Enwadau ereill ... ... ... | 806 | 16 | 10 |
| | 38,767 | 6 | 0 |

Gwelir fod yr Eglwys wedi cyfranu dros dair punt am bob un i'r holl enwadau.

#### MARWOLAETH D. LLEDROD DAVIES.

Bu farw y gwr ieuanc talentog uchod ym mhreswylfod ei rieni yn Swyddffynnon ar y 12fed cyfisol, ac a gladdwyd ym mynwent Gwnnws ar y 17fed. Yr oedd wedi bod yn achwyn am ysbaid maith, ond yr haf ddiweddaf ymddangosodd fel pe bai yn cael adferiad iechyd, ac yr oedd mor galonog ei hun fel yr oedd yn parotoi gogyfer â chael ei ordeinio; ond yn ddisymmwth torwyd ef i lawr er tristwch calon i lu o berthynasau a chyfeillion. Tair blynedd yn ol pasiodd yn llwyddiannus trwy Goleg Dewi Sant, Llanbedr, ond rhwystrwyd ef gan afiechyd i fyned ym mhellach. Ei brif ddymuniad oedd cael myned i'r weinidogaeth, a gŵyr pawb a'i hadwaenai fod y dymuniad hwn yn tarddu oddi ar deimlad gonest i wneyd ei oreu yng ngwinllan ei Arglwydd; ond er y cwbl, ymddarostyngai yn ufudd

Digitized by Google

i'r Hwn sydd yn gwneuthur fel y myno â phawb a phobpeth ar y ddaiar. Cyfansoddodd ddarnau prydferth a theimladwy iawn yn ei afiechyd, ac yn enwedig felly ei "Awdl Cwynfan," am y hon y dywedai Dafydd Morganwg y gellid ei rhestri gyda "Hiraeth Cymro am ei wlad" gan Cawrdaf, a "Marwnad Ieuan Ddu" gan Gomer. Y teimlad cwynfanus sydd yn rhedeg trwy y rhai hyn. Felly, yn "Awdl Cwynfan" y mae y teimlad cwynfanus yn rhedeg yn gryf trwyddi; ond yn gydblethedig â'r teimlad hwn, y mae yna deimlad o foddlonrwydd ac ymddarostyngiad i ewyllys Duw. Ffrwyth gwir deimlad yw yr awdl hon o'r dechreu hyd y diwedd. Y mae yn ddangoseg gywir o'r awdwr, gan ei bod yn berffaith amddifad o'r ysbryd grwgnachlyd; felly yr awdwr, ni rwgnachodd gymmaint ag unwaith, er ei fod wedi cael ei boeni gan afiechyd am hir amser.

Ennillodd luaws o wobrau yn ei ddydd byr. Ni wyddom am neb ag sydd yn cyfansoddi mor gyflym ag oedd ef. Ni fyddai unrhyw awdl yn fwy o amser ar ei ddwylaw na rhyw bythefnos neu dair wythnos. Diammheu i hyn fod yn ei erbyn mewn cystadlaethau, ond y maent yn hynod ddifrycheulyd mewn gramadeg, mydr, a chynghanedd.

Ef allai y goddefir ychydig ofod i ni yn y rhifyn nesaf i ymhelaethu arno.

### Y GAUAF CALED ELENI.

Clywsom lawer o son am "auaf hen ffasiwn," a dyma ni wedi cael un eisoes na bu ei ffasiwn am ei rew ac oerni parhäus er ys dros hanner can mlynedd. Disgynodd y gwres-fesurydd yn Greenwich i bwynt y rhew ar y 24ydd o fis Tachwedd, a bu o dan y pwynt hwnw am bedwar diwrnod ar hugain, rhwng y pryd hwnw ac Ionawr 11fed. Bu am ddeng niwrnod olynol is law y pwynt hwnw, ac mor isel a'r 13 gradd, gan arddangos angerddoldeb oerni o bedair gradd ar bymtheg. Ar ol yr 11fed o Ionawr, suddodd y gwres-fesurydd i lawr i'r 14 gradd. Y mae heddyw (20fed) chwe gradd uwch pwynt y rhew ar ol wyth niwrnod a deugain o rew parhäus, hyny yw, rhew ar wyneb y ddaiar a gwyneb y dwfr, heb yn yr ychydig oriau o feiriol ei wisgo allan.

Profir yn eglur oddi wrth gyfrifon ein *observations* mai dychymmyg yn unig yw y byddai gauafau amser pell yn ol yn llymach nag ydynt yn awr. Cedwir cof am ambell auaf eithriadol o oer dros amser maith, ac edrychir ar yr eithriad hwnw ym mhen amser fel rheol. Diau y cofir yn hir am lymder gerwin y gauaf eleni; a gallwn sylwi ei fod yn fwy llym yn yr Almaen a Ffrainc nag ydyw yn Lloegr, a mwy llym yn Lloegr nag ydyw yng Nghymru gysgodol eu fin y Werydd llaith.

### TAFLEN GWERTH Y DEGWM AM 1891.

Canolbris yr yd am y flwyddyn ddiweddaf oedd—gwenith, 4s. 0¼c. y mesur (*bushel*); haidd, 3s. 5¾c.; ceirch, 2s. 3½c. Gwerth 100p. o dâl ardreth degwm yw 76p. 3s. 3½c.; y mae hyn yn ddwy bunt y cant o ostyngiad ar ddegwm y llynedd.

Yn ystod y tair blynedd ar ddeg diweddaf, y mae y degwm wedi gostwng o 112p. 7s. 5¼c. yn 1878 i 76p. 3s. 3½c. eleni; sef 36p. 4s. 2c. yn y cant, neu 7s. 2¾c. y bunt. Y mae y degwm eleni yn bedwar swllt a naw ceiniog is law y canolbris (*commutation*); ond y mae cyfartaledd y 54 diweddaf yn 100p. 13s. 2¼c.

### RHYFEL GARTREFOL YN CHILI.

Y mae bron yr oll o weriniaethau bychain, brasdir toreithiog Deheudir America, gwedi bod yn ddiweddar wrth y gwaith hunan-ddinystriol o wrthryfela yn erbyn eu swyddogion dewisedig neu briflywyddion, a chreu rhyfel gartrefol, gan roddi cyfleusdra i'r naill ddinesydd godi arfau yn erbyn y llall. "Y gyfraith dan draed" a'r cleddyf a gwn yn uchaf ydyw arwyddair y gweriniaethau hyn. Eleni bu y Weriniaeth Arianin (*Argentine Republic*), Guatemala, Salvador, a Honduras, yn ingoedd rhyfel gartrefol, ac y mae llynges Chili yn bresennol wedi cyfodi yn erbyn y fyddin. Ymddengys "rhesymeg pastwn" Dinbych mewn bri ym mysg yr Hispaeniaid Americanaidd, a byddai yn eu mysg le difyrus i lanciau a "hogiau merched" Llan——.

---

## AMRYWIAETH.

### FFRAETH EIRIAU YR ESGOB MAGEE.

Pan oeddid yn ymdrechu casglu arian ar Ddadgyssylltiad yr Eglwys Wyddelig i'w chynnorthwyo yn ei chyfyngder, cynnaliwyd cyfarfod cyhoeddus i'w phleidio, a dygwyddodd i un clerigwr Llundeinig wneyd sylw sarhäus ar fychander rhif y gwrandawyr mewn ambell blwyf Gwyddelig. Ebai, "Nid oes gan lawer offeiriad Gwyddelig ddim dros bymtheg neu ugain o Brotestaniaid yn ei blwyf i *bregethu* iddynt." Wrth godi i siarad ar ei ol sylwodd y Dr. Magee, "Y mae yn eglur wrth ymadroddion fy mrawd na ŵyr efe ddim am y *caledi* o bregethu i feinciau gweigion."

Digitized by Google

Ar dro arall yr oedd offeiriad lled ddiog neu ddiddim wedi bod aml dro yn gwasgu ar yr esgob am fywoliaeth. Buasai un diwrnod yn daerach nag arferol, a dywedodd, "Y mae genych aml fywoliaeth yn dyfod yn rhydd." Troes yr esgob ato a sisialodd, "Pe byddai iddi *wlawio* bywoliaethau, ni allwn feddwl am wneyd dim gwell na rhoddi benthyg *umbrella* i *chwi*."

YMAFAEL CODWM.

Ymddengys fod yr hen fabol-gamp o ymafael codwm yn cyfodi i fri eto ym mysg y Seison, fel y gwelir yn hanes mabol-gampau yr *aquarium* yn Llundain. Bu ymafael codwm mewn bri mawr unwaith yng Nghymru, ac ystyrid yr ymdrech hon yn un o'r pedair camp ar hugain. Ym mysg ymafaelwyr codwm yr hen amser yr oedd

*Syr Nicholas Kemeys, Cefn Mablys,*

yn dra enwog. Ystyrid ef y dyn cryfaf yn ei oes, ac erys traddodiadau am ei orchestion hyd heddyw ym Morganwg. Dywedir am dano unwaith ei fod ar hwyr haf yn rhodiana ym mharc y ceirw yng Nghefn Mablys gyda rhai o'i gyfeillion, pan welid gwr â golwg gadarn hoew a gewynog arno, yn dynesu gyda mulyn yn cario cod neu ysgrepan ar ei gefn. Dynesodd at Syr Nicholas a chyfarchodd ef yn foesgar, gan ddywedyd ei fod yn tybio wrth olwg gadarn a maintioli cawraidd y boneddwr o'i flaen, ei fod yn cael yr anrhydedd o gyfarch yr enwog Syr Nicholas Kemeys. Pan atebwyd yn gadarnhaol iddo, dywedodd yntau mai ymafaelydd codwm ydoedd, wedi dyfod drosodd o Gernyw, nad oedd erioed wedi cyfarfod â gwrthwynebydd galluog i'w godymu, ac iddo glywed yn Bristol gan foneddwr o Gymru am rymusder corfforol a galluoedd Syr Nicholas, a'i fod wedi cymmeryd ei siwrnai yno yn un swydd i ymafael codwm ag ef, os caniatëid iddo yr anrhydedd. Chwarddodd y barwn yn galonog, a dywedodd dan wenu y caniatäi iddo ei ddymuniad gyda phleser, ond y byddai yn dda ganddo pe y deuai y gwr dyeithr gydag ef i'r palas i adnewyddu ei nerth gyda thamaid a llymaid yn gyntaf. Atebodd yr arwr o Gernyw nad oedd arno angen dim, ond ei fod yn barod yn y lle a'r fan i fyned drwy yr ymorchestu yn gyntaf, a'r croesaw ar ol hyny. Aed ati hi ar unwaith i ymafael codwm, a gwelid y cawr o Gernyw yn ymrolia ar y gwellt glas. Cynnorthwyodd y barwn ef i godi ar ei draed, a gofynodd a oedd un codwm yn ddigon iddo, "Nac ydyw," ebai yntau, "os na theflwch fi dros wal y parc." Dros wal y parc ag ef yn ddiseremoni, a gofynodd y barwn drachefn a wnei hyny y tro. "Gwnaiff," atebai y gwr o Gernyw o'r tu arall i'r wal, "os byddwch cystal a thaflu y mulyn drosodd ar fy ol." Cyfododd Syr Nicholas y mul yn ei freichiau uwch ei ben fel llwdn mynydd, a rhoddes ef dros y wal i ddisgyn ar ei bedwar troed yr ochr arall. Dangosir hyd eto y man yng ngwal y parc lle y gwnaed y gorchestwaith hwn. Y mae darlun hardd o Syr Nicholas Kemeys ym meddiant Col. Kemeys-Tynte yng Nghefn Mablys. Dengys ei fod yn wr lluniaidd o faintioli cawraidd a nerth anarferol. Lladdwyd ef pan yn amddiffyn Castell Chepstow yn erbyn y Cromweliaid. Gwnaeth ruthr ar filwyr Cromwel allan o'r castell, gan ladd amryw o honynt â'i law ei hun, ond syrthiodd yn yr ymgyrch.—*Allan o'r "Globe" am Ragfyr 2fed, 1890.*

LLE CRIST YN Y GREADIGAETH AC MEWN GRAS.

Hebddo Ef ni wnaethpwyd dim ar a wnaethpwyd, yn gystal yn y greadigaeth ag yn iachawdwriaeth dyn. Trwyddo Ef y gwnaethpwyd pob peth; ac Efe yw Iachawdwr, Cyfryngwr, a Phryniawdwr dyn. Ond y mae gweithrediad Crist yn ei berthynas â gwaith y greadigaeth yn dra gwahanol i'w weithrediad yn nhrefn iachawdwriaeth. Yng ngwaith y cread dangosodd allu annhraethol ei air; Efe a ddywedodd, ac felly y bu; yn nhrefn iachawdwriaeth cyflawnodd yr oll trwy ymostyngiad ei Berson a'i ddyoddefaint. Yng nghreadigaeth y byd dangosir Ef uwch law pob peth; yn y prynedigaeth gwelir Ef yn is na phob peth: yn creu ymddangosa yn frenin pob gallu a doethineb; yn prynu ymddengys yn frenin pob dyoddefiadau ac amynedd a goddefgarwch. Paham yr holl wahaniaeth yma? Y mae y ddwy greadigaeth yn wahanol. Y mae y greadigaeth naturiol yn anianyddol, yn cael ei dal yn ei lle gan ddeddf ddigyfnewid, heb feddu na dewisiad na gallu. Y mae yr ail greadigaeth yn foesol ac ysbrydol mewn cyfleusdra i ddewis a gwrthod, ac mewn meddiant o ewyllys annibynol a gallu. Creadigaeth i'w *hennill* yw. O'i wir ewyllys yr ennillodd Efe ni trwy Air y Gwirionedd. Yn y greadigaeth weledig rhoddes Duw bob peth yn llaw y Mab. Efe oedd yn gorchymmyn, ac felly y bu; yn y prynedigaeth rhoddes Duw ei Fab yn llaw dynion, ac yr oedd yma yn *dyoddef* pob peth, fel y deuai cyflawnder cariad Duw a chariad Crist i'r golwg, ac y gwelai dyn brydferthwch y cymmeriad dwyfol, ac y carai Ef. Ar y groes gorchfygodd Crist drygioni trwy ddaioni. Dyma yr elfen foesol yn uchaf. Dyma yr unig fodd i gynnyrchu gwir ddaioni—

Digitized by Google

daioni yn sefyll arno ei hun ac wrtho ei hun. Ar sail iawn y Groes ac yng ngwres cariad Crist y mae yn ddichonadwy cynnyrchu gwir ddaioni, a thrwy oddef y gwneir.

## MANION.

Daeth Duw yn ddyn er dysgu dyn i ddyfod fel Duw.—*Clement.*

Pregethai Paul mewn dagrau; bydd i haiarn poeth, er yn ddiawch, dreiddio trwy yn gynt nag un oer, er yn fwy miniog.—*Flavel.*

Yr aelwyd yw cartref heddwch; cysgod yw hefyd, nid yn unig rhag pob niwed, ond rhag pob ofnau, ammheuon, ac ymraniad.—*Ruskin.*

Y wir wraig yn nhŷ ei gwr sydd forwyn; yn ei galon ef y mae'n frenines.—*Ruskin.*

Natur anweledig yw meddwl, a meddwl anweledig yw natur.—*Heine.*

Y neb a orchfyga ei ddigter ei hun a orchfyga elyn dewr.—*Clio.*

Y tymmerau yw 'stormydd bywyd, a chrefydd yn unig all eu hattal rhag myned yn dymmestloedd.—*Watts.*

Y mae pobpeth sydd dda mewn dyn yn gorwedd ar yr hyn sydd uwch.—*Emerson.*

Nid yw peryglon gwybodaeth i'w cyffelybu â pheryglon anwybodaeth. Y mae dyn yn debycach o golli ei ffordd yn y tywyllwch nag yn y cyfnos; yn y cyfnos nag yng ngoleu llawn yr haul.—*R. Watley.*

Yn dy ymddyddanion, ystyria yr hyn a leferych, wrth bwy y llefarech, a pha amser y llefarech. Yr hyn a lefarech, llefara yn wirioneddol; pan lefarech, llefara yn synwyrol. Calon yr ynfyd sydd yn ei dafod, ond tafod y doeth sydd yn ei galon.—*Quarles.*

Gall pregeth fod wedi ei chaboli fel na fydd min ynddi.—*Orton.*

Y mae bara o flawd yn dda; ond y mae bara cyn felused a'r mêl, ond i ni ei fwyta, mewn llyfr da.—*Ruskin.*

Y galon heb alar sydd fel byd heb ddadguddiad; nid oes ganddi ond rhyw lwyd-oleu o Dduw ynddi.—*Faber.*

Buan y gwna llwyddiant i ni anghofio yr ymdrech a wnaethom i'w gyrhaedd.—*Emerson.*

Paham y gwneir cam â'r cymmod,—yr Iawn,
A'i rinwedd dros bechod;
Dyweder maint y Duwdod,
Yr un faint yw'r Iawn i fod.—*R. ab G. Ddu.*

Nid oes dim anrhydedd i'w gyffelybu i'r anrhydedd o fod yn perthyn i Grist; dim trysorau cyffelyb i ras Crist; dim dysgeidiaeth cyffelyb i adnabyddiaeth o Grist; na dim cyfeillion cyffelyb i wir ddilynwyr Crist.—*Colton.* ELLDEYRN.

## PENODIAD MR. HELM.

Dymunir arnom hysbysu fod Cymdeithas Amddiffyniad yr Eglwys wedi penodi Mr. W. E. Helm fel ei hysgrifenydd yng Nghymru. Gellir ysgrifenu ato yn Granville Street, Shrewsbury.

Bydd yn dda ganddo dderbyn oddi wrth unrhyw un a fyddo cystal a'u hanfon iddo:—

1. Gwybodaeth am waith a chynnydd yr Eglwys.
2. Gwybodaeth am yr ymosodiadau ar yr Eglwys.
3. Pigion allan o newyddiaduron.
4. Ceisiadau am ddarlithiau, cyhoeddiadau, &c.
5. Tanysgrifiadau a chyfraniadau tuag at y Gronfa Gymreig.

## Y LLITHIAU PRIODOL, CHWEFROR, 1891.

| Dydd. | Sulian a Gwyliau. | Boreu. | Prydnawn. |
|---|---|---|---|
| 1 Sul | Sexagesima | Gen. iii.<br>Mat. xviii. hyd 21 | Gen. vi. ueu viii.<br>Actau xix. 21 |
| 2 Llun | Puredigaeth Mair Forwyn | Exod. xiii. hyd 17<br>Mat xviii. 21 hyd xix. [3 | Hag. ii. hyd 10<br>Actau xx. hyd 17 |
| 8 Sul | Quinquagesima | Gen ix. hyd 20<br>Mat. xxii. hyd 15 | Gen. xii neu xiii.<br>Actau xxiii. 12 |
| 11 Mer. | Mercher y Lludw* | Esai lviii. hyd 13<br>Marc ii. 13—23 | Jonah iii<br>Heb xii. 3—18 |
| 15 Sul | 1 Sul yn y Garawys† | Gen. xix. 12—30<br>Mat. xxv. 31 | Gen. xxii. hyd 20 neu<br>Actau xxviii. 17 [xxiii. |
| 22 Sul | 2 Sul yn y Garawys | Gen. xxvii. hyd 41<br>Mat. xxviii. | Gen. xxviii. neu xxxii.<br>Rhuf. vi. |
| 24 Maw. | St. Matthias, Ap a Mer.‡ | 1 Sam ii. 27—36<br>Marc i. 21 | Esai xxii. 15<br>Rhuf viii. hyd 18 |

* Salmau Priodol—Boreu, vi., xxxii., xxxviii.; Prydnawn, cii., cxxx., cxliii. Gwasanaeth y Cymmun.

† Colect y Lludw yn ddyddiol.

‡ Credo Sant Athanasius.

CARMARTHEN:

Printed and published by W. SPURRELL & SON, at their Printing Office, situate and being at No. 37, King-street, in the Parish of Saint Peter, in the County of the Borough of Carmarthen, on Saturday, the 31st of January, 1891.

Digitized by Google

# YR HAUL.

## Ail Gyfres Caerfyrddin.

"YNG NGWYNEB HAUL A LLYGAD GOLEUNI."
"A GAIR DUW YN UCHAF."

RHIFYN 75. MAWRTH, 1891. CYF. VII.




### EGLWYS NOTRE DAME, PARIS.

*Notre Dame*, neu *Eglwys Fair*, ydyw prif Eglwys Gadeiriol Ffrainc, a dwg yr un berthynas â dinas Paris ag a wna St. Paul â dinas Llundain. Cydgrynoa anrhydedd cenedlaethol y deyrnas ag urddas defosiynol yr Eglwys. Y mae yn adeilad ardderchog, yn 426 troedfedd o hyd a 164 troedfedd o led, a dyrchafa ei thŵr canol i uchder o 312 troedfedd. Y mae y rhan fwyaf o'r gwaith maen mor hen a'r drydedd ganrif ar ddeg, a llawer o'r cerfwaith derw addurniadol mor hen a'r bedwaredd ganrif ar ddeg, ac y maent oll yn hynod o brydferth. Addurnwaith oesau a chanrifoedd ydyw *Notre Dame*, ac y mae ei hanes hi yn cymmeryd i mewn hanes y genedl Ffrengig. O tua chanol y ddeuddegfed ganrif hyd y ganrif hon, nid aeth oes heibio heb gyffwrdd llaw â rhyw ran o'r Eglwys Gadeiriol genedlaethol ac ychwanegu ati, neu ei haddurno hi. Adgyweiriwyd hi yn drwyadl rhwng 1846 a 1879 gan *Viollet le Duc*.



Digitized by Google

## EGLWYS LLANWRIN.

(*Parhâd o dudal. 49*).

Y MAE gwahanol farnau parthed i bwy y perthyna y clod am ddwyn crefydd Crist y waith gyntaf i blith pobl Llanwrin. Dywed Rees (*Welsh Saints*, tud. 224) mai Ust a Dyfnig, y rhai a ddaethant gyda Cadfan i Brydain, a sefydlasant yr Eglwys gyntaf yma. Ond y mae Williams (*Eminent Welshmen*, tud. 200) yn priodoli ei sefydliad i Gwrin; ac y mae ei dybiaeth yn cytuno â'r hyn a geir yn "Achau Saint Ynys Prydain" (*Iolo Mss.* tud. 137), lle y dywedir, "Gwrin Sant, ab Cynddilic, ab Nwython, ab y Coed Aur. Trefwrin a elwir Gwrinstwn." Ac y mae yn dra thebygol, a barnu oddi wrth enw y sant, mai oddi wrtho ef y derbyniodd y plwyf a'r pentref yr enw Llanwrin, hyny yw, Eglwys Gwrin. A chan na wyddom am unrhyw dystiolaeth dros gyssylltu enwau Ust a Dyfnig â'r plwyf, yr ydym yn eithaf parod, oddi ar yr awgrymiad geiryddol uchod, i gadarnhau hawl Gwrin fel nawdd-sant yr Eglwys hon.

Hysbysir ni gan y Canon Silvan Evans mai Llanwrin oedd mam-Eglwys plwyfi Machynlleth a Penegoes yn yr hen amser; ac felly rhaid ystyried y plwyf hwn fel canolbwynt crefyddol y cymmydogaethau cylchynol. Ond nid ydym ar hyn o bryd mewn sefyllfa i ddangos pa bryd y daeth yr Eglwysi a nodwyd yn annibynol ar y fam-Eglwys hon, ac nis gallwn ychwaith fyned nemawr yn ol gyda hanes boreuol yr adeilad. Gellir casglu, pa fodd bynag, iddo gael ei ail-adeiladu oddeutu'r flwyddyn 1636, o blegid pan adnewyddwyd yr Eglwys ddiweddaf, cadwyd yr allor, yr hon sydd o dderw cerfiedig, ac yn dwyn yr amseriad hwnw o blith y gweddillion. Y mae yr allor hon mewn cyflwr rhagorol. Felly y gellir dyweyd hefyd am yr ysgrin sydd rhwng corff yr adeilad (*nave*) a'r ganghell, yr hon sydd wedi ei gwneuthur o dderw tywyll, a'r cerfiad arni yn dangos ei bod can hyned, os nad yn hynach, a'r allor.

Adnewyddwyd yr adeilad yn drwyadl yn y flwyddyn 1864. Yr arch-adeiladydd oedd Mr. E. B. Ferry, Llundain; ac adeiladwyd y gwaith maen gan y diweddar Mr. Morris Jones a'i fab, Mr. J. M. Jones, Trawsfynydd. Cyn yr adnewyddiad hwn, yr oedd yr adeilad mewn sefyllfa tra adfeiliedig. Gorphwysai bron yr oll o'r cyplau ar golofnau, y rhai a safent yn rhes oddi mewn i'r Eglwys. A phan wrth y gorchwyl o'i thynu i lawr, tarawyd un o'r colofnau hyn nes syrthiodd yr oll o'r nenfwd i'r llawr. Wrth fyned heibio, haedda coffadwriaeth y diweddar Barch. Thomas Davies ei gadw yn iraidd ym meddyliau Eglwyswyr Llanwrin. Daeth yma o Drawsfynydd yn 1862. Yn 1863, adeiladodd ysgoldy yn y pentref, ac yn y flwyddyn ddilynol adnewyddodd yr Eglwys, heb law prynu darn o dir o flaen y persondy a'i drosglwyddo yn eiddo i'r cyfryw. Ond i ddychwelyd at yr adeilad. Un ffaith gwerth i'w chofnodi ydyw, ddarfod i ddau gael eu huno mewn glân briodas ynddi pan yr oedd heb yr un tô, ac ar ganol ei hadeiladu. Y ddau ddyn hyn oedd Mr. D. W. Davies a Margaret, merch y dywededig Mr. Morris Jones, o Drawsfynydd. Rhoddwyd y ceryg nadd sydd yn y ffenestr ddwyreiniol yn anrheg gan y diweddar Syr W. W. Wynn, Barwnig, a gosodwyd hwynt i fyny gan y Mri. J. M. Jones a Walter Runtold. Ac yn y tyllau a wnaed yn y ceryg i'w codi i fyny, y mae amryw geiniogau y dimeiau o ddyddiad y flwyddyn hòno. Gallwn nodi hefyd fod y lampau sydd yn yr adeilad wedi cael eu rhoddi gan y rheithor presennol.

Cynnwysa yr adeilad yn awr ddigon o le i 250 o bersonau eistedd yn gysurus. Ond nid ydyw yr Eglwys o fewn llawer y maintioli ag y myn rhai i ni gredu ei bod. Dywed Murray yn ei *Handbook for Travellers in North Wales* nad yw o dan 163 o droedfeddi o hyd, a'r un peth a ddywed Owen Jones yng *Ngeiriadur Cenedlaethol Cymru*. Ond mesuriad yr adeilad (oddi mewn) ydyw 75 troedfedd o hyd wrth 25 troedfedd o led. Yr ydym yn cymmeryd y drafferth i gofnodi hyn, o blegid fe'n hysbysir fod y naill ysgrifenydd ar ol y llall yn parhau i ail adrodd yr anghywirdeb rhyfedd hwn. Yr ydym wrth dramwyo ar hyd yr Eglwys yn sylwi fod amryw gofllechau wedi eu gosod i fyny ar y muriau. Yr ydym eisoes wedi son am un sydd yn y ganghell, ar ol un o Buwiaid Mathafarn. Y mae hwn o farmor hardd, ac yn argraffedig arno ceir yr hyn a ganlyn:—

Sacred to the Memory
of WILLIAM PUGHE, late of Mathaven in this Parish
And MARGARET his Wife, Daughter of John Lloyd
late of Maes y Pandy
In the county of Merioneth, Esq.
Who liv'd 42 Years together with the utmost Harmony
A Pattern of all those social Virtues wch. adorn
the Marriage State;
He
A most Valuable Man in Public life,
Ever employing his great Abillitys
In reconciling Differences amongst his Neighbours.
She
An excellent Oeconomist,
And Prudent Manager in her Domestick Affairs,
Without the least Imputation of Avaritious Closeness:

Digitized by Google

He
A Generous, Sincere and hearty Friend
Which Render'd him most beloved and Respected in his Country;
And She
Remarkably Charitable to the Poor,
And Beneficent to all.
Each seeming to outvie the other
In acts of Humanity, Friendship and Good Nature,
Untill Death
After a most Religious and Pious Life together,
Put an end to this blessed Harmony,
By taking off the said MARGARET who departed this life
on the 27th day of Octobr. 1714
Leaving her Mournfull Partner not long behind her,
He also Dying on the 26th day of October 1719.
And both lye interr'd under this Place.
This Happy Pair were the Parents of 9 Children, of whom 2 died very Young
the other Seven liv'd to be Men and Women,
Viz. JOHN ROWLAND WILLIAM and RICHARD and three daughters,
JANE ANN and MARGARET,
The said ANN, who dyed Augst. the 20th 1742, out of her Pious Regard to ye Memory of her dear parents, by her last Will and Testament
order'd this Monument to be Erected
And lyes herself Interred under
this place.

**Y mae rhywbeth yn swynol i ni mewn beddargraffiadau a choflechau. Y maent fel cynnifer o leisiau o'r bedd yn galw arnom ystyried ein ffyrdd, gan ein sicrhau fod yr afon a groeswyd gan ein hynafiaid yn rhwym o gael ei chroesi genym ninnau. A'r cwestiwn mawr ydyw, ym mha le y byddwn yn glanio? Y mae dwy goflech arall yn Eglwys Llanwrin ag y carem alw sylw y darllenydd atynt. Coflech bres—os iawn cyssylltu y gair *pres* â llech—ydyw hon. Yr oedd y ddwy goflech hyn hyd yn ddiweddar ar fur gorllewinol yr adeilad; ond trwy ryw foddion neu gilydd, daethant yn rhydd, a mynodd y rheithor presennol eu sicrhau ar gareg gaboledig hardd ar fur gogleddol y ganghell. Y mae yr uchaf o'r ddwy yn fwy na'r llall, ond wedi eu gosod wrth eu gilydd fel ag i wneuthur un, ac yn dwyn yr argraff a ganlyn:—**

Underneath are deposited the remains of
Sarah Mary only daughter of
The Revd. Jenkyn Lloyd Jones
And Anne His Wife
She departed this life
To the inexpressible grief of her parents
January 1st 1827. Aged 20 years.
Also the Remains of the above
Jenkyn Lloyd Jones M.A.
Late Rector of this parish
He died January 8th 1828.
In the 60th year of his age.
Likewise the Remains of Anne
Relict of the above named
(Jenkyn Lloyd Jones)
She departed this life on
the 17th of July 1834.
Aged 67 years.

**Y mae coflyfrau y plwyf yn dechreu fel y canlyn:—Y bedyddiadau yn 1675, claddedigaethau yn 1702, a'r priodasau yn 1782; ac y maent yn llawn mor fanwl a dim a welsom yn y plwyfi cylchynol. Y mae yma hefyd dir-ysgrif (*terrier*), dyddiedig y 18fed o Ebrill, 1856, ac wedi ei harwyddo gan Isaac Bonsall, M.A., Rheithor Llanwrin; Edward Pugh ac Elias Roberts, y *Churchwardens*; Edward Hughes, David Lewis, Peter Hughes, Thomas X Davies, Robert X Peters, *Overseers*. Y mae yr ysgrif hon yn cynnwys llawer o bethau dyddorol. Yr ydym yn gweled ynddi mai yn y flwyddyn 1814 yr adeiladwyd y rheithordy presennol, a'i fod wedi ei godi ar yr ochr orllewinol i'r fan y safai ei ragflaenydd. Ond nis gallwn ddefnyddio ychwaneg o'r mater a gynnwysa yr ysgrif ar hyn o bryd. Terfynwn ein llythyr trwy roddi rhestr o reithoriaid y plwyf o 1537 hyd yn bresennol. A phan y dywedwn mai rhestr ydyw a barotowyd gan yr Hybarch Archddiacon Thomas i'r Canon Silvan Evans, yr hwn fu mor garedig a gadael i ni ei chopïo, ni bydd achos ammheu ei chywirdeb:—**

**1537.—Griffith Rider (Rhydderch?), a gyflwynwyd gan yr Esgob Wharton.**

**1556.—Ieuan ap John.**

**1562.—Hugh Davies, gan yr Esgob T. Davies.**

**————Evan ab John ab Hugh, R. S. Llanbrynmair (*prob. iq.* 1556).**

**1564.—Evan Pugh.**

**1573.—Richard Gaveston, gan yr Esgob Hughes.**

**1574.—William Lloyd.**

**1601.—Peter Humphreys, M.A., gan yr Arglwydd Geidwad Egerton.**

**1606.—J. Hughes, M.A., Rheithor Machynlleth 1612. Gwel *Mont. Collections*, 1887, tud. 226.**

**1624.—Richard Pigot (gan Hanmer), Rheithor Dinbych 1614—24.**

**1660.—Humphrey Rowlands (12 Chas ii.)**

**1668.—Thomas Ellis, B.D. (gan Glemham), Rheithor Dolgellau 1665 (gwel Williams's *Eminent Welshmen*).**

**1676.—Robert Tench (gan Barrow), Corfudd Meliden 1693. A gladdwyd 7 Hydref, 1701, yn 60 mlwydd oed. Ei fab yr un dydd.**

**1702.—Thomas Jones (gan ei dad, yr Esgob Jones), Ficer Llanfair Caereinion 1705.**

Digitized by Google

1703.—William Davies, A.M. (gan Beveridge), a gladdwyd 7 Hydref, 1729.

1729.—John Edwards (gan Hare), a gladdwyd 25 Awst, 1731.

1731.—Michael Jones (gan Tanner), Ficer Hope 1685, Ficer Llanbrynmair 1711, a gladdwyd 25 Ionawr, 1736.

1737.—John Wynne, A.M., Ficer Llansilin 1706, a Rheithor Llanfihangel. "Mab i Evan Wynne, o'r Garthbeibio, unwaith yn Gymmrawd o Goleg Iesu, Rhydychain, ac un o Bregethwyr ei Fawrhydi yn Whitehall. Cyn-reithor y plwyf hwn (Llanymynach), Corfudd, Eglwysi Cadeiriol Llanelwy a Chichester. Rheithor Corwen a Llanwrin. Proctor y Clerigwyr yr Esgobaeth hon mewn Cynnadledd, ac un o Hedd-ynadon ei Fawrhydi dros siroedd Dinbych a'r Amwythig. Bu farw 27 Hydref, 1745, yn 50 mlwydd oed." (Bedd-argraff yn y Mont. Coll., 1879, tud. 138). Caplan i'r Esgob Hare.

1745.—Edward Davies, B.A., Ficer Rhiwabon 1756.

1756.—Thomas Jones, LL.B. (gan Drummond).

1765.—Thomas Edwards, M.A. (gan Newcome), Ficer Hope 1757.

1776.—Robert Edwards, D.D. (gan Shipley), Rheithor Machynlleth 1756—89 (Talgarth ?).

1789.—John Price, A.M. (gan Halifax).

1812.—Jenkyn Lloyd Jones, M.A. (cyn-gurad Machynlleth), Rheithor Penegoes, 1827.

1827.—Isaac Bonsall, M.A. (Coleg Iesu, Rhydychain), Rheithor Cemmaes 1818—27; Deon Gwledig.

1862.—Thomas Davies, C.D.S., Llanbedr; Rheithor Trawsfynydd (?—1862). Bu farw 1872.

1872.—Daniel Evans, o St. Bees, P.C. Corris 1859, Ficer Caernarfon 1876, Canon.

1876.—Daniel Silvan Evans, B.D. (gan Campbell); Rheithor Llanymmawddwy 1862; Canon Mygedol Bangor 1889.

*Dinas Mawddwy.* CHAS. ASHTON.

O.Y.—Hwyrach y goddefir i ni gywiro camgymmeriad a ymddangosodd yn rhestr rheithoriaid Cemmaes (*Haul* 1890, tud. 292). Yn y flwyddyn 1856 y cyflwynwyd y Parch. William Gabriel Davies i'r fywoliaeth hòno, ac nid yn 1827, fel y dywedir yn y rhestr.—C. A.

---

## BYTH I MI.

(GAN J. O. ROWLANDS.)

*Tôn—"Gyda'r Wawr."*

YR Iesu ydyw'r Ceidwad
Byth i mi,
Llawn yw o ras a chariad
Byth i mi;
Mae f'enaid yn ei garu
Ei enw 'rwyf yn hoffi,
Gwnaf heddyw ei glodfori
Am 'r hyn mae wedi'i roddi
Byth i mi.

Nid oes o dan y nefoedd
Byth i mi,
Na dim o fewn y bydoedd
Byth i mi,
Ond Iesu mawr ei hunan,
All gadw f'enaid truan,
Fy nghraig a'm lloches gyfan,
Nes d'od i'r nefol drigfan,
Byth i mi.

Clyw di, bechadur, hefyd,
Byth i ti
Mae'r Iesu'n cynnyg bywyd
Byth i ti;
Ni raid ond dyfod ato,
Cei bob croesawiad ganddo.
Yn awr os credi ynddo—
Daw'r nefoedd fythol drwyddo
Byth i ti.

Gan Iesu mae trigfanau
Byth i ti,
Mewn gwynfyd diofidiau
Byth i ti:
Paham yng ngwlad y cibau
Yn ofer treuli'th ddyddiau?
Heb gofio'r holl drysorau
Sydd gan dy Dad di gartreu
Byth i ti.

---

## DUWINYDDIAETH: NEU SYLWADAU AT WASANAETH YR YSGOL SUL AR YR EFENGYL YN OL ST. MATTHEW.

*St. Mat. vi. 16—18. Fel rhagbarotoad darllener Lef. xvi. 29—34; xxiii. 26—32; ac Esaiah lviii. 5. Y mae yn Llyfr yr Homiliau ddwy bregeth yn dangos pa peth yw athrawiaeth yr Eglwys ar y ddyledswydd o ymprydio. Dysger allan y colect am y Sul cyntaf yn y Garawys.*

YMPRYD YN DDYLEDSWYDD YSBRYDOL.

Y mae y ffaith ddarfod i'r Arglwydd Iesu ei Hun ymprydio, a gosod i lawr y ddyledswydd hon yn gydradd â gweddi ac elusen yn profi ei rhwymedig-

Digitized by Google

aeth ar Eglwys Crist. Ofer ydyw ymresymu â'r neb a wada ei dwyfol osodiad dan yr Hen Destament a'r Newydd.

Amcan ympryd neu ddirwest yw cynnorthwyo i ddarostwng y cnawd i'r ysbryd, a'r ysbryd i ewyllys Duw. Wrth y *cnawd* yn iaith yr Efengyl y meddylir y duedd bechadurus sydd ynom oll wrth natur. Dywed St. Paul, "Y rhai sydd yn ol y cnawd, am bethau y cnawd y maent yn synio; eithr y rhai sydd yn ol yr ysbryd, am bethau yr ysbryd." Ac eto, "Syniad y cnawd sydd elyniaeth yn erbyn Duw; canys nid yw ddarostyngedig i ddeddf Duw." Ac eto, "Canys y mae y cnawd yn chwennychu yn erbyn yr ysbryd, a'r ysbryd yn erbyn y cnawd; a'r rhai hyn a wrthwynebant eu gilydd, fel na alloch wneuthur pa beth bynag a ewyllysioch," Rhuf. viii. 5, 7; Gal. v. 17. Y mae yn ol geiriau St. Paul ddwy elfen ym mywyd y Cristion—un oddi uchod yn cymhell i ddaioni, a'r llall o'r ddaiar yn cymhell i fwynhâd pechadurus. Yr ydym yn etifeddu yr elfen lygredig wrth natur ein genedigaeth o'r cnawd, ac yn etifeddu y llall drwy enedigaeth o'r Ysbryd, neu yn rhinwedd ein hundeb sacramentol â Christ drwy ffydd.

Pan ydys yn derbyn aelodau i Eglwys Crist drwy sacrament y Bedydd, yr ydys yn gweddïo fel hyn: "O drugarog Dad, caniatâ felly gladdu yr hen Adda yn y plentyn hwn, fel y cyfoder y dyn newydd ynddo ef. Caniatâ fod i holl chwantau'r cnawd farw, ac i bob peth a berthyn i'r Ysbryd fyw a chynnyddu ynddo ef."

"Caniatâ fod iddo nerth a gallu i gael yr oruchafiaeth a'r gorfod yn erbyn y diafol, y byd, a'r cnawd." Eto yn rhan olaf y siars ar ddiwedd gwasanaeth y Bedydd ei fod "yn arwyddocäu i ni ein proffes: hyny yw, bod i ni ganlyn esampl ein Hiachawdwr Crist, a'n gwneuthur yn debyg iddo ef; fel, megys y bu Efe farw ac y cyfododd drachefn drosom ni, felly y dylem ni, y rhai a fedyddiwyd, farw oddi wrth bechod, a chyfodi i gyfiawnder; gan farwolaethu yn wastad ein holl ddrygioni a'n gwyniau llygredig, a pheunydd fyned rhagom ym mhob rhinwedd dda a buchedd dduwiol." "Llwybr canol ydyw rhinwedd," meddai hen foes-wers. Dysgu, ymarfer, a dysgyblu dyn i allu rhodio canol y llwybr ydyw amcan ympryd, gan wneyd chwareu teg ag ef ei hun, enaid a chorff. Y mae anwesu a *moethi* y naill ar draul difuddio neu wneuthur y llall yn ddiwerth yn bechod. Gwasanaethu Duw a'i ogoneddu Ef yn ein cyrff ac yn ein heneidiau yw ein dyledswydd.

Yn y ddwy ddyledswydd flaenorol, cyfarwyddid ni i gyssegru ein heiddo i Dduw trwy elusen, a chyssegru yr enaid a'r ysbryd i Dduw drwy weddi; yma cyfeiriwn at gyssegru y corff i Dduw, yn deml i'r Ysbryd Glân breswylio ynddo. Fel hyn y mae arnom angen sancteiddio a chadw yr ysbryd oll, a'r enaid a'r corff, 1 Thes. v. 23.

### ESBONIAD EGLURHAOL.

Adn. 16: "*Pan ymprydioch*," &c. Y mae yn bosibl i ddyn droi ympryd yn rhagrith: gwel Esaiah lviii. 3—5. Nid oes dim ag sydd yn fwy peryglus i ddyn na balchder ysbrydol, a phorthi balchder ysbrydol ydyw gwneyd arddangosiad o unrhyw ddyledswydd grefyddol. Meithrin hunanoldeb anianol a hunan-dybiaeth uchelfrydig a wna pob math o arddangosiadau crefyddol, Esaiah lxv. 5.

Adn. 17: "*Eneinia dy ben*," &c. Paid â gwneyd un math o arddangosiad allanol o'th ddefosiwn crefyddol.

Adn. 18: "*A'th Dad yr hwn sydd yn y dirgel*," &c. Y daioni a wneir yn y *dirgel* sydd yn *adeiladu* cymmeriad dyn; a'r *drwg* a wneir yn y *dirgel* sydd yn ei ddyfetha. Yn y *dirgel* y mae y twf ysbrydol, cuddiad y nerth, ond yn yr *amlwg* y mae y ffrwyth. Y mae anrhydedd yn dilyn gweithredoedd da mor sicr, meddai hen athronydd, ag y dilyn y cysgod y sylwedd. Y mae y neb *a all* ymprydio yn y dirgel, yn sicr o allu gogoneddu Duw yn gyhoeddus.

*Deddfau ympryd.*—Yr un peth ydynt a dirwest. Dyma ddysgrifiad yr Arglwydd Iesu o un nad oedd o dan deddfau ympryd a dirwest: "Yr oedd rhyw wr goludog, ac a wisgid â phorphor a lliain main, ac yr oedd yn cymmeryd byd da yn helaethwych beunydd," St. Luc xvi. 19. Yr oedd y gwr goludog yma yn gaethwas i chwant y cnawd yn ei fwyta a'i yfed, ac i chwant y llygad a balchder y bywyd yn ei wisgoedd a safle. Yr oedd y chwantau wedi darostwng ei ysbryd i'r cnawd a'i anifeileiddio, ac fe gollodd ei enaid. Beth a fwytâf a pha beth a yfaf? ac â pha beth yr ymddilladaf? oedd ei unig gwestiynau. Y mae bywyd o *lythineb* yn angeuol i bob ysbrydolrwydd: gwel Deut. xxxii. 15—20; 2 Cor. iv. 3, 4. Cawn rybudd difrifol gan yr Arglwydd Iesu ar y pen yma yn St. Luc xxi. 34, 35.

Eto yn St. Paul cawn enghraifft deg o ympryd ysbrydol. Meddai ef, "Yr wyf fi yn cospi fy nghorff, ac yn ei ddwyn yn gaeth," 1 Cor. ix. 27. A'r rhai sydd yn eiddo Crist, a groeshoeliasant y cnawd, a'i wyniau, a'i chwantau," Gal. v. 24.

### Y MODD I YMPRYDIO YN BRIODOL.

Nid ydyw yr Eglwys yn y wlad hon yn rhoddi rheolau caethion i ympryd mwy nag a wna mewn elusen a gweddi. Arwyddair yr Eglwys yw,

Digitized by Google

rhyddid yr Efengyl a chymhellion yr Efengyl. Rheol euraidd gweddi yw, "Gweddïwch yn ddibaid." Hyny yw, "Byddwch yn llawn o ysbryd defosiynol gweddi, neu mewn ysbryd gweddi." Felly hefyd ymprydiwch yn ddibaid. "Na ofalwch beth a fwytëwch, neu pa beth o yfoch, neu â pha beth yr ymddilladoch." Dywedodd hen athronydd, "Y mae llawer yn byw er mwyn bwyta, ac ereill yn bwyta er mwyn byw." Bwyta er mwyn byw ydyw y rheol euraidd.

Eto creadur agored i ymlygru ydyw dyn, ac i fyned yn gaethwas *ymarferiad*. Da iddo yw *tori yn achlysurol* ar ei arferiad ei hun, ac arferiad cymdeithas o'i gylch; a da i gymdeithas dori ar ei harferion yn *achlysurol*, er mwyn gallu *edrych* arnynt a'u barnu. Y mae yr Eglwys wedi gosod o'r neilldu mewn modd eglur dymmor y Garawys yn amser o ymostyngiad ger bron Duw, hunanymholiad ac ympryd, fel yr oedd gwyl y cymmod ym mysg yr Iuddewon. Y mae Wythnosau y Cydgoriau hefyd yn adegau o ymprydio; ac er na ordeinir y Gwenerau fel rheol gaeth, y mae yn eu cymhell. Delir y ddyledswydd ger bron ein llygaid yn barhäus, a rhoddir i ni y cyfleusderau. Gwneyd aberth gwirioneddol ydyw ystyr yr ymprydio. "Ymwrthod â holl chwantau pechadurus y cnawd."

Y mae elusen ac ympryd yn ddwy chwaer-rasusau yn derbyn a rhoddi, yn offrwm ac yn aberth, Esaiah lviii. 6, 7. Y mae yn cynnwys gwasgu arnom ein hunain er mwyn lleddfu eisieu rhai ereill. Cynnwysa aberth meibion a merched o'r pethau a wariant ar oferedd, balchder, a phleser, er mwyn cynnorthwyo rhieni mewn gwendid ac angen. Yn amser gwasgfa ddirfawr gweithwyr *Lancashire* yn ystod y rhyfel yn America, darfu i gannoedd o deuluoedd yn Lloegr a Chymru roddi heibio eu ciniaw am un diwrnod yn yr wythnos, er mwyn anfon ei werth mewn arian i'r rhai oedd allan o waith. Gwyddom am un boneddwr a fyddai *bob Sul* yn rhoddi papyr pum punt yn y casgliad at elusen, wedi ei *gynnilo* drwy wario llai ar foethau ei deulu dros holl amser y caledi ym Manchester. Dyma ympryd â'i amcan yn dda. Y mae arferion fel gwastraff mewn claddedigaethau a gwleddoedd, ag y byddai tori arnynt yn wir ympryd trwy ddarostwng balchder bydol a chrefyddol.

GWESTIYNAU.

Pa fodd y gellir profi ympryd yn ddyledswydd ysbrydol? Pa beth ydyw ei amcan? Pa beth yw y ddwy elfen yn gwrthwynebu eu gilydd yn y Cristion? O ba le y daeth yr elfen lygredig iddo? O ba le y daw yr elfen ysbrydol? Drwy ba fodd? Am beth y byddys yn gweddïo dros blentyn yng ngwasanaeth y Bedydd? Pa ran o ddyn sydd yn cael ei gyssegru i Dduw drwy ympryd? Pa berygl sydd o ymprydio? Pa fodd y mae ei ochel? Pa le y mae dyn yn adeiladu ei gymmeriad? Pa le y mae yn ei ddyfetha? Rhoddwch esampl o ddyn na fedrai ymprydio. Pa dymmorau a osyd yr Eglwys o'r neilldu i ymprydio? Pa les a ddaw o ymprydio yn achlysurol? Pa rinwedd neu ras arall sydd yn cydfyned ag ympryd? Rhoddwch esampl o ympryd er mwyn y lles cyffredinol.

GWERS XVII.

*St. Matthew vi. 19—34.*

Rhoddes yr Arglwydd Iesu yn rhan gyntaf y bennod hon rybudd difrifol ar i'w ddysgyblion ochel camddefnyddio eu breintiau a dyledswyddau ysbrydol. Amcan a nod y dyledswyddau ydyw bod yn foddion gras i ddyrchafu yr oll o'r dyn, gorff ac enaid, at Dduw, a'i ddwyn i ymorphwys ar Dduw a dysgwyl wrtho Ef. Gwobr gwir grefydd, yw "tâl yn yr amlwg" gan Dduw. Gyda Duw y mae y trysor i'w gadw.

ESBONIAD EGLURHAOL.

Adn. 19: "*Na thrysorwch*," &c. Trysorau ydyw eiddo wedi ei osod o'r neilldu i'w gadw erbyn amser i ddyfod, a byddai yn gynnwysedig o yd, a gwin, a gwisgoedd, ac o arian ac aur, Job xxvii. 16; Ezeciel xxviii. 4.

"*Gwyfyn a rhwd.*" Job xiii. 28; Esaiah l. 9; li. 8; St. Iago v. 2.

"*Cloddio trwodd.*" Hawdd ydoedd cloddio trwy furiau clai llawer o'r tai dwyreiniol.

Adn. 21: "*Lle y mae eich trysor*," &c. Y galon yw y meddwl a'r serch. Y mae meddwl dyn yn troi o bob cyfeiriad at y peth mwyaf gwerthfawr yn ei olwg ac anwylaf ganddo, fel nodwydd cwmpas y morwr at y gogledd.

Adn. 22: "*Canwyll y corff*," &c. Cydmariaeth glws. Y llygaid sydd yn dangos ei lwybr i ddyn. Y llygaid sydd yn derbyn goleuni naturiol a dangos pob peth i ddyn.

"*Llygad syml*," neu iach, yn gweled yn eglur ac ar *ei uniawn*, Diar. iv. 25, 26.

Adn. 23: "*Dy lygad yn ddrwg*," &c. Yn afiach, heb allu gweled yn eglur ac uniawn. Y golwg yn ansefydlog: gwel St. Iago i. 8. Os na esyd dyn ei serch ar yr hyn sydd dragwyddol ac na ellir ei amddifadu o hono, ni all rodio yn union; ond os gesyd ei drysor yn y nef—y deyrnas ddisigl, bydd yn alluog i dynu cwys ei fywyd yn uniawn: gwel Salm.

Digitized by Google

xxvii. 4; St. Luc x. 42; Philip iii. 13, 14; Tim. vi. 17—19. Cawn yr un gwersi dan gyffelybiaeth arall.

Adn. 24: "*Dau arglwydd*," &c; "*Duw a mammon*." "Mammon" ydyw y byd yn yr ystyr eangaf o osod ein serch arno. Ein serch ar ei fawredd, enw da, pleser, mwynhâd, cyfoeth, neu borthi chwantau.

"*Gwasanaethu*." Rhoddi gwasanaeth *caethwas* a feddylir. Bod yn gaethwas. Ni *all dyn* feistroli ei chwant na rhodio yn *wr rhydd* yn y byd, oni bydd ganddo drysor yn y nef. Rhaid i'r hwn sydd ynom ni fod yn fwy na'r byd, neu caethion iddo a fyddwn, St. Ioan viii. 36; 1 St. Ioan iv. 4.

Adn. 25: "*Na ofelwch*," &c. "Na fyddwch bryderus, ofnus, ac anesmwyth eich meddwl: gwel St. Luc xii. 29 a Philip iv. 6.

"*Bywyd yn fwy na'r bwyd*." Rhoddes Duw i ddyn fywyd ag sydd werthfawr, ac arno angen bwyd i'w gynnal; gan hyny, y mae yn sicr o ddarparu lluniaeth ar ei gyfer. Felly dillad.

Adn. 26: "*Edrychwch ar adar y nefoedd*." Creaduriaid llai eu gwerth, a llai eu gallu i ddarparu drostynt eu hunain. Gofala Duw am y bywyd sydd lai gwerthfawr, ac am ymborth i'r creaduriaid gwanaf.

Adn. 27: *Un cufydd*"—Hanner llath. "Maintioli"—*llawn faint*, neu *llawn oedran*. Ni all y dyn mwyaf pryderus ychwanegu dim at daldra ei gorff na hyd ei einioes.

Adn. 28: "*Gofalu am ddillad*," &c. Y mae Duw yn gwisgo y llysiau mwyaf diwerth a byrhoedlog gyda'r harddwch mwyaf, ac megys yn lapio yng nghyd y glaswellt gwael mewn amleni o'r prydferthwch mwyaf, er mwyn dangos i ni helaethrwydd ei ddaioni Ef, a *breuolder* a gwaeledd pob arddangosiad allanol. Y mae y Duw ag sydd yn gallu hyfforddio gwario megys gymmaint o wychder ar lysiau y maes yn sicr o ofalu am ei blant ei Hun.

Adn. 31: "*Am hyny*," &c. Am fod Duw mor dda, haelionus, a gofalus, gall dyn ymddiried ynddo, gan gyflawnu ei ewyllys yn ffyddlawn ar bwys ei *berthynas nefol*.

Adn. 32: "*Y Cenedloedd*." Y paganiaid nad ydynt yn adwaen Duw fel eu Tad.

Adn. 33: "*Eithr yn gyntaf*," &c. Nid yn unig yn gyntaf peth am unwaith, ond yn gyntaf a phenaf peth bob dydd o'n bywyd. Y peth cyntaf a wneir â'r bod o ddyn mewn gwlad Gristionogol ydyw ei gyflwyno i Dduw yn sacrament y Bedydd. Pan ddelo y plentyn i oedran pwyll, cymhellir ef i roddi ei hunan i Dduw. Y mae dan yr Efengyl yng Nghrist, y bod o ddyn yn *gadwedig* yn gyntaf yn faban: gwel Rhuddell ar ol Gwasanaeth y Bedydd—"Hysbys yw trwy Air Duw am blant a fedyddir, ac a fyddant feirw cyn bod yn euog o bechod gweithredol, eu bob yn ddiammheu yn gadwedig."

Adn. 34: "*Na ofelwch dros dranoeth*, &c. Gocheler *pryder* am y dyfodol.

"*Ei ddrwg ei hun*." Ei flinderau ei hun a'i ddyledswyddau. Y mae Duw yn alluog i gymhwyso baich pob diwrnod at nerth yr ysgwydd i'w ddal. Yr hyn sydd yn dyrysu cysuron bywyd yw, fod rhai pobl yn esgeuluso dyledswyddau heddyw megys hyd dranoeth, ac ereill yn tynu gofal y dyfodol ar eu hysgwyddau yn awr. Gall plant yr Arglwydd ymddiried yn naioni a doethineb eu Tad nefol i ofalu am danynt ar lwybrau eu dyledswydd. Os ymddygwn ni fel plant, fe ymddyga Duw fel Tad. Ar lwybr dyledswydd dyn y mae elusengarwch, gweddi, ac ympryd. Neu gelwir arnom i fyw yn sobr (ympryd), yn gyfiawn (elusengarwch), ac yn dduwiol (gweddi) yn y byd sydd yr awr hon, a phob peth fydd eiddom ni: gwel St. Titus ii. 12; 1 Cor. iii. 22, 23.

ADDYSGIADAU.

1. Rhaid i ddyn osod ei nod ar un peth—trysor yn y nef.

2. Y mae Duw gras yn Dduw rhagluniaeth hefyd.

3. Fe ofala Duw (*a*) am ymborth i ddyn; (*b*) am wisgoedd iddo; (*c*) am ei ddyfodol.

4. Gŵyr Duw am ein hangenion tymmorol fel am ein hangenion ysbrydol, ac y mae ei ragluniaeth mor ddaionus a'i ras.

5. Dedwyddwch dyn ydyw ymddiried yn Nuw, a chyflawnu ei ddyledswydd bob dydd yn ei ddydd.

CWESTIYNAU.

Pa beth a olygir wrth drysor? Pa ddefnyddiau oeddynt? Pa beth oedd yn agored i'w dyfetha? Pa ddefnyddiau a arferid mewn muriau tai yn y Dwyrain? Pa le y dylai dyn roddi ei drysor? Pa fodd y gellwch ddweyd pa beth yw eich trysor? Canwyll y corff pa beth yw? Beth yw llygad syml? Llygad drwg? Paham na ellir gwasanaethu dau arglwydd? Pa beth a olygir wrth "mammon"? Wrth "wasanaethu"? Wrth "ofalu"? Pa gydmariaeth a ddefnyddia yr Iesu i ddangos gofal a daioni Duw? Pa beth yw meddwl y gair "maintioli"? Pa beth a ddylem geisio yn gyntaf? Eiddo pwy ydyw dyn pan yn faban? Drwy bwy y mae yn eiddo Duw? Pa beth ydyw y sel i ddangos ac i sicrhau y gras? Pa beth sydd yn dyfod o blant

Digitized by Google

bach, neu fabanod, wedi marw? Beth a feddylir wrth pob diwrnod ei *ddrwg* ei hun? Enwch rai o'r gwersi addysg yn y rhan olaf o'r bennod.

GWERS XIX.

*St. Mat. vii. 1—13. O.C. 28.*

Y mae y bregeth ar y mynydd yn parhau hyd ddiwedd y bennod, gan fyned ym mlaen i ddangos natur y cymmeriad Cristionogol, a'r modd yr adeiledir ef, fel ag y byddo yn wynfydedig. Daw y gwahanol rybuddion, cynghorion, ac egwyddorion ger bron mewn mân frawddegau cynnwysfawr, a hawdd eu cofio. Am ddyledswyddau dyn ato ei hun, fel y gallai fyw yn sobr a duwiol, y soniwyd fwyaf yn niwedd y bennod o'r blaen, ond dygir dyledswyddau y naill ddyn at y llall dan sylw yma.

BARN EHUD, NEU YSBRYD BEIO.

Rhaid ydyw i ddyn, fel creadur rhesymol, farnu pob peth er mwyn dewis y da a gwrthod y drwg: bod i ymddwyn a rhodio wrth farn ydyw. Ond gall y duedd fyned yn bechadurus, a bod yn foddion i feithrin hunanoldeb ac ysbryd sarhäus, i hyderu ynom ein hunain ein bod yn gyfiawn, a dirmygu ereill: darllener St. Luc xviii. 9—14.

ESBONIAD EGLURHAOL.

Adn. 1: "*Na fernwch,*" &c. Na fydded i neb o honom feithrin ysbryd beirniadol a thuedd i weled bai, Luc vi. 37; Rhuf. ii. 1; 1 Cor. iv. 8.

Adn. 2: "*Canys â pha farn,*" &c. Y mae meithrin tuedd i farnu yn galed am y naill y llall yn caledu y galon, a pheri i ddyn farnu yn galed am Dduw; ac felly bernir ef yn galed gan Dduw, St. Luc xix. 22. Y mae yn naturiol i ddynion hefyd dalu yn ol farn galed yng ngwyneb barn galed, St. Mat. xviii. 28—35.

Adn. 3: "*A phaham yr wyt yn edrych,*" &c. Y mae yr ysbryd *beio* yn tueddu dynion i ymyryd â'r naill y llall.

"*Brycheuyn*"—bai bychan; "*trawst*"—bai mawr. Clywir y meddwyn, a'r cribddeiliwr, a'r anllad yn beio ar y crefyddwr glân ei fuchedd nad yw yn gweddïo, neu yn cyflawnu rhyw ddyledswydd grefyddol mor dda ag y dylai. Gwel y naill gangen-Eglwys hefyd fai ar y llall, a chlywir enwad yn beio Eglwys: y *rhan* yn beio yr *oll*.

Adn. 4 a 5. Rhagrithwyr yn twyllo eu hunain ydyw condemnwyr parhäus eu brodyr. Un o nodweddion amlwg y rhith-grefyddwyr ydyw yr ysbryd beio sydd ynddynt. Y mae y gwir grefyddwyr yn gwisgo am dano yn uchaf peth fantell cariad, ac ni "feddwl ddrwg," Col. iii. 14; 1 Cor. xiii. 5.

Adn. 6: "*Na roddwch,*" &c. Cydmariaeth glws i ddangos fod gofal mawr yn ofynol hyd yn nod i'r athraw daionus wrth gynghori y drygionus. Y mae angen doethineb i ddysgu. O ba le y ceir y ddoethineb hòno? Dengys yr adnodau nesaf.

DRWY WEDDI DAER.

Adn. 7: "*Gofynwch,*" &c. Byddwn yn *gofyn* am y peth a *ddymunwn*, yn *ceisio* y peth y teimlwn *angen* am dano, ac yn *curo* am fynediad i'r man y teimlwn ein bod wedi cael ein *cau allan*. Dyma dri chyflwr yn cael ei nodi a thair gradd o *daerineb*. Nid oes bechadur na all "ofyn," "ceisio," neu "guro," St. Marc xi. 24; St. Luc xviii. 1.

Adn. 8: "*Canys pob un,* &c. Ni siomir neb a geisio gydag amcan da, St. Iago iv. 3.

Adn. 9: "*Neu a oes un dyn,*" &c. Ni rydd Duw ddim diwerth i neb mewn ateb i weddi.

Adn. 10: "*Ac os gofyn,*" &c. Llawer llai peth niweidiol, megys sarff.

Adn. 11: "*Os chwychwi,*" &c. Y mae dynion pechadurus ar seiliau perthynas, ac hyd yn nod rhieni annuwiol, yn arfer rhoddi rhoddion da a phriodol i'w hangen i'w plant, pa faint mwy y rhydd y Duw daionus, ein Tad ni, roddion da i'w ufudd blant? *Cofier* am sail y *berthynas* yng Nghrist. Cofier am "Ein Tad," &c.

Y RHEOL EURAIDD.

Adn. 12: "*Am hyny,*" &c. Am fod Duw Dad yn rhoddi yr hyn a ofyna ei blant Ef ganddo, dylem ninnau rhoddi i'n brodyr. Dyma y casgliad mawr a'r rheol gyffredinol: yn lle "barnu" a beio y naill y llall, yr ydym i osod ein hunain yn sefyllfa ein gilydd a barnu a gweithredu at y naill y llall fel y buasem yn dymuno iddynt hwy farnu a gweithredu atom ninnau dan gyffelyb amgylchiadau. Gwneir hyn i *fesur*. Pan welwn ddyn wedi colli y ffordd, neu wedi cyfarfod â damwain, neu mewn angen cael meddyg, &c. Gellir cario y rheol euraidd yn llawer pellach.

Y PORTH CYFYNG.

Adn. 13 a 15: (*a*) Porth cyfyng; (*b*) ffordd gul; (*c*) ychydig yn ei cherdded; (*d*) a "*bywyd.*"

(*a*) Porth eang; (*b*) ffordd lydan; (*c*) llawer yn ei thrafeilio (*d*) a "*distryw.*"

Dyma y ddau ddarlun. Y mae y "cyfiawnderau" a ofynir yn y bregeth ar y mynydd yn peri i'r dyn anianol edrych ar grefydd Crist yn y goleuni o

Digitized by Google

borth cyfyng a ffordd gul. Crist yw drws (porth) y defaid. Rhaid myned i mewn drwyddo Ef, ac Efe yw y ffordd: St. Ioan x. 9; xiv. 6. Y mae y gydmariaeth yn hynod o awgrymiadol. Gofynir ymdrech a cheir gras ond ei geisio. "Rhedaf ar hyd ffordd dy orchymmynion pan eangech fy nghalon," Salm. cxix. 32.

ADDYSGIADAU.

1. Peth peryglus ydyw arfer gweled bai ar y naill a'r llall.

2. Y mae yn ofynol cael cymmeriad glân i fod yn ddysgawdwr neu i argyhoeddi pobl ereill. "Rhaid geneu glân i oganu." "Rhaid i rai yn byw mewn tai gwydr ochel lluchio ceryg."

3. Y mae ar ddynion aiddgar dros ogoniant Duw angen doethineb i wybod pa bryd ac wrth bwy i lefaru.

4. Y rheol euraidd yw gosod ein hunain yn safle y naill y llall, a rhoddi barn cariad.

5. Gall dynion drwg roddi rhoddion da, a gwnânt ar sail *perthynas*.

6. Da ydyw cofio ein perthynas â Duw.

7. Rhaid i bob Cristion wrth hunan-aberth, ymdrech, a gras.

CWESTIYNAU.

Beth mae y bregeth ar y mynydd yn ddangos yn y rhan fu dan sylw heddyw? Pa beth yw y pechod cyntaf a gondemnia? Pa beth a feddylir wrth farnu yma? A all dyn fyw heb farnu? I ba beth y mae y ddawn o farnu wedi ei rhoddi i ddyn? Pa beth yw y gosp am farnu yn galed? Pwy fydd yn cospi? Beth a feddylir wrth frycheuyn yn llygad brawd? Beth wrth drawst? Pa fath yw y barnwr gwallau a beiau? Beth a feddylir wrth daflu gemau o flaen moch? Pa sawl gradd o daerni a ddangosir mewn gweddi yn y bennod uchod? Pa beth yw y rheol a elwir euraidd? Pwy yw y porth cyfyng neu ddrws y defaid? Pwy yw y ffordd? I bwy y mae y porth yn gyfyng a'r ffordd yn gul? Pa beth sydd ofynol i allu eu rhodio? Pwy a all ei gwneyd yn hawdd rhedeg ar hyd-ddi?

## GWERS XX.

*St. Matthew vii. 15—29. O.C. 28.*

### DYFODIAD RHAGRITHWYR I MEWN I EGLWYS CRIST.

Yr oedd rhagrithwyr wedi meddiannu pob safle gyhoeddus ac eisteddle o awdurdod bron yn yr Eglwys Iuddewig, a rhagwelai yr Arglwydd Iesu y byddai ei Eglwys Ef yn agored i'r un drygau. Nid cynt y daw un achos cyhoeddus yn llewyrchus ac yn fantais safle i ennill elw neu enwogrwydd oddi wrthynt nag yr ymwthia rhagrithwyr i mewn. Lle y byddo arian da mewn cylchrediad, daw yr anonest ag arian drwg i'r farchnad.

GAU BROPHWYDI.

Dan yr enw prophwydi cymmerir i mewn yn y Testament Newydd bob math o athrawon crefyddol. Y mae gau athrawon o ddau fath.

1. Dynion â'u hamcan yn ddrwg, gan "dybio fod duwioldeb yn elw," 1 Tim. vi. 5. Dyma oedd syniad Simon Magus, Act. viii. 18—21.

2. Gau athrawon o fath arall ydyw rhai a fynant ddwyn i mewn eu mympwyon eu hunain ac ystumio y gwirionedd i gyfarfod â rhagfarn eu gwrandawyr, Gal. vi. 6; Act. xx. 29, 30; 2 Pedr ii. 1, 2.

ESBONIAD EGLURHAOL.

Adn. 15: "*Ymogelwch rhag gau brophwydi,*" &c. Pa fodd y mae ymogelu? Peidio barnu wrth y broffes amserol, a'r olwg arwynebol yn yr ymddangosiad cyntaf. Gall y blaidd rheibus daflu gwisg y ddafad am dano dros ennyd a dynwared ei llais, ond ni all guddio ei natur yn hir.

Adn. 16: "*Wrth eu ffrwythau,*" &c. Rhaid i'r pren gael amser i ffrwytho, a'r ffrwyth amser i addfedu.

"*Grawnwin oddi ar ddrain.*" Dyma ddywediad diarebol clws.

Adn. 17: "*Felly pob pren da,*" &c.

Adn. 18: "*Ni ddichon,*" &c. Gall y blaidd fenthyca gwisg y ddafad; ond ni all y *fieren* ddwyn ffrwyth y winwydden, na'r winwydden ddwyn ffrwyth y fieren. Gall pren da y winwydden fod â'i ffrwyth yn brinach ambell dymmor, colli llawer iawn o'i blodau a ffrwyth anaddfed, a gall rhai o'i grawnsypiau fod yn llwgr, ond ei rheol yw dwyn ffrwyth da. Yr addysg yma yw, "*Gadëwch i'r ddau gyd-dyfu*" (St. Mat. xiii. 30) dros amser, a daw yn hawdd gwahaniaethu rhwng y gwir a gau athraw. Y mae gweinidogaeth sefydlog yr Eglwys yn rhoddi mantais ddirfawr i farnu y gweinidog, a chanfod y blaidd.

Adn. 19: "*Pob pren heb ddwyn,*" &c. Torir i lawr y pren diffrwyth yn gystal a'r pren drwg. Y mae hyn yn wirionedd am gyfundrefnau llygredig yn gystal a phersonau unigol, St. Mat. iii. 10; St. Luc iii. 9; a St. Ioan vi. 2, 6. Lle y byddo uniondeb cymmeriad a bywyd ysbrydol fe fydd gweithgarwch.

Adn. 20: "*Wrth eu ffrwythau,*" &c.—Gal. v. 22, 23; ac Eph. v. 9.

Digitized by Google

PERYGLON RHAGRITH.

Adn. 21: "*Nid pob un*," &c. Ofer yw proffes uchel ac arddangosiad dwfn o ddefosiwn a rhith dduwioldeb heb burdeb bywyd ac amcan.

"*Ewyllys fy Nhad*," &c. Ni ddywed yr Arglwydd Iesu un amser *ein* Tad am Dduw, St. Ioan xx. 17. Y mae Duw yn "Dad ein Harglwydd Iesu Grist" drwy genedliad, ac i ninnau drwy fabwysiad.

Adn. 22: "*Llawer a ddywedant wrthyf*," &c.

"*Prophwydasom*," &c. Nid ydyw dawn llefaru godidog yn arwydd sicr o uniondeb cymmeriad a duwioldeb ysbryd.

"*Bwriasom oll gythreuliaid*," &c. Gall dynion fod mewn mwynhâd o rasusau goruwchnaturiol, doniau gwyrthiol, ac eto yn amddifad o achubol ras.

Adn. 23: "*Nis adnabûm*," &c. Ni buasai un cydnabyddiaeth ysbrydol rhwng Crist a hwy, am nad oedd ysbryd hunan-aberthol Crist ynddynt. Eu gogoniant ac elw eu hunain a geisient hwy.

"*Ewch ymaith*," &c.—St. Mat. xxv. 12, 30; 2 Tim. ii. 19. Gall dynion fod yn foddion i achub ugeiniau er bod yn golledig, Erthygl xxvi; 1 Cor. ix. 27: gwel St. Luc xiii. 24, 27.

Y DDAU ADEILAD YSBRYDOL.

Adn. 24: "*Am hyny*," &c. Am fod perygl y rhagrithiwr mor fawr.

"*Gwrandaw a gwneuthur*." Dyma unig ddiogelwch enaid. Ffydd sydd trwy glywed, a chlywed trwy Air Duw. Byddwch wneuthurwyr y Gair, ac nid gwrandawyr yn unig, gan eich twyllo eich hunain, St. Iago i. 22; St. Luc xi. 28; Rhuf. ii. 13; 1 St. Ioan iii. 7.

Adn. 25: "*Sylfaenesid ef ar y graig*." Ar Graig yr Oesoedd—Duwdod Crist, St. Mat. xvi. 16; 1 Cor. iii. 11.

"*Gwlaw*," "*llifeiriant*," "*gwyntoedd*." Pob math o elfenau dinystriol. Ymosodiadau o bob math ar yr enaid oddi mewn a'r holl ddyn oddi allan.

"*Ac ni syrthiodd*," &c., Rhuf. viii. 33—39.

Adn. 26: "*Tŷ ar y tywod*." Peth hawdd ei symmud. Pethau darfodedig—eiddo, elw, enw da, anrhydedd, mwynhâd, melus chwantau, St. Iago i. 10, 11; 1 St. Ioan ii. 17, 18.

EFFAITH Y BREGETH.

Adn. 27: "*Torfëydd a synasant*," &c. Yr oedd cynnwysiad ei bregeth a'r dull y dysgai yn hynod.

Adn. 28: "*Gydag awdurdod*," &c. Y mae cyflawn wybodaeth o'r pwnc a ddysgir ac ymwybodolrwydd o'i bwys yn sicr o ddylanwadu ar ddull yr athraw yn dysgu, a chario argraff ddofn.

"*Nid fel yr ysgrifenyddion*." Athrawon dadleugar, arwynebol, parod i ymladd yng nghylch oddi godreuon gwisgoedd oedd y rhai hyn, St. Mat. xxiii. 16, 17; St. Marc vii. 3—13.

Yn y bregeth ar y mynydd gesyd yr Arglwydd Iesu ei Hun allan fel ffynnonell uchaf awdurdod ysbrydol. "Yr wyf Fi yn dywedyd" ydyw ei eiriau, ac nid y mae Duw yn dywedyd. Saif yma yn awdurdod hunan-ymddibynol rhwng Duw a dyn, fel deddfwr, dysgawdwr, a barnwr. Duw mewn ymgnawdoliad a roddes i ni yr Efengyl sanctaidd yn safon a seiliau bywyd: Efe yw ein hoffeiriad mawr a'n hathraw, ac Efe yw ac a fydd ein barnwr.

CWESTIYNAU.

Pa beth ydyw y pechod enbyd i Eglwys lewyrchus? Pa beth yw gau brophwydi? Pa sawl math sydd o honynt? Enwch hwy. Pa fodd yr ydym i'w hadwaen? Paham y dywedir eu bod i'w hadwaen wrth eu ffrwythau, ac nid wrth olwg y llygad? Pa fantais sydd mewn gweinidogaeth sefydlog i adwaen cymmeriad yr athrawon? Beth ydyw peryglon proffeswyr crefydd, yn neillduol rhai enwog a thalentog? A ydyw grasusau goruwchnaturiol yn bosibl heb feddu gras achubol? Pwy fydd yn barnu pawb yn y diwedd? Wrth ba beth ein bernir? A all gweinidog annuwiol fod yn foddion i achub ereill? Profwch hyny o'r Llyfr Gweddi ac o'r Beibl. Pa beth ydyw y gydmariaeth olaf yn y bennod? Y tŷ ar y graig beth ydyw efe? Beth ydyw y graig? Pa wahaniaeth oedd rhwng yr Iesu yn dysgu a'r ysgrifenyddion?

---

"YR AIL DDYN YR ARGLWYDD O'R NEF."

Boed mawl i Dduw sancteiddiaf fry,
Ac obry hefyd fawl;
Ei hynod air a'i waith i gyd
A brawf i'r byd ei hawl.

O fawr ddoethineb dirion Duw,
Tra yn ein briw a'n bai,
Rhoi Adda'r Ail yn gadarn dŵr,
Eiriolwr rhag y gwae.

O gariad doeth! i gig a gwaed
A gaed yn Adda'n frau,
Drachefn wynebu'r gelyn du,
Ei faeddu, a'n rhyddhau.

Digitized by Google

Ac er ail greu y dyn drachefn,
Ei ddwyn i drefn a'i drin,
I Dduw gyfranu'r Ysbryd Glân,
A'i anian Ef ei Hun.

O gariad rhad! y Duw yn ddyn,
Y gelyn dyn yn gaeth,
A'r Dwyfol ddyn i ddwyn ein croes,
Ein dyblyg loes ac aeth.

Ac er i'w frodyr hwythau i'w dwyn
Yn addfwyn fel eu Pen,
Mewn gardd ymdrechu wrtho'i Hun,
A marw'n flin ar bren.

"Mawl, mawl i Dduw sancteiddiaf fry,
Ac obry bythol fawl,
Ei air a'i waith a draetha 'nghyd
I eitha'r byd ei hawl."

*Rheithordy Llanilid.* JOHN MORGAN.

---

## CENADAETHAU.

Os caniatâ gofod i osod y llinellau hyn yn yr *Haul*, nis gallaf lai na chredu y bydd hyny yn fuddiol i'r Eglwys yn yr amser presennol: nid o herwydd unrhyw deilyngdod o'u heiddo eu hunain, ond o herwydd pwysigrwydd ymarferol y testyn, ac ef allai y byddant hyd yn oed yn eu hammherffeithrwydd yn foddion o ddwyn ereill allan i draethu eu profiad a'u barn ar y symmudiad pwysig hwn.

Nid yw y gair "cenadaethau," "*missions*," yn un hapus naill ai yn y Gymraeg neu y Seisoneg, gan nad yw ar unwaith yn trosglwyddo yr hyn a feddylir. Y syniad poblogaidd am genadaethau yw danfoniad cenadwyr i wledydd tramor i bregethu yr Efengyl i'r paganiaid; ac os sonir am genadaeth gartrefol, meddylir am y cymdeithasau clodwiw hyny ag ydynt yn cyfranu tuag at gynnal gweinidogion cynnorthwyol mewn plwyfydd poblogaidd, lle nad yw gwaddoliadau hynafol yr Eglwys yn ddigon ar eu cyfer. Ond yr hyn a feddylir yma wrth "genadaethau" yw hyn:—Ymdrechion neillduol trwy bregethu a moddion ereill i ddeffroi yr anystyriol, i adeiladu y ffyddloniaid, ac yn gyffredinol i ddwyn pawb yn nes at Dduw a dyfnhau bywyd ysbrydol y bobl. Unrhyw symmudiad â'i fwriad at ddwyn hyn oddi amgylch a haedda sylw difrifol pawb, clerigwyr a lleygwyr, ag ydynt awyddus am lwyddiant teyrnas y Gwaredwr. Un o arwyddion yr amserau presennol yw fod sylw neillduol a thadol yn cael ei rhoddi i genadaethau o'r fath yma gan esgobion a blaenoriaid yr Eglwys; y maent ym mlaenllaw yn y symmudiad, ac yn gwneyd yr hyn a allant i'w feithrin a'i ledaenu. O fel y mae olwyn amser wedi troi! Onid am hyn yn benaf y gyrwyd Daniel Rowlands ag ereill allan o'r Eglwys! Diolchwn gan hyny am yr hyn a fwynhäwn, a gwnawn yn fawr o'n breintiau. Yn ystod y blynyddau diweddaf y mae cenadaethau wedi eu cynnal mewn amryw blwyfydd yng Nghymru—rhai o honynt yn gyfyngedig i un plwyf, ereill yn cymmeryd i fewn ddeoniaeth wladol, neu nifer o blwyfydd ag a fyddent yn gyflëus i'w rhifo gyda'u gilydd. Gelwir yr olaf yn genadaeth deithiol (*itinerant missions*): amcenir ymweled â phob plwyf ddwywaith yn ystod yr amser a benodwyd, a bydd y cenadwyr yn pregethu yn yr Eglwys yn yr hwyr, yn ymweled â'r bobl yn ystod y dydd, a gwneir ymdrech ar iddynt gael eu llettya gan ffermwyr ac ereill, er mwyn iddynt gael cyfleusdra i ymddyddan â hwynt yng nghylch pethau ysbrydol, a bod yn foddion i sefydlu addoliad teuluaidd lle nad yw yn barod. Weithiau pregethir mewn ysgoldai neu adeiladau ereill, lle y byddant yn fwy cyflëus na'r Eglwys, ac fe bregethir hefyd yn yr awyr agored, lle y meddylir y bydd hyny o les. Ond cofier hyn, er fod llawer o bregethu yng nglŷn â'r "genadaeth," eto y mae gwahaniaeth mawr rhwng y pregethu hyn a phregethu y "cyfarfodydd misol" a gynnelir mewn rhai ardaloedd. Y mae yn anhawdd amlygu y gwahaniaeth. Maddeuer i mi am ddweyd mai rhywbeth fel hyn ydyw. Teimlir am bregethu cenadaethol mai nid y dyben yw, ond moddion i gyrhaedd y dyben (*not the end, but the means towards the end*). Ymdrechir ddeffroi'r bobl, ac edrychir a dysgwylir am ddeffroad, nid yn gyffredinol, ond mewn personau unigol. O herwydd hyn, nid y pregethwr mwyaf poblogaidd fydd bob amser y cenadwr mwyaf llwyddiannus. Ym mhellach, ni ddylai y cenadaethau teithiol hyn gael eu hystyried ond megys rhagbarotoad at genadaeth fwy perffaith a hollol, cyfyngedig i un plwyf, neu o leiaf i gylch un offeiriad. Parhâ cenadaeth rheolaidd o'r fath yma tua deng niwrnod, a chymmer i fewn ddau ddydd Sul. Dechreua yn gyffredin nos Sadwrn, a bydd gwasanaethau bob dydd, amryw o honynt, ond y mwyaf pwysig fydd y Cymmun Bendigaid yn y boreu, a'r gwasanaeth hwyrol yng nghyd â'r *after-meeting*. Nis gellir rhoddi adroddiad manol o'r oll a wneir; gellir cael gwybodaeth helaethach drwy ymholi â'r sawl a ŵyr, neu â'r cenadwyr appwyntiedig. Arweinia hyn ni i sylwi ar benodiad y cenadwyr. Fynychaf fe ddewisir dau, ac wedi sicrhau eu gwasanaeth, yr hyn a wneir rhai misoedd cyn yr amser,

Digitized by Google

cyfeirir llythyrau at y plwyfolion—un oddi wrth yr esgob, un oddi wrth offeiriad y plwyf, ac un oddi wrth y cenadwyr—yn gosod allan yr amcanion. Rhaid gosod hyder trwyadl yn y cenadwyr, a gadewir iddynt berffaith rhyddid i gario ym mlaen eu gwaith yn eu ffordd eu hun, unwaith y dewisir hwynt. Dengys hyn y pwys o fod yn ofalus iawn yn eu dewisiad. Wedi hyn dechreuir ar y gwaith o barotoi y plwyf erbyn y genadaeth, ac nid gorchwyl dibwys fydd hyn, canys fe fydd llwyddiant y genadaeth i raddau helaeth yn ymddibynu arno. Dosbarthir traethodau, cynnelir cyfarfodydd gweddi neillduol o eiriol am fendith Duw ar y gwaith, ac mewn amryw ffyrdd creuir dysgwyliad brwdfrydus a dyddordeb personol yn yr hyn sydd i gymmeryd lle. I'r dyben hyn ymrestrir nifer o wirfoddolion o dan arweiniad yr offeiriad, a rhenir y plwyf rhyngddynt, a bydd pob un o honynt yn atebol am y sawl a roddir dan eu gofal. Nis gellir bod yn fanol iawn yng nghylch hyn eto, am y bydd amgylchiadau yn wahanol mewn amrywiol fanau; ond y mae hyn yn sicr, nas gellir talu gormod o sylw i'r gwaith o ragbarotoi, ac fe berthyn hyn nid yn unig i'r genadaeth rheolaidd unblwyfol ond hefyd i'r genadaeth deithiol. Rhywbryd arall ef allai y ceir cyfleusdra i ymhelaethu ar yr hyn a ddywedwyd, canys ofnaf fod yr ysgrif hyn yn rhy faith yn barod. Er hyny, goddefer i mi ddweyd hyn, nid oes dim a rydd fwy o annogaeth i hyfrydwch i weinidog ffyddlawn na chael cenadaeth lwyddiannus; bydd megys yn casglu i mewn lafur-waith gweinidogaeth gydwybodol, a gweled rhai fuont yn cloffi rhwng dau feddwl am flynyddau yn "tori trwyddi." Rhoddir "tôn" uwch i bob gwaith da yn y plwyf, ac i bob gwasanaeth dwyfol. Peidier meddwl fod unrhyw blwyf yn rhy wledig a gwasgaredig ei drigolion i wneyd yr ymdrech, ac os yr ymgynnygir ag ef mewn ysbryd priodol, pwy a ŵyr na wna yr Arglwydd agor i ni ffenestri'r nefoedd, a thywallt i ni fendith fel na byddo digon o le i'w derbyn.

*Llanfihangel Talyllyn, Brycheiniog.* D. Griffith.

## GWALLTER MECHAIN.

A'i lewyrch gwnai ef oleuo—pob pwnc,
Pob peth rho'i law arno.—*Caledfryn.*

Wrth groesi o Ddyffryn Sanad i Lansantffraid ym Mechain, a thremio i fyny ar y dde, pan ar ben y winllan, ceir golygfa ddymunol ar waelod Llanfechain, fel y dywedir. Rhyw ddyffryn bychan prydferth ydyw yn cynnwys tir cynnar a chynnyrchiol iawn. Brithir ei lethrau â llwyni heirdd, yng nghyd â choed ac amaethdai henafol a llewyrchus. Yn rhywle tua'i ganol saif y Llan, yr hwn sy bentref bychan lled wasgarog, ac yn cynnwys Eglwys wedi ei hadnewyddu yn lled ddiweddar, a mynwent gyffredin a llwybr i'r cyhoedd ar ei hyd, yr hyn ni ddylai fod mewn lleoedd o'r fath. Dyfrhëir y dyffryn gan yr afonydd bychain Cain a Brogan, y rhai a redant o wahanol leoedd ar ei hyd i'r un cyfeiriad; hefyd rhed y ffordd haiarn i fyny o Lanymynech ar draws y plwyf i Lanfyllin. O gylch rhyw filltir neu ragor o'r Llan, ar fin y ffordd yr eir i Bwlchycibau, yr oedd bwythyn bychan gynt â thô gwellt ganddo a elwid y Wern, a gardd fechan ffrwythlawn o'i amgylch—yno, ddarllenydd, y ganwyd Gwallter Mechain, yr hynafiaethydd trylen a'r cadeirfardd enwog. Cofus genym ddarllen flynyddau yn ol yn y *Bye Gones* lawer o bethau am ei ddyddiau boreuol, ond rywfodd meddyliem ar y pryd nad oedd llawer o'r pethau hyny a gofnodid yn deilwng o'n harwr, ac felly cyfyngwn ein hunain i sylwi yn fyr arno fel llenor, offeiriad, bardd, a beirniad.

1. Ymddengys ei fod yn ymwneyd â llenyddiaeth yn lled ieuanc. Pa beth roddodd yr ysgogiad cyntaf i'w feddwl nid ydys yn gwybod, ond dywedir fod ei fam yn ddynes o gynneddfau cryfion iawn, ac yn hoff o ddarllen bob llyfr a ddeuai yn ei ffordd. Yr oedd manteision addysg y pryd yma yn lled brin, a dibynid yn hollol ar yr ysgolion cenedlaethol i gyfranu y cyfryw fendithion i'r dosbarth cyffredin. Yr oedd athrawon yr ysgolion hyn yn fynych yn anghymhwys i'w goruchwylion o ran talent a medr, ac nid oedd yn ofynol am ryw yni ac athrylith ddysglaer i'w trechu trwy ragori arnynt mewn gwybodaeth a dysgeidiaeth. Dywedir i'n harwr gael ei yru i'r ysgol yn ieuanc iawn, ac fod tuedd gyflym ynddo at ddysgu yr oll a ddeuai i gyffyrddiad ag ef, ac fod ganddo gof rhyfeddol, fel y gallasai adrodd ar dafodleferydd pob peth a ddarllenid neu a ddysgid ganddo. Wedi gorphen ei ysgol, rhwymwyd ef yn egwyddorwas i ddysgu y gelfyddyd o gwper, a dywedir na wnaeth y llanc ryw gynnydd mawr yn y ffordd hòno, am fod ei fryd a'i awydd cryf am lyfrau yn barhäus. Arferai dori llythyrenau ar geryg beddau, a bu yn cadw ysgol ddyddiol am beth amser. Ymddengys iddo ymgydnabyddu yn lled foreu â llenyddiaeth Gymreig, o herwydd cawn ef yn ymgystadlu yn yr eisteddfodau ar y prif destynau. Yr oedd llenyddiaeth yn bur isel yn y cyfnod yma. Y prif oleuadau oeddynt Llewelyn Ddu, Goronwy Owen, Ieuan Brydydd Hir, Edward Rhisiard, a

Digitized by Google

Dafydd Ionawr. Yr oedd ein hawdwr yn rhyw naw mlwydd oed pan fu farw y Bardd Du ar gyfandir anial America, ac yn rhyw wyth ar hugain pan ddyrwynodd oes helbulus Ieuan wladgarol i ben yn Carnawdref, ei fangre enedigol. Nid oedd yr un greal na newyddiadur yn cael ei gyhoeddi yn un man, a'r unig gyfrwng y gallasai llenorion Cymreig amlygu eu meddyliau ynddo ydoedd yr hen almanaciau, y rhai a gyhoeddid yn flynyddol gan Sion Prys, Llandegla; Thomas Jones, Amwythig; a John Cain Jones, Glynceiriog. Os dygwyddai rhyw anffawd neu gilydd, byddai yr hen feirdd gwladaidd yn eu cofestru yn eu cerddi gwylltion, gan grwydro ar hyd a lled y wlad i'w hadrodd neu eu canu wrth ddrysau tai ffermydd ac yn y llanau. Yr oedd Harri Parry, Craigygath, a Sion Prys bach, Cefncoch, yn enwog am y cyfryw faledau yn nechreuad oes farddol Gwallter Mechain. Pan ystyriwn yr anfanteision yr oedd dano yn nechreuad ei oes, y mae yn syndod ei fod y fath feistr ar y Gymraeg, fel ag i allu ei hysgrifenu mor hylithr ac ystwyth. Nid ydyw hyny i'w ryfeddu gymmaint, o herwydd dywed ef mai gweithiau Goronwy ydoedd y safon y mesurai ei hunan wrthi bob amser. Nis gallasai byth gael gwell cynlluniau, o herwydd mae Cymraeg y Bardd Du mor lithrig a'r gwydr, ac yn rhedeg mor naturiol a'r afon lathraidd ar lawr y ddôl werddlas. Yr eisteddfod gyntaf y bu ein bardd ynddi ydoedd un Llangollen yn 1788, ac yr oedd yn bresennol yn un Corwen y flwyddyn ddilynol, pryd yr ennillodd y gadair. Yr oedd Twm Nant a Jonathan Hughes, Pengwern, yn gydymgeiswyr ag ef am yr anrhydedd. Ymddengys mai rhyw farddoni byrfyfyr ydoedd y dull y dygid y gystadleuaeth ym mlaen, am fod y testynau yn cael eu rhoddi i'r beirdd i gyfansoddi arnynt ar y pryd yng ngŵydd y gynnulleidfa. Dywed Cynddelw fod y beirdd yn eistedd yn yr ystafell lle y cynnelid yr eisteddfod o flaen bwrdd mawr, a bod peiriannau ysgrifenu, a phethau angenrheidiol ereill at eu gwasanaeth yn y lle. Hefyd rhodda y portreiad dilynol o dri o'r ymgeiswyr enwocaf:—"Y dyn ieuanc mawr, esgyrnog, melynwallt, llygadgroes yna, sydd yn eistedd wrth y bwrdd, ydyw Gwallter Mechain. Y dyn canol yna, sydd fel castell cadarn, a'i gorff gewynog, ei aeliau bwaog, ei drwyn pica, ei wefusau yn llawn cellweirgno, a'i lygaid yn llawn direidi ydyw Twm Nant. Yr hynafgwr tal, esgyrnog, a difrifddwys yr olwg arno ydyw Jonathan Hughes." Bu llawer o gecru ac ymdaeru ym mysg y beirdd ar ol yr eisteddfod yma, fel y cawn sylwi eto. Yr oedd y Nant yn un o'r colledigion, ac am hyny yn chwythu bygythion a chelanedd yn erbyn Gwallter Mechain, yn cael ei gefnogi gan Doctor Dafydd Samwel, ac ereill o Wyneddigion poethwyllt Llundain. Modd bynag, rhyw fyned ym mlaen yr oedd ein hawdwr o hyd y naill eisteddfod ar ol y llall, a hyny yn lled lwyddiannus. Cyfansoddodd draethawd campus ar ryddid i eisteddfod Llanelwy yn 1790, yr hwn ennillodd wobr Gwyneddigion Llundain, y mae hwn yn un o'r pethau cyntaf o bwys a ddarllenasom yn Gymraeg. Y mae ei ieithwedd glasurol yn rhagori os oes modd ar arddull Gymreigaidd Morus Cyffin yn ei gyfieithiad rhagorol o amddiffyniad yr Esgob Jewell. Y traethawd yma a'i "Awdl ar Fywyd Dyn" a ddygodd Gwallter i sylw boneddigion a chefnogwyr llenyddiaeth Gymreig, y rhai trwy eu haelioni a'i galluogasant i fyned i Rydychain yn 1791. Boddhawyd Owain Myfyr gymmaint ar ol darllen y traethodyn hwn, nes yr ysgrifenodd at ei awdwr yr adeg yma yn y wedd ganlynol:—"Myfi a ddygaf eich cost; gyrwch ataf fi am ba symiau bynag o arian a fyddo arnoch eu heisiau tra byddoch yn y coleg. A thelerau fy nghynnygiad yw hyn: os trwy ryw aflwyddiant yn fy amgylchiadau y dygwydd i mi fyned yn dlawd, a chwithau mewn llawnder, yna y bydd rhaid i chwi fy nghynnal innau." Ni fu y bardd o dan yr angenrheidrwyd o bwyso ar haelioni y Myfyr ond unwaith, a chafodd y llyfronydd yn gystal a'i air. Tra yn Rhydychain bu yn ddiwyd a llafurus iawn i gasglu gwybodaeth a diwyllio ei feddwl gafaelfawr. Anfynych y gadawai y lle yn ystod y gwahanol dermau, ac os dygwyddai ddyfod i Ogledd Cymru byddai ganddo amryw dybenion mewn golwg, megys olrhain ac ymlid llyfrau prinion, a llawysgrifau henafol yng ngwahanol balasau a threfydd ein gwlad. Ar ol gadael yr athrofa penodwyd ef yn gurad Meifod gan y Parch. W. Brown. Ni fydd yn rhyw hir cyn cael Yspytty Ifan gan Arglwydd Mostyn. Yr oedd ei arglwyddiaeth yn ychydig yn iau na'r bardd, ac wedi ei fagu yn Bodfach, Llanfyllin, o fewn rhyw bedair milltir i Lanfechain, ac felly yn lled debyg fod y ddau yn wybyddus o helyntion eu gilydd. Wedyn cafodd rheithoriaeth Llanwyddelan gan Horsley, a symmudodd ym mhen ryw bedair blynedd oddi yno i Finafon. Ar ol bod yn y lle olaf am ryw ddeg mlynedd ar hugain, symmudodd drachefn yn y flwyddyn 1837 i Lanrhaiadr ym Mochnant, lle y bu farw Rhagfyr 5med, 1849.

(*I'w barhau.*)

HENRI MYLLIN.

---

Nis gall neb hoffi pawb, na chael ei hoffi gan bawb.

Digitized by Google

## "LEAD KINDLY LIGHT."

*Cynnyg arall at gyfieithu i'r Gymraeg Emynau tra adnabyddus y diweddar Cardinal Newman.*

"Y dydd hefyd y tywysodd Efe hwynt â chwmwl, ac ar hyd y nos â goleuni tân."

Dos, Oleu mwyn, rhwng lleni ar bob llaw,
Dos Di ym mlaen;
Mae'n dywell nos a'm cartre' 'mhell fan draw,
Bydd Di o'm mlaen:
Gwna lywio 'nhraed, ni raid i'th lewyrch Di
Ddadguddio'r pell, un cam wna'r tro i mi.

Bu arnaf dymmor na ofalwn fawr
Dy gael o'm mlaen;
Mi fynwn gynt fy ffordd fy hun, yn awr
Bydd Di o'm mlaen;
Er cael aml sen ymglymai'm serch wrth fri
A rhawd y byd—na chofia'r amser fu.

Dy law a'm cadwodd hyd yn hyn rhag drwg,
Dros graig a rhos,
Dros lif a thon, yn dirion eto'm dwg
Nes ffy y nos,
A d'od o'r wawl, a'r sawl a gerais, do,
Am amser maith, ond fu ar goll dros dro.

*Rheithordy Llanilid.* JOHN MORGAN.

---

## LLAN CWM AWEN:

### NEU DDEFFROAD EGLWYSIG HANNER CANRIF YN OL.

(*Parhâd o dudalen 45*).

### PENNOD IV.

*Edrych ansawdd y Plwyf.*

CYCHWYNAI Llewelyn Llwyd ac Angharad o'r Eryron, yn Ninas, yn dra boreu tua Llan Cwm Awen fel ysbiwyr i edrych ansawdd plwyf eu haddewid, a mawr oedd y dychymmygu dystaw ym mynwes y foneddiges ieuanc pa fath le ydoedd. Rhedai y ffordd yn gyfochrog â min y môr dros ysbaid lled faith o'r siwrnai, a dyrchafai trum o fynyddoedd uchel ar y llaw arall, o fewn pellder o dair i bedair milldir iddynt. Gorchuddid penau dyrchafedig y rhai hyn a'u hysgwyddau llydain ag eira yn fantell wen, ac edrychai y môr yn ddu guchiog, ac oerllyd dros ben. Disgynai ambell gawod o eirlaw hefyd ar y gwastattir, a gwneid y ffordd yn lleidiog a drwg ei chyflwr. Rhaid oedd i Angharad gadw ei diddoslen uwch ei phen yn fynych, ac yn wir nid oedd hyny yn llawer o golled, gan nad oedd dim sirioldeb i'w weled o amgylch. Fel yr elent ym mlaen nesai y drum fynyddig at y môr gan derfynu yn fynydd serth, garw, a thra uchel, a'i sawdl yn ymestyn i'r dwfr o'u blaenau yn union, fel yn llwyr gau eu llwybr. Tybiodd Angharad fod yn rhaid iddynt fyned dros frig, neu o leiaf ysgwydd y mynydd, a dechreuodd ofni'r daith am y tro cyntaf; ond yr oedd ganddi ddigon o hunan-feddiant i gadw ei hofnau iddi ei hun, ac ni wnaeth ychwaneg na gofyn i Llewelyn Llwyd pa gyfeiriad a gymmerai y ffordd wedi cyrhaedd y mynydd. Ar hyny daethant i olwg trofa ynddi, a dangosai yntau y cyfeiriad yn croesi megys meilwng troed y mynydd, yr hwn a blanasai ei sawdl yn y môr, tra y cyfodai blaen y troed yn graig flaenllym uchelgrib o'r llif. Wrth ei dangos sylwai Llewelyn Llwyd fod eu llwybr yn dechreu ymddangos yn oerllwm ac unigol dros ben, a'i bod yr amser gwaethaf ar y flwyddyn i'w weled. Meddai hithau, "Y mae yn dda ei weled yn ei waethaf. Daw pob peth yn well wedyn." Nid hir y buwyd yn croesi troed y mynydd a gweled godreu Cwm Awen yn dechreu ymagor o'u blaen. Ffurfiai y cwm hwn ardal wledig bron ar ben ei hun. Gellir dweyd ei fod yn cael ei warchae a'i amddiffyn o amgylch gan fôr a mynydd. Ynestynai cainc o'r mynydd, y croesid ei odreu wrth fyned i mewn iddo o'r gogledd, mewn math o fwa tua'r deheu, gan wyro tua'r gorllewin, a throi drachefn yn ogleddol, nes cyrhaedd y môr yn ol, lle y terfynai mewn mynydd tra uchel yn rhedeg yn lled bell i'r môr. O fewn cylchedd y mynyddau hyn codai mân fryndiroedd unigol, a elwid *cyrn*, megys y Gyrn Goch, Cyrn Hebog, Cyrn Hyrddod. Ymddangosai y *Gylchedd* bellenig o dan gawod o eira fel pedol march anferth i Angharad, a chribau uchel y Cyrn oddi fewn iddi bron fel llyffant y carn yng ngwadn y troed. Ebai Llewelyn Llwyd wrth weled Angharad yn cymmeryd i fewn yr holl olygfa, "Beth debygech chwi o Gwm Awen?" "Meddwl yr oeddwn," atebai hithau, "am y Dyffryn Dedwydd yn chwedl Tywysoges Abyssinia." "Pan elo yr eira acw ymaith ac y gwisgir y dyffryn â glaswellt, bydd yma le dedwydd." Oni bai fod gyriedydd yn y cerbyd buasai i Llewelyn Llwyd arddangos ei edmygedd o'i briod ieuanc mewn dull mwy gwresog na gwasgiad dystaw o'i llaw dan gŵr y *rug*. Daeth golygfëydd newyddion i gyfnewid rhedfa yr ymddyddan yn dra buan, o herwydd dynesai y cerbyd at bentref bychan gwasgarog, ac Eglwys hynafol yn sefyll mewn llwyn o goed yn noethfrigog, ac heb ddim gwyrddlesni oddi eithr yr iddwf ar ei mur yn agos iddi. Tŵr petryal o geryg llwydion oedd i'r Eglwys, a

Digitized by Google

synai Angharad yn fawr nad ymddangosai dim coed yw yn y cyffiniau. Daeth y persondy cyn hir i'r golwg mewn congl gysgodol wrth gŵr isaf y fynwent, a dau neu dri o gaeau bychain o'i flaen, ac afonig lled gref yn ysgubo mewn bwa trwy bantle coedig wrth eu godreu. Ar waelod y rhiw, fel rhagwyliwr y pentref, safai gefail, a daeth y gof du, esgyrniog, garw ei wedd a'i wisg, grymus fraich ac ysgwydd, i'r drws a gefail dân hir yn ei law ddeheu, a'i *spectol* ar fon ei drwyn, gan edrych dros y gwydrau ar y cerbyd yn myned heibio. Cyn i Angharad gael hamdden i feddwl llawer am y gof du, aeth y cerbyd heibio i siop fechan ar ymyl y ffordd, ac ychydig o fân angenrheidiau cyffredin teuluoedd syml yn y ffenestr, a *sign* o ddeutu deng modfedd o hyd a chwech o led wrth ben y drws. Ymddangosai ychydig o lythyrau mewn rhan arall o'r ffenestr, ac agorfa derbyn llythyrau wrth ei hochr. Gwedi myned heibio i ddau annedd-dŷ bychain, unigol, drachefn, safodd y cerbyd o flaen gwestty bychan, ar gongl lle yr ydoedd ffordd syth yn croesi y "ffordd bost," gan gyfeirio o'r mynydd-dir ar lan y môr. "Dyma ni yn Llan Cwm Awen," meddai y gyriedydd. "Y mae yr Eglwys yn y coed y fan yna. Gellwch weled y clochdy dros y clawdd drain yma, ac y mae y Persondy yng ngwaelod yr allt yn ymyl." "Pa le y mae y pentref?" ebai Angharad. Dyma fo," atebai yntau, gan edrych o amgylch. "Yr ydym wedi pasio tri neu bedwar o dai, ac y mae rhes o dai bychain, tri neu bedwar, eto draw ar y ffordd yma, a dau neu dri i lawr at y Persondy." Tra yn rhoddi hyn o hysbysrwydd disgynasai y gyriedydd, daethai Mrs. Evans, y Bodfan Arms, i'r drws, a gwahoddodd Angharad i mewn i'r gwestty. Yr oedd yno gegin lled fawr, a llawr o geryg gleision, wedi eu golchi yn lân, a thywod glân wedi eu daenu yn deneu drosto. Edrychai yr aelwyd a'r tân yn llenwi y *grate*, a'r heiyrn o'i amgylch mor loew ag arian, yn hynod o gysurus. Nid oedd un cwsmer yn y gegin ar y pryd, a chymmerodd Angharad ei heisteddle wrth y tân i ymdwymo ar ol y daith oer. Gwedi taflu golwg frysiog dros y gegin tra yr aethai Mrs. Evans i roddi tro trwy y parlwr, a gweled fod pob peth yn ei le yno, ebai Angharad wrth ei gwr, "Gresyn na ellid cael cysuron y gwesty heb ei demtasiwn, a'i ganlyniadau meddwol." "Ië," meddai yntau, "nid oes un man ond cartref yn debyg i'r gwestty Cymreig a Seisnig am bob cysuron; a phe byddai modd cael y cyfleusderau a'r cysuron heb y meddwdod sydd yng nglŷn â'r yfed ynddo, byddai yn gaffaeliad gwerthfawr." "Yr ydym *ni* yn cael y cysuron, y mae y gwragedd a phlant oferwyr yn cael gofid o'r un ffynnonell." Erbyn hyn yr oedd Mrs. Evans yn barod i dderbyn Angharad i'r parlwr, ac i weini i'w hangen, ac yr oedd gyriedydd y cerbyd yn awyddus am gongl gynhes wrth dân y gegin, ar ol gweled ei farch yn gysurus yn yr ystabl. Aethai y si hefyd trwy y pentref bychan fod y person newydd wedi cyrhaedd yno, a dechreuai segurwyr a doethion y dreflan gysglyd dyru at eu gilydd i fesur, pwyso, gwahodd, beirniadu, ac ymdrechu ennill teimlad da y dyfodiaid newyddion.

### PENNOD V.

*Ymweliad â Thŷ y Galar.*

Gwedi gorphwys o honynt ennyd fer a chael lluniaeth, ymbarotôdd Llewelyn Llwyd ac Angharad i ymweled â'r Persondy, ac â'r weddw alarus a'i merch oeddynt yn athrist ddysgwyl eu holynwyr i ddyfod i'w gwthio allan megys o'u hen gartref tawel.

Ebai Angharad, "Dyma y mynyd anghysurus cyntaf a deimlais er pan soniwyd am ein dyfodiad i Gwm Awen. Yr wyf yn teimlo ryw fath o euogrwydd wrth feddwl myned i archwilio tŷ gwraig alarus nas gallaf roddi gair o gysur gwirioneddol iddi, gan y bydd yn sicr o edrych arnaf fel ail ffynnonell o ofid, os nad colledion iddi. Os maddeuwch y fath gydmariaeth, yr wyf yn teimlo yn debycach o lawer i wraig baili yn canlyn ei gwr i droi truain tlodion o'u tai, nag i wraig offeiriad yn myned i gysuro y galarus yn awr trallod."

"Yr ydych yn dweyd gormod," atebai Llewelyn Llwyd, tra yn teimlo i fesur mawr naturioldob y sylw. "Gwaith poenus iawn sydd genym heddyw, ond gwaith llwyr angenrheidiol. Yr unig beth a ellir wneyd dan amgylchiadau o'r fath ydyw cyflawnu y ddyledswydd ofidus yn y dull tyneraf a mwyaf Cristionogol."

"Ië," atebai Angharad, "ond wedi'r cyfan, byddaf fi bob amser yn teimlo dros symmudiad gweddwon ac amddifaid yr offeiriaid Eglwysig o'u Persondai cysurus mor uniongyrchol ar ol colli priod, a ffynnonell eu cynnaliaeth, yn beth i'w fawr ofidio. Bydd bob amser yn fy adgofio o'r aderyn a'i nyth ar gangen grin."

Rhyw foreu gwlithog teg ym Mai,
  Tra'n rhodio trwy y coed,
Canfyddais nyth cywreindlws clyd
  O'r tecaf fu erioed.

Fe ganai bronfraith uwch ei ben,
  Ac arno'n gwrandaw'r gân
Eisteddai mam, a than ei phluf
  Anwesai gywion mân.

Digitized by Google

Yr hwyr dychwelais trwy y coed,
Ar ol taran-wlaw mawr,
A'r nyth a'r cywion tyner oed
Wasgerid ar y llawr.

Uwch ben, ar foncyff moel, y fam
Oedd fud mewn trallod blin,
A gwelais innau fel y bu
Eu nyth mewn cangen grin.

Gan feddwl am y "nyth mewn cangen grin," aeth Angharad gyda Llewelyn Llwyd at y Persondy. Braidd yr edrychodd ar ddim o'i hamgylch nes cyrhaedd y drws.

Rhoddes Llewelyn Llwyd gnoc neu ddau araf a thyner ar y drws, a daeth morwyn lanwaith ond dros ganol oed i agor, a dangosodd ystafell fechan drefnus, ond hynafol ei dodrefniad, i'r ddau ymwelydd. Gwedi amlygu pwy oeddynt, aeth y wasanaethferch ag enwau yr ymwelyddion i'r weddw a'r amddifad i ystafell arall.

Ysbaid poenus iawn i Angharad oedd mynydau y dysgwyliad am air neu ymweliad oddi wrth un o'r teulu. Dywedodd ar ol hyny ei bod yn teimlo yn union fel pe yn dysgwyl y *dentist* i mewn i dynu ei dant. Ond ni chadwyd hi yn hir dan y dirdynfëydd poenus hyny.

Daeth boneddiges â galarwisg ychydig ar ol ffasiwn y dydd i mewn yn wylaidd, a dywedodd ar unwaith, "Byddwch cystal ag eistedd i lawr. Yr oeddym wedi clywed am eich dyfodiad, ac y mae yn dda genym eich gweled. Buoch yn dra charedig ysgrifenu at Mr. Hughes, y curad, i ddweyd na byddai arnoch eisieu y tŷ dros gymmaint o amser. Y mae yn drwg genyf nad yw Mr. Hughes gartref yr wythnos hon, neu buasai yn dda ganddo ddangos pob peth i chwi."

Atebodd Llewelyn Llwyd, "Gellwch fod yn sicr, madam, mai nid i edrych oddi amgylch tŷ eich mam y daethym, ond i alw arnoch chwi a hithau, i gydymdeimlo â chwi yn eich trallod, gan wybod fod yr un trallodion i gyfarfod â ninnau. Byddwch cystal a dweyd wrth eich mam, os gallwn ni fod yn wasanaethgar iddi mewn un modd, y teimlem ni yn ffafr cael gwneyd hyny. Clywsom ddwywaith neu dair oddi wrth Mr. Hughes y curad, ac ni buasem yn brysio dim ddyfod i'r ardal oni bai fod yn rhaid iddo ef ymadael oddi yma. Y mae wedi derbyn cynnygiad, fel yr amlygwyd i chwi, ef allai, yn Llanlleufer, ac os derbynia hi, rhaid iddo ddechreu ar ei weinidogaeth yno yn dra buan."

Cymmerodd Angharad ran yn yr ymddyddan, a bu ei dull llednais a diymhongar, ac ar yr un pryd boneddigaidd ac urddasol, yn foddion i ennill llwyr ymddiried Miss Phylip, merch y cyn-offeiriad. Mynodd hon i'w mam ddyfod i mewn, a daeth yr ymweliad yn lle bod yn achlysur o ail agoriad briw yng nghalon y weddw, yn foddion o feddyginiaeth a chwaliad ofnau.

Gwelodd Llewelyn Llwyd ac Angharad ar unwaith fod y Persondy mewn cyflwr tra adfeiliedig, yn gofyn adgyweiriad helaeth iawn, nas gellid ymafael ynddo yn nhrymder gauaf. Hysbysasid hwy hefyd gan yr esgob, yn gystal a chan Mr. Hughes y curad, nad oedd gan y weddw druan braidd ddim at ei chynnal, llawer llai at gyfarfod gofynion adferu yr adeiladau Eglwysig. Penderfynasant felly gymmeryd lletty, os gallent dros y gauaf, a gadael i'r weddw aros yn y Persondy hyd nes y ceid gweled beth a ellid wneyd o gymhorth iddi. Hysbyswyd y weddw o hyn, a theimlai hithau ei hun yn llawer tebycach i un yn derbyn cyfeillion newyddion i'w thŷ nag olynwyr i'w disodli megys o'i hen gartref.

Aeth Llewelyn Llwyd ac Angharad yn ol o'r Persondy, gan deimlo yn llawer mwy cysurus nag yr oeddynt wrth fyned i mewn, a gadawsant deimlad cysurus ar eu hol yno, ac agorasent ffenestr fechan o obaith i dywynu ar lwybr tywyll y weddw unig a'i merch. Y mae dirfawr wahaniaeth rhwng y naill ddyn a'r llall hyd yn nod wrth wneuthur gwaith ag sydd ynddo ei hun yn annymunol. Gellir cyflawnu gorchwyl poenus mewn dull dymunol lawer gwaith, a rhoddi cymmwynas ar y llaw arall mewn dull angharedig.

Wedi cael y ffordd fawr ebai Angharad, gan gipio gafael lled dŷn ym mraich Llewelyn Llwyd, a cherdded wrth ei ochr, "Yr wyf yn teimlo wedi ysgafnhau drwyddaf ar ol gweled Mrs. a Miss Phylip. Edrychent yn ofnus ac ammhëus os nad drwgdybus o honom ar y cyntaf, ond yr oeddynt yn sirioli bob mynyd wrth i ni ymddyddan â hwy; ac wrth ymadael ymddangosent fel hen ffryndiau, neu bobl wedi cael ffafr oddi ar ein llaw, ac nid creaduriaid gwirion yn myned i golli eu cartref."

"Digon gwir," ebai Llewelyn Llwyd. "Hen foneddiges wedi gweled dyddiau dysglaer yn gystal a nosweithiau tywyll yw Mrs. Phylip, ac yr wyf yn dra diolchgar eich bod *chwi* wedi fy ngalluogi i ddangos peth caredigrwydd i'r teulu galarus. Buasai yn peth boenus iawn i mi orfod gwasgu dim ar y teulu trallodus i ymadael o'r Persondy; ond pe na buasai gan fy ngwraig ei thipyn ceiniog annibynol i helpu mewn bwlch, buasai raid i offeiriad newydd Llan Cwm Awen ymfoddloni i fyned i'r Persondy fel y mae, a phrysuro yr hen deulu allan."

"Tewch, Llewelyn," ebai Angharad, "buasai

hyny yn greulon. Gwell genyf fi bob amser gymmeryd fy nhaflu dipyn o'r ffordd na gwasgu ar neb. Nid oes dim gwell na bod yn garedig wrth bawb."

"Yr wyf fi yn uniawn o'r un farn a chwi, fy hoff Angharad," atebai Llewelyn. "Ond i fod yn gymmwynasgar, rhaid cael *gallu* yn gystal ag ewyllys. Pan elo offeiriad tlawd i ddilyn neu olynu offeiriad tlawd, a chostau y naill a'r llall yn fwy nag a allant yn gyflëus eu dwyn, bydd yn anhawdd i'r naill ystyried llawer ar anhawsderau y llall, a bod yn gymmwynasgar. Dyma gyflwr llawer o'r offeiriaid sydd yn codi, a dyma fuasai fy nghyflwr innau, oni bai eich ewyllys da a'ch *gallu* chwi."

Rhoddes Llewelyn Llwyd bwyslais mor eglur ar y gair gallu, ac ar yr un pryd wasgiad ar ei braich ato mor amlwg nes peri i ffrwd o wrid redeg i wyneb Angharad, a dyrysu peth ar ei pharabl; a chyn gallu o honi ail gychwyn yr ymddyddan, yr oeddynt wrth borth y fynwent, lle eu dysgwylid gan y clochydd a'r ddau *warden*. A chasglasai cynnulliad bychan o'r pentrefwyr yn ddau a thri o amgylch y fan i lygad-rythu ac i ymholi â'u gilydd.

(*I'w barhau.*)

---

## LLEN GWERIN.

### *Y Tylwyth Teg.*

Nid oes nemawr ardal fynyddig yng Nghymru ar na cheir ynddi fwy neu lai o draddodiadau am ymweliadau ac ystranciau direidus y bodau hyny a adnabyddir wrth yr enw, "Y Tylwyth Teg;" ac yn wir, hyd yn ddiweddar, yn rhai o ardaloedd mwyaf anhygyrch ein gwlad, lle nad oedd gwareiddiad (?) ac arferion yr oes fursenllyd hon ond prin wedi cael lle i roddi eu troed i lawr, yr oedd y cyfryw chwedlau yn anarferol luosog, a hwynt-hwy a wnaent i fyny gyfran helaeth o lenyddiaeth deuluaidd ein hen dadau syml a diniwed. Mawr y mwynhâd a'r adloniant pan gydeisteddai'r teulu, ac odid rai o'n cymmydogion, ar hir-nos auaf, o gylch eirias o dân mawr gwresoglawn i wrando adrodd am ymddangosiadau a dyeithr gampau y bodau rhyfedd hyny. Y mae dysgrifiad byw yr awenyddol Las Ynys o deulu yr Hafod Lwyfog mor nodweddiadol o lawer teulu arall gynt, fel y tueddir ni i'w ddyfynu:—

"Rhyw noson oer ddryghinog yn Hafod Lwyfog lân,
O dan y simneu fawr yn glyd yn profi blas y tân,
Eisteddai tair cenedlaeth—y plant, y tad, a'r fam,
A neina yn ei chadair wellt, a theida'n hen a cham
Mewn cadair freichiau dderw yn trin y tân â'i ffon,
A'r plant yn cydymryson bod dan ei lygaid llon.



Hen arfer Hafod Lwyfog er dyddiau 'Cymru Fu'
Oedd adrodd chwedlau wrth y plant am hir-nos gauaf du:
Un hynod iawn oedd neina am gofio naw neu ddeg
O'r pethau glywodd gan ei nain am gampau'r Tylwyth Teg
Wrth gribo gwlan ddechreu-nos, a'i merch yn diwyd wau,
A'i gwr yn diwyd wneyd llwy-bren, neu ynte efail gnau;
Ond teida oedd y goreu am hen gofiannau gwlad,
Y rhai a ddysgodd yn y cwm wrth gadw praidd ei dad."

Nid yw y grediniaeth yn y Tylwyth Teg a'r cyffelyb mewn un modd yn gyfyngedig i Gymru, ond ceir ei bod yn ffynu mewn rhyw ffurf yn y rhan fwyaf o wledydd y byd. Mewn oes o anwybodaeth ac ofergoeledd hawdd i'r dychymmyg osod chwedloniaeth farddol yn lle achosion naturiol. Fel y crybwyllwyd eisoes, Arabia ydyw gwlad frodorol chwedloniaeth, ac yn eu mysg ceir chwedlau am y Tylwyth Teg yn ffurfio rhan helaeth ac arbenig, a thebygol ydyw iddynt gael eu cludo i Ewrop gan y *Troubadours.* "Ceir mynych gyfeiriadau atynt yn nhraddodiadau boreuol yr Italiaid, y rhai fel yr Arabiaid a feddent chwedlau dirif am wlad yn cael ei phreswylio ganddynt. Dygwyd y grediniaeth yn eu bodolaeth i Ffrainc yn y ddeuddegfed ganrif gan *Lancelot of the Lake.* Credai y dosbarth uchaf ynddynt fel y dysgrifid hwy mewn rhamantau; gwelai y bobl hwy mewn cestyll adfeiliedig, neu y cyfryw a amgylchynid gan goedwigoedd, ond trigent hefyd o ddeutu ffynnonau a choed. Chwareuent rhan fawr a phwysig yn rhamantau marchwriaeth (*chivalry*), gan roddi iddynt swyn arbenig. Yr oedd y chwedlau hyn wedi gweithio eu ffordd i Loegr cyn amser Chaucer a Spenser; ac mor lluosog oeddynt, ac mor gyffredinol y gred ynddynt, fel nad ymddangosant yn neillduol hynod nac yn annaturiol pan y dygwyd hwy i'r llwyfan gan Shakespeare. Gorchwyl hawdd ydoedd eu cymmodi â'r athrawiaeth Gristionogol o ysbrydion da a drwg; ac amcanodd Tasso yn ei *Jerusalem Delivered* ddwyn i gyfundrefn farddol y bodau ysbrydol hyn—mewn rhan yn Gristionogol, ac mewn rhan yn baganaidd. Yn rhan olaf yr eilfed ganrif ar bymtheg daeth y gwir chwedlau am y Tylwyth Teg yn dra phoblogaidd; ac yn 1704, cyfieithwyd yr *Arabian Nights* i'r Seisoneg, yr hyn fu yn achlysur i doraeth fawr o'r cyfryw lenyddiaeth wneyd ei ymddangosiad tua diwedd y ganrif. Ond mae y bodau hyn mewn rhamant yn gwahaniaethu cryn lawer oddi wrth yr un bodau, fel y ceir hwy yn llên gwerin. Tebyga y blaenaf mewn rhan i'r *nymphs* Groegaidd, gan ymrithio yn gyffredin ar ffurf rhianod o lendid anghymharol, gan hudo marchogion i ynysoedd a phalasau Hud."

Perthynai i bob gwlad ei rhywogaeth neillduol o'r Tylwyth, ac yr oedd eiddo Cymru yn llawer mwy

Digitized by Google

gwerinaidd eu gwaedoliaeth nag eiddo gwledydd y Dwyrain. Yn ol y dysgrifiad a geir o honynt fel y trosglwyddir ef yn draddodiadol i lawr i ni (o blegid, ysywaeth, y mae eu hymweliadau weithiau mor anaml ag ymweliadau angylion), yr oedd Tylwyth Cymru, fel y bobl eu hunain, yn llawer mwy chwarëus a diniwed nag eiddo gwledydd ereill, ac yn enwedig eiddo yr Almaen. Gosodir hwy allan fel rhywogaeth fechan, gorachaidd, ac o duedd nwyfus a direidus, ac yn hoff o gynnal dawnsfëydd ar benau'r moelydd ar nosweithiau lloergan lleuad. Dywedid hefyd y byddent ar adegau yn barod ddigon i estyn cymmwynasau a ffafrau bychain i'r sawl a freintid ag ymweliad nosawl oddi wrthynt, megys ysgubo'r llawr, a hyd yn oed dyrnu yr yd. O'r tu arall, dysgwylient hwythau rywbeth yn y ffordd o ad-daliad am eu cymmwynasgarwch, megys bowliad o hufen neu rywbeth maethlawn arall, ac yn niffyg hyny ni byddai ond aflwydd yn aros y teulu hwnw. Ymddengys eu bod yn nodedig am eu hoffder o lanweithdra, a byddai aelwyd lân a siriol yn debyg iawn o'u denu i dalu ymweliad nosawl â'r cyfryw fwthyn cyn toriad y dydd; ac os na ddygid cariadau i'r merched ieuainc, ond odid na wneid iawn am hyny trwy adael dernyn o arian ar y pentan, er mawr foddhâd i'r sawl a godai gyntaf i wneyd tân. Rhwng cromfachau, digon tebyg nad oedd hyn namyn cyfrwysdra yr hen bobl er meithrin glanweithdra a thaclusrwydd ym mysg pobl ieuainc!

Ond nid oedd rhywogaeth Tylwyth pob rhandir o'r un anianawd garedig a rhadlawn a'r uchod. O'r tu arall, dysgrifir hwy fel rhyw giwed ladronllyd, Ismaelaidd, yn llechwra i'r tai, ac yn lladrata yr ymenyn a'r caws, ac weithiau yn dwyn y babanod o'r crydau, ac yn rhoddi eu hedlychiaid annhymmig eu hunain yn eu lle. Weithiau hefyd cymmaint fyddai eu beiddgarwch a'u tuedd ladronllyd, fel y talent ymweliad â ffeiriau a marchnadoedd, gan ladrata arian pobl ddiniwed bob dimai goch.

"Mae yng Nghymru ddirfawr grynu,
 O waith teulu'r Tylwyth Teg;
Y rhai beunydd hyd geunentydd,
 Ac hyd bronydd yn gwneyd breg
Llawer plentyn teg aeth ganddynt
 Pan y cym'rent helynt hir
Oddi ar anwyl dda rieni
 I drigfanau difri dir."

Y chwedl geir ar lafar gwlad mewn amryw barthau o Gymru gyda golwg ar ach a dechreuad y Tylwyth Teg ydyw a ganlyn:—Yn amser ein Hiachawdwr yr oedd gwraig yn byw yn rhywle ym Mhalestina ag iddi o ddeutu ugain o blant; a phan welodd hi y Gwaredwr yn dyfod at ei thŷ, cyfododd cywilydd arni wrth feddwl fod ganddi gynnifer o epil; ac er mwyn osgoi iddo eu gweled oll, hi a guddiodd o ddeutu'r hanner gyda'r gofal mwyaf; a phan ar ol ei ymadawiad Ef o'r tŷ yr aeth i ymofyn am danynt i'r guddgell, nid oeddynt i'w cael yno, ac ni welodd byth olwg arnynt mwyach. Y casgliad naturiol, gan hyny, ydoedd ddarfod i farn o'r nef syrthio arni am guddio o honi yr hyn a roisai Rhagluniaeth iddi, a chredir mai yr epil hyn a genedlasant y Tylwyth Teg. Creded a gredo.

"Os angenrhaid eu cyssoni," fel y sylwa un awdwr, "â rhyw fodau dynol neillduedig, mwy rhesymol honi iddynt darddiad Derwyddol, gan fod hanesyddiaeth yn hynod ffafriol i'r cyfryw dyb ddychymmygol; o herwydd gwyddom orfod i'r Derwyddon ddiogelu eu hunain a'u teuluoedd mewn ogofau anghysbell a diarffordd gysgodlwyni rhag trythyllwanc gwaedlyd y Rhufeiniaid erlidgar. Ydyw, y mae arferiadau y Tylwyth Teg, yn neillduol felly eu dawns a'u rhialtwch o amgylch y dderwen gyssegredig a gwyrddliw ofyddol eu dillad, yn cadarnhau y dyb yma."

G. M.

---

## ARDDERCHOG LU Y MERTHYRI.

(*Parhâd o dud. 109, Cyf. VI.*)

Yn gynnar yn nechreu teyrnasiad Harri yr VIII., yn 1509, cafodd llawer eu dwyn at yr ystanc i'w llosgi, ym mysg pa rai yr oedd chwech o wŷr ac un wraig, y rhai gawsant eu llosgi yn Coventry am ddysgu y Credo, Gweddi yr Arglwydd, a'r Deg Gorchymmyn i'w plant yn eu hiaith eu hunain. Ychydig ar ol hyn, cafodd llawer eu condemnio fel hereticiaid a'u dwyn at yr ystanc. Cafodd un William Tracy, o Teddington, ei losgi o achos ymddiried yng Nghrist a nacäu addoli seintiau a delwau. Cafodd un Andrew Hewitt ei losgi yr un amser a W. Tracy. Cafodd Fisher, esgob Rochester, a Syr Thomas More, yr arglwydd ganghellydd, eu condemnio i farw, a chafodd y ddau dori eu penau yn y Tŵr; a chafodd llawer ereill hefyd eu darnio a thori eu penau yr adeg yma.

Yn y flwyddyn 1535, trwy orchymmyn Harri yr VIII., cyfieithwyd ac argraffwyd yr holl Feibl i'r iaith Seisoneg; a gorchymmynodd y brenin am fod copi o hono yn cael ei ddodi ym mhob Eglwys. Gwnaed hyn yna yn fuan ar ol i Harri syrthio allan â'r pab, a thaflu ei iau ef oddi arno. Ond ni ddychymmygodd Harri y buasai ei ddeiliaid yn cofleidio

Digitized by Google

opiniynau y Diwygiad yn ddim pellach nag yr oedd ef ei hun yn gwneyd hyny.

Mae yn wirionedd fod amryw wedi cael eu merthyru *ar ol* argraffu y Beibl a'i osod yn yr Eglwysydd. Dyma enwau rhai o honynt—Dr. Barnes, cyfaill Thomas Cromwell, Garret hefyd a Jerome, dau bregethwr: dygwyd hwy at yr ystanc yn Smithfield, a hyny ym mhen tri diwrnod ar ol Thomas Cromwell. Hefyd, ar ol hyn galwyd cymmanfa gyda'r amcan o rwystro darllen y Beibl yn y tai gartref, ac i roddi gorchymmyn ar fod i'r holl Feiblau ym mhob cwr o'r wlad gael eu rhoddi yn ol i'r awdurdodau dan yr esgus nad oedd y cyfieithad ddim yn gywir. Bu Cranmer yn benaf o bawb yn gwrthwynebu hyn, a thystiai yn ddifloesgni mai eu hamcan oedd amddifadu y werin bobl o'r Ysgrythyrau. Dylid crybwyll yn y fan hon fod y brenin wedi rhoddi *ail* orchymmyn ar fod i'r Beibl gael cylchrediad mwy cyffredinol ym mhlith pob dosbarth o'i ddeiliaid, ac nid *un* ym mhob plwyf fel ar y cyntaf. Eto, ni wiw gwadu y ffaith mai dyn creulawn tra awdurdodol oedd Harri yr VIII. Yr oedd yn gymmaint felly fel y *mynai i'w air ef* fod yn gyfraith, pe buasai bosibl. Yr oedd felly gyda phynciau gwladol ac eglwysig, ac yn greulawn iawn yn ei deulu. Bu yn briod chwe gwaith: ymadawodd â dwy wraig; torodd benau dwy; bu farw un yn fuan ar ol genedigaeth baban; a darfu yr olaf ei oroesi, wedi bod ychwaneg nag unwaith mewn enbydrwydd am ei bywyd. Dywedir na bu erioed yn ddyn o dymmer dda; ac fel yr oedd yn heneiddio a chael ei ddal gan afiechyd, yr oedd yn cynnyddu mewn tymmer ddrwg a chreulondeb, yn gymmaint felly fel y petrusai y rhai oedd yn gweini arno fyned i'w bresennoldeb. Ac yr oedd y fwyall farwol ar waith yn y Tŵr yn tori penau pobl yn feunyddiol; a'r tanau yn ffaglu yn Smithfield, yn llosgi yn ulw ddynion a merched diniwed. Eto, cydnabyddir fod ei waith yn syrthio allan ac yn ymrafaelio â'r pab, a thrwy hyny yn ymwrthod â chydnabod uwchafiaeth y pab; ei waith yn chwalu y mynachlogydd, y rhai oedd y pryd hyn wedi myned yn nythleoedd Pabyddiaeth a phob math o lygredd—chwalodd tua 383 o'r rhai hyn yng ngwahanol barthau y deyrnas; ac *yn enwedig* ei waith yn gorchymmyn cylchrediad mwy cyffredinol o'r Ysgrythyrau ym mhlith pob dosbarth o'i ddeiliaid—bu y pethau yna yn foddion i wneyd Prydain yn wlad Brotestanaidd (mewn enw o'r hyn lleiaf) yn lle bod yn wlad Babyddol. Felly bu i Harri yr VIII., yn hollol anfwriadol mae yn debyg, fod yn foddion effeithiol i agor y ffordd a rhwyddhau y Diwygiad Protestanaidd. Achos dechreuol yr ymrafael rhwng y Brenin Harri a'r pab oedd, am i'r olaf nacäu rhoddi llythyr ysgar i'r brenin i ymadael â'i wraig. Yr oedd y pab ychydig cyn hyny hefyd wedi nacäu rhoddi cenad i'r Brenin Harri i gael darllen gwaith Martin Luther! Fe ddienyddiwyd dros 70,000 o bersonau yn ysbaid ei deyrnasiad. Felly yr oedd ar gyfartaledd agos i 2000 yn cael eu dienyddio bob blwyddyn. Yr ydym yn cael yn yr Ysgrythyrau Sanctaidd fod yr Arglwydd i ryw ddyben doeth, anhysbys i ni, wedi bod yn defnyddio dynion drygionus lawer tro fel offerynau i ddwyn ei amcanion i ben, a hyny yn hollol anfwriadol ar eu rhan hwy. Mae Ef wedi "dyrysu amcanion" llawer gormesdeyrn cyn hyn: "Cynghor yr Arglwydd a saif," meddyliau ei galon o genedlaeth i genedlaeth. Yr ydym yn gweled fod bradwriaeth, creulondeb, ac anghyfiawnder yn cael eu dwyn ym mlaen yn gysylltedig â'r fendith fwyaf a ddaeth i ran dynolryw erioed, ac a ddaw byth, sef "croeshoeliad Arglwydd y bywyd." Gwnaed hyn "trwy ddwylaw anwir," "bradwyr a llofruddion" fel offerynau.

Bu farw Harri yr VIII. yn y flwyddyn 1547 yn 56 mlwydd oed, wedi teyrnasu am 38 mlynedd. Yr oedd y Diwygiad Protestanaidd y pryd hyn megys yn ei fabandod. Yn fuan ar ol esgyniad Edward y VI. i'r orsedd, yn 1547, ar ol ei dad, rhoddwyd gorchymmyn breninol allan, a hyny trwy ddylanwad Cranmer, Ridley, a Dug Somerset yn benaf, ar fod i'r holl ddelwau, lluniau, creiriau, canwyllbrenau, a phob math o ofergoeledd gael eu symmud allan o'r holl Eglwysydd; a bod i'r Credo, Gweddi yr Arglwydd, a'r Dengair Deddf gael eu hadrodd yn yr iaith gyffredin; yr epistol a'r efengyl i gael eu darllen, a phennod o'r Beibl i gael ei darllen yn y boreuol a phrydnawnol wasanaeth. Gorchymmynodd fod pulpud i gael ei wneyd ym mhob Eglwys i bregethu Gair Duw allan o hono bob Sabbath. Gorchymmynodd y brenin hefyd gyhoeddi pregethau neu homiliau i'w darllen ar ol y gwasanaeth yn yr Eglwysi. Gelwir hwn yn *Llyfr Cyntaf yr Homiliau.* Y prif bynciau yr ymdrinir â hwy ynddo ydyw, gwerthfawrogrwydd yr Ysgrythyrau, a'r ddyledswydd o'u chwilio a byw yn ol eu cyfarwyddiadau; cwymp dyn trwy bechod; cyfiawnhâd trwy ffydd yng Nghrist. Hefyd annogaethau i weithredoedd da; ac yn fwyaf neillduol cariad, ufudd-dod, tangnefedd a diweirdeb. Mae'r llyfr drwyddo yn taro yn erbyn ysbryd Pabyddiaeth, yr hwn oedd y pryd hyny, fel y mae eto, *am gadw yr Ysgrythyr Lân o ddwylaw y werin.*

Gorchymmynwyd hefyd fod y Cymmun Sanctaidd i gael ei weinyddu i'r lleygion yn y *ddau ryw*, sef bara

Digitized by Google

a gwin. Galwyd pwyllgor o esgobion a duwinyddion i ffurfio Liturgi yr Eglwys, ac yn 1549 cyhoeddwyd y Llyfr Gweddi Gyffredin am y tro cyntaf. Diddymwyd hefyd yr hen gyfreithiau gorthrymus a gwaedlyd a wnaethid o amser i amser yn erbyn y Protestaniaid. Er nad oedd y brenin ond ieuanc iawn, fel Josiah brenin Judah, pan ddechreuodd deyrnasu, cafodd ei hyfforddio a'i ddysgu gan ei gynghorwyr yn y wir ffydd. Yn ysbaid byr ei deyrnasiad, llwyddodd y Diwygiad Protestanaidd yn fawr iawn yn y deyrnas hon, a hyny trwy sel a diwydrwydd Cranmer, Ridley, a'r Dug Somerset yn benaf.

Bu farw Edward y VI. pan yn 16 oed, yn y flwyddyn 1553, wedi teyrnasu dim ond 7 mlynedd. Gwnaed ei chwaer Mari yn frenines ar ei ol ef. A'r peth cyntaf a wnaeth hi bron oedd dienyddio Lady Jane Gray a'i gwr. Wedi hyny gorchymmynodd ar fod i'r bleiddiau canlynol gael eu gollwng yn rhyddion o'u carcharau—Gardiner, Bonar, Tonstal, Day, Heath, ac ereill; ac yn fuan wedi hyn maent yn cael eu hadferu i'w swyddau blaenorol; a chafodd Cranmer, Ridley, Latimer, Hooper, a llawer ereill eu diswyddo a'u hanfon i'r carchar yn eu lle. Gorchymmynwyd hefyd ar fod i'r gwasanaethau yn yr Eglwysi o hyny allan i gael eu gweinyddu yn ol trefn Eglwys Rhufain; a thrwy ddylanwad y Pabyddion darfu y frenines briodi Phylip o 'Spaen, Pabydd eithafol. Yr adeg yma, ail ddechreuwyd llosgi a merthyru y Cristionogion yn y deyrnas hon. Ac nid heb achos y gelwir y frenines hon yn *Fari Waedlyd*, o herwydd dyoddefodd yr Eglwys o dan ei theyrnasiad brofiad tanllyd ac angerddol iawn. Dywedir mai y cyntaf a ddyoddefodd ferthyrdod y pryd hwn oedd un John Rogers, gweinidog eglwysig duwiol a phoblogaidd: cafodd ei losgi yn Smithfield, yn Llundain, yn 1555. Ar ei ol ef cafodd Saunders a Taylor, dau weinidog Eglwysig, eu merthyru. Llosgwyd hwy yn Coventry. Wedi hyny Hooper, esgob Caerloew, a ddyoddefodd ferthyrdod. Llosgwyd ef yn y modd creulonaf, ond dyoddefodd yn y modd mwyaf amyneddgar; a phan ddygwyd ef at y 'stanc, estynwyd iddo ysgrifen oddi wrth y frenines yn cynnyg arbed ei fywyd, os gwnai droi yn Babydd, ond efe a wrthododd wneyd hyny: felly llosgwyd ef yn Caerloew, sef yn ei esgobaeth ef ei hun. Felly hefyd Dr. Taylor, gweinidog ffyddlawn yn Hadley, a wrthododd wadu y ffydd. Wedi ei fwrw ef i gael ei losgi, dywedodd y caffai y pryfed ym mynwent Hadley eu siomi am na chaent ei gorff i'w fwyta—fod yn well ganddo i'w gorff gael ei losgi yn ulw, na gwadu Crist Iesu ei Arglwydd. Yr oedd y Dr. Taylor yn gaplan i'r Archesgob Cranmer. Yr oedd gwr o'r enw Tomkins, gwëydd, yn ddyn crefyddol, ffyddlawn, a duwiol. Hwn hefyd a ddyoddefodd ferthyrdod yn hytrach na gwadu ei grefydd. Wedi i Bonar, yr esgob Pabaidd yn Llundain, geisio ganddo ym mhob modd *wadu*, ac iddo yntau nacäu yn bendant, darfu Bonar ei bwyo a'i faeddu yn greulawn, trwy dynu gwallt ei ben a'i farf, a llosgi ei law gyda chanwyllau nes oedd dwfr yn saethu allan o'r gïau, ac mae yr hanes yn dyweyd ei fod yn tystio nad oedd yr un gronyn o boen oddi wrth y driniaeth ysgeler hon. Yn y diwedd cafodd ei holl gorff ei losgi yn Smithfield.

(*I'w barhau.*)

*Ceryg-y-Druidion.* HUGH HUGHES.

---

## ER SERCHUS GOF

*Am y diweddar Barch. Ganon Evans, cyn-ficer Caernarfon.*

Yn wr ieuanc o'r hoewaf—adwaenom
Daniel Evans; cofiaf
Y gloew wyneb o'r glanaf,
A'r wên lon fel hinon haf.

I ail gof ei ddelw gyfyd—yn haul des
Canol dydd ei fywyd,
A'i fwa drwy ei fywyd
O dan waith ar dŷn o hyd.

Llafurwaith y llefaru,—a hwyrion
Oriau'r ysgrifenu,
Yn achos o wanychu
Ei oes fer ddihoenus fu.

Nid henaint a'i dihoenai,—llifeiriant
Llafurwaith a'i llethai;
Ei lais gwych yn floesg a ai,
A'i gadarn olwg edwai.

Fel Aaron o'i filwriaeth—ac o wisg
Wen ei weinidogaeth,
A golwg ei fugeiliaeth
Yn llaw Duw o'r neilldu aeth.

Heddyw ei wely fedd heulog—a welaf,
Bedd y milwr enwog;
A'i arfau arno'n gerfiog—
Dwylaw gras yn dal y Grog.

ELIS WYN O WYRFAI.

(*Allan o "Geninen Gwyl Dewi," 1891.*)

Digitized by Google

## ADGOF UWCH ANGHOF.

### Y DIWEDDAR BARCH. THOMAS JONES HUGHES, M.A., RHEITHOR LLANBEDR, DYFFRYN CLWYD.

BYDD yn ofidus gan gannoedd o ddarllenwyr yr *Haul* ddeall farw yr ysgolor llednais a chyfarwydd, y Parch. T. J. Hughes (T. J. Hughes yr *Haul* mor fynych amser yn ol). Yr oedd Mr. Hughes yn un o'r ychydig ysgolheigion hyny a allant ymdrafferthu i chwilio allan a pherffeithio eu holl waith yn gyflawn. Yn ei fanylder craffus yr oedd ei nerth. Ni fynai ollwng o'i law ddim ond a fyddai orphenedig ac wedi ei gwbl lyfnhau. O herwydd hyny yr oedd ei ysgrifau bob amser yn fyrion, a'i sylwadau ar ieithyddiaeth mor gynnwysfawr a chryno bron a sylwadau y Dr. Westcott ar lenyddiaeth Feiblaidd, fel ag y gofynid i'r darllenydd fod â'i feddwl ar lawn waith wrth eu darllen. Dengys ei erthyglau ysgolheigaidd ar "Eiryddiaeth y Beibl Cymraeg" yn yr *Haul* am 1885 ac 1886 mor fanwl, cywir, a chryno y cyflawnai ei holl waith. Y mae yn yr *Haul* am 1887 ac 1888 hefyd erthyglau hynod o fuddiol o dan ei law ar "Gymraeg y Llyfr Gweddi." Ond ychydig o rawnsypiau lloffion hwyr gynauaf llenyddol y Parch. T. J. Hughes ydyw ei ysgrifau yn yr *Haul*. Ysgrifenodd lawer i'r *Cymro* gynt, a chryn lawer i wasg Eglwysig deng mlynedd ar hugain a deugain mlynedd yn ol. Ond yr oedd Mr. Hughes yn un mor alluog fel llenor Seisoneg, ac ennillodd wobr anrhydeddus yn eisteddfod Aberffraw yn 1849 am draethawd ar Gystrawen a Theithi Cymraeg a Seisoneg, a chyfarwyddyd i'w dysgu.

Yr oedd yn frodor o Fangor, a derbyniodd ei addysg foreuol yn Friars School, Bangor. Oddi yno aeth i Gaergrawnt, lle yr ennillasai ysgoloriaeth yng Ngholeg y Drindod. Daeth allan yn *wrangler* yn 1844, a chymmerodd ei radd o B.A. Yn 1846 derbyniodd urddau diacon gan esgob Bangor, ac urddau offeiriad yn y flwyddyn ganlynol. Ei guradiaeth cyntaf oedd Llanfaes o 1846 i 1850; yna Northope o 1850 i 1860. Yn y flwyddyn olaf dyrchafwyd ef i fywoliaeth Llanasa, swydd Fflint, lle y bu hyd 1870, pan ei dyrchafwyd i reithoriaeth Llanbedr Dyffryn Clwyd. Bu yn y swydd o arholwr cyflogedig yr ysgolion dyddiol yn esgobaeth Llanelwy o 1859 hyd 1870, a gwnaeth waith rhagorol mewn cydweithrediad ac o dan gyfarwyddyd yr Esgob Short, gwr a fu o fendith annhraethol i Gymru fel darparydd addysg—dyn oedd yn caru y genedl heb erioed *ei hadnabod*. Pe buasai yr Esgob Short yn adwaen y genedl a'r genedl yn ei adwaen yntau, buasai ei enw yn anwyl gan bawb. Ond yr oedd yn hawdd deall Mr. Hughes, a bu ei waith yn fendith.

Ni bu er pan adwaenwn ni ef, ac y mae hyny ym mhell dros chwarter canrif, yn gryf o gorff; ond yr oedd bob amser yn llafurus ac yn cymmeryd poen,. a gofal, ac amser gyda'r oll o'i waith. Cyflawnai waith ei weinidogaeth yn bwyllog a dyfal, heb un math o arddangosiad. Eglwyswr tawel, trwyadl, a ellid restru yn uchel-Eglwyswr oedd. Yr oedd hefyd yn foneddwr bob modfedd o hono, fel y dywedir, ac o dueddfryd enciliedig a theimlad tyner. Eglwyswr tawel, llednais, ffyddlawn, gofalus am wneuthur pob peth yn weddaidd ac mewn trefn oedd Mr. Hughes. Yr oedd yn wr uniawn, gloew ei gymmeriad, gwylaidd, addfwyn, a duwiol ei fryd, ac yn feddiannol ar bwyll a synwyr cyffredin cryf, ond amddifad o'r brwdfrydedd a dwyma dorf. Cyfuniad tra anghyffredin ydyw dysg da, pwyll arafaidd, a brwdfrydedd tanllyd; ond ceir ef yn achlysurol, a lle y ceir ef bydd yno ddyn mawr. Y gweithiwr hunanfeddiannol tawel, amyneddgar, rheolaidd, diwyd oedd rheithor diweddar Llanbedr Dyffryn Clwyd. Y mae iddo un mab a gweddw alarus i'w oroesi, a gedy enw anrhydeddus ac anwyl gan filoedd yng Nghymru ar ei ol.

---

### Y DIWEDDAR THOMAS ESSILE DAVIES.

(*Dewi Wyn o Essyllt.*)

Bu farw y bardd adnabyddus a thalentog Dewi Wyn o Essyllt yn ddisymmwth o ddeutu mis yn ol yn ei drigeinfed mlwydd oed. Chwarter canrif yn ol safai ar ben ei hun bron fel prif fardd y Deheudir, ac arno ef y gorphwysai y pwys, ac iddo y perthynai yr anrhydedd, o gadw i fyny enw da ei dalaeth enedigol o Gymru. Meddyliai Eben Fardd yn uchel am dano, ac ystyriai ef y mwyaf galluog o'i gyfoedion. Ennillodd rifedi dirfawr o wobrwyon, a llanwodd fwlch amlwg yng ngadwen olyniad y beirdd rhwng Eben Fardd, Hiraethog, Caledfryn, Emrys, a Nicander, y rhai a ragorent bob un yn ei neillduolion ei hun arno, a beirdd lluosog a gyfodasant ar ei ol ac a feddiannasant uchelfanau Parnassus, ac a gadwant afael arno mewn modd eglur ac anrhydeddus. Nid oes ammheuaeth am athrylith gref gynhenid Dewi Wyn o Essyllt. Yr oedd yn fardd ac nid cynghaneddwr. Yr oedd ganddo wythïen dda o'r peth byw; ond nid ymdrafferthodd i feistroli y gelfyddyd o wisgo creadigaethau y meddwl mewn gwisg ieithyddol a chynghaneddol o'r fath oreu; ac o herwydd hyny bu *agos* ag ennill gwobrwyon lawer,

Digitized by Google

heb law y rhifedi mawr a ennillodd. Cyfarfu y diweddar Dewi Wyn o Essyllt â phrofedigaethau teuluaidd chwerwon trwy farwolaethau, a bu farw o glefyd y galon.

---

Y DDIWEDDAR MISS SUSAN JONES, Y TERRACE, CORWEN.

MERCH oedd Miss Susan Jones i D. R. Jones, Ysw, meddyg adnabyddus yng Nghorwen, a bu farw ar y pummed o Chwefror diweddaf yn 23 mlwydd oed; ac y mae ar gyfrif ei rhinweddau deniadol, gwylaidd, a defnyddiol yn deilwng o gongl fechan yng nghangell gyssegredig adgof uwch anghof yr *Haul*. Peraroglodd yn ei bywyd byr ond llednais rhodfëydd mwyaf cyssegredig bywyd—aelwyd ei rhieni, yr Ysgol Sul, Eglwys Dduw, ystafell wely y claf, a llettygarwch. Yr hyn a allodd yn yr oll o'r manau cyssegredig hyn, a wnaeth er mwyn ychwanegu cysuron neu leddfu dyoddefiadau pawb o'i hamgylch. Gwir alerir ar ei ol gan gylch eang o'r tu allan i gar-enydd ei theulu ei hun o'r palas i'r tlotty, ar gyfrif ei gweithgarwch tawel, gwylaidd, a'i hymddygiad caredig llednais. Yr oedd yn anwylbeth tad a mam, ac yn addurn i'w rhyw ym mhob cylch, ac er gwywo yn araf i gynnar fedd ni chlywyd gair o gwyn o'i geneu. Afraid dweyd fod galar tad a mam yn ddwys ar ol geneth o'r fath gymmeriad, a chydymdeimlad tref gyda hwy.

Yng ngwanwyn ir, yng ngwenau—ei hoes hardd
Susan dan ei blodau
Welwyd yn hir lwyd wanhau,
A graddol gurio'i gruddiau.

Ond er gwaned ar gynnydd—ai heuldes
Ei sirioldeb beunydd—
Gobaith oediog byth ddedwydd
A'i llonai, daliai bob dydd.

Llaw Ner yn dyner dani,—a gwenau
Teg ei wyneb arni
A'i haddfedodd, harddodd hi
I lawnach nef oleuni.

Hoffderau'i choffadwriaeth—deg emant
Gwmwl tywyll hiraeth
Ar ei hol, tynera aeth
A hir alar marwolaeth.

O'r wag aelwyd llwybr goleu—adawodd
Rhwng duon gymylau;
Uwch daiarol wychderau
Y mae y nef i'w mwynhau.

*Llangwm.* ELIS WYN O WYRFAI.

CALENDAR Y MIS.

Y MAE dygwyddiadau mawrion uchel wyl y Pasc eleni yn cael eu dwyn i mewn i galendar mis Mawrth, ac yn cysgodi yr oll o'r is-wyliau. Y Pasc, gwyl fawr symmudol yr Eglwys a phegwn uchaf ei blwyddyn ddifwlch ydyw, ond nid *cron*. Nid yw y ddaiar yn troi yn hollol gron yn yr ystyr o wastad syth, ond ar ogwydd, ac nid yw ei chylchdro o amgylch yr haul yn grwn ond hirgrwn. Felly y flwydd yn Eglwysig. Y mae iddi ddau begwn, y Nadolig a'r Pasg. Ar y Nadolig daeth Mab Duw yn ddyn—gwyl yr ymgnawdoliad ydyw y Nadolig. Dyma begwn mawr cyntaf y flwyddyn Eglwysig. O amgylch y pegwn hwn y tywyna goleuni y Gwasanaeth Dwyfol o'r Sul cyntaf yn Adfent i'r Sul a elwir Septuagesima. Yma deuwn dan ddylanwad attyniad y Pasc. Gwyl fawr yr adgyfodiad, pan brofwyd yr Arglwydd Iesu yn Fab Duw drwy ei adgyfodiad oddi wrth y meirw: dyma wyl fawr gobaith dynoliaeth. Uchel wyl y prynedigaeth—prynedigaeth yr enaid ar y Groes ar ddydd Gwener y Croglith, a phrynedigaeth y corff o'r bedd ar Sul y Pasc.

Bellach nesäwn yn wylaidd tua gwyll y Groes, ac edrychwn o dan odreu y tywyllwch am beth o oleuni Sul y Pasc. Trefnwyd gwasanaeth ar gyfer pob dydd yn yr wythnos cyn y Pasc—wythnos ddifrifol olaf Crist ar y ddaiar; ac nid oes dim yn rhyfedd yn hyn, o herwydd pan edrychom i'r pedair efengyl y mae bron un ran o dair o honynt yn cael eu cymmeryd i fyny â hanes dygwyddiadau yr wythnos cyn y Pasc. Rhaid felly fod marwolaeth ac adgyfodiad Crist yn ffeithiau pwysig: a dyma faen prawf dwyfoldeb crefydd. Y mae llawer o son am ryfeloedd y Groes. Cyfarfu holl alluoedd cryfaf y byd Cristionogol, a holl alluoedd y gau brophwyd Mahomed, a buont yn ymladd am dros ganrif gyfan am *fedd yr Iesu*. Ymladd digon cnawdol oedd yno, ond ymladd brwdfrydig iawn. Ystyried y deallus; onid oes yn y rhyfeloedd hyny gysgodion o ryfel o'r fath arall lle y mae galluoedd uchaf anghrediniaeth yn herio galluoedd uchaf Cristionogaeth i frwydr eto wrth *fedd yr Iesu*. Am le—gwagle ei gorff sanctaidd—yr ymladdai y Saraceniaid a Christionogion gynt, ond am beth llawer uwch yr ymleddir yn awr. Bydded i bob Cristion cywir ymbarotoi i'r frwydr.

Gadëwch i ni ymdrechu brysiog-ddilyn camrau Crist yn nesu at y Groes.

YR WYTHNOS SANCTAIDD: DYDD GWENER CYN SUL Y BLODAU.

Cychwynodd y Gwaredwr tua Jerusalem gan was-

Digitized by Google

garu bendithion ar hyd ei daith, St. Marc x. 32—34. Rhoes wers ar ostyngeiddrwydd i Iago ac Ioan, St. Marc x. 41—45.

Ar y ffordd yn agos i Jericho rhoddes ei olwg i Bartimëus ddall, St. Matt. xx. 29—34. Aeth i dŷ Zacchëus, St. Luc xix. 1—10. Dammeg y punnoedd, adn. 11—29.

DYDD SADWRN CYN SUL Y PASC.

Y swper yn nhŷ Simon y gwahanglwyfus, St. Marc. xiv. 3—9; St. Ioan xii. 1—8. Yma eneiniwyd corff yr Iesu erbyn y claddedigaeth. Crist, gwir Oen y Pasc, a welir yn hanes Beiblaidd y dydd hwn, ac yng ngwasanaeth yr Eglwys. Dyma oedd y dydd i ddewis yr oen Pasc dan y ddeddf, Ecs. xii. 1—51.

SUL Y BLODAU.

Crist yn anfon dau o'i ddysgyblion i ymofyn am yr ebol, St. Luc xix. 29; St. Matt. xxi.; St. Marc xi. Yn marchogaeth i Jerusalem. Yn wylo uwch ben y ddinas anedifeiriol. Ym myned i'r deml. Y Groegiaid yn ceisio ei weled, St. Ioan xii. 20—37. Y llais o'r nef. Dychweliad gyda'r dysgyblion i Bethania, St. Marc xi. 11.

DYDD LLUN.

Dychwelyd i Jerusalem, St. Matt. xxi. 18. Melltithio y ffigysbren diffrwyth, St. Marc xi. 12. Glanhau y deml yr ail waith. Ei galw tŷ fy Nhad —tŷ gweddi. Dysgu yn y deml, St. Luc xxi. 37.

DYDD MAWRTH.

Treuliodd yr Arglwydd Iesu yr oll o'r dydd hwn yn athrawiaethu yn y deml. Diwrnod oedd a lenwid hyd yr ymylon â gwaith. Y boreu dychwelodd i'r deml gan ddysgu ei ddysgyblion ar y ffordd wersi o ffydd, gweddi, a maddeuant, St. Matt. xxi. 20—22; St. Marc xi. 22—26. Yn y deml llefarodd ddammegion—1. y llafurwyr anniolchgar; 2. y ddau fab; 3. y gwr o berchen tŷ; 4. y wledd briodas. Yr ymddyddan am arian y deyrnged. Cyhoeddodd wae uwch ben y Phariseaid. Troes ei gefn y tro olaf ar y deml, St. Matt. xxiv.; St. Marc x. iii.; St. Luc xxi.

Prydnawn dydd Mawrth, gwedi gadael y deml (St. Matt. xxv.; St. Marc xiii.), gan eistedd ar gyfer y deml (St. Matt. xxiv. 1—3—51), Efe a ragfynegodd ddinystr y deml. Dyma y pryd y llefarodd ddammegion—1. y deng morwyn; 2. y talentau; 3. y defaid a'r geifr; 4. y ffigysbren; 5. y gwas ffyddlawn a doeth. "Y nos" aeth i Fynydd yr Olewwydd, St. Luc xxi. 37.

DYDD MERCHER.

Dyma y diwrnod yr aeth Judas at yr archoffeiriaid i gytuno am fradychu yr Iesu. Dydd Mercher y gwerthu yw, St. Marc xiv. Yr oedd gelynion dichellgar oddi allan (adn. 1, 2) yn sychedu am waed y Cyfiawn, a bradychwr oddi mewn yn llosgi o chwant am fudrelw i'w werthu, adn. 10, 11. Ychydig o hanes gweithredoedd y dydd hwn sydd genym. Ymddengys fel gorphwysfa wedi llafur cyn y storm.

DYDD IAU Y CABLU A DYDD CYNTAF Y DYODDEFAINT.

Dygwyddiadau y dydd: Y dysgyblion yn parotoi y Pasc, St. Marc xiv. Yn yr hwyr yn bwyta y Pasc St. Marc xiv. 17; St. Luc xxii. 14. Tra wrth, swperu, yn golchi traed ei ddysgyblion. Yn sefydlu ac ordeinio sacrament ei gorff a'i waed yn Swper yr Arglwydd. Yn rhoddi y tamaid i Judas. Yr ymddyddan difrifol a dwfn gyda'r dysgyblion, St. Ioan xiv.—xvi., a'r weddi fawr gyfryngol, xvii. Crist yn myned allan o'r oruwchystafell (St. Ioan xviii.) ar ol canu mawl, St. Marc xiv. 26. Am waith difrifol y nos hon darllener St. Matt. xxvi. 36, 37, a St. Luc xxii. 39—71. Cadwyd y Gwaredwr mewn ingoedd drwy y nos o'r "ing a'r chwys gwaedlyd" yn yr ardd i lys Caiaphas, ger bron Annas, a

DYDD GWENER Y CROGLITH

ger bron Pilat yn gyntaf, St. Luc xxiii. 1; St. Ioan xviii. 26; yna ger bron Herod, adn. 8; drachefn ger bron Pilat. Ei draddodi, fflangellu, gwawdio, coroni â drain. Arwain i'w groeshoelio, St. Luc xxiii. 26. Simon yn ei helpu i ddwyn ei groes. Y gwragedd yn wylo. Cyrhaedd Calfaria. Ei groeshoelio y drydedd awr, St. Marc xv. 25.

Y llais oddi ar y groes—

1. St. Luc xxiii. 34.—Gweddi gyfryngol Crist fel archoffeiriad.

2. St. Luc xxiii. 43.— Crist y Gwaredwr yn achub hyd yr eithaf, ac agoryd teyrnas nef i bawb a gredant.

3. St. Ioan xiv. 27.—Mabol gariad yn darparu dros yr amddifad.

4. St. Matt. xxvii. 46.—Gweddi ffydd yn y tywyllwch, a'r amddifad yn galw ar ei Dduw.

5. St. Ioan xix. 28.—Y corff yn wan. Ingoedd corfforol y colli gwaed.

6. St. Ioan xix. 30.—Y dyferyn olaf o gwpan Gethsemane. Cyflawniad yr oll.

7. St. Luc xxiii. 46.—Goleuni yn yr hwyr. Crist

Digitized by Google

yn y goleuni. Y llygaid ar ymadael yn gweled gwên y Tad.

"Efe, &c., gyda'r cyfoethog yn ei farwolaeth," Luc xxii. 50—56; St. Ioan xix. 38—42.

DYDD SADWRN (*Y Sabbath Iuddewig*).

Gorphwysai corff yr Arglwydd Iesu yn y bedd, a gorphwysodd y dysgyblion athrist a'r gwragedd sanctaidd dros y Sabbath, St. Luc xxiii. 56.

SUL Y PASC.

Nid oes genym ofod ac elai meithder ein hysgrif yn faich pe yr ymdrechem nodi ffeithiau mawrion y dydd hwn. Dyry yr efengylwyr un bennod bob un at wasanaeth hanes y Pasc cyntaf. Y dydd cyntaf o'r wythnos. Dydd yr Arglwydd. Y dydd y rhoddwyd yn gyflawn y commissiwn mawr i'r Apostolion, St. Ioan xx. 19—23. Dydd y llawenydd nefol. Dydd y *maddeu* i'r naill y llall (Efe a gyfododd i'n cyfiawnhau). Dydd yr adnewyddu cyfeillach ("Dos, dywed i'm brodyr ac i *Pedr*"). Dydd gobaith penaf dyn. "Crist a gyfododd oddi wrth y meirw, ac a wnaed yn flaenffrwyth y rhai a hunasant."

---

## SIMON YN CARIO'R GROES.

Yn nhawelwch dwfn ei fawredd,
  Dacw Frenin nef a byd,
Yn ymblygu at ei groesbren
  Garw mewn addfwynder mud:
Ias marwolaeth araf gerddai
  Trwy y cread pan oedd Duw
Yn cyfodi ar ei ysgwydd
  Holl drueni dynol ryw.

Gyda'i groesbren ar ei ysgwydd,
  Mentrodd Ef i'w farwol loes,
Tra'r oedd pwysau byd colledig
  Yn grogedig wrth ei groes:
Ddwyfol glwy'! anfeidrol ofid!
  Mae yr Hollalluog fraich
Gododd fydoedd i'w cyssawdiau
  Yn ymollwng dan y baich.

Dacw Simon o Cyrene 'n
  Plygu dan y croesbren erch,
Tra dyferai dros ei galon
  Ddafnau gofid pur a serch:
Codai'r addfwyn Oen ei wyneb
  Lleddf a gwaedlyd ato ef,
Ac o'i drem i galon Simon
  Llifodd môr o wawl y nef.

Serth yw'r ffordd a thrwm y croesbren,
  Chwardd y gelyn ar bob tu;
Gyda'i *fywyd* ar ei ysgwydd,
  Simon ddaeth i Galfari:
Fraint oruchel! eiddigeddu
  Mae cerubiaid gwynion gwawr,
Tra mae'r Tad yn siriol wenu
  Ar ei wen orseddfainc fawr.

Prin y gwyddet pan yn cario'r
  Groes fod "Duwdod yn y dyn,"
Ac ni theimlaist eto'i nerthoedd
  Dwyfol dan dy fron dy hun:
Hon fydd gallu cryfa'r nefoedd,
  Hon fydd sail dy fywyd di;
Ti gei eto deimlo'i nerthoedd,
  A chei farw drosti hi.[1]

Dyma fraint fwy anrhydeddus
  Na phe cawsai'th enw gwiw,
Flamio byth drwy'r eangderau
  Ar fynwesau bydoedd Duw:
Gwyn dy fyd, Cyreniad anwyl!
  Os bu'th ysgwydd dan y groes,
Bellach bydd dy ben dan goron
  Bywyd dros anfarwol oes.

ELLDEYRN.

[1]Barna rhai i Simon ddyoddef merthyrdod; o ganlyniad, y cyfeiriad yma.

---

## GOHEBIAETHAU.

DIRWEST.

*At Olygydd* YR HAUL.

SYR,—Yn Abertawe y dydd o'r blaen cyfeiriodd maer y dref, sef Syr J. Dillwyn Llewelyn, Penllergare, at y meddwdod enbyd a gymmer le yn y dref uchod. Dywedai fod dros bum cant o ddynion wedi cael eu cospi am feddwi yn ystod y flwyddyn ddiweddaf yn Abertawe, tra nad oedd ond tri tafarnwr wedi cael eu gwysio o flaen yr ynadon am roddi diod i feddwon, ac fod dau o'r achosion hyny wedi cae eu taflu allan. Galwai ar y prif gwnstabl i roddi gwybodaeth, pan fyddai dyn yn cael ei ddirwyo am feddwdod, ym mha le yr oedd efe wedi cael y diodydd oedd wedi ei feddwi: nis gallwn weled nad yw cais maer Abertawe yn berffaith resymol, ac yn ofynol hefyd er ymdrechu cael gafael yn y ffynnonellau hyny o ba rai y tardda meddwdod allan.

Cospa y gyfraith am feddwi. Mae y gyfraith hefyd yn cospi am roddi diod i ddyn meddw. Os oes pum cant o feddwon yn gospadwy yn Abertawe yn ystod un flwyddyn, mae yn rhaid fod yno hefyd

Digitized by Google

gynnifer a hyny o dafarnwyr wedi gwerthu diod iddynt, a thrwy hyny eu bod wedi meddwi; neu fod yr un tafarnwr wedi bod yn offerynol i feddwi mwy nag un, a dylai pob un gael ei cospi am werthu y diodydd. Rhaid addef mai masnach lled anhawdd yw eiddo tafarnwr mewn cyssylltiad â gosod terfyn ar yr yfed o fewn graddau cymmedroldeb; nid wyf yn meddwl fod tafarnwyr yn waeth nag unrhyw ddosbarth arall o fasnachwyr. Pwnc penaf mewn masnach yw cael gwared ar y nwyddau a chael arian am danynt, ac ambell i fasnachwr sydd yn ofalus iawn i beidio gwerthu dim i'w gwsmer sydd yn debyg o fod yn niweidiol iddo: ei brif bwnc ef ydyw gwneyd arian, gwneyd masnach dda.

Felly gwelwn fod hunanles yn symbylydd enbyd i'r tafarnwr i werthu diodydd i ddyn sydd wedi cael gormod yn barod, os ca efe arian am danynt. Yn wir, yr wyf cyn hyn wedi clywed tafarnwyr yn ymdrechu gwthio eu nwyddau. Rhaid i mi gyfaddef, profiad fy sylw i ydyw, nad yw tafarnwyr yn gyffredinol yn talu y nesaf peth i ddim o sylw i ofynion y gyfraith i beidio roddi diod i feddwon; canys yn anffortunus ymddengys fod yna ryw gyd-ddealltwriaeth rhwng y tafarnwr a'r heddgeidwad sydd yn ei wylio. Nid ammhëus i gyd yw yr aml ystorïau a ledaenir ar hyd y wlad o'r modd y gwna y tafarnwr ofalu am ddecanteraid o ddiod dwym, neu ddogn o *grog* i'w wyliwr i'w gadw yn wresog rhag oerfel yr hin a gwynt difaol y nosweithiau; fel y buais yn gobeithio lawer gwaith fod ein heddgeidwaid yn ddirwestwyr trwyadl fel na fyddai modd eu temtio i esgeuluso eu dyledswydd drwy gael eu llwgrwobrwyo gan y tafarnwr. O bosibl fod llawer i heddgeidwad hefyd wedi cael ei ddigaloni i wysio tafarnwyr o flaen y fainc, am fod yr ynadon fel rheol yn dyner iawn o'r tafarnwyr ac yn barod i'w rhyddhau os bydd modd.

Dywedai Mr. Sanders, cyn-faer Caerdydd, mewn llythyr yn y *South Wales*, wrth ddiolch yn wresog i Mr. Llewelyn am ei gynnyg rhagorol, ei fod ef wedi teimlo yr un anhawsder yng Nghaerdydd—fod yno y flwyddyn ddiweddaf dros chwe chant wedi eu dirywo am feddwi, a dim un tafarnwr wedi ei wysio na'i gospi. Dywedai un heddgeidwad wrtho, "Fod ofn yr heddgeidwad ar y tafarnwr, ac fod ofn y tafarnwr ar yr heddgeidwad." Dywed ynad yn Llundain hefyd fod bron yn ammhosibl cael tystiolaeth o werth dim gan heddgeidwad yn erbyn tafarnwr; fel hyn rhaid credu fod rhyw ddealltwriaeth ddirgelaidd rhyngddynt, a byddai yn fendith pe byddai raid i bob heddgeidwad i fod yn ddirwestwr. Rhaid addef nad yw yn beth hyfryd iawn i heddgeidwad fyned i mewn i dafarn ac edrych ansawdd y cwsmeriaid, neu hyd yn nod wylio heb fod yn neppell oddi wrth y drws; eithr dyma ei waith, a gwylio y fasnach feddwol yw ei brif waith mewn gwirionedd, a dylai ar bob cyfrif ei gyflawnu, neu daflu ei swydd i fyny. Dywedai un wrthyf fod eisieu gwell dosbarth o heddgeidwaid, ond pa fodd mae eu cael nis gwn.

Sicr yw y dylai awdurdodau trefydd a dinasoedd ddyfeisio rhyw drefn i ddifodi y meddwdod enbyd gymmer le ar hyd eu hystrydoedd. Cynnygiai Mr. Brain, cadeirydd undeb y darllawyr, yn y *Western Mail*, wneuthur allan mai nid yn y tafarnau trwyddedig, ond yn y tai smwgl, y clybiau, a siopau y maelwyr y ca dynion y trwyth a'u meddwant. Ni wnawn wadu nad oes yfed yn y cyfryw leoedd; ond y mae yn ddiddadl fod y meddwon hyn a ymlwybrant yn wyrgeimion ar hyd ein heolydd ar ddydd Sant Mabon, ar nos Sadwrnau, a nosweithiau ereill, yn cael eu gwneyd yn feddwon yn nhafarnau trwyddedig ein gwlad, y mwyafrif mawr, beth bynag, os nad yr oll o honynt. Dylai mainc yr ynadon a holl hedd luoedd y wlad osod eu troed i lawr yn gadarn yn erbyn y fath arferiad gwarthus a dinystriol: dylid clirio ein heolydd o feddwon. Duw nertho y ddau allu uchod. Ydwyf, &c.,

*Park Road, Pontypwl.* D. Ff. Dafis.

---

CYNTEDD Y GWRAGEDD.—MERCHED GWEINI.

*At Olygydd* Yr Haul.

Goddefwch i mi, fel gwraig wedi cael gryn lawer o gyfleusdra i adnabod cyflwr fy rhyw yng Nghymru, derbyn rhan o'u camwri, a bod yn gyfranog o'u gwendid, ddadleu peth o'u hachos yng ngwyneb *Haul*, llygad goleuni. Gwraig wedi cael ei geni a'i magu yn y wlad ydwyf, wedi priodi yn y wlad, ac yn byw yn y wlad. Yr wyf hefyd wedi priodi llenor da, yn meddwl gryn dipyn o'i wybodaeth ramadegol, ac yn un digon parod i fy helpu i ysgrifenu yn ramadegol. Y mae yn barod i wneyd hyn am fy mod innau yn gofalu fod ei bryd bwyd ef yn barod yn ei amser yn wastod, y bwrdd yn lân, a'r aelwyd gyda'r nos heb ddim lludw i'w weled yng ngwaelod y grat nac ar gareg yr aelwyd, a bod yr efail a'r *poker* a'r holl offerynau tân yn loewon. Gadëwch i mi gyffesu un peth ar y dechreu, er mwyn dangos i chwi pa fodd yr wyf yn cael help y gwr i ysgrifenu. Gall fod gwallt llaes sidanaidd, neu grych cydynog, llygaid caruaidd, a gwyneb teg yn rhwyd dda i ddal dynion.

Digitized by Google

Y mae merched yn dal eu gwŷr yn rhy aml drwy swyn yr edrychiad a'r wisg allanol, ond drwy ofalu am angenion y *cylla* a chysuron yr aelwyd y mae eu cadw—cadw eu serch, eu cymdeithas calon, a pheri iddynt garu ein boddhau ni, eu gwragedd, mewn pethau bychain.

Wel, yrŵan, fy nghwyn cyntaf o gamdriniaeth ym mysg amaethwyr ein gwlad yw, fod y merched yn cael eu *gorweithio*. Nid oes dim un ddadl am hyn. Yr oedd gan fy mam bob amser ddwy forwyn weini; ac y mae genyf finnau er ys dros ugain mlynedd ddwy forwyn yn barhäus, a digon o waith iddynt. Yr wyf yn ysgrifenu oddi ar brofiad, a gallaf gymharu gwaith y gweision a'r morwynion, am ein bod yn cadw tri gwas a dwy forwyn. Dyma i chwi wirionedd na ellir ei wadu yn chwe sir Gogledd Cymru. Y mae geneth weini, "morwyn fach" sir Gaernarfon, a "hogen" sir Ddinbych, yn gweithio yn galetach na chaethferch bron. Y mae geneth bymtheg oed yn y sefyllfa yma yn gweithio yn galetach fel rheol na gwas fferm deunaw oed. Nod fawr eu mamau ydyw cael cyflog *afresymol* iddynt, a nod fawr y feistres a'r "forwyn fawr" ydyw tynu peth *afresymol* o waith allan o honi. Y mae geneth o'r oedran yma yn fwy *ewyllysgar* na bechgyn o'r un oed, ac y mae ei diwrnod gwaith yn hwy bron o'r hanner, ac yn fwy dyfalbarhäus, yn enwedig yn y gauaf, na diwrnod gwaith bechgyn. Y mae gwaith y tŷ yn myned ym mlaen ar wlaw a hindda, eira a rhew, Sul a gwyl, a bydd enwau Bessi, Betti, a Lizzy yn diaspedain o ryw gŵr o'r tŷ, a hithau ar *dithfa* barhäus, rhwng y *briws* a'r gegin, a'r cytiau moch ar hyd y dydd; y gyntaf o'i gwely y boreu, a'r olaf i fyned iddo y nos. Cyn bod yn ugain oed, y mae aelodau yr "eneth weini" wedi *clubio*, a chyrff llawer o honynt heb gael chwareu teg i dyfu. Mewn gwirionedd, y mae defnydd gwragedd y llafurwr a'r crefftwr yn cael cam yn eu genethod, a mamau yr oes ddilynol yn heneiddio yn gynamserol. Gwreiddyn y drwg ydyw ariangarwch tadau a mamau yn ceisio cyflogau *afresymol* i'w plant, ac ariangarwch meistresau yn ceisio morwynion rhy weiniaid, a cheisio tynu gormod allan o'u crwyn. Os mynwn ni wneyd ein dyledswydd i'n cenedl, mynwn chwareu teg i egin ein gwragedd—i'r eneth weini yn nechreu ei gyrfa. Rhodder iddi gyflog gweddus, cyfarwyddyd i wisgo dillad cynhes (nid rybanau cochion), digon o fwyd iach, wyth awr o leiaf o gysgu, gwaith rhesymol parhäus, a dysger iddi ufuddhau i'w chyflogwyr, a *pharchu* ei hun. A dyma i chwi bennill neu ddau o waith John y gwr i ddiweddu y tro hwn:

Hardd ar eneth bod yn ddystaw,
Bod yn wylaidd, bod yn flaenllaw,
Gyda'i gwaith yn lanwaith drefnus,
Gwneyd yr aelwyd yn gysurus.

Bod yn ddystaw ar yr heol,
Bod o fewn y tŷ yn siriol;
Cadw ei holl gyfrinach calon
Rhyngddi a'i rhieni yn ffyddlon.

Cofio ei gweddi hwyr a boreu,
Cofio'r dydd ei dyledswyddau;
I'r daionus rhoi ufudd-dod,
Peidio credu'r llyfn ei dafod.

Yr eiddoch,

MARGARET HUGHES.

---

## MESUR TALU Y DEGWM ARDRETH.

(*The Tithe Rent-charge Recovery Bill.*)

NIS gwyddom am gyfieithad mewn arferiad o'r gair *tithe rent-charge*. Er fod degwm wedi ei ddilëu erys dros ddeugain mlynedd drwy gyfnewid tâl penodol yn ei le, a hwnw yn aros ar y tir fel blaen ardreth—neu y tâl cyntaf arno i gael y flaenoriaeth ar bob tâl arall—fe erys yr enw yr un arno hyd heddyw yng Nghymru. *Tithe Rent-charge* (neu ardreth yn lle degwm) ydyw yr enw yn y gyfraith, a dyna yr enw arferedig yn Lloegr. Ond cedwir yr enw degwm ar yr ardreth yma yng Nghymru, er mai blaen ardreth ar y tir ydyw yn dyfod o boced y *meddiannydd* mewn gwirionedd heb fod erioed yn eiddo iddo, o herwydd ni bu y tir erioed (mor bell ag y mae hanes yn myned) yn y wlad hon heb y tâl hwn arno. Gwareiddiad Eglwysig ydyw gwareiddiad yr ynys hon. Eglwyswyr, yn yr ystyr o ddynion mewn urddau Eglwysig ac o dan reolaeth Eglwysig, a fu yn dysgu amaethyddiaeth yma gyntaf erioed, ac yn dwyn i mewn hawliau personol a meddiannau drwy gyfraith reolaidd a llysoedd barn. A dysgwyd i'r genedl dalu degwm o'r dechreu, nes graddol ddwyn y rhan fwyaf o lawer o holl dir y deyrnas dan ddegwm. Lle yr erys degwm, neu flaen ardreth ar dir, y mae ei fodolaeth bresennol yn brawf ei fod arno cyn dyfod i feddiant yr un o'i berchennogion presennol na'u teuluoedd.

Felly yn y ddadl ar y mesur dan sylw yn Nhŷ y Cyffredin, cydnabyddai pawb mai.

#### EIDDO AC NID TRETH YW Y DEGWM.

Nid oedd yno ddim un dyn am ei ddilëu neu ei symmud oddi ar y tir. Daeth i'r amlwg dair plaid neillduol, a dyma hwy—

Digitized by Google

1. Y Radicaliaid eithafol. Y mwyaf blaenllaw o'r aelodau Cymreig yn eu mysg oedd Mr. Lloyd George. Myn y blaid hon mai eiddo gwladwriaethol ydyw y degwm. Nid eiddo plwyfol a feddylia, ac nid eiddo sirol na lleol mewn un modd, ond eiddo ag y dylid cymmeryd gafael arno gan y wladwriaeth a'i gymhwyso at achosion gwladwriaethol, gyda golwg neillduol ar *addysg uwchraddol*. Pleidleisiodd Mr. Lloyd George bob tro yn erbyn pob lleihâd, a phob gostyngiad yn swm y degwm. Y degwm a'r oll o'r degwm yn gyflawn a fynai efe oddi ar y tir, pe y byddai y degwm yn *ddwywaith mwy na'r rhent* arno. Nid oedd ganddo drugaredd ar na ffermwr na meddiannwr. Gallwn grynoi ei holl egwyddor i un frawddeg—"Peidiwch â gostwng un geiniog yn y degwm, ond trowch yr oll at addysg."

2. Y blaid arall oedd y meistriaid tir a elwir yn aml yn Doriaid. Rhoddes Syr William Harcourt—"Sion bob ochr" gellweirus y Senedd—ddysgrifiad teg o'r adran eithafol o'r rhai hyn pan eu dysgrifiodd fel "cyfeillion cariadus yr Eglwys bob amser ar yr ammodau iddynt hwy gael ei *hysbeilio fesur ychydig*." Amcan penodol y rhai hyn oedd lleihau y degwm daliadau. Ceisient eu tynu i lawr lle y byddai y degwm yn *fwy na'r rhent*. Yr oedd y blaid hon a phlaid Mr. Lloyd George yn parhäus *groesi* eu gilydd, a syn gan amaethwyr sir Gaernarfon yn sicr oedd gweled hanes Toriaid yn ceisio lleihau y degwm, a'r holl aelodau Cymreig bron, dan arweiniad Mr. Lloyd George, yn ei gadw i fyny—cadw ei *bris* i fyny.

3. Y drydedd blaid oedd mwyafrif y tŷ, gwleidyddwyr ymarferol yn ewyllysio gwneyd cyfiawnder ar bob llaw. Ystyrient hwy mai eiddo yr Eglwys ydyw y degwm, ac y dylid ei dalu yn union fel pob dyled arall. Darllenasant y mesur y drydedd waith drwy fwyafrif o 89 mewn tŷ o 411, sef 250 a 161 yn erbyn.

#### PLAID Y DRWG-FALAIS.

Drwg genym oedd gweled un adran o'r Radicaliaid tra yn ymdrechu â'u holl egni na thynid ceiniog i lawr yn y degwm, yn rhagrithiol ymdrechu dangos eu hunain yn gyfeillion deugain mil (?) o dyddyn-feddiannwyr (*freeholders*) yng Nghymru. Blaenorai Mr. G. Osborne Morgan y gad yma. Daeth allan wedi ymgrebachu mewn bychander diystyrllyd i boeri yng ngwyneb Eglwys ei dadau. Ymdrechodd â'i holl allu daflu pob anhawsder ar ffordd *taliad* y degwm, tra yn mynu *cadw* y degwm yn ei lawn bris. Cymmerodd yn benderfynol ochr trais ac anghyfiawnder. Dywedai mewn un bleidlais fod y degwm yn gyfiawn eiddo a ddylid dalu, ac ymdrechodd â'i bleidlais nesaf roddi pob rhwystr ar ffordd ei dalu i'r offeiriaid Eglwysig, er mwyn ymdrechu codi terfysg a chael cwyn yn erbyn yr Eglwys i'w hysbeilio. Yn ol dichell gynghor Mr. Osborne Morgan a Mr. Lloyd George y mae yr Eglwys i fod yn offeryn i ddal meddiant o'r degwm yn ei gyflawnder, ac i'w *godi* drwy foddion gorfodol *terfysglyd*, fel ag i hyrwyddo trosglwyddiad yr eiddo o ddwylaw tenant a meistr tir iddynt hwy a'u plaid. "Gwaetha' i ddyn ei ddyn ei hun," ac felly gwaethaf o elynion yr Eglwys ydyw mab hen offeiriad Conwy. Nid yw Mr. Osborne Morgan yn deall Cymraeg, ond fe all ddeall beth a feddylir wrth *corruptio optimi*. Amcan penaf y ddau gyfreithiwr o fwrdeisdrefi Arfon a Dwyreinbarth Dinbych oedd cyfreithloni terfysgoedd a chefnogi erlid yr Eglwys.

#### DARPARIAETHAU Y MESUR.

Y tair egwyddor ar ba rai y seilir y mesur yw (*a*) Fod y degwm i'w dalu yn uniongyrchol gan y tir-feddiannwyr; (*b*) Lle y byddo yn rhaid ei godi, drwy gyfraith y gwneir hyny drwy roddi gwys o Lys y Mân-ddyledion ar y tir-feddiannwr; (*c*) Lle y byddo y degwm mor uchel fel ag i beryglu triniaeth y tir, ei fod i'w ostwng, fel na byddo dros *ddwy ran o dair* o'r ardreth. Rhaid wrth gymhorth cyfeithiwr bob amser i ddeall cyfraith newydd, ond credwn mai ychydig, mewn cydmariaeth, fydd o alw am dani yng Nghymru. Y syniad cyffredinol fod y degwm yn dreth orthrymus a barodd i'r terfysgoedd gwrth-ddegymol gyfodi o gwbl. Y mae y syniad hwnw yn araf gael ei symmud ymaith.

---

## SWYDDFREINIAD Y PABYDDION.

Tair safle wleidyddol sydd yn ol cyfansoddiad a chyfreithiau Prydain Fawr yn waharddedig i Babyddion eu llenwi, y benaf yw y Goron, yr ail yr Arglwydd Ganghellydd, a'r drydedd Rhaglawiaeth yr Iwerddon. Paham, meddai rhywun y cauir allan Babyddion o'r swyddau hyn? Yr ateb yw, mai trefniad a deddfwriaeth wladol a elwir yr Olyniad Protestanaidd sydd yn cau Pabyddion allan o'r swyddau. Yn nheyrnasiad y Frenines Anne a'r flwyddyn 1700 y gwnaed y ddeddf a elwir yn Ddeddf Sefydliad (*Act of Settlement*), gan ychwanegu at ddarpariaethau ereill fod yn rhaid i etifedd yr orsedd a'r pencoronog fod yn Brotestant. Nid oes neb a all roddi y rheswm paham y gofynir i bencoronog Prydain fod yn Brotestant mewn geiriau cryfach a mwy cryno nag a wnaeth Mr. Gladstone

Digitized by Google

yn ei *bamphlet* ar awdurdod uwchafol y pab. Dyma eiriau Mr. Gladstone yn y flwyddyn 1874: "Ni ddichon neb ymuno ag Eglwys Rhufain heb ymwrthod â'i ryddid moesol a meddyliol, a gosod ei ddyledswydd foesol a gwladol at drugaredd un arall." Y pab a feddylir wrth yr "un arall" yma. Yr oedd Iago yr Ail wedi "gosod ei ddyledswydd foesol a gwladol ar drugaredd" y pab, ac wedi aberthu rhyddid, annibyniaeth, ac anrhydedd y deyrnas, a thrwy chwyldroad a diorseddiad y brenin yr ennillwyd hyn yn ol. Gwnaethai Iago yr Ail yr oll yn enw rhyddid cydwybod a chydraddoldeb crefyddol. Cafodd yr holl deyrnas weled yn fuan am ryddid cydwybod a chydraddoldeb crefyddol mai rhyddid i'r blaid fwyaf *drahäus* orthrymu yr oll o'r gweddill a olygid, ac felly darparwyd deddf i gau allan o'r orsedd babydd, o herwydd, fel y dywed Mr. Gladstone, "na ddichon neb ymuno ag Eglwys Rhufain heb osod ei ddyledswydd foesol a gwladol at drugaredd" y pab. Yr Arglwydd Ganghellydd ydyw cynghorwr personol cyfrinachol y pencoronog, ac fel y dywedir, "Ceidwad y gydwybod freninol;" ac Arglwydd Raglaw yr Iwerddon ydyw cynnrychiolydd y pencoronog yr ochr draw i Sianel Sior. A thybir gan luaws mawr, mwyafrif y deyrnas ef allai, fod yn rhaid cadw y ddwy swydd yma allan o feddiant dynion a edrychant ar y pab yn uwch na brenines neu frenin Prydain, ac a gredant ei fod ef yn frenin breninoedd, a'i ddeddfau (*decrees*) yn fwy pwysig na deddfau y wlad. Am danom ein hunain, nid ydym yn benderfynol iawn ar y pwnc, pe na pheryglid yr orsedd yn ormodol, o herwydd ein bod yn credu y gall y deyrnas amddiffyn ei hiawnderau. Eto gwell ydyw *peidio* gwneyd cyfnewidiad hyd oni welir ei fod er *lles*. Ond yr hyn sydd ddirmygus ydyw, y dull yr ymdrechwyd gwneyd y cyfnewidiad.

Amcan hunanol, dichellgar, oedd gan Mr. Gladstone yn dwyn y cynnygiad ym mlaen. Cynllun yr Herodianiaid a'r Saduceaid oedd ganddo. Ymdrechu taflu asgwrn cynen i ganol plaid y llywodraeth a wnai. Os bydd i'r llywodraeth adael i'r mesur basio, bydd iddynt dramgwyddo dros filiwn a hanner o Brotestaniaid yr Iwerddon, a gosod eu hunain yn agored i gondemniad mwy na hanner eu plaid, a'r oll o'r Ymneillduwyr yn Lloegr, Cymru, a Scotland. O'r tu arall, os gwrthwynebant y mesur tramgwyddant y bendefigaeth Babyddol a Cheidwadwyr Pabyddol Lloegr. Dyma gynllun Saduceaidd a Herodianaidd Mr. Gladstone, ac y mae yn druenus o anfoesol. Peth poenus i'r eithaf ydyw gweled ysgolhaig deallus a Christion defosiynol yn ymostwng dan goron penwyni i droi doethineb yn gyfrwysdra, a gwybodaeth wleidyddol yn ddichell. Ond gallai y gofynir, onid ofnai Mr. Gladstone golli ymddiried yr Ymneillduwyr? Na ofna yn awr. Deng mlynedd yn ol fe ddywed ei fod yn ofni hyny, ac felly pan mewn swydd gwrthododd agor y swyddi hyn i'r Pabyddion; ond erbyn hyn y mae Mr. Gladstone wedi gweled llawer mwy o'r Ymneillduwyr a'u hymddygiad, eu proffes a'u gweithredoedd. Y mae wedi eu gweled yn llyncu cwpanaid ar ol cwpanaid a philsen ar ol pilsen o'i physigwriaeth wleidyddol croes i'w holl deimlad blaenorol, fel y dysgwylia iddynt lyncu uchel gais y babaeth yn ei holl fawredd yn awr, a Mr. Parnell yn ei holl aflendid cyn blwyddyn i heddyw. Mewn gwirionedd y mae Mr. Gladstone yn dangos yn ei weithredoedd ei fod yn credu mai dynion ydynt a ellir eu prynu, neu lwgrwobrwyo, i'w ganlyn i bob man; ac os edrychwn at ddau begwn olwyn fawr Radicaliaeth Gymreig, fe welwn fod Phariseaeth lednais un pegwn yn barod i'w amddiffyn gyda'i holl reitheg fedrus, a Philistiaeth y pegwn arall gyda'i holl udgyrn a phastynau.

---

## Y WASG.

"*St. Davids Diocesan Directory with Calendar, 1891.*"[1] *Edited by the Rev. W. Davies, Llanllawddog Vicarage, Llanpumpsaint, R.S.O., South Wales.*

Y MAE argraffiad y flwyddyn hon o'r *Saint Davids Diocesan Directory* yn dangos yn eglur fel y mae yr Eglwys ym mam esgobaeth wasgarog ac eang Cymru yn myned ym mlaen gyda chamrau mesurol a chyflymder cynnyddol. Rhaid i'n sylwadau fod yn frysiog ar gyfrol yn cynnwys 286 o dudalenau, a'r rhan fwyaf o honynt o angenrheidrwydd yn llawn o enwau a ffugyrau.

Cymmerwn ychydig o esamplau o waith y ddwy flynedd ddiweddaf allan o dudalen 153 o'r *Directory*. Treuliwyd mewn rhoddion gwirfoddol yn ystod y ddwy flynedd flaenorol ar Eglwysi newyddion.

| | | | p. |
|---|---|---|---|
| St. Michael, Aberystwyth | ... | ... | 8750 |
| St. Gabriel, Abertawe ... | ... | ... | 5923 |
| St. Luke, Cockett ... | ... | ... | 3100 |
| St. John, Caerfyrddin... | ... | ... | 2000 |
| St. Davids, Ystalyfera... | ... | ... | 2000 |
| Capel Anwes, Traianglas | ... | ... | 955 |
| | | | 22,728p. |

[1] Caerfyrddin: argraffwyd gan W. Spurrell a'i Fab.

Digitized by Google

| | |
|---|---|
| **Capelydd cenadol—** | |
| St. Jude, Abertawe ... ... ... | 1007 |
| Llaniltyd ... ... ... ... | 813 |
| All Saints, Llanelli ... ... ... | 450 |
| St. Paul, Llanelli ... ... ... | 316 |
| Morriston ... ... ... ... | 447 |
| Llannon ... ... ... ... | 280 |
| Llanarth ... ... ... ... | 270 |
| Bryn Mawr ... ... ... ... | 270 |
| | 2846p. |
| **Adgyweiriad Eglwysydd—** | |
| St. Thomas, Abertawe... ... ... | 5277 |
| Llangadoc ... ... ... ... | 1962 |
| Bronllys ... ... ... ... | 1222 |
| Holy Trinity, Abertawe ... ... | 1076 |
| Mydrim .. ... ... ... | 720 |
| Rhayader ... ... ... ... | 550 |
| Abergwili ... ... ... ... | 480 |
| Llandysilio-gogo ... ... ... | 410 |
| 44 o Eglwysi ereill ... ... ... | 5129 |
| | 16,826p. |
| **Gwaddoliadau—** | |
| Brynmaen ... ... ... ... | 1400 |
| St. Mark's, Abertawe ... ... ... | 500 |
| Llanfihangel Geneu'r Glyn ... ... | 100 |
| Deunaw o blwyfydd ereill ... ... | 5545 |
| | 7545p. |
| *Parish Rooms* ... ... ... | 1345 |

Ni chymmerir i mewn yma y rhoddion at ddodrefnu Eglwysydd, ac adeiladu Persondai ac ysgolion. Y mae yr oll o'r rhoddion gwirfoddol at adeiladau a gwaddoliadau Eglwysig am y ddwy flynedd yn diweddu Mehefin y 30fed, 1890, yn 62,769p., neu ddwy fil a thrigain saith gant a naw a thrigain o bunnoedd.

Y mae ol llafur a gofal mawr ar y *Directory*, a cheir ynddo gyflawnder o bob gwybodaeth angenrheidiol mewn perthynas i'r Eglwys yn gyfreithiol, ymarferol, a gweithredol, ac ym mhob rhan o'r byd, gyda hanes ei gwahanol gymdeithasau cenadol cartrefol a thramor. Dyma rai ffeithiau dyddorol.

Gwariwyd at gynnal curadiaid y flwyddyn ddiweddaf—

| | p. |
|---|---|
| Pastoral Aid Society ... ... ... | 51,149 |
| Curate Aid Society ... ... ... | 90,091 |
| S.P.G. Society ... ... ... | 125,038 |
| Cymdeithas Genadol yr Eglwys ... | 260,282 |

A syn fydd gan lawer feddwl fod ein cymdeithas genadol henaf, y Gymdeithas er Lledaenu Gwybodaeth yr Efengyl mewn Gwledydd Tramor, wedi gwario er ei chychwyniad yn y flwyddyn 1701, 5,502,495p., neu bum miliwn a hanner o bunnoedd. Am waith Eglwys Loegr gellir dweyd yn gymhwys, "Maes ei llafur yw y byd." Y mae golygydd y *Directory* a'r cyhoeddydd yn deilwng o glod a chefnogaeth yn nygiad allan gyfrol mor wasanaethgar ac mor rad.

---

LLYFRAU I'R IEUENCTYD.

Y mae ger ein bron yn awr ddau o lyfrau bychain hyfforddiadol at wasanaeth yr ieuenctyd, o waith y Parch. W. Davies, Llanfihangel Abercowin, St. Clears, sef "Holwyddoreg neu Gatecism i'r Ieuainc ar y Foreuol a'r Brydnawnol Weddi, o waith Mr. John Palmer, cyfieithedig gan y Parch. W. Davies."[1] (Rhan I. o'r Gyfres Gyntaf). Ail argraffiad ydyw hwn. Bu y cyntaf dan adolygiad yn yr *Haul* am Ebrill diweddaf, tudalen 124. Da genym ddeall fod y mil cyntaf wedi eu llwyr werthu a'r ail fil ar eu gwerthu. Y mae yr adolygiad o *werthu* yn llawer gwell na chanmoliaeth yr *Haul*. Rhag ofn i'n darllenwyr gogleddol feddwl nad ydyw yr adolygydd yn lust a llygad agored, goddefer i ni ofyn, a ydyw'r ymadrodd "Catecism i'r *Ieuainc*" yn eiriad *cartrefol* ar lafar y Deheudir? Nid ydyw ddim yn swnio yn gartrefol yn y gogledd: "Catecism i'r *Ieuenctyd*" a fuasem ni yn dweyd. Yr ydym yn ymwybodol mai ar arferiad y mae gramadeg yn seiliedig, ac mai wrth *arferiad* y dylid barnu, â chan fod gan y deheuwyr gystal hawl i farnu wrth eu *harferiad* ag sydd genym ninnau yma, gofyn eu barn hwy yr ydym.

"Holwyddoreg, neu Gatecism i'r Ieuainc ar Dymmorau a Gwyliau yr Eglwys" o waith Mr. John Palmer, cyfieithedig gan y Parch. W. Davies, Llanfihangel Abercowin, sir Gaerfyrddin."[1] (Rhan IV. o'r Gyfres Gyntaf.) Y mae yr Holwyddoreg fechan hon o ddeugain tudalen yn hynod o fuddiol i hyfforddi Eglwyswyr ieuainc. Nid oes modd rhoddi gormod o oleuni ar drefn gwasanaeth yr Eglwys er mwyn dysgu Cristionogaeth yn gyflawn. Rhaid i'r bobl a ddeuant i'r Eglwys ddeall trefn ei gwasanaeth, neu ni allant gael blas arno, a rhaid cael *trefn* i ddysgu crefydd Crist. Fe wywa ac fe ddiffygia pob ymdrech i ddysgu ar amcan. Gall ymdrechion afreolaidd gyffroi a deffroi, ond ni allant feithrin a magu a chadw i fyny dwf oesol Eglwys Crist. Y mae gwyliau gosodedig yr Eglwys yn eu trefn reolaidd yn dyfod â'r ymborth a'r ddiod ysbrydol at wefusau ei dysgyblion cynnefin ei hun ar ddysglau ac mewn costrelau aur, ond y mae y llestri hyn yn ddieithr i'r rhai anghyfarwydd, ac ofnant yfed o honynt fel pe byddent bethau gwaharddedig. Y mae yr Holwyddoreg hon yn ei byrder cryno a chyflawnder

[1] Caerfyrddin: argraffwyd gan W. Spurrell a'i Fab.

Digitized by Google

syml yn bob peth a ellid ddymuno ar gyfer dosbarthiadau plant a phobl ieuainc, ac i'w cael am y pris isel o 1s. 4c. y dwsin. Nis gallwn ond llawenhau fod cynnifer o lyfrau buddiol yn cael eu cyhoeddi at wasanaeth ieuenctyd yr Eglwys.

---

"*Gwasanaeth Moliant ar y Flwyddyn Eglwysig,*" *yn cynnwys Hymnau a Thonau ar gyfer pob Tymmor, cyfeiriadau at ranau priodol o'r Ysgrythyr i'w darllen, yng nghyd â thair o Emynau Cyffredinol, yn nodiant y Sol-ffa. Wedi ei drefnu gan y Parch. W. Davies.* [1]

Cynnwysa y rhan gyntaf o'r casgliad hwn drefn a dullwedd y Weddi Foreuol a Phrydnawnol yn unig fel eu cenir yn yr Eglwysydd Cadeiriol ac Eglwysi cryfion ereill. Dywedir yn y rhagymadrodd mai amcan y casgliad hwn o ganiadau, corganau, a salmau rhwydd a syml ydyw dwyn gwasanaeth yr Eglwys i ymarferiad ym mysg deiliaid ein Hysgolion Sul yn gyffredinol, ac i ddiwallu yr angen a deimlir yn gysson yn ein gwyliau undebol ar y pen hwn. Y mae y *preces*, y caniadau, a'r salmau wedi eu trefnu, o ran attalnod (*pointing*) yn ol y dull yr arferir hwy yn fwyaf cyffredin yn y pedair esgobaeth Gymreig.

Cynnwysa y *Gwasanaeth Moliant* ynddo ei hun un emyn a thôn gyfaddas i bob tymmor o'r Flwyddyn Eglwysig, megys Adfent, Nadolig, yr Ystwyll, Garawys, &c., gyda thair o emynau cyffredinol, fel y gellir cynnal gwyl Eglwysig ar unrhyw dymmor o'r flwyddyn yn ddiwahaniaeth. Cymmerwyd yr oll o'r hymnau a thonau allan o hymnau a thonau er gwasanaeth yr Eglwys, gan y diweddar Barch. Ganon D. Evans, drwy ganiatâd. Llyfryn bychan, pris tair ceiniog, ydyw y ddau wasanaeth yng nghyd, a gellir eu cael ar wahan am hanner y pris. Y mae amcan y llyfr yn dda, a'i ansawdd yn syml a rhwydd, a threfnwyd moddion i gael argraffiadau lleol (*to localize*) o hono er hwylusdod a phris isel i undebau bychain. Un o nodau arbenig y llyfryn yw cael undeb, ac unoliaeth, a chydweithrediad bywus rhwng yr Eglwysydd mor gyflawn ag y gellir.

---

"*Trefn a Dullwedd y Gwasanaeth Dwyfol,*" *gan Eos Llechyd.*

Daeth "Trefn a Dullwedd y Gwasanaeth Dwyfol," o dan olygiad Eos Llechyd, i'n llaw. Aethym drosto yn lled ofalus, a chawsom ein mawr foddloni yn ei gynnwysiad. Ceir ynddo ddigon o amrywiaeth; y mae y cynghaneddion yn dda drwyddo, er ef allai y buasem yn cyfnewid ychydig mewn ambell i fan, ond mater o chwaeth ef allai yn unig fuasai hyny, nid yw y golygydd wedi ceisio at ddim byd anhawdd a dyeithr; yn hytrach y cyfan yn syml, eto yn hynod chwaethus. Yr ydym yn sicr y bydd y llyfryn hwn o wasanaeth dirfawr i Eglwysi Cymraeg, a hyderwn y caiff y derbyniad a haedda. Llithrodd ychydig wallau argraffyddol i mewn. Ceir gwall (mae'n debyg) yn nhudalen 1: y mae yn gywir yn nhudalen 13.

[1] Caerfyrddin: argraffwyd gan W. Spurrell a'i Fab.

---

## NEWYDDION.

### DYRCHAFIAD Y DDAU LENOR.

(*Dyfrig a Berw.*)

Ym mysg penodiadau cyntaf esgob Bangor, y mae yn dda genym weled symmudiad y Parch. E. T. Davies (Dyfrig) o ardal fechan Aberdyfi i dref gydmarol boblog Pwllheli. Heb law ei fod yn llenor coethedig, y mae Dyfrig yn bregethwr nerthol a swynol, llawn o yni a llawn o enaint, ac y mae y symmudiad hwn yn ei osod mewn cylch o ddefnyddioldeb eang.

Y dyrchafiad arall ydyw symmudiad y Parch. R. A. Williams (Berw) o gongl neillduedig Llanfihangel y Pennant, sir Gaernarfon, i ardal boblogaidd y Waun Fawr a Bettws Garmon, yn yr un sir. Y mae Berw eisoes wedi ennill digon o gadeiriau eisteddfodol i ddodrefnu parlwr a chegin persondy, ac y mae ei ysgrifau llithrig a meistrolgar yn yr *Haul* yn dangos ei alluoedd fel cyfansoddwr rhyddieithol, a bydd y Waun Fawr a'r Bettws yn faes cymhwys i offeiriad o'i allu ac yni ef i lafurio. Y mae y Parch. R. A. Williams mor hyawdl ei ymadrodd ag ydyw o hapus yng ngeiriad ei farddoniaeth; ac os cawn lai o gynnwysiad ei feddwl craff mewn odl a mesur, fe ddyfera mwy o enaint ei awen o'r pulpud i ddiwyllio, addysgu, a meithrin defosiwn yn y Waun Fawr.

### Y PARCH T. E. PHILLIPS, GYNT O ABERCARN.

Dyma fel y cyfeiria y *Goleuad* at ymuniad y boneddwr uchod â'r Eglwys Sefydledig:—

O'r diwedd, ar ol bod yn cael ei daflu yn ol a blaen gan bob awel, y mae y Parch. T. C. Phillips, gynt o Abercarn, wedi myned drosodd i'r Eglwys Sefydledig. Derbyniwyd ef i gymmundeb, a rhoed bedydd esgob i Mrs. Phillips gan esgob Llandaf yn y palas ddydd Sadwrn. Digiodd Mr. Phillips wrth

Digitized by Google

gyfarfod misol Mynwy o herwydd na buasent yn cymmeryd ei blaid yn ei gweryl ag Arglwyddes Llanofer, ac o'r pryd hwnw y mae'r syniad am fyned i'r Eglwys wedi bod yn fynych yn ei feddwl. Aeth i weled yr esgob, a derbyniodd alwad oddi wrth eglwys gyda'r Methodistiaid, ac yna bu'n petruso yn ddirfawr rhwng y naill a'r llall. Gwn gryn lawer o hanes yr ymdrafodaeth fu rhyngddo a'r naill a'r llall, ac nid oes arnaf awydd dolurio dim ar deimlad Mr. Phillips, er fod cryn demtasiwn i mi ddweyd pethau lled gryfion. Ond cawn weled pa beth a wna'r wasg Doriaidd a'r esgobion, ac os dechreuant hwy bydd genyf finnau air ym mhellach.

Nid yw ein cyssylltiad â'r "wasg" wedi bod yn ddigon agos a maith i allu gwybod o honom a oes iddi safon moesol, fel sydd gan arferiad bargyfreithwyr a dadleuwyr gwleidyddol i orliwio, gwyrdroi, a phriodoli amcanion drwg i ymddygiad uniawn, ond y mae y paragraph yn awgrymu hyny yn eglur. Priodola amcan iselwael i Mr. Phillips yn "myned drosodd i'r Eglwys Sefydledig." Dywedir yn y paragraph am Mr. Phillips, "Aeth i weled yr esgob, a derbyniodd alwad oddi wrth eglwys gyda'r Methodistiaid, ac yna bu'n petruso yn ddirfawr rhwng y naill a'r llall."

Dyma foneddwr a dau ddrws yn agored iddo fyned i mewn, sef drws capel Methodistiaid a'r blaenoriaid yn codi bys iddo fyned i mewn, a drws capel anwes yn yr Eglwys Sefydledig; ac wedi ystyried y mater yn ddifrifol, neu "betruso yn ddirfawr rhwng y naill y llall," aeth Mr. Phillips i mewn i'r Eglwys. Nid oedd gan awdurdodau y Methodistiad un bai arno, neu ni buasent yn "rhoddi galwad" mor daer arno i'w bugeilio, ac ni wnaeth yntau ddim yn fyrbwyll. Ni allasai neb ymadael ag enwad yn fwy anrhydeddus nag yr ymddengys yn ol y paragraph uchod i Mr. Phillips wneyd i ymuno a'r Eglwys. Eto teifl yr ysgrifenydd yn y *Goleuad* ensyniadau cas ac awgrymiadau isel ar ei ol. Nid oes yma ddim amgen nag enghraifft boenus yn ychwanegu o'r Phariseaeth lednais a welir mor amlwg mewn ysgrifau lawer ar ddychweliad y "gwenyn i'r cwch."

### BEDYDDIO PLANT GWRANDAWYR YM MYSG Y METHODISTIAID CALFINAIDD.

Y mae yr un rhifyn ag a gynnwysa hanes ymuniad y Parch. T. C. Phillips â'r Eglwys yn rhoddi darluniad torgalonus o *gaethiwed* y Gyffes Ffydd yn dirfawr sefyll ar ffordd defnyddioldeb y gweinidogion. Rhoddir hanes ymdrafod ar y pwnc mewn cymdeithasfa, lle yr ymdrechwyd yn aneffeithiol cael gobaith am ryddid. Dywed yr ysgrifenydd:—

Dywedai Henadur sirol dysgedig, sydd yn ymdrechgar iawn gyda'r achosion Seisneg, ei fod yn barhäus yn cael rhwystrau gyda'r adran dan sylw. Dywedai llawer o'r gweinidogion nas gallent hwy siarad, am eu bod wedi tystio eu bod yn credu yr oll o'r *Gyffes Ffydd*, eto siaradai llawer yn gryf o'n plaid. Dywedai yr hwn a ystyriwn y Cristion mwyaf duwiolfrydig, y bugail mwyaf llafurus, a'r duwinydd mwyaf dwfn, a'r pregethwr mwyaf coeth yn y sir, ac yng Nghymru—"Yr wyf yn hollol gydweled â phob gair a ddywedasoch." Dywedai am deulu yn eu dosbarth hwy, oedd yn bleidiol i Fethodistiaeth, iddynt roi llawer o gynnorthwy i ddeddfu yr achos yn——, ac i'r wraig osod y gareg goffadwriaethol, ac iddi, os ydym yn cofio, roddi 50p. arni, er nad yn aelodau; iddynt ofyn am fedyddio eu plentyn gan ein gweinidog, a rhoi iddo addysg grefyddol; ond o herwydd gwrthod hyn iddynt, aethant at yr offeiriad, ac felly collwyd y teulu i Fethodistiaeth ac i Ryddfrydiaeth. Fod esamplau tebyg trwy bob ardal yng Nghymru. Bugail mewn eglwys arall a ddywedai fod teuluoedd yn ei gynnulleidfa ef yn cynnyg eu hunain yn aelodau pe cawsant fedyddio eu plant, ac yr oedd ymdrafodaeth y dyddiau hyny i werthu y capel i Eglwys Loegr, yn hytrach na gwneyd hyn i gyfarfod eu dymuniad! Brawd arall a ddywedai iddo ef lwyddo lawer gwaith i gael gan deuluoedd ddyfod i wrando i'w gapel, a'u colli ar ol hyny, o herwydd gorfod gwrthod, yn groes i'w gydwybod, i gydsynio â'u cais yn hyn. Dywedai un arall, Yr wyf fi yn ei wneyd, a thrwy hyny wedi cael dynion defnyddiol a da i ymuno â'r eglwysi. Dywedai un arall wrthym, yr hwn yw y mwyaf llwyddiannus ym Mynwy a Morganwg, ei fod ef bob amser yn gwneyd hyn—pobpeth i bawb er mwyn ennill rhai; ond y bydd yn gofyn i'r rhieni os ydynt yn cydsynio ag athrawiaeth y Testament Newydd, ac y bydd ar ol derbyn ateb cadarnhaol yn eu hystyried yn gredinwyr. Y cwestiwn yw, pa un sy fwyaf pwysig, ai cadw yn dŷn at farn a syniadau y tadau mewn pethau nad oes un sicrwydd, ac na bydd un sicrwydd byth yn eu cylch, a chredu ein bod yn gallach a duwiolach na phawb, a thrwy hyny golli ein gafael ar y wlad a cholli pob cyfleusdra i gael y bobl at Grist, ynte ystyried drosom ein hunain ffordd i fyned ym mlaen, ac ennill tir newydd os gallwn.

*Dowlais.* J. R. EVANS.

Pwy, gwedi darllen yr uchod, a ryfedda i'r Parch. T. C. Phillips ddewis fel y gwnaeth pan oedd dau ddrws yn agored iddo—un i ddychwelyd i gaethiwed trefnyddiaeth ddynol a'r llall i ryddid Eglwys Crist?

### YR EGLWYS YNG NGHYMRU GER BRON Y SENEDD.

Dau beth newydd a allwn nodi yn hanes pwnc y dadgyssylltiad ger bron y Senedd eleni rhagor y blynyddau o'r blaen. Un gwahaniaeth yw mai Mr. Pritchard Morgan a ddaeth ag ef ym mlaen, ac os ydym i ymddiried i gywirdeb gwybodaeth un o bapyrau Radicalaidd Lloegr, gwnaeth hyn "i ddial ar y llywodraeth Doriaidd" am eu gwaith yn mynu *royalty* ganddo o'r gwaith aur. Cymhellydd mawr Mr. Morgan oedd dial ar y gwan am drais tybiedig y cryf. Cymhelliad o'r un natur a'r dial ar Eglwyswyr yr oes hon am bechod eu teidiau. Y newydd beth arall oedd cael gan Mr. Gladstone siarad *dros* yr Eglwys yng Nghymru, a chydsynio yn ei *herbyn*. Buasem yn hollol analluog i ddeall safle Mr. Gladstone oni bai iddo ef ei hun ei heglurhau. Pan yn

Digitized by Google

ceisio esgusawd dros newid ei ymddygiad at yr Eglwys, dywed, "Fe ddygir yn fy erbyn, a hyny yn ddigon teg a phriodol, ddyfyniadau o araeth a draddodais ar achlysur blaenorol. Nid wyf yn sicr o'r flwyddyn (llefau, '1870'), un mlynedd ar hugain yn ol. Er y pryd hyny yr wyf wedi cael amser i gael fy ngeni drachefn, a dyfod i'm hoed." Y mae hen ddiareb mewn arferiad ym mhob iaith bron—"Unwaith yn ddyn, dwywaith yn blentyn." "Once a man, twice a child." Y mae gweithred bresennol Mr. Gladstone yn sawru yn gryf o wendid a chyfrwysdra diniwed plentyn. Canmola yr Eglwys â'i holl egni, gan dybio y gall foddhau Eglwyswyr a thawelu ei gydwybod ei hun; ond cydsynia yn eu herbyn, gan dybio y boddhâ yr Ymneillduwyr, ac y sicrhâ eu pleidlais dros *Home Rule* i'r Iwerddon. Y mae yn barod i aberthu yr Eglwys a edmyga er mwyn ennill swydd. Gallwn ddadansoddi ei araeth fel hyn:—1. Nid Eglwys estronol yw'r Eglwys yng Nghymru. 2. Y mae wedi parhau yn ddifwlch o ddyddiau boreuaf Cristionogaeth hyd yn awr. 3. Yr Eglwys a achubodd fywyd yr iaith Gymraeg yn y Diwygiad, trwy droi ei gwasanaeth cyhoeddus a'r Beibl i iaith y werin. 4. Dair oes yn ol bu yn gysglyd dan hunllef esgobion Seisoneg. 5. Yn awr mae "yn Eglwys gynnyddol, fyw, ac yn amlwg yn Eglwys yr ymddyrchafa o'r naill uchder i'r llall, fel nad yw mewn un modd yn debyg i'r Eglwys Wyddelig." Dyma a ddywed Mr. Gladstone dros yr Eglwys. Ond pa beth a ddywed yn ei herbyn? 1. "Y mae yn Eglwys lleiafrif." Y mae hyn yn wir. 2. "Y mae yn Eglwys y cyfoethog mewn gwrthgyferbyniad i Eglwys y tlawd." Nid ydyw hyn yn wir. 3. Y mae 27 o'r aelodau Cymreig dros ddadgyssylltiad, a dyma y rheswm mawr a ddyry dros ei gydsyniad â'r cynnygiad.

Ychydig o ddyddordeb gwirioneddol a gymmerodd y Senedd yn y pwnc. Pleidleisiodd 203 dros y cynnygiad, a 235 yn ei erbyn. Felly yr oedd allan o'r tŷ 234 heb bleidleisio o gwbl, oddi eithr yr ychydig a allent fod wedi cytuno o'r ddau du i beidio (*paired*).

---

## Y LLITHIAU PRIODOL, MAWRTH, 1891.

| Dydd | Suliau a Gwyliau | Boreu | Prydnawn. |
|---|---|---|---|
| 1 Sul | 3 Sul yn y Garawys | Gen. xxxvii.<br>Marc iv. 35 hyd v. 21 | Gen. xxxix. neu xl.<br>Rhuf. xi. hyd 25 |
| 8 Sul | 4 Sul yn y Garawys | Gen. xlii.<br>Marc viii. 10 hyd ix. 2 | Gen. xliii. neu xlv.<br>1 Cor. i. hyd 26 |
| 15 Sul | 5 Sul yn y Garawys | Exod. iii.<br>Marc xii 13—35 | Exod. v. neu vi. hyd 14<br>1 Cor. vii. 25 |
| 22 Sul | 6 Sul yn y Garawys | Exod. ix.<br>Mat. xxvi. | Exod. x. neu xi. [21<br>Luc xix. 28 neu xx. 9— |
| 23 Llun | Llun o flaen y Pasc | Galar. i. hyd 15<br>Ioan xiv. hyd 15 | Galar. ii. 13<br>Ioan xiv. 15 |
| 24 Maw. | Mawrth o flaen y Pasc | Galar. iii. hyd 34<br>Ioan xv. hyd 14 | Galar. iii. 34<br>Ioan xv. 14 |
| 25 Mer. | Mercher o flaen y Pasc | Galar. iv. hyd 21<br>Ioan xvi. hyd 16 | Dan. ix. 20<br>Ioan xvi. 16 |
| | Cyfarchiad Mair Forwyn | Gen. iii. hyd 16 | Esai lii. 7—13 |
| 26 Iau | Iau o flaen y Pasc | Hosea xiii. hyd 15<br>Ioan xvii | Hosea xiv.<br>Ioan xiii. hyd 36 |
| 27 Gwe. | Dydd Gwener y Croglith* | Gen. xxii. hyd 20<br>Ioan xviii. | Esai lii. 13 a liii.<br>1 Pedr ii. |
| 28 Sad. | Hwyr cyn y Pasc | Zech. ix.<br>Luc xxiii. 50 | Hosea v. 8 hyd vi. 4<br>Rhuf. vi. hyd 14 |
| 29 Sul | Dydd y Pasc† | Exod. xii. hyd 29<br>Dad. i. 10—19 | Exod. xii. 29 neu xiv.<br>Ioan xx. 11—19 neu |
| 30 Llun | Llun yn wythnos y Pasc | Exod. xv. hyd 22<br>Luc xxiv. hyd 13 | Can. ii. 10 [Dad. v.<br>Mat. xxviii. hyd 10 |
| 31 Maw. | Mawrth yn wythnos y Pasc | 2 Bren xiii. 14—22<br>Ioan xxi. hyd 15 | Esec. xxxvii. hyd 15<br>Ioan xxi. 15 |

* Salmau Priodol—Boreu xxii., xl., liv.; Prydnawn, lxix., lxxxviii.

† Salmau Priodol—Boreu, ii.. lvii., cxi.; Prydnawn, cxiii., cxiv., cxviii. Anthem Briodol yn lle y *Venite*. Credo Saut Athanasius. Rhagymadrodd Priodol yng Ngwasanaeth y Cymmun hyd Ebrill 5.

---

CARMARTHEN:
Printed and published by W. Spurrell & Son, at their Printing Office, situate and being at No. 37, King-street, in the Parish of Saint Peter, in the County of the Borough of Carmarthen, on Saturday, the 28th of February, 1891.

Digitized by Google

# YR HAUL.

## Ail Gyfres Caerfyrddin.

"YNG NGWYNEB HAUL A LLYGAD GOLEUNI."
"A GAIR DUW YN UCHAF."

RHIFYN 76. EBRILL, 1891. CYF. VII.




TRE RAWSON (*prif bentref y Wladfa Gymreig, Patagonia*).

## MAES Y GENADAETH.

ARANCANIA (CHILI, AMERICA DDEHEUOL).

Y MAE Chili, druan (un o wledydd blaenaf America Ddeheuol), yng nghanol pangfëydd rhyfel cartrefol, ond nid son am ryfeloedd ydyw amcan yr ysgrifen yma. Credaf y llenwir calon llawer un ag edmygedd pan ddywedaf fod ŵyr i'r dewrwych Cadben Gardiner newydd lanio yn Chili i gario ym mlaen ryfel y Groes. Pan syrthiodd Allen Gardiner yn y rhyfel fel merthyr dros Grist, aeth ei unig fab allan i'r un wlad, sef America Ddeheuol, i gario ym mlaen yr un gwaith. Sefydlodd yn Lota, tref a phorthladd yn Neheudir Chili, lle adnabyddus i lawer Cymro sy'n hwylio ei long i gludo mwn i Abertawe dros y Werydd heibio *Cape Horn*, ac y mae aml i



Digitized by Google

Gymro yno hefyd ym mhlith y glowyr a gynnwysa y rhan fwyaf o'r boblogaeth. Ym mhellach i'r wlad gorwedda tiriogaeth yr Indiaid dewrwych, sef yr Arancaniaid neu *Chilenos*, fel eu gelwir gan lawer. Y mae yr Indiaid hyn yn rhagori, nid yn unig ar holl dylwythau brodorol America, ond hyd yn nod ar y trigolion Yspaenaidd, mewn corff a meddwl. Hwynt-hwy ydyw Cymry yr America, o herwydd pan laddwyd a chaethgludwyd y rhan fwyaf o drigolion anffodus Mexico, Peru, &c., gan Cortez a Phizarro, a gorthrymwyr ysgeler ereill yn oes gormeswyr Yspaen, cadwodd yr Arancaniaid eu rhyddid yn ddianaf, gan droi min y cleddyf yn dost at y sawl a gawsai fuddugoliaeth esmwyth mewn gwledydd ereill. Felly parhäi yr Arancaniaid yn ddrain yn ystlys Chili hyd y flwyddyn 1883, pan aethpwyd i gytundeb heddychlawn â hwynt; ac yn awr wele Gymry a Saeson yn prysuro yno i ymsefydlu yn y wlad ffrwythlawn a hyfryd. Wel, trwy yr holl amser y bu y Parch. Allen Gardiner yno, methodd yn llwyr â chael gafael ar yr Arancaniaid. Ni fynent i ddyn gwyn sefydlu ar eu tir y pryd hyny drwy ofn bradwriaeth yr Yspaenwyr. Ond curwyd wrth y drws mewn gweddi am lawer blwyddyn o amser Cadben Gardiner hyd heddyw bron, ac yn awr *y mae y drws yn agored*, ac wele filoedd o Indiaid tawel gweithgar yn byw yn barchus ac yn barod i dderbyn yr Efengyl, ond, gresyn, *heb* Efengyl hyd yn hyn. Y mae llawer o honynt yn byw ochr yn ochr â Chymry sydd newydd sefydlu yn Arancania: at y rhai hyn y mae Mr. W. Gardiner yn cyfeirio ei gamrau. Y mae yn myned ar ei draul ei hun yn unig, a bwriada weinyddu nid yn unig i eneidiau y bobl, ond i'w cyrff hefyd. Y mae yn feddyg ac yn efengylwr. Bu yn Edinburgh yn efrydu hyd yn ddiweddar; ond ar ei draul ei hun bydd y rhan fwyaf o'i waith. Y mae yn Arancania yn agos i *gant* o Gymry, a dysgwylir tua *tri chant* o leiaf yno yn fuan (os nad ydynt yno yn awr) gwedi gadael y Camwy, gan fod hinsawdd well yn Chili. Clywais yn ddiweddar oddi wrth y Parch. J. R. Tyerman, yr hwn sydd yn bugeilio Cymry a Saeson Arancania. Dywed hwnw fod y Cymry yn awyddus iawn am gael o leiaf *athraw* Cymreig a allasai gynnal moddion Eglwysig ar y Sul, a chadw ysgol yn yr wythnos. Y maent yn barod i adeiladu ysgoldy cymhwys at gynnal gwasanaethau crefyddol, ac y mae yn barod yn agos i 30 o blant *Cymreig* mewn angen am addysg. A ddichon nas gall Eglwys y Cymry wneuthur dim at gynnal breichiau yr S.A.M.S. yn y mater? Dylid cofio fod yn America Ddeheuol amryw o sefydliadau Cymreig dan ofal offeiriaid Seisonig, sef yn Arancania Chili; yn Naposta ger Bahia Blanca; yn yr Alexandra Colony Santa Fe, y ddau olaf yn y Weriniaeth Argentaidd. Dan *ofal* dywedais; ond ystyriwch hyn: *y mae plwyf llawer offeiriad* yn America Ddeheuol yn fwy o *arwynebedd* o lawer na *Thywysogaeth Cymry* i gyd, ac felly anaml iawn y gall yr offeiriad weinyddu i'r gwasgaredigion hyn. Heb law hyn, cofiwn fod y Cymry yn dal wrth eu hiaith yn gyndyn ym mhob man, ac yn byw mewn deadellau unedig; felly y fath fendith a fyddai darparu moddion iddynt gael o leiaf bregethwr lleygol i'w cadw yn undeb yr hen Eglwys. Mae y cynauaf yn fawr o flaen yr ychydig sydd yn *dyhëu* am weled ein hen Eglwys Prydeinig yn estyn ei hadenydd dros y miloedd Cymry sydd yn America, ac O resyn mor anaml y gweithwyr. Pa sawl offeiriad sydd yn nacäu ei bulpud i neb bleidio dros "y Cymry ar wasgar," eto yn eithaf parod i ddanfon ffrwythau yr offrwm cenadol i'r ethnig? A oes neb na ddarboda dros yr eiddo, yn enwedig ei *deulu*? Clywch y llef o Macedonia, a phrysurwch i'w cynnorthwyo.

*Bettws y Crwyn, Salop.* W. M. ROBERTS.

---

## GWALLTER MECHAIN.

(*Parhâd o dudal.* 77).

YR oedd oes Gwallter Mechain yn oes o lafur enbyd. Clywais gan un a'i hadwaenai yn dda ei fod yn ddarllenwr mawr, ac yn efrydydd diwyd a chaled iawn. Treuliodd oes faith i gasglu gwybodaeth gyffredinol eang, ac ni welwyd mo hono yn ei henaint byth yn segur. Ysgrifenai yn barhäus i ryw gylchgrawn neu gilydd hyd o fewn ychydig ddyddiau i'w farwolaeth. Yr oedd yn ymgeisydd ar "Awdl y Greadigaeth," yn eisteddfod Aberffraw, yn 1849, pan yn wyth a phedwar ugain mlwydd oed. Yr oedd cylch ei wybodaeth yn gyflawn iawn. Nid oedd na chelf na gwyddor, hanesyddiaeth hen na diweddar, nad ydoedd yn berffaith oleu iddo ef. Yr oedd rywfodd yn gyfartal fawr ym mhobpeth. Siariadech ag ef am unrhyw beth gallasai roddi goleuni arno, ac yr oedd ei gof yn enfawr, a'i feddwl a'i amgyffredion yn glir a gafaelfawr. Dywedai golygydd y *Montgomeryshire Collections* nad allasai un dyn ysgrifenu hanes y sir hòno yn gyflawn ond Gwallter Mechain. Nid rhyfedd fod ganddo law ym mhob gwaith llenorol pwysig yn ei gyssylltiad â Chymru yn ystod yr hanner cyntaf o'r ganrif bresennol. Ysgrifenodd ugeiniau o erthyglau



Digitized by Google

medrus a galluog yn Gymraeg a Seisoneg i'r gwahanol realon. Y mae rhyw swyn rhyfeddol yn ei holl draethodau gorchestol, ac y maent yn llawn gwladgarwch Cymruaidd, fel y mae yn anhawdd eu gollwng heibio heb eu darllen a'u hefrydu yn fanwl. Y mae eu harddull Gymreig yn bur a diledryw, a'u syniadau yn goeth a didramgwydd, a'r oll ar destynau gwladgarol a buddiol. Nis gwn am draethodau Cymreig mor bur o ran chwaeth a thraethodau Gwallter Mechain, Alun, a Dr. Edwards, Bala; nid oes ynddynt odid ddim o'r Philistiad gwyllt a gwagsaw, yr hwn sy'n dyrnodio ac yn dryllio pob peth os na fydd o'r un shiboleth ynfyd ag ef ei hunan. Nid ysgrifenydd unochrog mo hono, yn rhyw hoff o ymgecru ac ymddadlu yn barhäus, gan edrych yn gul a rhagfarnllyd ar olygiadau gwahanol i'r eiddo ei hunan. Yr oedd ein hawdwr yn foneddwr bob modfedd o hono; ysgrifenai bob amser yn glir a phenderfynol, ac ni chlywais gan un erioed iddo archolli teimladau neb yn fwriadol yn ei ymdriniaeth â llenyddiaeth trwy holl ystod ei oes faith ar y ddaiar. Yr oedd gan bawb yr ymddiriedaeth lwyraf yn ei alluoedd dysglaer, a rhoddent yn unfryd unfarn y flaenoriaeth iddo ym mhob peth perthynol i lenyddiaeth ac hynafiaeth Gymreig, a hyny mae'n debyg am y gwyddent am ei wybodaeth helaeth, ei brofiad cyflawn, a'i farn addfed a phwyllus.

2. Yr oedd bron yr oll o'r hen offeiriaid oedd yn cydoesi â Walter Davies yn foneddwyr trwyadl, ac wedi cael manteision addysg yn yr ysgolion gramadegol, a derbyn gradd dda o loewder yn Rhydychain a Chaergrawnt; ac yr oedd effeithiau y pethau hyny i'w gweled yn amlwg yn eu bywydau a'u bucheddau. Nid rhyw lawer o honynt gymmerai y dyddordeb lleiaf mewn dim byd Cymreig. Treulient eu bywydau yn dawel a digynhwrf, gan fwynhau eu hunain yn esmwyth, a gadawent i bethau a symmudiadau Eglwysig gymmeryd gofal o honynt eu hunain. Ni thalent odid sylw i'r wasg Gymreig, a chai y cyhoeddiadau Eglwysig rynu serch dim ymdrecha wnaent hwy i hyrwyddo eu lledaeniad. Talai llawer o honynt gryn sylw i Fyrddau Gwarcheidwaid, a threulient amser lawer yn ymlid o'r naill gwrdd ynadol i'r llall i ymwneyd â phethau na pherthynai ddim iddynt, ac felly esgeulusent i raddau amgylchiadau a materion Eglwysig. Yr oedd llawer o honynt serch hyny yn ddynion da iawn a chydwybodol, ac yn elusengar a charedig iawn wrth dlodion eu gofal. Llafurient yn ddiwyd ac effro gyda'u dyledswyddau a'u gofalon crefyddol. Hefyd talai nifer mawr o honynt sylw dyladwy i'r ysgolion dyddiol, a threulient oriau lawer i addysgu yr ieuenctyd. Yr offeiriaid ydoedd yr unig ddosbarth o bobl a gymmerai ddyddordeb yn hyfforddiant y genedl am oesau lawer. Buasai sefyllfa addysg yn llawer is yng Nghymru nag ydoedd oni buasai i'r offeiriaid gymmeryd cyfran mor helaeth yn ei ledaeniad a'i hyrwyddiad yn y gwahanol blwyfydd. Adwaenwn lawer offeiriad a dreuliodd ddeugain mlynedd neu ragor gyda'r gorchwyl llafurus yma. Nid oedd odid i ddiwrnod na thalent ymweliad â'r ysgolion, gan gynnorthwyo yr athrawon, y rhai, fel y sylwyd, oeddynt yn fynych yn lled anwybodus. Clywsom gan un a wyddai yn dda fod Walter Davies yn lled flaenllaw gyda'r pethau yma cyn i henaint a musgrellni ei oddiweddyd. Yr oedd yn dduwinydd rhagorol ac yn bregethwr sylweddol iawn. Gwelsom rai o'i bregethau yn ei lawysgrifen, yr hon oedd yn eglur a destlus, ac yr oeddynt yn ymarferol ac efengylaidd iawn o ran eu hysbryd a'u syniadau. Nid oedd yn draddodwr llithrig a chynhyrfus, ond tueddai at fod yn arafaidd a phwysig; ond gwnaeth gryn son am dano ei hunan unwaith wrth bregethu o flaenn u o'r barnwyr ym Mrawdlys y Trallwm Coch, ym Mhowys. Nid oes dadl nad ydoedd pregethau o safle Walter Davies yn werth i ddyn wneyd ryw ymdrech i'w gwrando bob amser. Nid ydoedd fel llawer a rhyw duedd ynddo i ymwthio i'r blaen gyda phob symmudiad cyhoeddus, ond yn hytrach cadwai yn ol am fod ei anianawd bob amser yn wylaidd a llariaidd iawn. Ond os caid ganddo unwaith draethu ei feddwl, nid oedd wiw i neb ymgynnyg ar ei ol, am fod ganddo yn ei feddiant y fath ystôr o wybodaeth gyffredinol ar bob peth defnyddiol. Ni chlywyd erioed hanes am dano yn ymryson â neb yn ei blwyf, nac yn amcanu meistroli neb trwy fynu cario ei fympwyon ei hunan, a hyny yn groes i feddyliau ei blwyfolion. Gwladgarwr tawel a phwyllus yn ei blwyf, ei fuchedd yn wastad, a'i ymarweddiad bob amser yn gywir a chrefyddol, yn hawlio parch ac edmygedd gan dlawd a chyfoethog —un felly ydoedd Gwallter Mechain. Cof genym ei weled unwaith yn ei henaint ar yr heol yn Llanrhaiadr ar ddiwrnod ffair gwyl mabsant. Nis gallwn roddi gwell darluniad o hono nag a rodda ef ei hunan yn un o'i lythyrau at Nathan Dyfed: "Gofynasoch pa oed. Nes i naw deg nag i wyth deg. Nis gwn ac ni ŵyr neb pa faint ym mhellach y caf ymlusgo tua thraw. Caffwyf fynediad dedwydd pan ddêl yr awr. Y mae fy henaint i yn henaint lled gadarn o barth cnawd, a gwaed, ac esgyrn, ac yn ymyl dwy lath o daldra. Dyna i chwi atebion i'ch gofyniadau." Gwelais ei lun ar gerdyn yn eistedd yng nghadair Dyfed, ym meddiant y diweddar Cyffin,

Digitized by Google

Llansantffraid Mechain. Nis gwn a ydyw y cerdyn ar gael, ond carasai llawer gael copi o hono.

3. Yr oedd Twm Nant a Jonathan Hughes yn dechreu heneiddio pan oedd Gwallter Mechain yn ymgystadlu â hwy yng Nghorwen, ac yn ennill y gwobrau oddi arnynt. Fel y sylwyd, achosodd hyny fawr gyffro yn yr awyrgylch farddonol Gymreig, ac ef allai nad ydoedd cyfansoddiadau yr eisteddfod hòno yn arddangos ryw anianawd farddonol ddysglaer yn un o'r ymgeiswyr, ac nad oedd yn werth ryw daeru ac ymgecru llawer am eu teilyngdod prydyddol. Gwnaeth ein bardd gynnydd dirfawr ar ol hyn, fel y tystia ei gynnyrchion ar y gwahanol fesurau rhydd a chaeth. Yr oedd Dafydd Ddu ac yntau yn ymgystadlu â'u gilydd yn lled fynych, a byddent weithiau yn trechu naill y llall. Dywed rhai fod cynnyrchion y ddau fardd enwog yn ymylu ar y marwaidd, a phriodolant hyny am fod y ddau yn bur hoff o hynafiaethau a phethau cyffelyb. Nis gwyddom a ydyw y ddamcaniaeth yn gywir ai peidio, ond credwn nad ydoedd ein hawdwr yn Oronwy o fardd, yn gallu tynu darluniau byw mewn llinellau cryfion a thanbaid, a hyny heb arddangos yni annaturiol. Ac nad oedd yn meddu ar dân fflamllyd a darfelyddiad bywiog, fel ag i allu dychymmygu a chyfansoddi llinellau a fyddant mewn bri ac ar dafodleferydd tra y parablir yr iaith. Ni cheir ryw fflachiadau gwreichionllyd yma a thraw yn ei awdlau fel yn awdlau Dewi Wyn, a'r rhelyw o feirdd Arfon fynyddig. Yr oedd cynnyrchion Walter Davies mor drefnus ac mor bur o ran chwaeth a Goronwy, a'i syniadau yn llawer cywirach o ran iaith ac eglurder ffugyrau na Dewi. Ef allai nad oedd ganddo y fath athrylith i fachu ymadroddion yn eu gilydd a'u hasio yn un adeilwaith cadarn a'r ddau fardd crybwylledig; modd bynag, cyflawnodd ein bardd gryn orchestion, a chynnyrchodd rhai awdlau rhagorol, fel nad oes yn niwedd y bedwaredd ganrif ar bymtheg rhyw lawer o awdlau Cymreig a ddaliant eu tafoli â hwy. Y mae bron yr oll o'r beirdd Cymreig yn ddilynwyr anian yn eu gweithiau, ac anfynych y cloddiant i lawr i fwngloddiau dyfnion athroniaeth dywell, fel amryw o'r beirdd Seisonig, nes y rhaid i ddyn ymboeni llawer er mwyn eu deall a'u hamgyffred, gan mor dywyll a niwlog ydyw eu meddyliau, a'u syniadau mor ammhëus a phruddaidd. Rhai o brif gynnyrchion ein bardd ydynt, "Cwymp Llywelyn," "Ymdrech Caswallawn," "Marwolaeth Picton;" a'i brif ddyrïau ydynt, "Awyrain y Gwenyn," "Cwynfan Prydain," "Cân Nos Galan," a "Galarnad Dafydd am Absalom." Nid oes yr un delyneg yn yr iaith yn fwy tyner a thoddedig na'r olaf; dalia ei darllen drosodd a throsodd. Nid ydyw y meddwl na'r teimlad byth yn blino arni; y mae bob amser yn ei blas, ac yn cynnyrchu effaith wrth ei darllen a'i chanu. Yr oedd y bardd, meddir, o dan gyffelyb deimladau â brenin Israel pan ei cyfansoddodd, ac wedi derbyn archolliad trwm i'w feddwl a'i galon yn nyrysiad synwyrau ei unig fab dysgedig, y Parch. W. C. Davies, M.A., yr hwn a fu farw yn Nhowyn, Meirion, rai blynyddau yn ol. Cyhoeddwyd gweithiau y bardd yn dair cyfrol helaeth gan Mr. Spurrell, o dan olygiad medrus y llenor byd-enwog, y Parch. D. Silvan Evans, rheithor Llanwrin.

4. Nid oedd fawr o ystum ar feirniadu pan ymaflodd Gwallter Mechain yn y clorian. Yr hen ddull ydoedd anfon y cyfansoddiadau o Gymru i fyny i Lundain i'r Gwyneddigion i'w beirniadu, y rhai a benodent noson arbenig i'r cyfryw orchwyl, a'r ffraethaf ei dafod a'r mwyaf ei ddylanwad fyddai yn myned â'r maen i'r wal yn fynych trwy allu cael y mwyafrif o'i blaid i benderfynu teilyngdod y cyfansoddiadau a dafolid ar y pryd ganddynt. Byddai yr aelodau yn fynych o dan ddylanwad y ddioden, ac wrth ymdaeru a chroesymdaeru â'u gilydd, yr oeddynt yn myned i dymmerau drwg, a thrwy hyny ceisient niweidio eu gilydd fel ynfydion, tra yr oedd cyfiawnder a gonestrwydd yn cael eu mathru ar lawr ganddynt. Wedyn esgynodd Bardd Nantglyn a Doctor Owen Pughe i'r fainc; ond, druain o honynt, aethant yn fuan o dan ddyblygion niwl a tharth dudawch am

"Ni fynent hwy, er hwy rhin,
Ro'i y tlws i'r Taliesin."

Rhoddodd ymgymmeriad Walter Davies â'r swydd o farnu wedd newydd ar feirniadaeth Gymreig. Nid oedd neb cymhwysach nag ef i'r swydd ar gyfrif ei dalentau dysglaer, ei wybodaeth helaeth, ei arafwch a'i benderfyniad gwrol, a'i onestrwydd diammheuol. Nid oedd neb allasai ysgrifenu beirniadaeth debyg iddo. Y mae rhyw swyn rhyfeddol ym mhob un a ysgrifenodd; nid oedd byth yn daiog, nac yn gignoeth, nac yn taflu ensyniadau bryntion er mwyn dolurio ac archolli teimladau yr ymgeiswyr. Yr oedd ei lon'd o natur dda bob amser wrth ysgrifenu, ac felly yr oedd rhyw loewnaws hyfryd yn rhedeg yn wythïen fyw trwy ei holl feirniadaethau, nes yr oedd yn well genym eu darllen yn fynych na'r cyfansoddiadau gwreiddiol eu hunain. Y mae Gwallter Mechain ar ei ben ei hunan fel beirniad medrus yn uwch o'i ysgwyddau i fyny na neb fu o'i flaen nac ar ei ol, a phriodol gall Cymru ddywedyd yn iaith Alarch Stradford, na cha

Digitized by Google

"Fyth weled ei fath eilwaith."

Bu yn beirniadu ar y prif destynau yn y prif eisteddfodau am flynyddau lawer, ac ystyrid ei ddyfarniadau bob amser mor gywir, fel na ddywedid dim yn gyhoeddus yn eu herbyn. Dywed Caledfryn am dano fel hyn:—

"I galon awdlau gwelai,—o honynt
Darluniad a dynai;
A'i bwyntel ef a baentiai
Awen bur heb yr un bai."

Dyna ni wedi traethu ein syniadau yn fyrion am y Parch. Walter Davies; gall fod ugeiniau yn barnu yn wahanol—rhydd i bawb ei farn, ac i bob barn ei llafar. Dywedwn ym mhellach, gresyn na fuasai Gwallter Mechain, Rowland Williams, Meifod, a David Hughes, Llanfyllin, wedi eu dyrchafu i'r fainc esgobawl: yr oeddynt un ac oll yn wir deilwng o'r anrhydedd. Claddwyd ein bardd ar fin yr afon Rhaiadr, ym mynwent Llanrhaiadr ym Mochnant, o dan gysgod ywen friglas o'i blaniad ei hunan. Diweddwn ein hysgrif â'r llinellau dilynol o'i eiddo ar ol bardd arall o gyffelyb anianawd:—

"Rhanu a wnaeth o rinwedd
Ei gyfrin hyd fin ei fedd;
I bawb y rhoes, i bob rhai,
Am addysg ni ommeddai;
Llygad i rai llai na'r lleill,
Llew o wr—llaw i ereill:
Rho'i addysg o'i ddysg oedd ddoeth,
Rho'i yni mewn rhai annoeth;
Rhoddai galon ei fron frau
I ddynion llariaidd ddoniau."

HENRI MYLLIN.

---

## DUWINYDDIAETH: NEU SYLWADAU AT WASANAETH YR YSGOL SUL AR YR EFENGYL YN OL ST. MATTHEW.

GWERS XXI.

*Pennod viii. 1—4. O.C. 28. Fel rhagbarotoad darllener Lef. xiv. 3, 4, 10; St. Marc i. 40; a St. Luc v. 12.*

YN y tair pennod flaenorol cawsom megys glywed geiriau yr Arglwydd Iesu, Duw y Doethineb. Yn ei ymadroddion grasol a doethion llefarai fel na lefarodd neb erioed. Yr oedd yn "dysgu fel un ag awdurdod ganddo." Llefarai eiriau dwyfol wrth ddynion pa un bynag a wnelent ai gwrandaw ai peidio. Yr ydym yn awr yn dechreu darllen am *weithredoedd* nerthol yr Arglwydd Iesu. Cawn yn hanes y gwyrthiau weled insel y Tad yn cael ei rhoddi ar neges y Mab, St. Ioan x. 37, 38. Gallwn mewn dull o lefaru alw gwyrthiau yr Arglwydd Iesu yn sacrament ei weinidogaeth bersonol, sef yn arwyddion gweledig oddi allan o'r gras ysbrydol oddi mewn, St. Luc xi. 20.

ESBONIAD EGLURHAOL.

Adn. 1: "*Ac wedi,*" &c., "*torfëydd lawer,*" &c. Yr oedd pregethau yr Arglwydd Iesu drwy eu newydd-deb, eu nerth, eu graslonrwydd, a'u tynerwch yn attynu y lluaws.

Adn. 2: "*Daeth un gwahanglwyfus,*" &c. Gallai y buasai yn gwrandaw tua chyrion y dorf, o herwydd ni chanatëid iddo ymwasgu i'r dorf, Lef. xiii. 46; St. Luc xvii. 12.

"*Os myni ti a elli fy nglanhau.*"—Credai y gwahanglwyfus fwy yng ngallu yr Iesu nag a wnai yn ei ewyllys. Y mae hyn yn naturiol i bob dyn. Y mae tragwyddol *allu* Duw yn eglur (Rhuf. i. 20), ond nid yw ei dragwyddol ddaioni a'i gariad mor amlwg. Ond yr anhawsder mwyaf oll ydyw gallu amgyffred a sylweddoli daioni a chariad Duw atom fel personau unigol. Credwn oll pe mynai Duw y gallai ein gwneyd yn llawer mwy dedwydd. Y mae amddifadrwydd o *un* drugaredd yn ein gwneyd yn annedwydd. Y dull goreu i ymfoddloni â gallu ymostwng dan alluog law Duw ydyw cyfrif rhifedi y trugareddau sydd genym.

Adn. 3: "*A'r Iesu a estynodd ei law ac a gyffyrddodd ag ef.*"—Gwnaeth hyn (*a*) i ddangos ei ewyllys da; (*b*) ac arwyddocäu dwyfoldeb ei neges a'i Berson. Syrthiasai y gwahanglwyfus ar ei wyneb (St. Luc v. 12) ac addolasai Ef fel dwyfol genadwr ag yr oedd ganddo ryddid i fyned ato (Lef. xiv. 3); (*c*) profodd yntau ei ddwyfoldeb trwy gyffwrdd o hono Ef—y glân â'r aflan—ac iachäu y clwyf. Dyma gyffyrddiad iachaol ac achubol yr Arglwydd Iesu, ac y mae yn arwyddocaol dros ben. Gwnaed corff aflan y gwahanglwyfus yn lân trwy gyffyrddiad â chorff Crist. Mor darawiadol y cysgoda sacrament ei gorff a'i waed Ef, lle y gweddïwn am wneuthur ein "cyrff pechadurus ni yn lân drwy ei gorff Ef," &c. (gweddi o ymostyngol gyffes yng Ngwasanaeth y Cymmun).

Adn. 4: "*Gwel na ddywedych,*" &c. Rhoddir yr un gwaharddiad yn St. Marc vi. 1. Y mae holl ddaionus waith Duw yn cael ei gyflawnu yn ddystaw. Ni raid i'r gwir ddaionus ddangos ei Hun, am na all fod yn guddiedig, St. Matt. v. 14.

"*Dangos dy hun i'r offeiriad.*" 1. Er mwyn cyflawnu gofynion deddf Duw. Ni fynai yr Iesu fathru hon. 2. Er mwyn i'r dyn a iachasid gael

Digitized by Google

adferiad i fwynhâd o'i holl freintiau dinesig a chrefyddol.

### Y GWAHANGLWYF.

Enw arwyddocaol dros ben ydyw yr enw Cymreig ar y clwyf aflan hwn, am ei fod yn *gwahanu* rhwng y cleifion a oddefant dano â phob rhan o'r gymdeithas ddynol. Mae y gwahanglwyf, fel afon angeu, yn creû gagendor rhwng yr afiach a'r iach, fel na oddefir i'r naill fyned drosodd yn ol na blaen y naill at y llall: darllener Lef. xiv. 2—7. "Nid oedd y gwahanglwyf yn ddim llai na marwolaeth fyw; gwenwynai ffynnonell bywyd, a sychai i fyny holl wlybyron ei nodd ef. Ymdattodai yr holl gorff fesur ychydig, nes gwywo o'r naill aelod ar ol y llall, a syrthio ymaith" (*Trench*). Cymmerodd yr ysgrifenwyr ysbrydoledig y gwahanglwyf yn arwyddlun a chysgod o bechod, a gosododd deddf Moses yr offeiriadaeth i *lenwi* y gagendor rhwng yr aflan a glân. Nid oedd yr offeiriaid fodd bynag yn hawlio *gallu* i lanhau, ond yn unig *ddadgan* y glanhâd.

Yn y wyrth hon gwelwn yr Arglwydd Iesu yn myned i'r bwlch, yn cyffwrdd, a *glanhau.* Fe agorodd yr Arglwydd Iesu ddrws i *gariad goreu* byd ddylifo i blith y gwahangleifion. Bum can mlynedd yn ol, yr oedd y gwahanglwyf yr un o glefydau mwyaf erchyll yr ynys hon. Trwy ffyddlondeb gweinidogaeth yr Eglwys yn ymgeleddu y trueiniaid hyn y glanhawyd ein gwlad o honynt. Gwnaeth yr Esgob Hugo, neu Esgob Hugh, o Lincoln (gwel ychydig o'i hanes yn yr *Haul* am 1888, tud. 263, 299, a 331), lawer drostynt. Mae y gwahanglwyf eto yn fflangell erchyll ar drigolion Affrica ac ynysoedd Môr y Dê. Ceir hanes dyddorol am genadaeth i fysg trefedigaeth o wahangleifion a anfonir o ynysoedd Sandwich i ynys o'r enw Molokoi (gwel *Haul* am Ebrill, 1889) ym Môr y De. Ni oddefir i un cenadwr ddychwelyd o'r ynys ar ol glanio arni unwaith. Y mae yr arwyddair uwch ben gwlad y gwahangleifion fel uwch ben pyrth angeu—

"Ni ddychwel neb a groesa'r rhiniog hwn."

### GWESTIYNAU.

Pa ran o waith Crist a ddangosir yn ei wyrthiau? Pa fodd y maent fel sacrament? Pa le y cyfarfu y gwahanglwyfus Grist? Pa fodd ei cyfarchodd? Ym mha beth y credai yn benaf? Paham y cyffyrddodd Crist ag Ef? Pwy oedd i'r gwahangleifion gynt fyned atynt? Pa fodd y glanhawyd y gwahanglwyfus? Pwy a all gyffwrdd a glanhau? Paham y gwaharddai yr Iesu ddweyd wrth neb? Beth oedd y gwahanglwyf yn ei arwyddocäu? Pa beth a wnai? Pwy oedd i lenwi yr agendor? Pwy fu yn foddion i ddilëu y gwahanglwyf yn y wlad hon? Pa le y mae trefedigaeth o wahangleifion yn bod yn awr?

### GWERS XXII.

*Iachäu gwas y canwriad, St. Matthew viii. 5—13. O.C. 28. Darllener Esaiah xxxv. 1—10; St. Luc vii. 1—10; ac Actau x. 1—8. Dysger allan Salm xli. 1; St. Matt. v. 3; Salm cvii. 20.*

### ESBONIAD EGLURHAOL.

Adn. 5: "*Daeth ato ganwriad.*" Estron o genedl oedd, swyddog yn y fyddin (Act. x. 1), ac yn broselytiad i'r grefydd Iuddewig (St. Luc. xii. 5), a chymmwynaswr i'r genedl.

Adn. 6: "*Y mae fy ngwas,*" &c. Eiriol dros ei was yr oedd.

Ad 7: "*Mi a ddeuaf,*" &c. Dyma barodrwydd Crist. Dyma wers o ewyllysgarwch i'w weinidogion Ef.

Adn. 8: "*Nid ydwyf deilwng,*" &c. Dyma ddyn yn gallu mesur a phwyso rhinwedd moesol ac ysbrydol. Agorasid ei lygaid i weled pa beth ydyw gwir fawredd—mawredd moesol, ysbrydol, dwyfol.

"*Dywed y Gair.*"—Dyma fawredd ffydd. Y mae gostyngeiddrwydd a ffydd yn ddwy chwaer rasusu. Gwreiddia y naill o'r llall. Dwy efeilles ydynt.

Adn. 9: "*Dyn wyf finnau,*" &c. Gosodir yr Arglwydd Iesu yma yn Arglwydd ar elfenau natur, clefydau, heintiau, a phob afiechyd, fel swyddog milwrol ar ei filwyr. Ufudd-dod ebrwydd a dirwgnach ydyw hanfod dysgyblaeth milwyr. Rhaid ufuddhau ar eiliad.

Adn. 10: "*Ni chefais gymmaint ffydd,*" &c. Yr oedd yr estron hwn yr deall natur awdurdod yr Arglwydd Iesu yn well nag un Iuddew.

Adn. 11—13: Rhagfynegir yma gwymp yr Iuddewon, sef eu gwrthodiad cenedlaethol, a derbyniad i mewn y Cenedloedd.

Daw cymmeriad y canwriad i'r golwg—1. Ei garedigrwydd a thynerwch. Gofalai am ei was a theimlai drosto, a gwnaeth aberth er ei fwyn. 2. Er ei fod yn swyddog milwrol dan ymherawdwr Rhufain yn cadw yr Iuddewon i lawr, a'u llywodraethu yn groes i'w hewyllys, ennillasai eu serch. 3. Yr oedd yn ddyn gostyngedig. Cenedl falch oedd y Rhufeiniaid, swydd a'i llon'd o falchder ydyw swydd milwr, eto gwr gostyngedig oedd y canwriad.

### FFYDD Y CANWRIAD.

Dyma faen clo ei gymmeriad, a dyma brif wers y wyrth. Ffydd ydyw y rhwymyn *dirgel* sydd yn dal cymdeithas wrth ei gilydd. Mewn priodas y mae

Digitized by Google

gwr a gwraig yn rhoddi "eu cred" i'r naill y llall. Y mae ganddynt ffydd yn y naill y llall, a thra y pery y ffydd hon pery eu dedwyddwch, a bydd eu gweithredoedd yn gymmeradwy gan eu gilydd. Y mae rhinwedd moesol yn rhedeg o'r naill berson i'r llall tra y byddo ganddynt ffydd yn eu gilydd, ac y mae y ffydd hon yn creu gweithredoedd da. Ffydd y canwriad oedd yn agor holl ddorau gras Crist. Drwy ffydd sylweddolai ei allu, ei ddaioni, ei ddwyfoldeb, ac felly gallai ymddiried yn ei air lleiaf. Pe na fuasai gan y canwriad ffydd yng Nghrist, ni buasai un gwerth moesol nac ysbrydol yn y wyrth. Gŵyr Satan yn dda faint gwerth ffydd, ac am hyny perswadia bawb rhag ymddiried yn naioni Duw, yn naioni Crist, ac yn naioni *gweinidogion* ei Efengyl Ef. Un o'r pethau mwyaf dychrynllyd yng nglŷn ag ymraniadau crefyddol ydyw y fantais a rydd i ymdrechion Satan i greu *drwgdybiaeth* yn lle ymddiried rhwng gweinidogion y Gair a'r bobl. Priodolir gau amcanion i bob gweithred dda, megys ymweled â'r cleifion, cyfranu i'r tlodion, a chysuro y galarus. Y mae yr oll o hyn yn dinystrio seiliau ffydd, ac yn amddifadu pobl o fendithion moeso lac ysbrydol. Rhaid meithrin meddwl uchel am Grist, ei waith, a'i weinidogaeth, os mynwn dderbyn bendithion drwyddynt.

### LLWYDDIANT Y CANWRIAD.

Bu iddo fel y credodd. Felly y bydd i bawb a gredant eiriau Crist. Dywedir hanesyn am Napoleon unwaith iddo, pan yn edrych ac arolygu y fyddin, ollwng y ffrwyn ar war ei geffyl. Neidiodd y ceffyl gan dynu yr awenau dan ei draed, a chychwynodd ymaith ar garlam; ond ar y fynyd nesaf, neidiodd milwr cyffredin o'r rhenc a llwyddodd i ddal y ceffyl. "Diolch i chwi, *captain*," ebai Napoleon yn arwyddocaol. "*Captain* o ba gatrawd, fy ymherawdwr?" dywedai y milwr yn hunanfeddiannol. "O'r *guards*," ebai yr ymherawdwr. Rhoddes y milwr ei fwsged i lawr, ac aeth at ben cadlys y *guards*, a derbyniodd longyfarchiadau y swyddogion am ei wroldeb, ac ar ei ddyrchafiad yn *captain*. Credodd yr ymherawdwr ar ei air, a derbyniodd ei wobr. Ba faint mwy y derbynia y Cristion y wobr?

Dros ei was, ef allai caethwas, yr ymbiliodd y canwriad â Christ, a derbyniodd y fendith. Fe wrendy Duw ar weddïau cyfryngol ei bobl. Gall plant weddïo dros rieni a rhieni dros blant. Ein dyledswydd yw gweddïo dros y naill y llall.

### CWESTIYNAU.

Pwy oedd y canwriad? Enwch ganwriad arall? Pa fath ddyn oedd? O ba genedl? Pa beth a wnaethai dros yr Iuddewon? Pa beth a ddywedodd am dano ei hun! Sut ddyn oedd o ran ei dymmerau? Pa beth oedd yn ei hynodi fwyaf? Paham y mae ffydd yn beth mor bwysig? Dywedwch yr hanesyn am Napoleon a'r milwr a ddaliodd ei geffyl. Pa beth ydyw un o beryglon ymraniadau? Pa beth a fu gwobr y canwriad yn y diwedd?

### GWERS XXIII.

*St. Mat. viii. 14—23. O.C. 28. Darllener yr hanes cyfochrog yn St. Marc i. 29—31; St. Luc iv. 38, 39.*

### ESBONIAD EGLURHAOL.

Adn. 13: "*A phan ddaeth yr Iesu i dŷ Pedr.*"—Yn ninas Capernäum y trigai efe yn nhŷ mam ei wraig ef allai, a thybir nad oedd ond ieuanc. Cymmerai St. Pedr ei wraig gydag ef ar ei gylchdeithiau wrth efengylu (1 Cor. ix. 5), ac addysgai hithau yn ddiau y gwragedd crefyddol.

"*Chwegr.*"—Mam yng nghyfraith. Y mae priodas yn dwyn oddi amgylch yr un berthynas ag a wna perthynas waed. Y mae ei sel hi yn cyssegru cylch sanctaidd i amgylchu yr aelwyd newydd. Daethai mam gwraig Pedr yn fam iddo yntau, ac felly y chwaer. Gwel Taflen Carennydd a Chyfathrach ar ddiwedd y Llyfr Gweddi Gyffredin.

"*Cryd.*"—Y dwymyn neu *fever* oedd y clefyd hwn, afiechyd mynych yn y wlad.

Adn. 15: "*Ac efe a gyffyrddodd â'i llaw hi,*" &c. Nid oes son am ffydd y wraig hon. Teulu crediniol a duwiol oeddynt. Dysgwylient am y Messïah (St. Ioan i. 41), a phan ddaeth at yr eiddo ei Hun, hwy a'u derbyniasant Ef.

"*A hi a wasanaethodd arnynt.*"—Ymdrechai ddangos ei diolchgarwch i Grist drwy ei groesawu.

### GWERSI.

1. Nid oes un sail ysbrydol i gyfyngu gweinidogaeth Eglwys Crist i bobl ddibriod. Y mae crefydd Crist yn "berffaith gyfraith rhyddid" ym mhob cyflwr cymdeithasol. Gall gweinidog dibriod fod yn fwy gwasanaethgar dan rai amgylchiadau i'r Eglwys fel cyfundrefn, ond y mae gweinidogaeth lle y caniatëir perffaith ryddid i fod yn briod neu beidio yn llawer gwell i bob gwlad a chenedl. 2. Gall gwragedd fod yn dra defnyddiol yng ngwasanaeth Eglwys Crist, ond iddynt ddeall eu safle briodol ac ymostwng i gyflawnu gwaith gwragedd trwy (1) ofalu am addysg benywod; (2) gofalu am y tlodion; (3) cynnorthwyo i ofalu am y cleifion, St. Luc viii. 2, 3; Phil. iv. 3; 1 Tim. ii. 9—11. Yn St. Pedr a'i wraig, yr hon "oedd chwaer," cawn wrthgyfer-

Digitized by Google

byniad cyflawn i rwymedigaethau cymdeithasau dibriod Eglwys Rhufain. Nid ydyw y Testament Newydd yn dyrchafu gwyryfdod ar draul darostwng priodas: sancteiddio y ddau gyflwr yw ei nod. Rhyddid yn rhwymau sancteiddrwydd ydyw rheol yr Eglwys.

ESBONIAD EGLURHAOL.

Adn. 16: "*Ac wedi ei hwyrhau,*" &c. Y Sabbath Iuddewig oedd y diwrnod, St. Marc i. 21—32.

Adn. 17: "*Fel y cyflawnid,*" &c., Esaiah liii. 4. Lle nad oes pechod nid oes gwendid. Cyn cymmeryd arno ein natur nid oedd *gwendid* yng Nghrist ac Efe yn ffurf Duw, Phil. ii. 6. Ond pan ddaeth yn ddyn daeth o fewn cyrhaedd ein dyoddefiadau ac yn feddiannol o wendidau naturiol cig a gwaed. Gan ei fod yn caru dyn â chariad anfeidrol, cydddyoddefai a chydymdeimlai â'r oll o'n dyoddefiadau a chlefydau (doluriau). Gan ei fod yn *gallu* eu cymmeryd a'u symmud, fe wnaeth hyny. Y mae holl waith yr Arglwydd Iesu ar y ddaiar yn wystl sacramentol—yn arwyddion gweledig oddi allan o waith gras oddi mewn. Pan fendithiodd y bara, gan borthi y pum mil â'r pum torth haidd, rhoddes brawf o'i allu rhagluniaethol; pan yn iachäu pob clefyd a phob afiechyd, rhoddes brawf o'i allu achubol i lwyr iachäu dynoliaeth a'i gwaredu o feddiant pechod, angeu, a'r bedd, Esaiah lxiii. 9; St. Pedr ii. 24.

GWERSI.

Ymdrech fawr neillduol Eglwys Dduw yw symmud ymaith ofidiau dynoliaeth. Gweinyddu cysur, ymgeledd, cynnorthwy, ar bob llaw. Cael gan y cryf gynnorthwyo y gwan, a'r iach yr afiach, a'r sanctaidd yr halogedig. "Dygwch feichiau eich gilydd," Gal. vi. 2.

ESBONIAD EGLURHAOL.

Adn. 18: "*I'r lan arall.*"—Aeth yr Iesu ymaith o gyrhaedd torfëydd oeddynt bron a'i lethu. Aeth o Capernäum dros Fôr Galilea i'r lan ddwyreiniol i'r llyn.

Adn. 19: "*Rhyw ysgrifenydd,*" &c. Y mae yn amlwg y tybiai y gwr hwn yn lled uchel am dano ei hun, ac awgrymai ei barodrwydd i roddi yr Arglwydd Iesu dan rwymedigaeth iddo. Yr oedd y gwr yn ysgolhaig. Gallai wrth edrych ar ddysgyblion distadl yr Iesu y buasai Efe yn falch o wr fel Ef, ac y cawsai y lle uchaf. Cafodd weled yn amgen.

Adn. 20: "*Y mae ffauau,*" &c. Dyma eiriau ag sydd wedi llosgi yng nghalonau miliynau o blant Duw.

"*Mab y dyn heb le i roddi ei ben i lawr.*"—Dyma warth yr oes galed yr oedd yr Iesu yn byw ynddi. Ond aroswn, onid dyma *syniad mewnol calon* y byd hyd eto? Un o syniadau gwarthus ein hoes ninnau ydyw tybied am y dalent uchaf a gyssegrir i Grist mai ei hanrhydedd ydyw aros *mewn tlodi*. Gwarafunir i'r dyn a gyssegro ei fywyd i ymweled â'r cleifion, cysuro y galarus, cynnorthwyo y tlodion, addysgu'r anwybodus, ac ymdrechu goleuo, hyfforddi, a phuro haenau isaf cymdeithas—gwarafunir i'r dyn hwn, foddion i gynnal ei deulu yn gysurus, tra y rhoddir yn ewyllysgar *wyth cant o bunnoedd* i gantores o gymmeriad ammhëus am ganu mewn *un cyngherdd*.

Adn. 21: "*Gad i mi fyned a chladdu fy nhad.*"—Dyma ddyn yn petruso rhwng dau gymhelliad. Teimlai awydd cryf i fyned gyda'r Iesu dros y môr; ond gelwid arno gan deimlad naturiol i dalu y gymmwynas olaf i'w dad. Teimlai na *allai* gyflawnu y ddwy ddyledswydd. Gofynodd i'r Hwn a aberthasai bob peth er mwyn lles ysbrydol a thragwyddol dyn beth a wnai. Dyma yr ateb.

Adn. 22: "*Canlyn fi,*" &c. Gad i'r gwaith a ellir ei gyflawnu gan ereill, a thyred di i gyflawnu gwaith na ellir ei wneyd ond gan ychydig—gan y byw ysbrydol. Os ydym yn fwy ysbrydol, dangoswn y bywyd trwy weithgarwch ysbrydol. Pan ddaw dwy ddyledswydd i groesi eu gilydd, y ddyledswydd ysbrydol ddylai gael y flaenoriaeth, St. Luc ix. 59—62.

CWESTIYNAU.

Beth yw chwegr? Beth yw cryd? Pa effaith a wna priodas ar berthynasau gwr a gwraig ieuainc? A oes gwahaniaeth yng ngolwg yr Eglwys a Gair Duw rhwng perthynas waed a pherthynas drwy gyfraith? Dangoswch hyny. Profwch o'r adnodau uchod na ddylid gwahardd i weinidogion yr Efengyl briodi. Pa waith da a ellir ei gyflawnu gan ferched? Pa ddiwrnod oedd hi pan iachaodd yr Iesu chwegr St. Pedr? Pa fodd y cymmerodd yr Iesu ein gwendid ni? Pa bryd y caiff y Cristion berffaith iachâd? Pa beth ydyw rhan fawr o waith Eglwys Crist? Adroddwch yr adnod, "Y mae ffau gan y llwynogod" (20), &c. A ydyw pobl yr oes hon yn barod i weinidog Crist gael cymmaint o elw a masnachwr, gwleidyddwr, neu gantwr a chantores gyhoeddus? Os bydd dwy ddyledswydd, un yn ysbrydol a'r llall yn dymmorol, yn croesi eu gilydd, pa un a ddylid wneyd?

GWERS XXIV.

*St. Matthew viii. 23—34. O.C. 28. Darllener St. Marc iv. 36—41; St. Luc viii. 23—25; Salm cvii. 23—29.*

Digitized by Google

GOSTEGU Y DYMMESTL.

Adn. 23: "*Myned i'r llong.*"—Cwch agored, neu heb ddim mwy na *hanner deck*, oedd, y mae yn debyg.

Adn. 24: "*Bu cynhwrf,*" &c. Llyn agored i ruthr corwyntoedd oedd Môr Galilea. Felly pob llyn a amgylchir gan fryniau uchel.

"*Efe oedd yn cysgu.*"—Dyma arwyddion "gwendidau" cig a gwaed, a phrawf fod Crist yn "berffaith ddyn," Credo St. Athanasius.

Adn. 25: "*A'i ddysgyblion,*" &c. "Yr oeddynt mewn enbydrwydd mawr," St. Luc viii. 23.

Adn. 26: "*Paham yr ydych yn ofnus?*"—Nid oedd y dysgyblion eto yn feddiannol ar y ffydd dawel ddofn hòno a allai ymddiried yn yr Iesu pan ymddangosai Efe ei Hun yn ddiymadferth; ond yr oedd ganddynt ddigon o ffydd i'w ddefroi. "*Yna y cyfododd,*" &c. "*A bu tawelwch mawr.*"

GWERSI.

(1) Crist Iesu yn llywodraethu natur a welwn yn y wyrth hon. Crist a'i lwybrau yn y môr. Y mae y gwyntoedd a'r môr dan ei awdurdod. (2) Gwelir Ef yma yn ei ddyndod a'i Dduwdod, yn berffaith ddyn a pherffaith Dduw. (3) Y mae ofn gwasaidd yn bechod. Tardda oddi ar hunain-gariad a diffyg ymddiried yn Nuw. Y mae gweinidog Efengyl llwfr ac ofnus yn ddirmygus ac yn warth i'w broffes—os ofna efe glefydau a heintiau yn fwy na'r meddyg, a barbariaid yn fwy na'r teithiwr, a thymmestloedd y môr yn fwy na llongwr. Dylai yr offeiriad fod bob amser yn barod i lenwi yr adwy beryglus "rhwng y byw a'r meirw," a dylai y Cristion fod y cyntaf ym mhob cyfyngder. Sonia Henry Martin am genadwr unwaith yn morio yn yr un llong ag ef a hi yn ystorm enbyd. Yr oedd y cenadwr yn arddangos ofnau anghyffredin mewn congl yn y caban; ond cysurai Henry Martin y dwylaw ar y bwrdd, a helpai hwy wrth y *pwmp*. Yno clywai un o'r dwylaw yn gofyn i longwr arall, "Pa le y mae H——, y cenadwr." "Y mae yn y caban yn nadu fel baban rhag *ofn myned i'r nefoedd,*" oedd ateb gwatwarus y morwr.

IACHAU Y DDAU DDIEFLIG YN GADARA.

*St. Marc v. 1—20; St. Luc viii. 26—39.*

Daw yma, mewn dull o lefaru, ddau ymgnawdoliad i'r golwg, sef Duw yn y cnawd a diafol mewn meddiant o ddynion, ac megys wedi ymgnawdoli mewn personau. Daw y ddwy natur ysbrydol i gyffyrddiad mor agos ag y gallwn ni eu hamgyffred, sef y natur ddwyfol a'r natur satanaidd.

ESBONIAD EGLURHAOL.

Adn. 28: "*Gwlad y Gergesiaid,*" &c. Geilw St. Marc y lle, "gwlad y Gadareniaid." Cymmer y ddau enw eu ffurf oddi wrth ddwy ddinas ar ochr ddwyreiniol Môr Galilea, sef Gergesa a Gadara. Gelwid yr holl ardal Decapolis, sef tiriogaeth y deg dinas. Y mae yn debyg i'r Arglwydd Iesu lanio rhwng y ddwy ddinas.

"*Dau ddieflig.*"—Un a enwir gan St. Marc, a rhoddir hanes manwl a difrifol o hono.

"*Y beddau.*"—Ogofëydd mewn creigiau oeddynt.

Adn. 29: "*Iesu, Fab Duw,*" &c. Y mae yma arwydd o fwy o dreiddgarwch ysbrydol na chraffder dynol. Adwaenai yr ysbrydion aflan Fab Duw, ac addolent Ef, St. Marc v. 6. Rhaid i bob glin blygu yn ei enw Ef, Phil. ii. 10.

"*Poeni.*"—Rhyw ddysgwyliad ofnadwy sydd i'r ysbrydion aflan, St. Judas, 6.

Adn. 30: "*Moch lawer.*"—Tua dwy fil, medd St. Marc. Cedwir moch mewn amryw wledydd yn finteioedd mawrion, yn enwedig mewn ardaloedd coediog. Nid oedd gyfreithlawn i'r Iuddewon fwyta eu cig, eto goddefent eu cadw yma i'w gwerthu i'r Rhufeiniaid ac ereill. Yr oeddynt yn byw ar derfyn y wlad, ac yn myned hanner y ffordd i gyfarfod arferion y Cenedloedd.

Adn. 31: "*Caniatâ i ni fyned ymaith i'r moch.*"—Erfyniad rhyfedd ond awgrymiadol. Yr oedd yr ysbrydion aflan mewn trawsfeddiant o'r dynion; ceisient drawsfeddiant o'r moch, creaduriaid anghyfreithlawn i'w cadw. *Ofnent* yr Arglwydd Iesu, eto casäent Ef, a cheisient greu teimlad drwg yn ei erbyn. Y mae yr holl gynllun yn satanaidd o faleisus.

Adn. 32: "*Ewch.*"—Caniatawyd y cais dichellgar gan ddoethineb a chyfiawnder dwyfol. Cafodd yr ysbrydion aflan ganiatâd i fyned i'r anifeiliaid aflan. Y fflangell neu gospedigaeth ar bob *drwg* ydyw *drwg mwy*. Ym mhob ymgyrch a chynllun o ddrygioni, y mae y drwg mwyaf yn cospi y lleiaf, a Satan yw y pen cospwr a phen dyoddefydd. Boddwyd y moch. Cafodd y troseddwyr *weled* fod *poenydwyr* dynion yn ddinystrwyr eu heiddo.

Adn. 33: "*Y meichiaid.*"—Ceidwaid y moch. Dychrynasent.

Adn. 34: "*Y holl ddinas,*" &c. Y mae yn debyg mai dan deimlad cymmysg o ofn a digofaint a chywilydd, y ceisient gan yr Iesu ymadael: ofnai rhai beth gwaeth, gresynai ereill eu colled, a chywilyddiai ereill o herwydd eu dal yn tori cyfraith Duw. Y mae dynion yn ymuno yn erbyn y daionus yn fynych oddi ar gymhellion hollol wahanol a chroes i'w gilydd.

Digitized by Google

GWERSI.

Gwers fawr arbenig y wyrth hon ydyw Mab Duw yn y cnawd yn gorchfygu Satan yn y cnawd. Daioni yn y cnawd yn gorchfygu drygioni, a sancteiddrwydd aflendid, yn y cnawd; ac addfwynder a chariad yn gorchfygu trais a chreulondeb, St. Matt. v. 5. Dyma flaenbrawf a gwystl o fuddugoliaeth daioni ar ddrygioni mewn dyn. Rhyfedd ac ofnadwy ydyw safle dyn fel *maes* y frwydr rhwng *da* a *drwg*. Ym mherson Crist y dechreuwyd gorchfygu drwg, ac ym mhersonau ei bobl y gorphenir. Yr ydym oll wedi addaw bod yn "filwyr ffyddlawn i Grist" holl ddyddiau ein heinioes (Gwasanaeth Bedydd). Nid ydyw y llen ond *teneu* rhwng dyn ac ysbryd. Gall Satan dori drosodd ar un llaw a thrawsfeddiannu dyn, a gall Ysbryd Duw feddiannu dyn ar y llaw arall. Y mae y gwir ddrygionus yn agos iawn i'r angel syrthiedig, a'r gwir dduwiol yn agos i angel goleuni.

CWESTIYNAU.

Pa fath long oedd gan yr Iesu yn croesi y môr? Pa fôr ydoedd? Beth a welwyd yng Nghrist yn profi ei ddyndod ar y fordaith? Beth yn profi ei Dduwdod? Pa olwg a gawn ar Grist yn y wyrth o ostegu y dymmestl? Paham y ceryddai yr Iesu y dysgyblion? A ydyw ofn llwfr yn bechadurus? Dad. xxi. 8. Pa le y dylai gweinidog yr Efengyl fod yn wrol? Pa beth newydd a ddaw i'r golwg yn iachâd y ddau ddieflig? Pa enw a rydd St. Marc ar wlad y Gergesiaid? Rhoddwch ei hanes. Pa sawl dieflig a enwir gan St. Marc? Pa fodd yr ymddygai y dieflig at Grist? A oedd gyfreithlawn i'r Iuddewon gadw moch? Pa reswm a allwn ni roddi dros i'r ysbrydion aflan feddwl myned i'r moch? Pa wers a ddysgant i ni? Pa fodd y gallwn gyfrif am i Grist ganiatäu? Pa fodd y bydd drygioni yn cael ei gospi? Pa gysur mawr sydd i ddyn yn hanes y wyrth?

---

## BYCHAN A MAWR.

(*Traddodwyd y sylwadau canlynol yn Eglwys Llanwinio, ar y Sul ar ol marwolaeth y Parch. Ganon Williams, Llanelli, pan y gwnaethpwyd rhai cyfeiriadau at y canon duwiol a dysgedig ac at enwogion ereill*).

"Bychan a mawr sydd yno; a'r gwas a ryddhawyd oddi wrth ei feistr."—JOB iii. 19.

CYNNWYSA y testyn gyfeiriad at y bedd. Yn ol y bennod hon dymunai Job farw, ac y mae amryw resymau yn cael eu dwyn ym mlaen dros y dymuniad. Ym mysg pethau ereill, dywed y tywysog dwyreiniol na fuasai wrtho ei hun beth bynag pe buasai yn y bedd. Teimlai ei hun fel aderyn y tô yn ei gystudd: yr oedd ei blant a'i feddiannau wedi cymmeryd eu hadenydd, ac wedi myned ymaith; ac yr oedd ei wraig ym mhell o ran teimlad, os nid o ran lle; ac yr oedd ei gyfeillion heb ddechreu llefaru wrtho eto. Teimlai Job y pryd hwn y buasai y bedd yn le hyfryd iddo ef. Dywed y cawsai yno gwmni breninoedd, pendefigion, a rhai urddasol y ddaiar, ac awgryma Job nid yn unig y buasent yn yr un lle, ond hefyd yn yr un cyflwr. Pan ar y ddaiar gwahaniaethent yn ddirfawr mewn llawer o bethau, ond y fath debygolrwydd a chydraddoldeb sydd yn y bedd! Mae pawb yn ddystaw yno, pawb yn welwlas yno, pawb ym malurio yn y llwch, pawb yn ddarostyngedig i angeu. Nid ydynt yn ddarostyngedig i'w gilydd fel ar y ddaiar, ond y maent i gyd yn ddarostyngedig i angeu: "A'r gwas a ryddhawyd oddi wrth ei feistr." Mae y cyssylltiadau a'r perthynasau dynol yn anadnabyddus yn y bedd. Nid oes swyddau, galwedigaethau, a breintiau gwahanol ym mysg trigolion lluosog "dinas y meirwon."

Angeu a ryddhaodd gaethion lawer gwaith; weithiau drwy symmud y caethfeistr, pryd arall drwy symmud y caethwas ymaith. Mae angeu yn rhyddhau ar raddfa (*scale*) eang iawn: rhyddhâ holl ranau y cyfansoddiad dynol a'r gymdeithas ddynol. Gwna ef a'r gymdeithas ddynol yr un fath ag y gwnaeth Vespasian a'i fab Titus i Jerusalem a'i theml harddwych, yn ol prophwydoliaeth Iesu o Nazareth: "Ni adewir yma gareg ar gareg a'r ni ddattodir." Fel hyn yr edrychai Job ar y bedd. Gwrandëwch ar ei iaith gynhyrfus, "Paham y derbyniodd gliniau fyfi, a phaham y cefais fronau i sugno? O herwydd yn awr mi a gawswn orwedd, a gorphwys, a huno; yna y buasai llonyddwch i mi gyda breninoedd a chynghorwyr y ddaiar, y rhai a adeiladasant iddynt eu hunain fanau anghyfannedd. Bychan a mawr sydd yno; a'r gwas a ryddhawyd oddi wrth ei feistr." Sylwn—

1. Bychan a mawr eu hoedran sydd yno. Gosodwyd y baban tlws yn ei oer fedd, er na chododd ei law fechan yn erbyn neb erioed. Ni ddywedodd air garw wrth neb erioed, ni chablodd enw Duw erioed; mewn gair, ni phechodd yn weithredol erioed. Ond y mae genym ddigon o brofion fod ei natur yn bechadurus, canys y mae ef ym mysg y meirwon. Mae ef yno er ei holl ddiniweidrwydd a'i hawddgarwch naturiol a moesol. Dychwelodd yn ol gyda brys o fynwes ei fam i fynwes yr hen ddaiar, fel pe

Digitized by Google

buasai yn well ganddo aros yn y fan lle yr oedd o'r blaen. Os dygwyddwn fyned i dŷ cymmydog heb dderbyniad croesawus, awn yn ein hol yn fuan. Aeth y baban yn ol i "dŷ ei hir gartref," fel pe na buasai wedi cael derbyniad digon croesawus yn y byd hwn. Aeth yn ol cyn agor ei lygaid braidd ar bethau amser, fel pe buasai angel Duw wedi sibrwd yn ei glust, "Gwagedd o wagedd, gwagedd o wagedd; gwagedd yw y cwbl." Ymddengys y bedd yn awyddus a gwancus iawn am fabanod. Ond os ydyw y ddaiar yn awyddus am eu cyrff, mae y nefoedd yn llawn mor awyddus am eu heneidiau. Pan ar y ddaiar ystyrid hwy o dan eu hoedran (*in state of minority*), ond y maent yn awr mewn meddiant o'r etifeddiaeth fry, a theimlant wrth eu bodd ym mynwes Abraham. Ganwyd llawer baban mewn palas daiarol, ac efe ydoedd yr etifedd; ond symmudwyd ef i balas y nef yn hir cyn ei fod yn un ar hugain oed, pan y deuai i etifeddiaeth ei dadau. A ydych chwi yn anfoddlawn i'r Iesu i gael perlau newydd yn ei goron gyfryngol? Mae y mawr ei oedran hefyd yn y bedd. Yn ymyl y baban pedwar mis oed mae gweddillion yr hen wr a welodd bedwar ugain mlynedd. Yn ymyl y baban tair wythnos oed, gorwedda y gwr a gladdwyd pan yn drigain mlwydd oed. Cydgyfarfuasant yn yr un man, ac ymgymmysgu eu llwch â'u gilydd. Ond os claddir rhai yn fawr wrth eu cymharu â babanod, maent yn fach ac yn fach iawn wrth eu cymharu â thragwyddoldeb. Rhaid i'r oedranus i farw, a rhaid i'r tŷ ddyfod lawr a'r rhan daiarol i fyned i breswylio i'r "tŷ rhagderfynedig i bob dyn byw." Teimlwn yn anhawdd ymadael â'r hen wr a'r hen wraig: po fwyaf y byddwn yn eu cwmni, carwn hwy yn fwy, a gwerthfawrogwn eu cymdeithas yn fwy bob dydd. Ond rhaid ymadael â hwynt, gan fod y bedd yn barod iddynt a hwythau yn barod i'r bedd.

2. Bychan a mawr eu gwybodaeth sydd yno. Er nad oes dim gwybodaeth na dychymmyg yn y bedd, eto mae holl ysgolheigion y canrifoedd wedi myned yno i orphwys oddi wrth eu llafur llenyddol, gwleidyddol, athronyddol, a duwinyddol. Mae yr ysgrifenwyr mwyaf coeth, yr areithwyr mwyaf hyawdl, a'r dysgawdwyr mwyaf clasurol wedi myned yno. Pa le mae dysgedigion Groeg, masnachwyr cyfoethog Corinth, a llywodraethwyr Rhufain? Maent wedi myned yno. Pa le mae Newton, y seryddwr enwog; Milton, y bardd anfarwol; a Bunyan, y breuddwydiwr ysbrydol? Pa le mae Butler, y cyfansoddwr dwfndreiddiol; Pascal ddysgedig; a Robertson, y meddyliwr gwreiddiol? Pa le mae Dante, bardd crefyddol Itali a'r Eglwys hefyd yn yr oesau tywyll? Pa le mae Johnson ac Addison, traethodwyr enwog ein gwlad ni? Maent wedi myned yno. Pa le mae William Spurrell, y geirlyfrwr enwog o dref Caerfyrddin, y Cristion dysglaer, y dirwestwr selog, a'r boneddwr Cristionogol? Pa le mae y defosiynol, y gweithgar, a'r defnyddiol Ganon Williams, o dref Llanelli? Er holl dduwioldeb, dysgeidiaeth, a defnyddioldeb y dynion hyn, maent wedi myned yno, sef i'r bedd. Mae eu pregethau genym, eu llyfrau genym, ac y mae dylanwad eu cymmeriad sanctaidd yn aros yn ein mysg; ond nid ydynt hwy eu hunain, canys y maent wedi myned i ffordd yr holl ddaiar. Buasai yn dda genym i ymgynghori â hwynt mewn perthynas â rhyw athrawiaeth neu feddylddrych a gynnwysir yn eu llyfrau; ond y mae yr enwogion hyn i gyd erbyn heddyw ym mysg y rhai mawr sydd ym mro marwolaeth, ac y mae eu mawredd hwy pan ar y ddaiar yn gosod mawredd a gogoniant ar y fro dawel y trigant ynddi yn awr. Ond ym mysg y tywysogion mawr hyn yn y byd meddyliol mae yna dyrfa ddirif o rai bach mewn gwybodaeth; ac nid ydyw yn waeth arnynt hwy nag ar eu cymmydogion dysgedig: nid ydyw eu hanwybodaeth yn adlewyrchu dim dianrhydedd arnynt yn "ninas y meirwon." Mae y dyn anllythyrenog yn gydradd yn y bedd â'r dyn gyfoethogodd genedlaethau lawer drwy ei ysgrifeniadau godidog. Nid oes yr un yn fwy dystaw yn y bedd na'r hyawdl aur-eneu Ddr. Griffiths, o dref Llandeilo, yr hwn am hanner canrif a gododd ei lais fel udgorn cryf, ac a wahoddodd lawer i swper y Brenin Mawr i gyfranogi o "frasder Duw yng ngwaed y groes." Pwy fel efe ym mhrif wyliau yr Eglwys am oes gymharol hir, a dynai gannoedd a miloedd i'w wrando drwy dde a gogledd Cymru? Pwy a'i clywodd yn darlunio yr ymddyddan a gymmerodd le rhwng yr Iesu a'r wraig o Samaria, ac a anghofiodd pa fodd y dysgrifiai y wraig o Samaria yn dychwelyd adref o ffynnon Jacob, a'r bobl yn gofyn pa le yr oedd ei dwfrlestr, a hithau, yn hytrach nag ateb y cwestiynau mewn brys, yn dywedyd wrthynt yr hyn ag oedd yn gwasgu mwy o lawer ar ei meddwl--"Deuwch, gwelwch ddyn, yr yr hwn a ddywedodd i mi yr hyn oll a wnaethym; onid hwn yw y Crist?" Ond erbyn heddyw, mae ef mor fud a neb, ac heb lefaru gair wrth neb er ys mwy na deuddeg mlynedd.

3. Bychan a mawr eu gofid sydd yno. Mae graddau ac amrywiaeth mewn gofid. Nid yr un faint ydyw gofid pob dyn, ac nid yr un faint ydyw yr un gofid i bob dyn. Gofidia un yn fawr o blegid Sabbath halogiad, ond ni ofidia ei gymmydog. Ond y mae rhyw ofidiau yn cyfarfod â phob dyn. Mae

Digitized by Google

gofid y cwymp yn hanes bywyd Adda, gofid y diluw yn hanes bywyd Noah, gwerthu Joseph yn hanes bywyd Jacob, a deugain mlynedd yr anialwch yn hanes bywyd Moses. Felly mae pob un â'i adfyd yn y byd hwn. Ond yn y bedd gorphwysant oddi wrth ofidiau y ddaiar. Yn y bedd nid ydyw gofid un yn fwy na'r llall, ac nid oes un yn llai na'r llall. Yno ni chlywir neb yn dywedyd, "Pa ofid sydd fel fy ngofid i?"

4. Bychan a mawr eu llwyddiant sydd yno. Nis gall llwyddiant gadw angeu ymaith. Gorchfygodd Gwilym y Gorchfygwr y wlad hon, a rhanodd hi rhwng ei gadfridogion. Bu yn llwyddiannus iawn mewn ystyr filwrol, ond claddwyd ef yn ddigon ammharchus, ac yr oedd ereill yn hawlio ei fedd fel eu heiddo hwy. Cyfarfyddodd Wolsey â llwyddiant mawr; pentyrodd y brenin y swyddau uchaf arno yn wladol ac Eglwysig. Weithiau gwelid ei esgidiau wedi eu goreuro ag aur, yn neillduol pan yr elai allan i "faes yr aur ddillad" (*the field of the cloth of gold*). Ond collodd ei fawredd a'i wychder cyn marw, ac yn y bedd yr oedd y dyn mwyaf tlawd a dinod yn y wlad gystal ag yntau. Mae y bychan gymmaint a'r mawr, a'r mawr mor lleied a'r bychan yn y bedd.

5. Bychan a mawr eu duwioldeb sydd yno. Canfyddwn yn barhäus fod yn rhaid i'r dynion goreu farw. Dangosent yn eglur yn eu bywydau eu bod yn caru Duw, ac yn cael eu caru gyda Duw. Yr oedd y diweddar Ganon Williams, Llanelli, yn ysgolhaig ardderchog yn y Gymraeg a'r Hebraeg, ond credwn ei fod yn fwy enwog ar gyfrif ei dduwioldeb a'i ddefnyddioldeb nag ar gyfrif ei ddysg a'i ddawn. Yn nhymmor ei weinidogaeth gymharol hir yn nhref boblog Llanelli, gallasai cannoedd a miloedd o gleifion a thlodion ddywedyd am eu hybarch ficer, "Wele yn awr wr a wn ma gwr sanctaidd i Dduw ydyw hwn sydd yn cynniwair heibio i ni yn wastadol." Yn amser Canon Williams ni allasai neb o'r cleifion, deillion, cloffion, gwywedigion i ddyweyd yn nhref Llanelli, fel y dyn claf wrth lyn Bethesda gynt, "Arglwydd, nid oes genyf ddyn i'm bwrw i'r llyn pan gynhyrfer y dwfr." Ymwelai y canon â holl gleifion ei blwyf yn bersonol, a theimlai pawb fod "gwr sanctaidd Duw" rhyngddynt a'r gwaethaf. Nid oedd yr un claf yn Llanelli mewn profedigaeth i ofyn, wedi i'r canon ddyfod i adnabyddiaeth o hono ac o'i amgylchiadau, "A phwy yw fy nghymmydog?" Ar ddiwedd y fath fywyd llafurus, hunanaberthol, a hunanymgyssegrol nid oeddym yn synu i glywed fod y ficer duwiol yn marw dan ganu "cân Simeon"—"Yr awr hon, Arglwydd, y gollyngi dy was mewn tangnefedd yn ol dy air," &c. Teimlwn yn llawen pan yn claddu dynion duwiol, canys gwyddom eu bod yn myned lawr i orphwys a chael eu puro. Gwyddom yn sicr y gwireddir y geiriau hyny mewn perthynas â phob un o honynt—"Efe a heuir mewn llygredigaeth, ac a gyfodir mewn anllygredigaeth." Ond yr ydym yn teimlo yn brudd-aidd wrth feddau dynion digrefydd a bychain eu duwioldeb, ïe, dynion diras ac heb Dduw yn y byd. Pe yn bosibl, ni theimlem awydd i ymweled â beddau dynion fel Nero, Judas Iscariot, Herod, Sennacherib, Ahab, Jezebel, a Jeroboam.

6. Bychan a mawr eu defnyddioldeb sydd yno. Mae gwahaniaeth mawr rhyngddynt yn eu bywyd: anfynych y gwelir hwy gyda eu gilydd, canys y mae un yn ddiwyd ac ar ei oreu i wneyd daioni, ac y mae y llall yn cysgu ac yn treulio ei amser mewn oferedd. Mae un yn gogoneddu Duw a'r llall yn ei ddianrhydeddu. Cyfarfydda y naill a'r llall yn y bedd. Gwnânt gyfarfod hefyd yn y farn. Os na fydd gwahaniaeth rhyngddynt yn y bedd, bydd gwahaniaeth rhyngddynt yn y farn. Bydd y naill ym mysg y geifr, a'r llall ym mysg y defaid; bydd y naill yn euog, a'r llall yn cael ei gyhoeddi yn gyfiawn ger bron y bydoedd. Wrth y naill y dywedir, "Ewch ymaith oddi wrthyf, chwi weithredwyr anwiredd;" ac wrth y llall, "Deuwch chwi, fendigedig blant fy nhad" Bydd y gair ofnadwy "ewch ymaith," yn ddigon i guddio y rhai drwg am byth yn uffern, a bydd y gair bendigedig "deuwch" yn ddigon i goroni y rhai da am byth â gogoniant yn y nefoedd.

Gyfeillion, a ydych chwi yn rai defnyddiol? cofiwch, pa un ai mawr ai bach ydyw eich defnyddioldeb, byddwch yn y bedd yn fuan, a dylech gofio nad oes na "gwaith na dychymmyg yn y bedd." Yno ni allwch wasanaethu Duw, darllen ei Air, cynghori a gweddïo, ac areithio ar ddirwest fel y gwnelai y Canon Williams hyd ei ddyddiau diweddaf. Mewn tref boblog fel Llanelli, pwy all ddysgrifio defnyddioldeb y canon yn nylanwad ei esampl a dwysder ei gynghorion dirgelaidd a chyhoeddus fel dirwestwr aiddgar a llafurus?

Gyfeillion, a ydym ni yn cysgu a'r Priodfab bron â dyfod? A ydym ni yn cysgu a'r enaid heb ei achub? A ydym ni yn cysgu pan y mae fflamiau uffern yn agosäu atom? A ydym ni yn cysgu yn llong bywyd yng nghanol creigiau mwyaf peryglus amser? A ydym ni yn medru cysgu pan y mae cannoedd o longddrylliadau (*shipwrecks*) yn cymmeryd lle yng ngŵydd ein llygaid? A allwn ni edrych ar ein cyd-ddynion yn suddo am y tro diweddaf, ïe am dragwyddoldeb, heb neidio ar ein

Digitized by Google

traed, gafaelyd ynddynt, a dywedyd wrthynt, "Wele Oen Duw, yr hwn sydd yn tynu ymaith bechodau y byd"?

*Llanwinio.* D. HOWELL.

---

## ARDDERCHOG LU Y MERTHYRI.

(*Parhâd o dud. 84.*)

YR Esgob Ferrar, o Dŷ Ddewi, yn Neheudir Cymru, hefyd a ddyoddefodd ferthyrdod. Cafodd ei losgi yn ulw yng Nghaerfyrddin, hen dref esgobaeth Tŷ Ddewi; a dywedir iddo sefyll yn ddiysgog yng nghanol y tân nes ei drengu. Yng Nghaerlleon hefyd llosgwyd George Marsh, gweinidog duwiol a llafurus. Felly hefyd Mr. Bradford, gwr duwiol iawn, a gweinidog llafurus a ffyddlawn. Wedi ei rybuddio yn y carchar o'i farwolaeth, gweddïodd a chynghorodd ei gyfeillion a'i gydferthwyr i fod yn wrol a pheidio â gwadu eu crefydd. Dyoddefodd ef ac un arall gydag ef eu llosgi yn Smithfield. Ar ol y rhai uchod llosgwyd mewn amryw fanau yn Lloegr yr adeg hon lawer o bobl dduwiol, yn fonedd a chyffredin. Weithiau tri neu bedwar, weithiau pump neu chwech, weithiau wyth neu ddeg yn cael eu llosgi yn yr un tanllwyth, gan gyffesu eu ffydd, ac yr oedd y fath ddylanwad yng nghyffes ac ymddygiad y merthyron hyn, fel yr oedd llawer yn troi oddi wrth Babyddiaeth wrth eu clywed yn siarad, a'u gweled yn dyoddef mor benderfynol. Ceisiodd y Pabyddion roddi i farwolaeth wr boneddig o'r enw Mr. Glover trwy newyn, a noethni, a chystudd yn y carchar; ond dywedir iddo gael nerth gan Dduw yn ei gorff a'i enaid, a chael prawf fod bywyd tragwyddol yn ei aros tu draw i fflamiau Smithfield. Y diwrnod y merthyrwyd Ridley, esgob Llundain, a Latimer, esgob Worcester yn Rhydychain, am iddynt bregethu yr Efengyl yn ei symledd a'i phurdeb, a dal y wir athrawiaeth, yr oedd Gardiner, yr esgob pabaidd yn Winchester, yr hwn oedd un o erlidwyr penaf y Protestaniaid, wedi penderfynu peidio bwyta ei giniaw y diwrnod hwnw hyd nes y clywai y newydd fod Ridley a Latimer wedi eu llosgi; a chyrhaeddodd y newydd ei glustiau tua 4 o'r gloch yn y prydnawn; wedi hyny, eisteddodd i fwyta ac i wledda gyda'i gyfeillion, a hyny gyda boddhâd mwy na chyffredin. Ond tarawyd ef bron cyn iddo godi oddi wrth y bwrdd gan ryw boenau angerddol, fel y chwyddodd ei holl gorff, a'i holl ymysgaroedd yn cael eu dirdynu yn y fath fodd, fel y bu farw â'i dafod allan, a hòno wedi chwyddo a duo fel glöyn. Yr oedd Ridley yn un o'r rhai penaf a galluocaf yn dwyn ym mlaen y Diwygiad Protestanaidd, ac yr oedd ei dduwioldeb, ei ddysg, a'i farn addfed ac uniawn, a'i ddylanwad, yn cael eu hedmygu gan ei ganlynwyr, ac yn peri braw, arswyd, ac anesmwythder i'w elynion. Ac o holl wŷr Eglwysig yr oes hòno, a phob oes wedi hyny, yr oedd Latimer yn un o'r rhai mwyaf hynod am ei dduwioldeb a'i ddiwydrwydd a'i ffyddlondeb gydag achos ei Arglwydd. Pan ddygwyd Ridley at yr ystanc i'w losgi, gwelai fod ei hen gyfaill Latimer wedi cyrhaedd yno o'i flaen. A dywedai Latimer pan wrth yr ystanc, "Ridley, fy nghfyaill anwyl, byddwn wrol; ni a wnawn heddyw, trwy gymhorth gras Duw, oleuo y fath ganwyll yn Lloegr yr hon ni ddiffydd byth.'

Yn fuan ar ol hyn merthyrwyd Cranmer. Pan aeth at y tân, daliodd ei law ddeheu ynddo yn estynedig hyd nes iddi gael ei llwyr losgi; a llefai yn awr ac yn y man, "Y llaw hon, y llaw annheilwng hon, droseddodd." Dywedai hyn yna am iddo ychydig cyn hyn drwy weniaeth a deniadau ei elynion ysgrifenu ei enw wrth bapyr pabaidd, yr hyn a wnaeth iddo edifarhau yn fawr. Rhyfeddai yr edrychwyr yn fawr am na syflodd efe ronyn yn y tân. Yr oedd yn hen wr briglwyd a barfwyn pan gafodd ei losgi. Yn Rhydychain y dyoddefodd yr Archesgob Cranmer ferthyrdod, fel yr Esgobion Ridley a Latimer.

Mae yn ddiammheu y bydd yn ddyddorol gan amryw o ddarllenwyr *Yr Haul* weled y manylion canlynol o'r costau a aeth i bwrcasu defnyddiau i wneyd y tanllwythi tân i losgi y gwŷr duwiol, Latimer, Ridley, a Cranmer, yng nghyd â manylion cost ciniaw i Latimer a Ridley ychydig amser cyn cael eu llosgi.

"Bps. Latimer & Ridley were burnt at the stake in Broad St., Oxford, Oct. 16, 1555, and Abp. Cranmer on the same spot, March 21, 1556. The account of the cost for the martyrdom of the Bishops is a curiosity. It is as follows :—

| | £ | s. | d. |
|---|---|---|---|
| For three loads of wood fagots to burn Ridley and Latimer ... ... ... | 0 | 12 | 0 |
| Item, one load of furze fagots ... ... | 0 | 3 | 4 |
| For the carriage of these 4 loads ... | 0 | 2 | 0 |
| Item. a post ... ... ... ... | 0 | 1 | 4 |
| Item, two chains ... ... ... | 0 | 3 | 4 |
| Item, two staples ... ... ... | 0 | 0 | 6 |
| Item, four labourers ... ... ... | 0 | 2 | 8 |
| | £1 | 5 | 2 |

"And for Cranmer :—

| | £ | s. | d. |
|---|---|---|---|
| 100 wood fagots ... ... ... | 0 | 6 | 8 |
| 150 furze fagots ... ... ... | 0 | 3 | 4 |

Digitized by Google

| | | | |
|---|---|---|---|
| Carriage for them ... ... ... | 0 | 0 | 8 |
| Two labourers... ... ... ... | 0 | 1 | 4 |
| | £0 | 12 | 0 |

"A curious memorandum is also preserved in MS., giving account of the dietary of the Bishops at the expense of masters Winkle and Wells, Bailiffs of the City (Oxford) at the time. An extract of the charges for their dinner, Oct. 1, 1555, is appended :—

| | £ | s. | d. |
|---|---|---|---|
| Bread and Ale ... ... ... | 0 | 0 | 2 |
| Oysters ... ... ... ... | 0 | 0 | 1 |
| Butter ... ... ... ... | 0 | 0 | 2 |
| Eggs... ... ... ... ... | 0 | 0 | 2 |
| Lyng (dried fish) ... ... ... | 0 | 0 | 8 |
| A piece of fresh Salmon ... ... | 0 | 0 | 10 |
| Wine... ... ... ... ... | 0 | 0 | 3 |
| Cheese and pears ... ... ... | 0 | 0 | 2 |
| | £0 | 2 | 6 |

"The expenses of the Bailiffs of the City, including the above sums, amounted to £63 10s. 2d., which they had great difficulty in getting from Government, for the authorities in those days were more zealous to send these three good men to Oxon., and there to serve their ends upon them, and afterwards to burn them, than they were careful to pay the charges thereof."

Mae yr uchod wedi ei gopïo allan o'r llyfr a elwir *Oxford Guide*.

Ar ol hyn llosgwyd *chwech* yn yr un tân yn Smithfield. Llosgwyd *chwech* yn yr un tân hefyd yn Colchester yr adeg hon. Llosgodd Bonner ddau wr duwiol yn yr un tân; y naill yn gripyl, a'r llall yn ddall. Yna llosgwyd llanc ieuanc crefyddol yn Caerloew. Tranoeth llosgwyd gwraig weddw a dwy ferch ieuainc yn Smithfield. Ac mewn man yn ymyl Llundain, llosgwyd 13 yn yr un tân, sef 11 o wŷr a dwy wraig. Hefyd llosgwyd 3 yn yr un tân yn Newbury, un o honynt yn wr dysgedig o Rydychain. Yn Guernsey fe losgwyd gwraig a dwy o'i merched yn yr un tân. Yr oedd un o'r merched yn wraig briod, yn feichiog, ac yn agos i'w thymp; a phan losgodd angerdd y tân ei rhanau isaf, syrthiodd y plentyn oddi wrthi, ac wedi i rywun ei gipio i fyny a'i ddwyn at y swyddogion, gorchymmynasant ei daflu yn ol i'r tân at ei fam i ganol y fflamiau! Yn y flwyddyn 1557 llosgwyd 7 ar unwaith yn Canterbury; llosgwyd 5 ar unwaith yn Maidstone; wedi hyny llosgwyd eilwaith 7 ereill yn yr un tân yn Canterbury. Yn ysbaid yr erlidigaeth hon dan deyrnasiad Mari Waedlyd, dywedir fod dros 288 o bersonau wedi cael eu merthyru o achos eu crefydd, heb law yr oll rai a fu farw ac a ddyoddefodd arteithiau dychrynllyd yn y carcharau. Ym mhlith y rhai a ddyoddefodd ferthyrdod trwy gael eu llosgi, yr oedd 5 o esgobion, 21 o weinidogion, 8 o foneddigion, 84 o fasnachwyr, 100 o labrwyr cyffredin, 55 o ferched, a 4 o blant. Ond dywedir gan haneswyr ereill fod nifer y rhai a fu feirw yn y carcharau ac a ferthyrwyd yn yr adeg hon yn rhifo uwch law 600. Trwy drugaredd ni bu Mari yn teyrnasu ond am 5 mlynedd, a bu hi a'r rhan fwyaf o'r erlidwyr penaf yn yr erlidigaeth ddychrynllyd hon feirw yn druenus ac yn ddisymmwth. Bu hi farw yn y flwyddyn 1558, yn 43 mlwydd oed. Bu farw'r Cardinal Pole, cenad y pab, dranoeth ar ol y frenines. Cipiodd angeu disyfyd yr erlidwyr Gardiner, Duming, Jeffreys, Bonner, ac ereill. Syrthiodd esgob pabaidd Dover o ben grisiau a thorodd ei wddf: yr oedd hwn yn erlidiwr creulawn. Mae Gwallter Mechain yn dweyd yn ei draethawd ar Ryddid, fod rhyfyg yr offeiriaid pabaidd gymmaint yn yr adeg yma, a'u bod yn dywedyd wrth y werin bobl y caffai pwy bynag a gludai ffagodau i losgi yr hereticiaid genad i bechu am 40 niwrnod yn ddigosp!

(*I'w barhau.*)

*Cerrig-y-Druidion.*

HUGH HUGHES.

---

## MARTHA WYNN, NEU UGAIN MLYNEDD YN OL.

"MI a wyddwn o'r goreu, modryb Martha, y byddech chwi yn siwr o ewyllysio yn dda i ni."

"Ydwyf, yn wir, Cathrine fach, yr wyf o'm calon yn dymuno i chwi bob dedwyddwch; ond ar yr un pryd, peidiwch ag anghofio Rhoddwr pob daioni, heb fendith yr Hwn nis gallwch fod yn ddedwydd."

"O yn wir, modryb Martha," atebai Cathrine, gan edrych yn fwy difrifol, "yr wyf yn ofni fy mod wedi gwneyd eilun o Gerald: a sut y mae yn bosibl i mi beidio, a minnau gwedi addaw y peth a wyddoch?

Ac ar hyny penliniodd Cathrine ar y *rug* o flaen ei modryb, a dododd ei dau benelin ar ei gliniau, gan edrych i fyny a gwenu mewn boddhâd chwarëus yng ngwyneb tawel a charedig ei modryb."

"Cathrine fach," sylwai y fodryb, "peidiwch ag edrych mor hunanfoddhäus. Yr ydych yn codi ofn arnaf, neu o leiaf yn fy ngwneyd yn brudd."

"Beth, modryb," atebai yr eneth wenol, "eich gwneyd yn brudd? Onid ydych yn gwybod fod Gerald y dyn ieuanc harddaf a *goreu* yn y wlad? A oes arnoch ofn i mi ei briodi?"

Digitized by Google

"Nac oes, nac oes, fy ngeneth," atebai y fodryb, "ofn i chwi ei golli sydd arnaf."

"Raid i chwi byth, modryb Martha," atebai Cathrine, "y mae Gerald yn bur fel y dur."

"Na, nid ofn felly," atebai hithau, "ond, os gwrandëwch, mi a ddywedaf i chwi hanesyn, Cathrine, a fydd yn dangos beth ydyw achos fy ofnau."

"Gwnaf yn wir, modryb Martha, mi wrandawaf bob gair. Mi dalia nhw bob un fel hyn cyn gynted ag y deuant allan o'ch geneu, fel y bydd y durtur bach yn dal y briwsion bara fyddaf fi yn falu iddi, gan ei thendio cyn disgyn. Ond, modryb, peidiwch â dweyd 'stori brudd a *hir* iawn, achos y mae Gerald yn dyfod yma i fy nol i adref."

Felly sefydlai Cathrine yn ei lle, gan edrych bron yn gellweirus yng ngwyneb ei modryb. Yr oedd mor chwarëus a llawen ei thymmer, fel y gofidiai y fodryb ei bod wedi addaw dweyd hanesyn iddi. Ond nid oedd tori i fod ar yr addewid.

"Yr wyf yn dysgwyl a gwrando yn glust i gyd," ebai yr eneth lon lygad-las.

"Wel, Cathrine, rhaid i mi ddweyd fy hanes fy hun ugain mlynedd i heddyw, a dyma sydd yn fy ngwneyd yn brudd."

"O modryb," ebai yr eneth, "y mae dwfr yn eich llygaid, ac yr wyf yn ofni fy mod yn fy ysgafnder wedi eich tristäu. Ond beth sydd arnoch?"

Ac edrychai Cathrine wedi sobri, ac eto yn awyddus i wrandaw.

"Peidiwch â phoeni; Cathrine, arnaf fi yr oedd y bai dechreu son," ebai y fodryb. "Boreu ugain mlynedd i heddyw yr oeddwn i mor llawen a chwithau."

"Yr ydych yn cofio eich taid a Phersondy hynafol, deiliog, clud, Llaneffros, lle y ganwyd ac y magwyd eich mam a minnau, a lle y treuliasom foreu einioes dedwydd mor ysgafn-galon a chwithau yn awr, ac mewn tawelwch na ellwch bron ei gael yn awr. Ein cymmydog nesaf oedd Edward Vaughan a Lucy Vaughan, mab a merch Syr Richard Vaughan o'r Brynllys. Llawer a chwareuasom yng nghyd erioed o amgylch y Persondy a'r ardd, ac yn y *dining room* yn y gauaf; rhwng chwareu ymguddio, a mwgwd yr ieir, a 'phedair congl.'"

"Yr oedd Lucy yr un oed a mi, ac Edward ychydig flynyddau yn hŷn." Ac yma sylwai Cathrine fod cryndod a chrygni yn llais ei modryb; ond aeth hon ym mlaen. "Yr oedd Edward a minnau yn hynod o hoff o chwareu gyda'n gilydd, ac arferai fy ngalw ei wraig fach, gan dynu ei fysedd drwy fy ngwallt, a phlanu fy mlodau yn yr ardd, a dweyd y byddai yn siwr o ddyfod i'r Persondy i fy nol i'r Plas i fyw ato ef pan elai yn fawr. Byddai hyn yn creu chwerthin mawr, ond dywedai Lucy fod Edward o ddifrif. Ond aethym i ffwrdd i'r ysgol; a phan oeddwn i yn bedair ar ddeg oed ac Edward yn ddeunaw oed, cafodd Syr Richard Vaughan gynghor i fyned i aros dros amser yn Itali, a gwledydd cynhes ereill, er mwyn ei iechyd, a chymmerodd Edward gydag ef, gan gau y Plas i fyny, oddi eithr digon o weinidogion i'w gadw yn lân. Yr oedd hyn yn gryn ofid i mi a'ch mam; ond gan fy mod yn yr ysgol dros ran o'r amser, ac fod Lucy yn dal i ysgrifenu atom, yr oeddwn yn cael hanes Edward yn wastad, ni theimlais lawer. Ym mhen y tair blynedd, cefais lythyr llawen iawn oddi wrth Lucy yn dweyd ei bod ar fyned i briodi Syr William Clare, gwr boneddig o'r Iwerddon.

"Nid oeddwn i ond newydd ddyfod o'r ysgol, ac yr oeddwn yn synu at Lucy ei bod hi mor llawen, ac yn meddwl priodi dyn gan hened ddwywaith a hi ei hun. Nid oeddwn yn edrych arni ond fel plentyn. Priodi wnaeth yn Itali, ac aeth gyda'i gwr drwy yr Yspaen ac i Lundain, ac oddi yno i'r Iwerddon.

"Aeth blwyddyn heibio ar ol hyn, a phriododd eich mam, gan fy ngadael i yn unig gartref. Yr oeddwn i a'ch nain yn teimlo yn bur chwith ar ol i'ch mam ein gadael; ond byddem yn cael llythyr oddi wrthi bob wythnos ar ddydd Sadwrn i gael fy nhad fod yn dawel yn ei chylch, meddai hi, ar y Sul.

"Ond un Sadwrn dyma fy nhad yn dyfod o'i lyfrgell i'r *dining room* yn edrych yn drist dros ben, a gwelwn lythyr â *mourning* du arno yng nghil ei law. Neidiais mewn mynyd rhyngddo a mam, gan feddwl fod rhyw ddrwg wedi dyfod ar eich mam neu eich tad, a gafaelais yn y llythyr, ond gwelais law Edward Vaughan, ac adwaenais hi mewn mynyd. Cyn i mam sylwi, gofynais, beth yw y mater ar Syr Richard? 'Y mae wedi darfod â'r byd hwn,' atebai fy nhad; 'ac y mae y mab yn dyfod ag ef adref i'w gladdu yma. Byddant yma mor fuan ag y gallant ddwyn y corff drosodd.'

"Wedi i fy nhad droi ei gefn, gofynais i'ch nain a oedd Edward yn debyg o wneyd ei gartref yn y Brynllys. Edrychodd hi yn dosturiol yn fy wyneb, a dywedodd, 'Martha, ni wiw i chwi ei alw Edward mwy, efe yw Syr Edward Vaughan yn awr.' Ond er gwaethaf pob peth, yr oeddwn yn falch dros ben fod Edward yn dyfod adref," &c.

"Yr wyf yn cofio yn dda y tro cyntaf i mi ei weled ar ol claddu ei dad. Yr oeddwn i yn yr ardd â het wellt am fy mhen, a barclod llian gwyn am danaf, yn garddio fy ngoreu ar ddiwrnod heulog ym mis Ebrill, a chlywn lidiart yr ardd yn agor, a beth

Digitized by Google

a welwn ond Edward yn dyfod ar ei union i'r ardd fel yn yr hen amser."

"A! modryb Martha," gofynai Cathrine, "a ddarfu i chwi ddim dychrynu wrth ei weled? Mi fyddwn i'n dychrynu wrth weled Gerald yn dyfod at y tŷ ar ol bod i ffwrdd yn hir."

"Mi gynhyrfais dipyn," atebai y fodryb, "a gwelais ar unwaith ei fod wedi newid llawer iawn, a dyfod yn ddyn tal, cryf, a'i wyneb wedi tywyllu yn yr haul; ond y mynyd y gwelodd fi yn troi i edrych, gwelwn yr hen wên dawel ar ei wyneb, er ei fod yn edrych yn brudd. Estynodd ei law i mi, a chododd gwr ei het, a dywedodd, 'Wel, Martha, sut yr ydych chwi er ys pedair blynedd a hanner. Yr ydych mor ieuanc a phan aethym oddi cartref bron. Y *mae* yn dda genyf eich gweled.'"

"Y mae yn dda iawn genyf finnau eich gweled chwithau, Syr Edward," atebais innau gydag anhawsder a barodd iddo wenu, a dweyd, 'Gellwch spario y *syr*, Martha, hyd nes dysgaf finnau ddweyd *miss*.'"

"Aethom i'r tŷ i edrych am fy mam, ac yno y bu Edward drwy y prydnawn. Ac wrth fyned ymaith, gofynodd i fy mam a fyddai iddi faddeu iddo am ddyfod i edrych am dani ar ol gorphen settlo yn y Plas. Ni ddywedodd fy mam ddim, ond dymuno pob llwyddiant iddo yn y Plas. Wel, i wneyd 'stori hir yn fer, ar ol siarad gyda mam a 'nhad, ac ym mhen ryw fis, daeth Edward ataf, pan oeddwn yn garddio un prydnawn, gan edrych yn bur ddifrifol; ac ym mhen ychydig, torodd rosyn oddi ar y berthen, a gosododd ef yn fy ngwallt, a dywedodd wrthyf, 'Yr wyf yn eich gwahodd yn *frenines* y Plas. A ddeuwch chwi gyda mi i fyw i'r Plas er gwell ac er gwaeth?'"

Ac yma daeth deigryn i lygaid modryb Martha, a chrynodd ei llais; ac yr oeddwn innau yn barod i grio, ac ni wyddwn am beth. Ond gorchfygodd modryb ei theimladau, a dywedodd,

"Y mae y rhosyn hwnw eto yn fy Meibl, ond bron â throi yn llwch, a Cathrine fach, rhoddwch ef ar fy mrest yn fy arch."

"O, modryb," atebais, "beth sydd dywedwch? ni wyddwn i erioed eich bod wedi addaw priodi neb."

Atebodd hithau, "Ni ddarfu i mi addaw, ond mi a *gydsyniais*, ac O mor hapus oeddwn. Edrychwn ar Edward fel angel neu fwy nag angel. Efe oedd pob peth yn fy ngolwg. Efe fyddai ger bron llygaid fy meddwl ym mhob man. Ac O, fel yr oedd fy mam yn *dotio* arno bob amser yn yr Eglwys a'i Lyfr Gweddi, a'i lyfr hymnau, a'i Feibl yn ei law; yn ei eisteddle mewn pryd, ac yn porthi y gwasanaeth mor ddifrifol, a chanu â'i lais peraidd mor glir, gan dori y geiriau mor eglur bob amser.

"Wythnos i'r diwrnod cyn y dydd oedd wedi ei drefnu i ni briodi, daeth i edrych am danaf yn y prydnawn, cyn myned i'r gwasanaeth ganol yr wythnos. Yr oedd y gwynt wedi taflu y gwinwydd gwylltion i lawr ar *drellis* y drws, a minnau yn ceisio eu hail hoelio. Daeth i'm helpu, ond cyn gorphen o honom dechreuodd y gloch ganu. 'Ewch am eich bonnet, Martha, i fyned i'r Eglwys,' ebai Edward. Edrychais arno, ac yr oedd yn *brwsio* y llwch oddi ar ei ddillad. Yr oeddwn innau yn dal pen cangen o'r gwinwydd i fyny, a chan ofidio gadael y gwaith ar hanner ei wneyd, gofynais, 'A oedd yn werth myned i'r Eglwys y prydnawn hwnw yn lle gorphen?' Edrychodd yn ddifrifol arnaf am fynyd, a dywedodd, 'Martha, Martha, a ydych chwi yn gofalu gormod am y pethau hyn, ac esgeuluso yr *un peth*'? Gafaelodd yn fy nwylaw, gan eu codi uwch fy mhen. Cipiais innau fy nwylaw yn rhydd, a rhedais am fy monnet, gan ofni fy mod wedi brifo ei deimlad. Aethym gydag ef i'r Eglwys, a deliais sylw anarferol ar bob symmudiad iddo. Yr oedd yn arddangos teimlad o ddefosiwn anarferol—yn uno ym mhob gweddi, a minnau yn lle meddwl am addoli Duw yn addoli Edward. Yr wyf yn cofio yn dda ei fod â'i wefusau yn dilyn y geiriau hyn: 'Cyflawna yr awr hon, O Arglwydd, ddymuniad a deisyfiad dy weision, *fel y bo mwyaf buddiol iddynt*.'

"Dyma y weddi olaf i Edward, druan, yn yr Eglwys o leiaf. Cymmerais ei fraich i fyned adref, ac yr oeddwn yn bendrist. Gofynodd i mi paham yr oeddwn mor ddystaw. Dywedais fy mod yn ofni i mi ei boeni ef cyn cychwyn. Atebodd, 'Yr unig beth sydd yn fy mhoeni yw eich gweled yn dysgwyl gormod oddi wrthyf. Yr wyf fel wedi myned rhyngoch a'r *Arglwydd*. Peidiwch â meddwl, Martha, nad wyf yn prisio eich *serch* uwch law pob peth. Ond y mae *cariad* mwy.' O Edward, Edward, meddwn, maddeuwch i mi. Ni *fedrai ddim meddwl am ddim arall* y dyddiau yma; ac yn wir, chwi sydd wedi bod rywsut erioed yn fy meddwl wedi eich *magu* yno yn fwy na brawd.

"'Y mae *brawd*, Martha fach,' atebai yntau, 'a ddylai fod wedi ei fagu yn ein calonau.' 'Brawd a anwyd erbyn caledi.' Ceisiwch Hwn i'r galon, fe 'lŷn bob amser.' Rhaid i mi eich colli chwi neu chwi fi dros ennyd, ond os y'n 'ceir ynddo Ef,' cawn afael ar y naill y llall drachefn.'

"Gyda'r geiriau hyn agorodd lidiart yr ardd i mi fyned at y tŷ. Pan gymhellais ef i ddyfod i mewn, dywedodd ei fod wedi addaw yn sicr myned gyda

Digitized by Google

dau gyfaill o Rydychain am dro gyda'r cwch ar y llyn. Yr oedd yn hwyr dymunol, a chyda chusan ar fy nhalcen a chefn fy llaw, troes ar ei sawdl, ac edrychais ar ei ol nes colli fy ngolwg arno yn y drofa i fyned at y llyn. Dyma yr olwg ddiweddaf a gefais arno yn fyw.

"Aeth efe a'i ddau gyfaill o Rydychain, ieuengach nag ef, a bachgen, tua phymtheg oed, i'r clochydd, oedd yn *under butler* yn y Plas, allan gyda'r cwch dan hwyl. Gyda thywyll nos, pan oeddynt yn nesu at y lan, daeth pwff o groeswynt a thaflodd y cwch ar ei ochr nes ei lenwi â dwfr, a suddodd bron ar unwaith. Yr oedd yn rhy dywyll i'w gweled o'r lan, ond clywwyd gwaedd. Yr oedd y ddau foneddwr o Rydychain yn gallu nofio yn dda, a chawsant y lan. Yr oedd yntau hefyd yn nofiwr da, ond ni allai y bachgen nofio dim. Ni fynai Edward ei adael i foddi. Cafodd afael mewn rhwyf, a gorchymmynodd i'r bachgen roddi ei bwysai arni. A bu yn ymladd yn hir i geisio tynu at y lan. Wedi llwyddo i ddyfod dros hanner y ffordd, gwelodd fod y gwynt yn codi yn rhy gryf, a chan erfyn ar y bachgen ddal ei afael yn y rhwyf tra y byddai efe yn myned i geisio y cwch bychan, cychwynodd am y lan, ond ni chyrhaeddodd hi byth. Dywedodd y *doctor* fod yn debyg mai y *cramp* a'i tarawodd, gan fod dwfr y llyn yn oer, ac yntau wedi blino yn ymdrechu yno. Caed gafael ar y bachgen gan ei dad ac un o'r llanciau o Rydychain yn y cwch bach yn lled fuan. Ond yr oedd yn foreu dranoeth cyn cael gafael ar Edward gryn bellder o'r lle y buasid yn ei ddysgwyl.

"Am danaf fi, ni ddywedodd neb ddim am yr anffawd y noson hòno; ond O! y boreu, nid oedd wiw celu. Nid oeddwn innau yn credu dim, a mynais fyned i'w olwg. Yno yr oedd ef yn ystafell oreu y Plas, yn wyn fel angel, a'i wallt melynllaes yn disgyn yn fodrwyau ar ei ysgwyddau, a'i wefus fel ar hanner agor i ofyn sut yr oeddwn. Yr oedd ei ddwylaw gwynion yn groes ar draws ei fynwes, a'i dalcen llyfn fel marmor pur. Mynais roddi cusan ar y talcen angylaidd. Nid wyf yn cofio dim ond ei fod yn oer. Rhedodd yr ias dros fy holl gorff, ac ni theimlais ddim mwy am chwech wythnos. Yr oedd yn ganol y cynauaf yd pan agorais fy llygaid i *wybod* fod fy mam yn eistedd wrth fy ngwely. A'r peth cyntaf a sylwais arni oedd fod o dan ei llygaid yn ddu, a'i gwallt ar yr iad wedi amlwg fritho; ond yr oedd yn siriol, a deigryn gloew yn mynu llenwi ei llygaid."

Erbyn i Martha Wynn gyrhaedd y rhan yma o'i chwedl, yr oedd Cathrine hefyd yn foddfa o ddagrau,



ac wedi gwlychu dwylaw ei modryb â'i dagrau, a thorodd allan i ofyn,

"O modryb anwyl, sut y darfu i chwi *fedru* byw ar ol y fath brofedigaeth?"

"Medru cofio a charu a wnaethym, Cathrine fach, ac felly medrais fyw," atebodd hithau. "Nid ydyw bywyd heb gariad yn werth dim. Crist oedd cyfaill goreu Edward. Ar ol colli Edward, troais o ddifrif at ei Gyfaill. Cerais Ef. Cerais ei achos. Cerais ei waith. Cerais ei rai bychain Ef; yr wyf yn ei garu ac yn ddedwydd yn ei gariad."

"O modryb anwyl, yr ydych wedi bod mor dda wrthyf fi a phawb, ac edrych mor siriol a chysurus eich meddwl, fel na wyddwn i erioed eich bod wedi cael profedigaeth, nac wedi bod yn ysgafn a difeddwl fel y fi a'm chwiorydd. Yr oeddwn bob amser yn meddwl eich bod wedi eich *geni* yn dduwiol, ac na fuoch yn caru neb ond yr Arglwydd Iesu."

Rhoddes fy modryb ei dwylaw ar fy mhen, a dywedodd, "Bydded bendith yr Arglwydd arnat ti a'r gwr a geri i fyw yng nghyd mewn duwiol undeb a duwiol gariad, gan wasanaethu Duw. Am danaf fi, cefais brofedigaethau chwerwon a dagrau lawer, ond ni bûm *druenus*, nac heb gysuron lawer a mwynhâd. Os bu raid cael triniaeth lem i'm dysgyblu, yr wyf wedi 'cynnefino' â'r oruchwyliaeth a dysgu bod yn ddedwydd dani."

Ond nid hir y daliodd pabell frau fy modryb Martha Wynn nes ymollwng. Gorphwysa er ys amser maith ym mynwent Llaneffros, ac ar ei bedd yr argraff—

Martha Wynn.
Bu farw Mehefin 10fed, yn 42 oed.
"Lle y mae eich trysor, yno y bydd eich calon hefyd."

[Mabwysiadwyd o'r *Churchman's Companion.*]

---

## LLAN CWM AWEN:

### NEU DDEFFROAD EGLWYSIG HANNER CANRIF YN OL.

(*Parhâd o dudalen 81*).

### PENNOD VI.

*Llewelyn Llwyd yn cael ei ddodi mewn meddiant o offeiriadaeth Cwm Awen.*

Tra y dynesai Llewelyn Llwyd ac Angharad at borth y fynwent o gyfeiriad y Persondy, dynesai y Parch. William Meurick Oxley, rheithor plwyf cyfoethog Llanfawr a deon gwladol, mewn cerbyd pedair

Digitized by Google

olwyn, a dau farch porthiannus yn ei dynu, a gwas lifrai yn ei ganlyn, o gyfeiriad y pentref.

Safodd y cerbyd wrth y porth, a gwnaeth y deon gwladol ei ymddangosiad o'r cerbyd cauedig. Moesgyfarchwyd ef gan Llewelyn Llwyd, a rhoddes iddo ei law gan ei helpu o'r cerbyd, o herwydd yr oedd y deon gwladol yn wr corfforol; ac fel y gallesid tybio oddi wrth ei amgylchedd tua chymmydogaeth yr ystumog, yn disgyn o waedoliaeth Eglon gynt. Gwedi cael o'r boneddwr ei anadl ato ar ol yr ymdrech o ymwthio allan a disgyn o'r cerbyd, cyflwynodd Llewelyn Llwyd Angharad i'w sylw fel ei wraig, Mrs. Llwyd.

Edrychodd Mr. Oxley yn bur dorsyth ar Angharad o'i phen i'w thraed, a moesymgrymodd ei gydnabyddiaeth o honi mewn dull mor uwchafiaethol, pellenig, ac oer, nes y teimlai, fel y dywedodd ar ol hyny, "ei chalon yn rhewi."

Dychwelodd hithau y moesgyfarchiad gyda'r un fath ffurfioldeb a phellder, ac yn anymwybodol taflodd i'w hedrychiad neu osgedd beth arwydd o dramgwyddiad urddas, nes teimlai Llewelyn Llwyd ychydig yn anghysurus.

Ond yr oedd Mr. Oxley yn rhy brysur, bron a cholli ei anadl, yn rhoddi gorchymmynion yng nghylch ei feirch a'i gerbyd i gymmeryd sylw o Angharad.

Yna, gan dynu pecyn o bapyrau o logell mynwes ei got, troes at Llewelyn Llwyd a dywedodd, "Gadëwch i ni fyned at y gwaith. Yr wyf ar frys. Nid oedd dim angen i chwi ofyn i'r esgob am fy mhresennoldeb i yma o gwbl. Buasai Mr. Hughes, y curad, yn gwneyd y tro gystal a neb."

"Yr oeddwn yn meddwl, syr," meddai Llewelyn Llwyd, gan ddechreu brawddeg o eglurhâd neu esgusawd.

"Nid oes eisieu dim ond llawnodi papyrau—dyna'r cwbl, dyna'r cwbl," ebai y deon gwladol cyn i Llewelyn gael ychwanegu gair. Ac yna aeth dan ddyhëu at borth yr Eglwys. Gofynodd am yr agoriad. Parodd i'r clochydd ei ddodi yng nghlo yr Eglwys. Gorchymmynodd wedi hyny ar i Lewelyn Llwyd afael yn nolen yr agoriad, ac o'r papyr oedd yn ei law darllenodd—"Yn rhinwedd y gorchymmyn hwn, yr wyf yn eich rhoddi mewn meddiant gwirioneddol, effeithiol, a phersonol o bersonoliaeth Cwm Awen gyda'r oll o'i ffrwythau, eiddo a gwaddoliad." Gwedi darllen y papyr, parodd i Lewelyn Llwyd fyned i mewn i'r Eglwys, a chloi y drws arno am fynydyn, ac yna rhoddi tinc neu ddau ar y gloch.

Ar ol agor o Lewelyn Llwyd y drws, aeth Mr. Oxley i mewn; gofynodd am bin ac inc, a llawnododd bapyr arall: ac ar yr un pryd gofynodd i'r ddau warden presennol ei lawnodi fel tystion; ond gan na ddarllenwyd y papyr hwnw, nis gallwn roddi ei sylwedd yma. Rhoddes y ddau bapyr yn llaw Llewelyn Llwyd, gan sylwi, "Dyma yr oll sydd eisieu genyf fi." Gafaelodd yn ei law a dywedodd, "Yr wyf yn dymuno yn dda i chwi fel rheithor Cwm Awen. Y mae yn lle pur unigol;" a chan daflu edrychiad brysiog dros yr Eglwys, a moesymgrymu yn ffurfiol i'r wardeniaid, ac heb wneyd un sylw pellach o Angharad, aeth Mr. Oxley yn ol trwy fyntai y pentrefwyr ar y fynwent, a cheisiodd ei gerbyd.

Cerddodd Llewelyn Llwyd hanner wrth ei ochr a hanner o'i ol hyd ddrws y cerbyd, yr hwn a ddelid yn agored gan was lifrai llyfndew a golygus; ac ar gychwyniad y cerbyd, dyrchafodd gŵr ei het iddo, a throes yn ol i gyfarfod Angharad a'r wardeniaid.

Ni soniwyd gair am Mr. Oxley na'r gwaith a gyflawnodd gan Llewelyn Llwyd nac Angharad yng ngŵydd y wardeniaid a'r pentrefwyr. Yr oedd y warden hynaf, Mr. Owen Griffith, yn dipyn o uchelwr, yn byw ar ei dir ei hun, ac yn werth cant neu ddau o bunnau yn y flwyddyn. Yr oedd yn ddyn call, a gwr cyfrifol yn ei ardal. Canfu Angharad ar unwaith ei fod yn ddyn â dynoliaeth ynddo, ac aeth dan ei arweiniad i edrych dros yr Eglwys. Yr oedd yn adeilad helaeth â thô dwbl iddi, yn gorphwys ar res o golofnau yn rhedeg trwy ei chanol. Ychydig iawn o ddim addurniadau, nac ol addurniadau, oedd ynddi. Syrthiasai i adfeilion pa fodd bynag. Gwelid ol amser oll-ddifaol, esgeulusdod oll-ddiwynol, ac aflerwch anfaddeuol ar bob rhan o'r adeilad, o'r nen i'r llawr, o'r groglofft i'r allor, ac o'r ddesc i'r pwlpud, a'r ychydig feinciau a seti o'i mewn. Edrychai mewn gwirionedd yn llwyd a diolwg, gwedi ei llwyr feddiannu gan yr ystlumod a'r prifgopyn. Tra yr elai Angharad gyda Mr. Owen Griffith dros yr Eglwys, ymddyddanai Llewelyn Llwyd gyda'r warden arall a rhai o'r plwyfolion, a thaflai ei olwg o'i amgylch heb gymmeryd arno ei fod yn sylwi yn neillduol ar ddim. Er fod yr olwg aflêr ac adfeiliog ar bobpeth wedi ei synu i fesur, ni ddangosodd hyny i'w blwyfolion newyddion, ac yr oeddynt hwythau wedi ymgynnefino gormod â'r olwg, fel na thybient am ddim gwell.

Felly, heb arddangos nemawr o'u meddyliau, aeth Llewelyn Llwyd ac Angharad yn ol yn lled isel eu hysbryd i'r gwestty oedd i fod iddynt yn lletty am y gweddill o'r dydd a'r nos hòno.

Gan gynted ag y cafodd Angharad ei hun ym mharlwr Bodfan, a'r drws yn gauedig, eisteddodd i lawr wrth y tân, ac ebai wrth ei gwr, "Yn enw pob

rheswm, i ba beth y bu i chwi ofyn i'r esgob am gael y dyn yna i'ch rhoddi mewn meddiant o'ch plwyf? Gwelais lawer o ddynion, ond ni welais neb erioed yn cyflawnu gwaith a allasai fod yn ddyddorol ac yn adeiladol mewn dull mor dramgwyddus."

Brysiodd Llewelyn Llwyd i ddweyd, "Yr oedd ei sarhâd arnoch chwi bron yn ormod i mi beidio gwneyd sylw o hono. Pe buasai yn gwybod mai merch ydych i General Crossford, ni buasai yn esgeuluso cynnyg ei law i chwi."

"Nid ydyw sarhâd personol Mr. Oxley wedi cael yr effaith leiaf arnaf fi. Caf gyfleusdra yn fuan i dalu yn ol iddo ef allai; ond y mae ei sarhâd ar offeiriad newydd Cwm Awen, y wardeniaid a'r plwyfolion, ac ar weinidogaeth Eglwys Crist, yn ofid mawr i mi," ebai Angharad. "Maddeuwch i mi, fy anwylyd," ychwanegai, "buaswn yn dysgwyl am rywbeth *buddiol* oddi wrth y deon gwladol ar adeg fel hyn. Gallasai o leiaf roddi i chwi ychydig o gynghorion mewn perthynas i waith y plwyf; gallasai eich cyflwyno i sylw y plwyfolion, a dweyd gair drosoch, a rhoddi gair o gefnogaeth iddynt eich helpu; gallasai gyfeirio at gyflwr adfeiliedig yr Eglwys, a chynghori y wardeniaid i geisio eich cynnorthwyo i'w gwella; ac yn fwy na dim, gallasai ofyn am y weddw, druan, a galw yn y Persondy i roddi gair o gysur iddi."

"Y mae yr hyn a ddywedwch yn ddigon gwir," atebai Llewelyn; "ond gallai ei fod yn fai yn y gyfundrefn yn gystal ag yn person ei hun. Y mae Mr. Oxley yn ddyn boneddigaidd iawn, ond nid yw yn hoff o gael trafferth gyda dim. Cyfarfyddais ag ef ar giniaw yn y palas, ac yr oedd yn ddyn parablus iawn; a phan ofynais i'r esgob am iddo awdurdodi y deon gwladol i'm rhoddi mewn meddiant o'r bersonoliaeth, yr oeddwn yn tybio fy mod yn gwneuthur yn ddoeth."

### PENNOD VII.

*Ymddyddan â Mr. Hughes, y curad.*

"Pa le bynag y gall fod y bai, y mae gorchwyl y dydd hwn rywfodd wedi fy siomi i," ebai Angharad, "yn y dull moel, llwm, oer, a masnachol, os gweddus y gair, y'ch rhoddwyd mewn meddiant o offeiriadaeth Cwm Awen. Ni ddaeth i'r wyneb nac i'r golwg ddim Eglwysig, ddim ysbrydol, ddim crefyddol, nac yn wir ddim cymdeithasol bron. Maddeuwch i mi am ddefnyddio y fath gyffelybiaeth, ond yr oedd yr holl seremoni yn fy adgofio o'r dull yn y fyddin y bydd hen *pensioners* yn cael seinio eu papyrau wrth anfon am eu blwydd-daliadau."

"Yn wir, Angharad fach, yr ydych yn rhy finiog," ebai Llewelyn, "ond y mae y ffurf o *induction*, neu o gymmeryd meddiant mewn Eglwys a phlwyf, yn arogli gormod o lawer o'r daiarol a'r bydol. Yr wyf yn teimlo hyn fy hun yn fawr iawn. Buasai yn dda genyf pe buasai genym ffurfwasanaeth difrifol a phriodol at y fath amgylchiad; a phe buasai, o leiaf, y deon gwladol neu gynnrychiolydd iddo yn pregethu ar y fath achlysur, gan gyfeirio at ddyledswyddau gweinidogaethol yr offeiriad a breintiau a dyledswyddau y plwyfolion. Un o nodweddion yr Eglwys Sefydledig yw *cuddio ei hysbrydolrwydd*. Y mae ei bywyd cuddiedig yn uwch na'r arddangosiad o hono. Pe buasech gyda mi yn fy ymweliad â'r esgob, cawsech olygfa arall. Siaradai efe yn dra difrifol; yr oedd pob cynghor o'i eiddo yn dyfod o waelod ei galon, ac yn dra addas i'r fath achlysur. 'Cofiwch,' meddai wrthyf, pan ar ymadael, 'yr wyf yn rhoddi gofal eneidiau plwyfolion Llan Cwm Awen i chwi yng ngŵydd Pen Mawr yr Eglwys. Y mae yn ymddiriedaeth ddifrifol i chwi ac i minnau. Oddi ar ein llaw ni *ein dau* y gofynir hwy y dydd mawr diweddaf. Rhodded yr Arglwydd i chwi ei ras i fod yn ffyddlawn, fel y rhoddom gyfrif llawen.'"

Siaradai Llewelyn Llwyd gyda theimlad amlwg o ddifrifoldeb mwy nag arferol, a chanfu Angharad fod amgylchiadau y dydd wedi gadael argraff ddofn iawn ar ei feddwl, ac nad oedd yr argraff oll yn foddhaol. Cymmeriad lled ddwys ac enciliedig, ond llawn tynerwch ac addfwynder, oedd Llewelyn Llwyd. Pan deimlai fwyaf y byddai fwyaf cynnil ei arddangosiad o hono, nes y gwesgid y teimlad allan gan ei rym naturiol ei hun, ac yna llefarai yn rhydd. Ond cymmeriad dysglaer, tryloew, hawdd gweled bron i'w waelod oedd Angharad. Nid *polish* oedd ei haddysg, ac nid *varnish* y dygiad i fyny mewn cymdeithas foneddigaidd uchel oedd ei lledneisrwydd a'i moesgarwch esmwyth, ond yr oedd fel grisial caboledig yn aros yn ei symledd dan ddylanwad dysg ac esampl. Oni bai am y gochelgarwch greddfol ag sydd yn nodweddu y rhyw deg bob amser yn eu gwyleidd-dra naturiol, buasai Angharad yn agored i ddangos gormod o'i meddwl, a thaflu perlau o flaen moch. Ond yr oedd ei threiddgarwch meddwl, ei gallu i ddarllen edrychiad, ysgegiad, ac hyd yn nod wên ac amnaid y neb a ymddyddanai â hi, yn ei galluogi i ochel dywedyd dim yn anamserol. Rhyngddi a Llewelyn Llwyd nid oedd un llen. Ymollyngai yn berffaith rydd fel plentyn i ddweyd ei holl deimlad, a'i holl feddyliau a chynlluniau addfed ac anaddfed fel dwndwr ffrwd y mynydd, dan heulwen haf.

"Wel," ebai, "y mae yn dda genyf fi glywed am

Digitized by Google

gynghorion yr esgob. Hen foneddwr duwiol yw. Ond y mae un peth yn nodweddu duwioldeb y dosbarth uchaf oddi wrth y dosbarth isaf yn fawr iawn. *Cuddia* y dosbarth uchaf eu teimladau crefyddol, fel pob teimlad arall o lawenydd neu alar; ond gwna y dosbarth cyffredin *arddangosiad* o hono, fel o'u llawenydd a'u galar. Dilyna yr offeiriaid plwyfol esampl yr uchelwyr. Cuddiant eu teimlad crefyddol. Cadwant y teimlad i lawr yn bersonol. Eir â hyn yn ormodol i wasanaeth yr Eglwys Sefydledig. Cuddir y gwres—anhuddir y tân sanctaidd. Dysgwylir gormod wrth *rym y deall* a'r syniad o *ddyledswydd* a'r defosiwn personol, ac felly esgeulusir gormod ar foddion cynnyrchu defosiwn cynnulleidfaol. Yr wyf wedi sylwi llawer ar y gynnulleidfa yn y capel bychan ar fin y ffordd yn ymyl Gelli'r Cogau, a'r addolwyr yn Eglwys y plwyf. Y mae swn a gwres a bywiogrwydd y capel bach yn attynu mwy o'r dosbarth gwledig nag Eglwys y plwyf. Os daw dyeithr-ddyn i'r ardal, yno ond odid yr ä. Ac ni adewir i un amgylchiad fyned heibio yng nglŷn â'r lle heb drefnu mesurau i sicrhau cynnulliad gwrandawyr. Pan ddaw gweinidog newydd i'r lle, gofalir am ddau neu dri o bregethwyr da i'w gyflwyno i sylw yr ardalwyr. Ond eir ym mlaen yn Eglwys y plwyf gyda'r un camrau mesurol, fel pendil cloc mawr, o'r naill flwyddyn i'r llall, nes y mae yr ardal wedi hen gynnefino â'r oll, a pheidio cymmeryd sylw neillduol o'r bywyd sydd ynddi. Credaf y gellid gwneyd yn well."

"Rhaid i bawb addef," ebai Llewelyn, "fod llawer o wirionedd yn yr oll a ddywedwch. Peth anhawdd hynod ydyw cyfuno ymborth ysbrydol at chwaeth pob dosbarth mewn un ffurfwasanaeth. Y mae yr hyn sydd fwyaf effeithiol i ddylanwadu ar deimlad y lluaws ac i attynu y miloedd yn dramgwyddus i'r dysgedig yn aml. Y mae yr offeiriaid, ef allai, wrth ymdrechu myned megys hanner y ffordd i gyfarfod y ddau ddosbarth, yn colli gafael ar y ddau. Ond yr wyf yn sicr o un peth, fy anwylyd, y gwnewch chwi eich goreu gyda mi i wella y teimlad defosiynol yn yr Eglwys. Gellwch chwi wneyd llawer i wella y *gwasanaeth;* ac yn ol arwyddion yr amserau yn bresennol, dyma lle mae y tân sanctaidd i ddechreu cynneu. Gadëwch i ni gael cwpanaid o dê."

Gwaith nesaf Llewelyn Llwyd oedd edrych allan am letty i Angharad ac yntau i aros dros y gauaf hyd oni byddai y Persondy yn barod i'w derbyn. Lle anhawdd i gael lletty o'r fath ydyw ardal wledig. Cynllunir pob adeilad at ei wasanaeth ei hun, ac os ceir ynddo un ystafell wely i'w hebgor at roesawu cyfeillion neu ddyeithriaid, ystyrir y ddarpariaeth yn ddigonol. Hyd yn nod gwestty y dreflan, nid oedd yno amgen dwy ystafell at wasanaeth ymdeithwyr, ac ni buasai Llewelyn Llwyd yn meddwl aros mwy na noson mewn gwestty o'r fath, er y cedwid ef yn drefnus iawn.

Cyn gorphen o'r tê, daeth Mr. Hughes, y curad, i mewn, ar ei ddychweliad o ymweliad â'r guradiaeth a gynnygiasid iddo.

Gwedi moesgyfarch y naill y llall, pwysai Angharad arno gymmeryd capanaid o dê gyda hwy.

Atebai Mr. Hughes yn rhwydd, "Bydd yn dda genyf gael cwpanaid. Gwedi clywed eich bod yma, troais i mewn cyn myned adref i'm lletty i edrych a allwn fod o ryw wasanaeth i chwi. Yr wyf yn dra diolchgar i chwi am fy nghymmeradwyo i'r guradiaeth newydd. Os gallaf roddi boddlonrwydd, yr wyf yn mawr hoffi y lle, a rhaid i mi ddechreu y Sul nesaf, os bydd modd."

"Y mae yn dda genyf glywed," ebai Llewelyn Llwyd; "a'r unig beth sydd ar fy ffordd i mi ddechreu fy ngwasanaeth yma y Sul nesaf yw yr anhawsder o gael lletty."

Atebai Mr. Hughes, "Nid oes yma letty i'w gael o fewn pum milltir, oddi eithr i chwi ymfoddloni ar y lletty syml a gwledig sydd genyf fi ym Mhlas y Cwm. Bu y lle yn hen balasdy gynt, a phreswyliai cangen o deulu Fychan yno; ond ar gyfuniad teulu Fychan â theulu Griffiths o'r Cerdden, gadawyd i'r hen balas syrthio i wasanaeth amaethdy da, a rhoddir yn bresennol y ddwy brif ystafell i mi yn lletty, a'r unig fai sydd genyf fi arnynt yw, eu bod yn rhy eang o lawer i wr sengl."

"Dyna'r fan," meddai Angharad, "os cyflëus i Mr. Hughes a chydweddol ag ewyllys teulu'r Plas, nid oes dim mwy dymunol genyf na myned i'r hen Blas. Beth, a oes yno ddim ysbrydion? Dim chwedlau hynafiaethol a son am ddygwyddiadau rhyfedd yng nglŷn â'r hen Blas?"

"Bydd yno ddigon o swn ar ystormydd," meddai Mr. Hughes, "ond yr wyf fi yn gymmeriad rhy ddwl i fedru gweled ysbrydion."

Trowyd yr ymddyddan. Teimlai Mr. Hughes yn ofnus iawn wrth feddwl am fyned i weinidogaethu i dref boblogaidd ar ol treulio saith mlynedd o'i amser goreu mewn ardal mor wledig. Er y derbyniasai addysg yn Rhydychain, buasai iddo dreulio deng mlynedd o amser yng nghanol Cymry uniaith bron, fel curad Llangedy am dair blynedd, ac yna mewn math o *sole charge* o Gwm Awen am saith mlynedd o herwydd afiechyd Mr. Phylip a'i lesgedd oedranus. Pan elai i fysg cwmni boneddigaidd a

Digitized by Google

diwylliedig, teimlai yn anesmwyth, ofnog, ammharod ei ymadrodd, ac anystwyth a lledieithog ei barabl. Mynegodd ei ofnau i Llewelyn Llwyd.

"Yr ydych chwi o dan yr un brofedigaeth a minnau," atebai. "Yr wyf finnau wedi ymarfer bron yn gyfan yn Seisoneg er pan adewais gartref ac y mae Cymraeg yr ardal hon yn hollol ddyeithr ar fy nghlust. Mae y llafariaid mor agored, a'r aceniad mor safndrwm, mewn ystyr, fel ag yr wyf yn ofni y bydd Seisonigrwydd fy lleferydd yn dramgwyddus, os gallaf wneyd fy hun yn ddealladwy. Am danoch chwi, Mr. Hughes, gwedi mis neu ddau o ymloewi, bydd eich Seisoneg chwi yn ddigon esmwyth, ond ofnaf na ddaw blynyddoedd â mi yn Gymro Cymreigaidd; ac y mae y Seison yn llawer llai beirniadol ar eu hathrawon ysbrydol na'r Cymry."

"Yr wyf fi bellach," ebai Mr. Hughes, "yn gweled y doethineb i ddynion ieuainc newid *lle a dyledswyddau* yn fynychach. Y mae yr esgobion yn erbyn hyny, ond gellir rhydu neu gasglu gormod o fwsogl wrth fod yn rhy sefydlog."

"Un o wendidau gweinidogaethol rhy sefydlog yw, na roddir ynddi ddim digon o gyfleusdra i ddynion ieuainc ymrwbio yn eu gilydd, ac ymarfer â siarad ger bron pob math o wahanol gynnulleidfaoedd. Y mae yr unrhywiaeth sydd ynddi yn cynnyrchu ofnusrwydd a diffyg hyder yn eu gweinidogion pan elont i leoedd dyeithr. Gwendidau gweinidogaeth symmudol drachefn ydyw cynnyrchu gorhyder yn ymylu ar haerllugrwydd yn yr anwybodus, tuedd i fod yn arwynebol, a masnachu mewn nwyddau benthyg, llenladrad duwinyddol, a chanu 'cân cariad,' 'un hyfrydlais,' heb sylwedd iddi. Dyma fy meddwl i," meddai Llewelyn Llwyd.

"Fe ddylai pob dyn da," ychwanegai Angharad, "fod yn well na'i gyfundrefn, ac felly ochel ei gwendidau. Dywedai fy nhad fod dewrder y milwr cyffredin yn aml wedi bod yn fwy nag iawn am gamgymmeriad y swyddog."

(*I'w barhau.*)

---

## DIRWEST.

### MEGIN DIRWEST.

"MAE y tân wedi myned yn isel iawn genych, Mrs. Jones. Gadëwch i mi gynneu tipyn arno efo'r fegin." Felly y llefarai Mrs. Thomas wrth ei chymmydog wrth droi i mewn i'r tŷ i chwedleua tipyn, yn ol dull benywaid segur.

"O," meddai Mrs. Jones, "yr oeddwn yn rhy brysur i sylwi ar y tân hyd yn hyn; ond aroswch, peidiwch â chyffwrdd â'r hen fegin yna. Ni fyddwn ni byth yn arfer ei defnyddio yn awr; y mae wedi gwneuthur gwaith rhy fendithiol i ni. Gorphwys y mae yn awr, ac ni cha byth fyned i weithio mwyach." Edrychai Mrs. Jones yn syn ar ei chymmydoges.

"Wel," meddai Mrs. Jones, "eisteddwch i lawr a thraethaf yr ystori i chwi. Ond rhaid i chwi faddeu i mi am fyned ym mlaen gyda'r gwaith yma ar yr un pryd."

"Gwnewch, da chwi," ebai Mrs. Thomas.

"Wel," meddai y llall, "pan oeddwn yn briodferch ieuanc yr oedd Thomas yn arfer diota yn lled galed, a chofiwch mai *porter* ydoedd ar y pryd hyny, a rhyfedd na chollasai ei swydd ar y rheilffordd. Wel, fodd bynag, bu yn flin gan fy nghalon yn ei gylch lawer gwaith. Eto, nis gallwn fentro ei argyhoeddi, canys geneth lled ofnus oeddwn, ac newydd briodi."

"Eich gwr chwi yn feddw, Mrs. Jones?" ebai y wraig arall. "Ni chredaswn hyny oddi ar eiriau neb arall ond chwychwi. Y mae Mr. Jones mor hynod yn erbyn y ddiod bob amser."

"Dyna wir i chwi," meddai Mrs. Jones. "A diolch i'r hen fegin yna am ei sobri. Arferai Thomas, druan, wario y rhan fwyaf o'i gyflog yn y dafarn, a bu yn lled gyfyng arnom o herwydd hyny. Yr oeddym yn byw y pryd hyny mewn lletty gwael iawn; a chan mai dipyn ar ol oeddym gyda'r ardreth, lled gyndyn ydoedd perchenog y tŷ i adgyweirio y lle. Ym mhlith amryw agenau ereill yn y tŷ, yr ydoedd hollt lydan yn y drws, trwy yr hwn y treiddiai gwlaw, a thymmestl, a goleu leuad."

"Goleu leuad," ebai Mrs. Thomas, "beth am oleu y lleuad? Ni wnai y lleuad fawr o niwed."

"Na wnaeth goleu y lleuad ddim niwed," meddai Mrs. Jones, "ond yn hytrach ddaioni mawr."

"Dyn a'ch helpo," meddai Mrs. Thomas, "y mae'r ddynes yn dyrysu yn sicr. Goleu leuad trwy dwll mewn drws ac hen fegin yn gwneuthur daioni mawr—beth a glywaf rhagor!"

"Aroswch, Mrs. Thomas, nes i chwi glywed y cyfan. Wel, un noson yr oeddwn yn fy ngwely ar ben fy hun, ac yn isel iawn fy ysbryd, gwedi bod yn wylo yn dost o achos Thomas, druan. Yr oedd yntau allan fel arferol, a minnau yn cadw y lamp yn oleu yn y gegin, a'm hystafell wely ar yr un llawr, a'i ddrws yn agored i'r gegin. Clywn Thomas yn d'od i mewn o'r diwedd, a gwyddwn mai lled chwil ydoedd, a chedwais yn ddystaw; ond yn fuan clywais swn y fegin—pwff, pwff—a synais beth oedd yn myned ym mlaen, o herwydd fod y tân wedi ei ddi-

Digitized by Google

ffoddi er ys dwy awr neu ragor. Cyfodais yn y gwely, a gwelais Tom yn eistedd wrth y drws, gan chwythu nerth ei freichiau ar belydryn o oleu leuad trwy yr hollt yn y drws! 'Druan o honoch, Tom,' meddwn innau, beth ydych chwi yn ei wneyd?' 'Beth ydw i'n wneyd!' meddai yn sarug, 'ceisio cynneu tipyn ar yr hen dân yma yr ydwyf fi. Ond welais i erioed y fath lo; 'does yma ddim gwres ynddynt, ac y mae arnaf annwyd enbyd.' 'Da chwi, Tom, dewch oddi yna, yn lle chwythu y fegin trwy yr hen ddrws.' Edrychodd yn syn am fynyd, ac yna taflodd y fegin i lawr, a daeth i'w wely heb ddywedyd gair mwyach. Fe gododd yn lled foreu, a chan edrych at y drws, fe ofynodd i mi, 'Jane, mi freuddwydiais neithiwr fy mod yn ceisio cynneu tân wrth yr hen ddrws yna.' 'Na, na, nid breuddwydio yr oeddit ti, fy machgen i, mewn diod yr oeddit,' meddwn innau. 'Taw â son, Jane,' ebai yntau, 'am beth mor ynfyd. Yr wyf yn arfer gwneuthur fy hunan yn wrthddrych ffol iawn pan yn feddw yn rhy aml.' Atebais innau, 'Ond eistedda i lawr yn awr, a chymmer lymaid o dê.' Eisteddodd i lawr wrth ei fwyd, ac aeth allan wedi hyny heb ddywedyd gair. Wel, daeth yn ol yn brydlawn y noswaith hòno, a chymmerodd ei dê gyda mi, ac ni chynnygiodd fyned allan fel arferol. Dysgwyliais yn sicr y byddai raid i mi fyned i'r *Red Lion* i brynu chwart iddo erbyn swper; ond pan ddaeth amser bwyd eto, cymmerodd lasaid o ddwfr oer fel finnau. Wrth sylwi arnaf yn rhyfeddu at hyn, dywedodd yn lled yswil, 'Dim ond y dwfr oer bellach, Jane fach, y mae yr hen fegin yna gwedi cyflawnu gwaith da ynof.' Yna cododd ar ei draed, a chymmerodd y fegin yn ei law. 'Dirwest biau hi, yr hen chwaer,' meddai, 'ni chlywais am neb mor ffol a'r meddwyn—myned i chwythu y lleuad yn wir!' Dododd yr hen fegin ar yr hoel, a thawodd. Ond gwyddoch mai penderfynol ydyw Tom erioed. Trwy help Duw, fe gadwodd rhag y ddiod yn llwyr o hyny allan, a gwyddoch fel y daethym ym mlaen ar ol hyny. Diolch am yr hen fegin yna; daeth â ni, dan fendith Duw, i well annedd na'r hen dŷ adfeiliedig. Daeth â Thomas o fod yn wasanaethydd isel i'r swydd o *station master*; a dywed pawb wrth wrando ar ein 'stori fod yr hen fegin yn haeddu cael ei chadw yn gyssegredig."

A dyna ddiwedd ar hanes yr hen fegin ddirwestol. Y mae gan y Seison ddiareb, "'Tis an ill wind that blows no one any good." Ymddengys yr hanesyn yma fod gan Ragluniaeth rywbeth bendithiol hyd yn nod yn anadl hen fegin.

W. M. R.

## "TRA Y GELWIR HI HEDDYW."

Fy enaid tlawd, ystyria, clyw,
Cymmoder di yn awr â Duw;
Nac oeda ennyd awr yn hwy
Rhag colli y cyfleusdra mwy.

Mae'r alwad heddyw ar dy ol
I adael dy holl lwybrau ffol;
A dewis Iesu ym mhob man
I ti yn fywyd ac yn rhan.

Yr amser cymmeradwy yw
Yn awr i fyned at ein Duw;
Ac heddyw mae Efe'n gwahodd—
Mae Duw tra'n achub wrth ei fodd.

Dos fel yr wyt, hyn fyddo'th gri—
"Er mwyn Dy Grog na wrthod fi;"
Trwy glwyfau'r Oen ni gawn iachâd
A hedd i fyned at y Tad.

*Swyddffynnon.* D. Lledrod Davies.

---

## ADGOF UWCH ANGHOF.

*Y diweddar Mr. Daniel Williams, Dolwyddelan.*

Teimlwn fod gair mewn ffordd o goffadwriaeth am ein hen gyfaill, Daniel Williams, yn deilwng iawn o le ym mhrif gyhoeddiad yr Eglwys yng Nghymru. Collodd yr Eglwys yn esgobaeth Bangor yn ei farwolaeth un o'i lleygwyr mwyaf adnabyddus, a chymdeithas un o'i dynion mwyaf defnyddiol. Yr oedd mewn gwirionedd yn wr gwlad ac Eglwys. Yr oedd ei enw yn enw teuluaidd er ys llawer blwyddyn yn Ffestiniog a Dolwyddelan, a'r ardaloedd cylchynol. Ennillasai barch ac ymddiried ym mhob cylch y troai ynddo, ac nid ychydig oedd nifer y cylchoedd hyny. Yr oedd hyn i'w briodoli i'w gymmeriad moesol dysglaer, i'w farn addfed, i'w synwyr cyffredin cryf, a'i barodrwydd bob amser i hyrwyddo pob achos da. Yr oedd yn Eglwyswr cadarn ac yn wr Duw mewn gwirionedd. Bu yn golofn i'r Eglwys am flynyddau yn y Blaenau, Ffestiniog, a Dolwyddelan. Ni phetruswn ddweyd na bu iddi erioed yn yr ardaloedd hyny leygwr a wnaeth gymmaint drosti.

Brodor ydoedd o Faentwrog, mab i Owen Williams, yr hwn a wasanaethai fel clochydd y plwyf am flynyddau. Treuliodd foreuddydd ei oes yn ei le genedigol. Derbyniwyd ef pan yn wr ieuanc i Goleg Hyfforddiadol Caernarfon, ond ni welodd Rhagluniaeth yn dda iddo gael gorphen ei yrfa

Digitized by Google

golegawl. Cyn pen hir ymsefydlodd yn y Blaenau, Ffestiniog, a gweithiodd am dymmor yn chwarel y Llechwedd. Yr oedd gan berchenog y chwarel hòno, sef y diweddar Mr. Greaves, tad arglwydd raglaw sir Gaernarfon, y meddwl uchaf am dano. Nid oedd ym mhlith ei holl weithwyr yr un a hoffai yn fwy. Gadawodd y chwarel yn y man, a phenodwyd ef i fod yn ddarllenydd lleygol o dan ficer Eglwys Dewi Sant, gwaith wrth ei fodd. Cyd-lafuriodd am flynyddau â'r ficer presennol, sef y Parch. J. Davies. Efe oedd ei wr llaw ddeheu. Yr oedd yn anwyl ddyn y cleifion, yn gymmwyaswr parod i'r angenus, ac yn gynghorwr doeth i'r helbulus. Bu Eglwys fechan Tanygrisiau o dan ei ofal am amser, ac yr oedd llwyddiant amlwg ar ei weinidogaeth. Yr oedd yn bregethwr da a phoblogaidd. Cymmerai y boen a'r gofal mwyaf wrth gyfansoddi ei bregethau. Nid oedd neb mor barod ag ef i lenwi bwlch, a mawr fydd y golled a deimlir ar ei ol gan aml i glerigwr fel y cyfryw. Bu yn aelod o Fwrdd Ysgol Ffestiniog am fwy nag un tymmor, ac nid oedd neb mor flaenllaw ag ef gydag eisteddfod y Sulgwyn, fel ei gelwid. Llanwodd y swydd o brif ysgrifenydd y Gymdeithas Odyddol am flynyddau, a bu yn golofn iddi ar gyfrif ei bwyll, ei farn dda, ei drefnusrwydd, a'i wybodaeth ymarferol o Odyddiaeth. Yr oedd ei lawysgrif yn ddangoseg o'r dyn trefnus a phwyllog. Ar ei ymddiswyddiad anrhegwyd ef â darlun hardd o hono ei hun mewn *water colour* fel tysteb, a derbyniodd dysteb arall gan yr Eglwys a'r ardal yn gyffredinol ar ei ymadawiad o'r lle. Symmudodd oddi yma i Dolwyddelan i fod yn oruchwyliwr chwarel y Bwlch. Ficer y plwyf y pryd hwnw ydoedd y Parch. H. E. Williams, Llanaelhaiarn, ac efe a fu y prif offeryn i'w gael yno. Gweithiai yn ei faes newydd gyda'r un ffyddlondeb ag yn y Blaenau. Yr Eglwys yn benaf a wasanaethai. Cafwyd ynddo gynnorthwywr gwerthfawr gydag adeiladu yr Eglwys newydd. Ond ni chyfyngai ei ymdrechion i'r Eglwys. Rhoddai ei wasanaeth i bob achos plwyfol tu allan i'w chylch hi. Yr oedd yn un o warcheidwaid y plwyf, ac yn ddiweddar penodasid ef i fod yn is-gadeirydd Bwrdd Gwarcheidwaid Llanrwst. Yr oedd hefyd yn un o lywodraethwyr ysgol ramadegol y dref hòno. Perchid ef yn fawr fel goruchwyliwr chwarel gan feistr a gweithiwr. Trwy ei graffder daethai yn ffermwr da. Yr oedd ei hen gartref, sef ffermdy y Bwlch, yn nodedig ar gyfrif y croesaw a dderbyniai pawb yno, ac nid ychydig oedd nifer y rhai a'i mynychent. Nid elai un cardotyn oddi wrth ei ddrws yn waglaw. Bu yn gynnrychiolydd yng nghynnadledd Bangor fwy nag unwaith, a chymmerai ran braidd bob amser yn yr ymdrafodaeth. Y tro diweddaf y bu yn bresennol, darllenodd bapyr rhagorol ar "Gadwraeth y Sabbath," yr hwn a ymddangosodd wedi hyny yn yr *Haul*.

Ar ol dyoddef cystudd blin am o ddeutu naw mis oddi wrth afiechyd poenus yn y pen tebyg i'r *cancer*, cafodd ollyngdod o'i boenau ar y 23ain o Chwefror, wedi cyrhaedd o hono ei 54 mlwydd oed. Claddwyd ef yn hen fynwent ei blwyf genedigol. Darllenwyd wrth y tŷ cyn cychwyn gan y Parch. J. Davies, Blaenau, Ffestiniog, a gweddïodd y Parch. R. Williams, ficer y plwyf. Yr oedd yr angladd i'r *station* yn un cyhoeddus. Yno canwyd yr hen emyn adnabyddus, "Mae 'nghyfeillion adre'n myned." Cymmerwyd rhan yn y Gwasanaeth Claddu gan y Parchedigion canlynol:—J. Davies, Blaenau; D. Morgan, Penrhyndeudraeth; P. Jones, Trawsfynydd; R. Richards, Rhostryfan; R. Williams, Dolwyddelan; C. Price, Maentwrog. Pregethodd y Parch. J. Davies bregeth angladdol y Sul canlynol yn Eglwys Dolwyddelan ar y geiriau, "Ac yr oedd efe yn wr da," Act. ii. 24. Heddwch i'w lwch, a'r nef a noddo ei weddw ofalus, dyner galon, a charedig, a'i hunig fab a phlentyn.

*Rhostryfan.* R. RICHARDS.

---

## Y WASG.

### *Esboniad newydd ar Actau yr Apostolion.*

MAE y Gymdeithas er Taenu Gwybodaeth Gristionogol (S.P.C.K.) yn ddiweddar wedi cyhoeddi y llyfr uchod, wedi ei rwymo yn gryf a hardd, am 1s. 4c., ac i danysgrifwyr at y gymdeithas ei bris ydyw un swllt. Cyfieithad ydyw o waith y Parch. W. Benham, B.D., wedi ei wneuthur gan y Parch. J. Williams (Glanmor). Afreidiol ydyw dywedyd ei fod yn gyfieithad da, rhwydd, a naturiol, ac y mae diolchgarwch yn ddyledus iddo am ei waith. Mae y gymdeithas yn barod wedi dwyn allan yr esboniadau ar y tair efengyl gyntaf o waith Esgob Howe (cyfieithedig gan olygydd galluog yr *Haul*), a bydd yr un ar yr efengyl yn ol St. Ioan allan o'r wasg yn fuan.

Y ddyledswydd sydd yn gorwedd wrth ddrysau Eglwyswyr y rhanau Cymreig o Gymru ydyw, eangu cylchrediad yr esboniadau clodwiw hyn, ac ar hyn o bryd yn neillduol yr olaf sydd wedi ymddangos yn barod, sef yr un ar yr Actau. Bydd i gylchrediad gweddol eang o'r rhai sydd wedi ymddangos yn barod gefnogi y gymdeithas i ddwyn allan y gweddill;

Digitized by Google

a phe gellid trefnu mor fuan ag y byddai hyny yn gyfleüs i bob ysgol i ddarllen yr Actau, ac annog yr esboniad hwn fel yn gynnorthwy i ddeall y llyfr, byddai yn tueddu i'w wneuthur yn fwy hysbys, ac yn y modd yma eangu ei gylchrediad. Hefyd, y mae Ysgolion Sul yr un gymmydogaeth yn fynych yn cyfarfod i adrodd yr hyn a elwir ar lafar gwlad yn *bwno*, fel y gwneir ar wyl Calan Hen yn Llandyssul; a phe byddai i'r pwyllgorau sydd yn trefnu y gwahanol wasanaethau hyn ddewis rhanau o'r Actau (llyfr hynod bwrpasol i'r perwyl), a chymmeradwyo yr esboniad hwn, byddent yn cymmeryd cam pwysig tuag at wneuthur aelodau ein Hysgolion Sul yn fwy goleuedig a ffyddlawn i athrawiaethau arbenig yr Eglwys, yn ogystal a chreu trwy gymhorth Ysbryd Duw ysbryd mwy defosiynol a duwiolfrydig. Ym mhellach, y mae yr esboniadau hyn yn hynod addas a phriodol i'w rhoddi fel anrhegion a gwobrau. Gellir eu cael yn y *depôts* sydd yn perthyn i'r gymdeithas, yn ogystal a chan lyfrwerthwyr ereill; ac os bydd unrhyw anhawsder mewn unrhyw gymmydogaeth i'w cael, danfoner at y fam-gymdeithas yn Llundain—The Secretary, Society for Promoting Christian Knowledge, Northumberland Avenue, Charing Cross, London, S.W.

---

*Esboniad yr Esgob Howe ar St. Ioan.*

Y mae cyfieithad o esboniad yr Esgob Howe ar yr Efengyl yn ol St. Ioan yn y wasg. Cyhoeddir ef gan y Gymdeithas er Lledaenu Gwybodaeth Gristionogol yn Llundain.

---

*"Ceninen Gwyl Dewi."*

Argraffiad arbenig o'r *Geninen* ydyw hwn, a dygir rhifyn allan ar ddydd Gwyl Dewi bob blwyddyn. Cynnwysiad rhifynau dydd Gwyl Dewi ydyw bywgraffiadau cymmwynaswyr ein cenedl o bob math, ac ysgrifenir hwy mewn barddoniaeth a rhyddiaith. Cynnwysa y rhifyn am eleni grynoad o hanes bywyd yr hanesydd enwog Thomas Steven, y Bardd Golyddan, y Tri Chrynwr, Hen Weinidog, y Dr. H. Owen Thomas, Vulcan, Edward Llwyd, y Dr. Arthur Jones, Morris Davies o Fangor, Ieuan Glan Geirionydd, y Parch. T. E. James (T. ab Ieuan), Glanffrwd, Dewi Wyn o Essyllt, Cynddelw, Alfardd, a Williams, Pantycelyn. Ym mysg ysgrifenwyr y bywgraffiadau hyn y mae y Proffeswr Owen M. Edwards, Coleg Lincoln, Gwalchmai, Dewi Ogwen, Llew Llwyfo, Meiriadog, a'r diweddar ddifyrus Kilsby Jones, ac awdwyr adnabyddus ereill. Ym mysg y serch-gofiantau barddonol cofféir am Alaw Goch, Lledrod, Trebor Mai, Dewi o Ddyfed, Idris Vychan, Fferyllfardd, y Parch. Ganon Daniel Evans, D.D., ac ereill. Ym mysg eu hawdwyr cawn enwau Tudno Jones, Ieuan Ionawr, Tegai, Padrog, Taliesin Hiraethog, Elis Wyn o Wyrfai, ac ereill. Gwelir yn amlwg fod *Ceninen Gwyl Dewi* yn werth ei phris o un swllt i bob un a ddymuna wybod rhywbeth am ei gydgenedl.

---

## GOHEBIAETHAU.

*At Olygydd* YR HAUL.

SYR,—A ellwch chwi ddweyd i mi drwy gyfrwng yr *Haul*, fel y gwelo ereill, pa fodd y pleidleisiodd y Parnelliaid ar y penderfyniad yn erbyn yr Eglwys yng Nghymru?

Yr eiddoch,

*Llerpwl, Mawrth 3ydd.* JOHN GRIFFITH.

Fel hyn y pleidleisiodd y Gwyddelod yn erbyn yr Eglwys:—

| | |
|---|---|
| Parnelliaid ... ... ... | 16 |
| MacCarthiaid (Pabyddion) ... ... | 33 |
| Pair ... ... ... ... | 1 |
| | 50 |

---

## NEWYDDION.

YR EGLWYS YNG NGHYMRU GER BRON Y SENEDD.

MAWR yw llawenydd holl wrthwynebwyr yr Eglwys yng Nghymru o herwydd darfod i Mr. Gladstone roddi ei bleidlais o blaid dadgyssylltiad yng Nghymru. Ffolineb ynom fel Eglwyswyr fyddai bychanu dylanwad gwr o safle Mr. Gladstone. Y mae ei esampl yn sicr o angerddoli yr ymosodiad ar yr Eglwys. Ni siomwyd ni chwaith yn ei bleidlais, o herwydd ni allasom erioed weled yn Mr. Gladstone ddim ond ceiliog gwynt o wleidyddwr yn ol ei *broffes ei hun*. Ei broffes ydyw bod yn offeryn i gyflawnu dymuniad y mwyafrif. Ar y tir yma yn unig y gellir amddiffyn ei gymmeriad moesol rhag tynu casgliadau llawer mwy condemniol yn ei erbyn. Ni buom ni erioed yn gallu credu fod dynion yn gallu gwneuthur llawer yn *groes* i'w cydwybodau ac o falais ddrwg. Gwyddom y gall dynion wneyd drygioni *bychan* yn eu golwg fel y dêl daioni tybiedig *mawr* yn eu golwg. Dyma yr unig dir ar ba un y gellir peidio condemnio Mr. Gladstone yn rhoddi ei bleidlais dros *aberthu* yr Eglwys yng Nghymru, ar ol rhoddi ei lais mor

Digitized by Google

gryf i'w hamddiffyn a'i chanmol am ei rhinweddau da.

Tra y cymmerai Mr. Gladstone ei safle fel gwleidyddwr *ymherodrol*, yn edrych ar Brydain Fawr a'r Iwerddon fel un deyrnas, yr oedd yn erbyn cyffwrdd â'r Eglwys yng Nghymru ar wahân i'r Eglwys yn Lloegr. Gwelai yr oll wedi ei phlethu fel y mae yn un. Y mae yn wir y gwelai y craffus na allai wneuthur yn yr Iwerddon beth na ofynid iddo wneyd yn Lloegr. Ond gwr yn edrych yn ei ymyl, dan ei draed, heb byth godi ei lygaid ym mhell, ydyw ein gwleidyddwr *oriog*. Rhaid iddo *deimlo* yr awel i droi ar ei golyn. Daeth Dadgyssylltiad yn yr Iwerddon a *Home Rule* (Llywodraeth Gartrefol) i anadlu yn rhydd, a theimlodd Mr. Gladstone fod terfyn linell wladol rhwng Iwerddon a Lloegr. Troes yn *home ruler*. Yn ystod y pedair blynedd diweddaf daeth i edrych ar breswylwyr yr Ynysoedd Prydeinig fel pedair cenedl, galluog i ffurfio pedair gwladwriaeth, a hawl gan bob un o'r pedair i'r *mwyafrif* o'i mewn wneuthur yr hyn a ddymunai â'r lleiafrif. Y mae ei ymresymiad yn dyfod yn uniongyrchol i hyn: "Y mae mwyafrif preswylwyr yr Iwerddon yn Babyddion, ac yn rhinwedd eu nifer y mae ganddynt hawl i lywodraethu yr Iwerddon, a deddfu iddi fel y mynont. Yng Nghymru y mae y mwyafrif yn Ymneillduwyr, ac y mae gan yr Ymneillduwyr hyn yn rhinwedd eu rhifedi hawl i ddeddfu fel y mynont, a chymmeryd meddiant o eiddo y lleiafrif Eglwysig."

Gwedi i Mr. Gladstone droi yn *home ruler*, ni allai sefyll yn erbyn y dadgyssylltwyr Cymreig, ac y mae ei bleidlais dros Ddadgyssylltiad yn bleidlais dros *Home Rule* yng Nghymru.

Nid ydyw y pwnc o Ddadgyssylltiad yn ymyryd ag un rhan o drefniadaeth ysbrydol yr Eglwys, dim ond â'i *meddiannau tymmorol*. Y mae holl feddiannau tymmorol yr Eglwys yn cael eu rheoleiddio wrth yr un deddfau, hawliau, a chyfreithiau, a phob eiddo arall; a phan benderfynir fod gan Gymru, neu fwyafrif preswylwyr Cymru, hawl i ddeddfu a thrawsfeddiannu eiddo yr Eglwys, bydd yn annichonadwy gwadu iddi yr un hawl i ddeddfu ar wahân i Loegr ar gyfer pob eiddo.

Y mae Mr. Gladstone wedi dyfod allan yn arwr *Home Rule* i Gymru mewn gwirionedd, ac y mae brwydr y dadgyssylltiad yn anwahanedig oddi wrth lywodraeth gartrefol mewn rhagolwg a gobaith. Y mae bron yr oll o'r wasg Radicalaidd yn gweled hyn yn eglur, ac yn ymhyfrydu yn y rhagolwg. Ond a ydyw

*Dadgyssylltiad yn agos?*

Cymmerwn olwg ar y pleidleisiau. Cynnwysa Tŷ y Cyffredin yn awr 670 o aelodau. Pleidleisiodd dros Ddadgyssylltiad, a chymmeryd i mewn y *pairs* (aelodau yn anfon eu henwau), 258; yn erbyn, 290: mwyafrif yn erbyn, 32. Y mae bychander y mwyafrif yn destyn llawenydd mawr i'r wasg ddadgyssylltiol, ac nid oes arnom awydd ei fychanu. Eto gallwn sylwi mai 548 o'r 670 aelodau a welsant yn dda bleidleisio o gwbl. Pwy oedd y 122 aelodau ammhleidiol? Gwneid hwy i fyny fel y canlyn:—

| | |
|---|---|
| Rhyddfrydwyr Gladstonaidd ... ... | 11 |
| Rhyddfrydwyr Undebol... ... ... | 37 |
| Ceidwadwyr ... ... ... ... | 37 |
| Parnelliaid a gwrth-Barnelliaid ... ... | 36 |
| Y Llefarydd ... ... ... ... | 1 |
| | 122 |

Pa un ai aelodau ammhleidiol, fel Sion caru pawb, ydyw y rhai hyn, ai dysgyblion Galio yn hollol ddidaro? Nis gallwn ateb am danynt oll. Ond gwyddom fod y dadgyssylltwyr wedi dwyn yr holl luoedd a allasent gael i'r maes, ac fod y blaid arall yn edrych yn oerllyd, os nad yn ddiystyrllyd, ar y penderfyniad moel. Yn nydd brwydr wirioneddol gall yr Eglwys ymddiried y byddai *dau o bob tri* o'r absennolion o'i phlaid.

Gwaith mawr iawn a fu i gael gan Mr. Gladstone siarad o gwbl. Un o'r gwawd-ddarluniau mwyaf digrifol ydyw pictiwr o

*Mr. Gladstone yn cymmeryd peleni.*

Ceir golwg arno yn codi ei law mewn dull ymbilgar, ac yn crychu ei wyneb tra y safai Mr. Herbert Lewis o Liverpool, a Mr. Henry Lewis o Fangor, bob un â phulsen ganddo yn ei law oddi wrth *Liberal Federation* Gogledd Cymru, yn eu hestyn at ei eneu. Eto safai Mr. Beriah Gwynfe Evans yn ymyl â blwch *pills* yn ei law, a'r enw *Liberal Federation for South Wales* arno. Edrychai y cyn-brifweinidog yn anghysurus dros ben, a chipdremiai â chil ei lygaid ar y 23 o'r aelodau Cymreig a safent ychydig tu ol i wŷr y peleni Rhyddfrydol.

Darluniad yw o'r dull y gwesgid ar Mr. Gladstone i siarad a pleidleisio dros Ddadgyssylltiad. Mewn gwirionedd, oni bai am araeth a phleidlais y cynbrifweinidog, ni buasai un dyddordeb yn y ddadl.

Y mae o ddyddordeb neillduol i Eglwyswyr Cymru gydmaru y pleidleisiau dros ac yn erbyn Dadgyssylltiad yng Nghymru. Dros Ddadgyssylltiad yng Nghymru pleidleisiodd o'r

Digitized by Google

| | |
|---|---|
| Gwyddelod Pabaidd ... ... ... | 50 |
| Protestaniaid Cymreig ... ... ... | 24 |
| | 74 |
| Yn erbyn— | |
| Gwyddelod Protestanaidd ... ... | 18 |
| Protestaniaid Cymreig ... ... ... | 2 |
| | 20 |
| Mwyafrif ... ... ... ... | 34 |

### YMNEILLDUAETH GYMREIG A PHABYDDIAETH WYDDELIG.

Am y tro cyntaf erioed y mae Ymneillduaeth Gymreig a Phabyddiaeth Wyddelig wedi cyflawn ymgyplysu a myned ar eu taith boliticaidd i lettya yn yr un gwestty a chysgu yn yr un gwely. Dyma a eilw y Sais yn "*strange bedfellows*." Y maent yn awr yn breuddwydio gyda'u gilydd—y Pabyddion am *Home Rule*, a'r Ymneillduwyr am Ddadgyssylltiad. Dywed y 27 aelod Cymreig wrth yr 86 aelod Pabaidd, Mi a werthaf Brotestaniaid yr Iwerddon i'ch dwylwa chwi, fy nghynghreirwyr Pabyddol, ond i chwithau werthu yr Eglwys yng Nghymru i ninnau. Nid dyma y tro cyntaf i Wyddel a Chymro *werthu* ei wlad. Heb bleidlais y Babaeth ni ddadgyssylltir yr Eglwys yng Nghymru byth, a'r tamaid cyntaf a lynca y Babaeth ar ol dadgyssylltu fydd Ymneillduaeth yn yr Iwerddon.

Ond

*Pa le y saif Dadgyssylltiad?*

Saif yn yr un fan ag o'r blaen. Saif yn gareg farch i boliticiaid farchogaeth i swyddau. Y mae y pwnc yn warth i'n hoes, fel y cawn sylwi mewn cwr arall. Am Eglwys Crist rhaid iddi *oddef* yr holl bethau hyn. Ni wiw iddi ymddiried mewn un fraich o gnawd. Os am fod yn Gristion, rhaid bwrw y draul. Cynnwysa "adeiladu tŵr" neu fyned i ryfel gyda "deng mil yn erbyn brenin a chanddo ugain mil." Rhaid cymmeryd yn ganiataol fod y galluoedd a ddug duw y byd hwn i'r maes yn lluosocach na dim a all yr "Hwn nad oedd ganddo le i roddi ei ben i lawr" ddwyn i'r maes; ond "nac ofna braidd bychan, canys rhyngodd bodd i'r Tad roddi i chwi y deyrnas." Ni all un arf a lunia duw y byd hwn lwyddo yn erbyn Eglwys y Duw byw. Nid oes neb a ŵyr *beth* a ddaw, ond gall pob Cristion fod yn barod i wynebu *pob peth a all* ddyfod. Ni ddadgyssylltir yr Eglwys yng Nghymru byth ar seiliau ei *haeddiant ei hun*. Gall fyned yn aberth plaid, ond pan ddêl hyny, bydd ei cholled yn ennill. Y mae gwneyd camwri ag unrhyw beth yn sicrhau ei lwyddiant.

### AMDDIFFYNWYR YR EGLWYS YN Y SENEDD.

Y mae amddiffynwyr yr Eglwys yn y Senedd yn dda eu hamcan, a hyddysg mewn llawer o bethau, ond yn llwyr amddifad o'r syniadaeth Gymreig. Wrth daro eu gwrthwynebwyr archollant eu cyfeillion goreu. Ni all y Cymro synied fel Sais na'r Sais fel Cymro, ac y mae pob gair a awgrymir am neillduolion, ac hyd yn nod wendidau, ein cenedl yn ein taro. Gwyddom fod y Sais yn fwy o anifail, yn fwy o athronydd, ac yn drymach dyn ar y cyfan na'r Cymro, o herwydd y mae y naill hanner o hono o'r un gwaed a ninnau; ond gwyddom fod y Cymro yn fwy ysbrydol, yn fwy teimladwy, a mwy llednais na'r Sais, ac yn fwy *croen deneu* hefyd. Nid oes arnom ni, Eglwyswyr Cymru, ddim awydd clywed Sais yn ein hamddiffyn o fanllawr rhy uchel a gwrthgenedlaethol. Ni chawsom chwareu teg cystal yn y Senedd gan neb ag a gawsom gan Mr. Gladstone. Oni bai am yr ellyn (*razor*) yn ei law, buasem yn ei gusanu.

### CELL DIRWEST.

Fel y mae gwaith yr Eglwys yn dyfnhau, y mae hefyd yn ymgangenu ac yn galw am drefniadau arbenig. Y mae dirwest yn ei holl ystyron yn un o'r rhinweddau Cristionogol. Gosodir y gras neu rinwedd hwn allan yn y Catecism dan yr enw cymmedroldeb a sobrwydd, lle y'n dysgir y ddyledswydd o "gadw o honom y corff mewn *cymmedroldeb*, sobrwydd, a diweirdeb." "To keep my body in temperance, soberness, and chastity." Da genym weled bob wythnos arwyddion mwy eglur o ddyfalbarhâd a gweithgarwch gyda'r achos dirwestol. Y mae yr ymdrechion presennol yn erbyn meddwdod yn cael eu cefnogi gan ein hawdurdodau meddygol uchaf a'n gwleidyddwyr blaenaf, yn gystal ag athrawon moesol ac ysbrydol. Dengys ein meddygon fod yr arferiad afradlawn o ddiodydd meddwol yn niweidio iechyd a galluoedd y corff; dengys ein gwleidyddwyr ei fod yn tlodi y wlad; a dengys ein hathrawon ysbrydol ei fod yn llygru moesau a dinystrio eneidiau. Dywed y *Lancet*, wrth adolygu cyfrifon erchyll y gwastraff o £135,000,000 y flwyddyn ddiweddaf ar ddiodydd meddwol yn yr Ynysoedd Prydeinig, "Nid oes a wnelom ni (y meddygon) â'r olwg foesol ar y gwastraff hwn. Yn ei berthynas uniongyrchol â'r alwedigaeth feddygol, golyga hyn a hyn yn fwy o afiechyd y galon, afiechyd yr elwlenau (*Bright's disease*), *gout*, y cryd cymmalau, gwallgofrwydd, &c., gan analluogi dynion i gyflawnu eu dyledswyddau, amddifadu teuluoedd o gysuron

Digitized by Google

bywyd, a phlant o'u hangenrheidiau tymmorol." O'r ochr wleidyddol, dywedai Lady Henry Somerset, wrth bleidio achos dirwest yn Liverpool, "Y mae meddwdod yn gorlifo rhanau helaeth o gymdeithas, gan lwyr ddinystrio ei holl dda bydol, a chreu tlodi, ac annhrefn, ac aflendid, lle y gallai yn absennoldeb y trachwant aflywodraethus hwn, llawnder, cysur, a rhinwedd deyrnasu. Rhaid i reoleiddiad gwerthiant y diodydd gael ei osod yn llaw yr awdurdodau lleol cyn bo hir."

Ar yr ochr Eglwysig neu ysbrydol, dywedai Esgob Salisbury wrth bregethu yn y Chapel Royal, St. James's, "Y mae y fasnach feddwol yn ei heangder a'r drwg arfer echrydus o ymddiota a meddwi, yn un o'r drygau gwaethaf ag sydd yn sefyll ar ffordd Efengyl Iesu Grist, yn enwedig ym mysg dau ddosbarth yn ein gwlad, sef y dosbarth hanner segur cyfoethog sydd yn hoff o chwareuon a *betio*, a'r annarbodus ym mysg y gweithwyr sydd yn byw o'r llaw i'r geneu. Y mae yn anhawdd cael y fath bobl i gyrhaedd swn yr Efengyl, ac y mae tawelwch sanctaidd, a dysgyblaethol tŷ Dduw bron yn annyoddefol iddynt."

### DYDDLYFR YR EGLWYS AM 1891.

*"Our Church Year Book."*

Fel y gŵyr y rhan fwyaf o'n darllenwyr, argraffir dyddlyfr ym mhob esgobaeth drwy Gymru a Lloegr ar wahân dan yr enw *Diocesan Directories*, y rhai a roddant gyfrifon manwl o waith yr esgobaethau. Ond am y gyfrol faintiolus dan ein sylw yn awr, cynnwysa grynoad o weithrediadau yr holl Eglwys yn Lloegr, Cymru, Ysgotland, yr Iwerddon, a'r oll o'r trefedigaethau a'r America. Dengys adroddiad y flwyddyn ddiweddaf fod y llanw Eglwysig yn dyfod i mewn yn gryfach yn barhäus, a da genym weled nad ydyw Cymru yn ol yn y cynnydd hwn.

Cymmerwn dri neu bedwar o leoedd i ddangos a chydmaru y cynnydd Eglwysig.

*Birmingham.*

Lle nodedig am ei Ymneillduaeth ydyw Birmingham. Gallwn yn briodol ei ystyried yn ganolbwynt gweithgarwch Ymneillduol, ac y mae y rhan fwyaf o gyfoeth y ddinas flodeuog yn llaw Anghydffurfwyr. Nifer ei phreswylwyr y cyfrif diweddaf oedd 449,000, a gwariwyd o roddion gwirfoddol at adeiladu Eglwysydd yno o fewn pum mlynedd ar hugain, 304,000p., gan ychwanegu rhif eisteddleoedd yn yr Eglwys o 28,000 i 45,000.

*Leeds.*

Dinas a hir esgeulusid oedd Leeds; daeth ei hawr, ei chynauaf, a'i gweithwyr. Rhif y boblogaeth yw 348,000; casglodd mewn chwarter canrif 349,935 at adeiladu Eglwysydd, gan gyfodi rhif yr eisteddleoedd o 27,000 i 48,000. Gwariwyd hefyd yn Halifax 275,000p. ar adeiladu.

*Abertawe.*

Dinas ydyw hon gyflym ei chynnydd mewn poblogaeth. Yn 1860 rhif y boblogaeth oedd 49,300, ond yn 1886 yr oeddynt yn 80,500. Bu y gwaith Eglwysig yn llesg yno ar ddechreu y chwarter canrif, ond y mae er ys amser bellach yn fywiog dros ben. Rhif yr eisteddleoedd yn 1860 oedd 3500 neu 1 i 14, ond yn awr y maent yn 11,200, sef 1 i 7. Gwariwyd ar yr achos 90,000p. Yr ydym wedi methu â chanfod un rhan o Loegr ym mlaen ar Abertawe (Swansea), a rhanau ereill o Gymru, mewn gweithgarwch Eglwysig, hunanymroddiad, ac aberth ar allor crefydd Crist. Nid oes arnom ddim awydd ymffrostio yn y pethau hyn, ond priodol iawn yw diolch i'r Goruchaf Dduw am yr arddangosiad hwn o'i fendith ar ei Eglwys pan yn dyoddef dan erlidigaeth, gan beri iddi luosogi fel Israel gynt o dan orthrwm yr Aipht. Ofni *cynnydd* Israel yr oedd Pharaoh a'i weision pan gynllunient i'w dyfetha. Ai ofni cynnydd yr Eglwys a wneir yn bresennol?

### DYRCHAFIADAU EGLWYSIG.

*Y trydydd llenor.*

Da genym ddeall fod y Parch. Thomas Edward (Gwynedd), Llanfihangel y Pennant, sir Feirionydd, yn symmud o'r gongl neillduedig dan gysgod Cadair Idris i blwyf poblog Llanllyfni. Y mae y gwr parchedig wedi cael manteision helaeth i adnabod y chwarelwyr, ac y mae yn feddiannol ar ddigonedd o alluoedd i'w gwasanaethu. Dymunem iddo iechyd a llwyddiant ym maes newydd ei lafur.

*Yr Hybarch Archddiacon Howell.*

Deallwn fod yr Archddiacon Howell (Llawdden) ar symmud o dref boblog Gwrecsam i blwyf cyfagos Gresford, lle y bydd maes ei lafur gartref yn fwy cyfyng, ond lle y gall gael mwy o ryddid i wasanaethu ei archddiaconiaeth. Gallesid yn hawdd a phriodol ddodi uwch ben yr hysbysiad hwn

*Y pedwerydd llenor.*

Saif yr Archddiacon Howell fel derwen fawr

Digitized by Google

gangenog, yn berthen gron gysgodfawr, ar ganol maes agored heulog yng nghanol Cymru, neu yn hytrach ar y *cyffindir rhwng Cymru a Lloegr*, yn adnabyddus i bawb, Sais a Chymro. Corffora ynddo ei hun undeb yr Eglwys yng Nghymru a Lloegr. Y mae yn Sais a Chymro, yn bregethwr a bardd, yn offeiriad plwyf o'r fath fwyaf llafurus a llwyddiannus, ac yn llenor coeth; yn drefnidydd Eglwysig doeth, a beirniad eisteddfodol craffus. Teifl ei gangenau ffrwythlawn i bob cyfeiriad tua Lloegr yn gystal a Chymru. Yr unig fan y mae heb ddangos ei ffrwyth uniongyrchol yn ddiweddar yw dalenau yr *Haul*, ond y mae ei addewid ar ein llyfrau er ys gryn amser ac oni bai ein bod yn gwybod maint y galwadau parhäus ar ei amser, buasem yn grwgnach. Ym mhen ychydig ar ol ymneillduo i Gresford, gobeithiwn gael mwy o'r ffrwythau llenyddol. Dymunwn iddo ef ei hun barhâd nerth ac iechyd, ac i Mrs. Howell esmwythâd ac adferiad iechyd.

Dyrchefir y Parch. E. J. Evans, B.A., Cefn, St. Asaph, i ficeriaeth y Waun (Chirk); a'r Parch. Thomas Evan Jones, rheithor Llangernyw, i ficeriaeth Hope ger llaw y Wyddgrug; a'r Parch. Samuel Jones, curad St. Anne's, Bangor, yn rheithor Llanfihangel y Pennant, Meirionydd. Penodwyd y Parch. E. W. Edwards, M.A., ficer Rhuabon, yn ganon mygedol yn Eglwys Llanelwy, a'r Canon Morton yn *precentor* (prif-geiniad) yn Eglwys Gadeiriol Llanelwy.

#### Y PARCH. C. H. SPURGEON A'R DR. PARKER A CHYMDEITHAS Y DADGYSSYLLTIAD.

Y mae yr awyrgylch ysbrydol uwch ben yr Eglwys yn llonyddu, tawelu, a goleuo, fel y mae y terfyngylch politicaidd yn duo a therfysgu. Daw y waredigaeth o'r man y dechreuodd yr ymryson. Yn yr awyrgylch ysbrydol y dechreuodd yr awelon dadgyssylltiol ymgrynoi, a daiaroldeb rhai o'r trefniadau Eglwysig, neu eu nodwedd *boliticaidd* a elwir Erastiaeth, oedd achos yr anfoddlonrwydd; ond bellach y mae *Cymdeithas Rhyddhâd Crefydd* wedi cael ei throi yn offeryn politicaidd, ysbeilgar, yn nwylaw cymmeriadau drwg, a'r Eglwys yn ymlanhau oddi wrth ei daearoldeb. Gadäwn i weithredoedd Mr. Spurgeon a geiriau y Dr. Parker egluro hyn.

Gwrthododd y Parch. C. H. Spurgeon roddi y Tabernacl at wasanaeth Gymdeithas y Dadgyssylltiad i gynnal eu cyfarfod blynyddol eleni, a thynodd yn ol ei danysgrifiadau oddi wrthi, am y rheswm ei bod yn troi yn rhy boliticaidd.

Ar y boreu Sul canlynol, cyfeiriodd y Dr. Parker at yr amgylchiad yn ei bregeth yn y City Temple yn y geiriau hyn: "Yr wyf yn ddiolchgar i Mr. Spurgeon am weithredu fel y gwnaeth tuag at y Gymdeithas er Rhyddhau Crefydd oddi wrth nawdd ac ymyriad y wladwriaeth. Y mae efe yn ddigon cryf a gwrol i sefyll ei dir, a chredaf y daw daioni mawr oddi wrth y cam a gymmerodd. Yr wyf yn credu mai pobl grefyddol sydd i ddwyn ym mlaen bob gwaith crefyddol. Am danaf fy hun, ni bydd a wnelwyf ag anffyddwyr ac ammheuwyr yn ymdrechu dadsefydlu Eglwys Gristionogol. Ni fydd o wnelwyf â'r fath ddynion yn y fath waith. Pan ddelo yn fater politicaidd noeth, daw y pwnc yn hollol wahanol. Yn y cyfamser yr wyf fi yn credu yn ysbrydolrwydd crefydd Crist ar y ddaiar, a chan fy mod yn credu yn ysbrydolrwydd y deyrnas hòno, ystyriaf am y bobl ag na chredant ym modolaeth Duw, nad oes iddynt na rhan na chyfran mewn unrhyw wasanaeth yn perthyn i ryddhâd neu gynnydd crefydd. Dyma fy syniad, ac am fy mod yn ei gredu yr wyf yn goddef erlidigaeth, ond mi a'i goddefaf gan ei gyfrif yn anrhydedd."

Gwell genym ddyoddef ein hysbeilio yn yr awyrgylch ysbrydol gyda Mr. Spurgeon a'r Dr. Parker, na chasglu gemau daiar dan yr un gronglwyd ag atheistiaid Llundain, Parnelliaid, ac offeiriaid Pabaidd yr Iwerddon, ac Ymneillduwyr o dan arweiniad *Baner* Dinbych a *Goleuad* Dolgellau.

#### YR YSBIWYR YN EFENECHTYD.

Byddwn yn aml yn gweled ol traed lleidiog llogysbiwyr gwallau ein Heglwysydd gwledig yn croesi y llwybrau, ond nid yn fynych yn chwilio i mewn i natur eu hysglyfaeth, o herwydd yn gyffredin ni bydd yn eu paciau nemawr ddim ond eu budreddi drygsawrus eu hunain. Aethom am dro i'r drafferth o ddarllen dwy golofn a hanner o *Faner ac Amserau Cymru*, yn cynnwys, meddai, hanes "Ymweliad ag Eglwys Efenechtyd" ar nos Sul yn ddiweddar. Beirniada bob peth a chondemnia yn agos i bob peth. Nis gwyddom pa nodwedd a ddaw amlycaf i'r golwg yn y "Gohebydd Arbenig" a'i Phariseaeth a'i Philistiaeth, rhagrith ffroenuchel, a'i cynddaredd ddinystriol. Y mae yn annichonadwy ysgaru rhwng y gwir a'r gau ynddo. Fel enghraifft o'i arddull annarluniadwy, cymmerwn ei sylwadau ar Ffurfwasanaeth Sanctaidd yr Eglwys:

"Tybiaf fod rhyw rodres ofnadwy o anghymmeradwy yn y llithoedd hyn, neu pa beth bynag arall y gellir eu galw. Gweddïai Mr. Owen am i'r Duw Hollalluog roddi ei dangnefedd ar y Frenines, Tywysog Cymru, a'r gweddill o'r creaduriaid

Digitized by Google

hyn sydd yn pwyso ar drethi y wlad; ac hefyd am ei amddiffyniad drostynt hwy a'r esgobion. Pa beth ond rhodres fympwyol ydyw cynnwys enw y tywysog yng ngwasanaeth yr Eglwys, pan gofier ei ymddygiadau? Yr wythnos o'r blaen yr oedd yn bresennol mewn chwareu *baccaret*—y chwareu cardiau mwyaf anfoddhaol sydd yn bod—yn Tranby Court, Caerefrog, gyda nifer o chwareuwyr ereill. Dengys hon nad ydyw y gweddïau a offrymir gan barsoniaid Eglwys Lloegr, ac a ddarllenir ganddynt o'r *Llyfr Gweddi Gyffredin*, yn cael ond ychydig iawn o effaith arno."

Gosodwn yn wrthgyferbyniol i syniadau *Baner ac Amserau Cymru* ar weddïau cyhoeddus yr Eglwys, syniadau St. Paul ar yr un pwnc—"Cynghori yr ydwyf am hyny, ym mlaen pob peth, fod ymbiliau, gweddïau, deisyfiadau, a thalu diolch dros bob dyn: dros freninoedd a phawb sydd mewn goruchafiaeth; fel y gallom ni fyw yn llonydd ac yn heddychol mewn pob duwioldeb ac onestrwydd," 1 Tim. ii. 1, 2. Gofynwn yn barchus i awdurdodau y *Faner*, pa un ai teulu breninol y deyrnas hon ai ymherawdwyr a llywodraethwyr Rhufain a'i thaleithiau ydyw y bobl fwyaf moesol? Ai ar sail *rhinweddau* y llywodraethwyr Rhufeinig y cynghorai St. Paul weddïo drostynt? Y mae awgrymu y cwestiynau yn dangos gwrthuni Phariseaeth ddirmygus y gohebydd.

Eto cymharer dysgrifiad *St. Paul* o safle ymherawdwyr paganaidd, anghyfiawn, drwg eu moes a chreulawn eu hymddygiad, â dysgrifiad y *Faner* o'r Frenines Victoria, uniawn ei gweithredoedd, lân ei buchedd, a chariadus, dyner, ei hymddygiad. Dyma a ddywed St. Paul, "Ymddarostynged pob enaid i'r awdurdodau goruchel: canys nid oes awdurdod ond oddi wrth Dduw; a'r awdurdodau y sydd, gan Dduw y maent wedi eu hordeinio. Canys am hyn yr ydych yn talu teyrnged," &c., Rhuf. xiii. 1—6. Ond beth am y *Faner*? Dywed hi, "Gweddïai Mr. Owen am i'r Duw Hollalluog roddi ei dangnefedd ar y Frenines, Tywysog Cymru, a'r gweddill yn pwyso ar drethi y wlad," &c.

Pwy sydd i ni wrandaw arno, ai St. Paul ai *Baner ac Amserau Cymru?* Os ydyw cynghorion St. Paul o Dduw, y mae enllibiaeth a chabledd "Gohebydd Arbenig" y *Faner* o ryw le arall na ddymunem enwi.

Eto, haera y gohebydd hwn gweddïau yr Eglwys yn aneffeithiol i rwystro Tywysog Cymru chwareu cardiau. Nid ydyw gweddïau yr Eglwys yn gyfrifol am gamymddygiad y tywysog na neb arall, mwy nag y mae gweddïau yr Ymneillduwyr yn gyfrifol am gamymddygiad unrhyw rai o'r aelodau. Er fod Phariseaeth a Philistiaeth sectyddol rhan o'r wasg Gymreig yn cyfodi pob drwg gwirioneddol a thybiedig i'r golwg, yn unrhyw aelod o'r Eglwys Sefydledig, nid awn i'w hefelychu a thalu sen am sen, a chyfodi dafad ddu o'u corlanau am bob un a ddannodant hwy i ni. Y mae genym ni well gwaith i'w wneyd na myned i chwilota cwterydd aflendid am fudreddi i lychwino gwisgoedd ein cymmydogion. Rhoddwn fantell cariad yn hytrach dros eu gwendidau, er gorfod o honom gerdded yn wysg y cefn i daenu gorchudd i guddio eu noethni.

Yng ngwyneb yr oll o'r ymweliadau a'r dannod, priodol y gallai hen Eglwys ein gwlad ganu yn fynych,

"Mae Satan a'i blant yn edliw fy meiau,
Yn dweyd fod fy mhechod yn ormod i'w faddeu;
A minnau yn methu â gweled diangfa,
Nes codi fy ngolwg i fynydd Calfaria."

Edryched yr Eglwys tu a'r Groes tra y byddo y gwatwarwyr cableddus hyn yn myned heibio gan ysgwyd pen. "Canys i hyn y'ch galwyd hefyd: oblegid Crist, yntau a ddyoddefodd drosom ni, gan adael i ni esampl fel y canlynech ei ol Ef," 1 St. Pedr ii. 21.

### Y CALENDAR.

Nid oes un o uchel-wyliau yr Eglwys eleni yn disgyn ar fis Mai, a chan ein bod wedi sylwi yn helaeth ar yr is-wyliau yn ein rhifyn am Mai, 1887, nid awn i ail adrodd eu hanes yma. Saif y mis Mai eleni yn y cyfwng rhwng y Pasc a'r Dyrchafael. Lleinw amser y cyfnod rhyfedd hwnw yn hanes y Gwaredwr nad oes ond pennod a hanner yn yr Efengyl yn ol St. Ioan, darn o bennod yn Efengyl St. Matthew, darn o bennod yn St. Marc, darn yn St. Luc, a darn yn Actau yr Apostolion, yn traethu dim am dano. Amser rhyfedd yn hanes yr Eglwys oedd hwn. Amser dechreuad ei hymwreiddiad cyn i gawodydd y Pentecost ddisgyn arni. Dyma y pryd yr ymddangosodd yr Arglwydd Iesu i'w ddysgyblion yn fyw wedi iddo ddyoddef, trwy lawer o arwyddion sicr; gan fod yn weledig iddynt dros ddeugain niwrnod, a dywedyd y pethau a berthynent i deyrnas Dduw.

Ymddangosai y Gwaredwr Bendigedig y pryd hwn yn ymsymmud ar y terfyngylch, neu ar y rhiniog, rhwng y byd ysbrydol a materol, rhwng yr anweledig a'r gweledig. Ymddangosai a diflanai o'r golwg yn ddisymmwth. Rhoddes yma ddadguddiad o ansawdd y corff ysbrydol—corff yr adgyfodiad. Dechreuodd yn ystod y deugain nydd a chynnefino ei ddysgyblion ag ymddangosiadau disyfyd yn eu canol, heb ei ddysgwyl, a'r "*drysau yn gauad.*" Cynnefinodd hwy â'i bresennoldeb ysbrydol ac â'i bresennoldeb anweledig. Canfyddai y dys-

Digitized by Google

gyblion ei bresennoldeb, heb ganfod ei ysgogiadau. Dyma fel y dangosodd Efe y gallai fod gyda'i Eglwys bob amser hyd ddiwedd y byd mewn cyflwr anweledig.

ADGOF UWCH ANGHOF.

*Y diweddar Barch. Richard Killin, rheithor Llaniestyn.*

Fel ficer St. David's, Ffestiniog, a rheithor Ffestiniog a Maentwrog, yr adnabyddir y diweddar Mr. Killin, o herwydd yno y treuliodd bron yr oll o'i oes lafurus, ac y gwnaeth waith mawr a pharhäus. Ganwyd gwrthddrych ein serch goffa ar y 21fed o Fawrth, 1821, ond ni wyddom ym mha blwyf, er ein bod yn meddwl mai yn sir Aberteifi. Yn 1854 y daethom yn gydnabyddus ag ef, ac ni bu dor ar ein cydnabyddiaeth a chyfeillgarwch o'r pryd hyny hyd ei angeu. Yr oedd yn ysgolor o Goleg Dewi Sant, lle y treuliodd ddwy flynedd, sef o'r flwyddyn 1846 i 1848, a gosodwyd ef yn y dosbarth cyntaf. Yr oedd yn y coleg ar y pryd nifer o efrydwyr nodedig am eu defosiwn personol, eu dyfalbarhâd mewn darllen Gair Duw ac mewn gweddi. Yr oedd Mr. Killin yn un o'r rhai mwyaf diwyd a difrifol o'r rhai hyn. Eu harwyddair oedd duwioldeb personol; a'u safon ysbrydol oedd y *teimlad* personol a deongliad personol o Air Duw, gyda sancteiddrwydd buchedd, yn croeshoelio y cnawd gyda'i wyniau a'i chwantau. Nid oes ammheuaeth na roddes y symmudiad hwn argraff annileadwy ar gymmeriad Mr. Killin, a bu yn fendith iddo drwy ei oes—hyd yn nod ym mhell ar ol iddo ymddiosg yn gyflawn o gulni y defosiwn boreuol. Creodd y symmudiad ynddo *frwdfrydedd* crefyddol, Cristionogol, Eglwysig, ysbrydol, yr hwn a barhaodd dros ei holl oes, heb oeri dim er maint yr ymledai ei gydymdeimlad. Dyma oedd gwir guddiad nerth Mr. Killin ar hyd ei oes. Yr oedd yn wresog yn yr Ysbryd, yn gwasanaethu yr Arglwydd ym mhob modd, ac felly gosodai bob talent ar waith yn wastad. Yr oedd yn bregethwr da, gwresog, ond nid o'r dosbarth flaenaf. Taerineb a difrifoldeb oedd ei nerth. Yr oedd yn ymwelydd diflino â phraidd ei ofal, ac yn enwedig â'r cleifion, ond nid oedd bob amser yn fedrus fel cynghorwr a bugail. Dysgwyliai ormod ef allai oddi wrth ei braidd. Eto gwnaeth waith mawr, ac ni byddai un amser yn gysurus oddi eithr pan yn ymboeni mewn llafur; ac fel lluaws o ddynion aiddgar o ewyllys gref, nid oedd yn amyneddgar a dyoddefgar gyda'i gydweithwyr bob amser. Gwendid llawer cymmeriad yw meddwl nad oes dim ond *un ffordd* ddoeth i wneuthur gwaith da. Ordeiniwyd Mr. Killin yn ddiacon yn 1848, ac yn offeiriad yn 1849. Ei guradiaeth gyntaf oedd Dowlais o 1848 i 1850; Ysgeifiog o 1850 i 1851. Bu yn ficer Eglwys Dewi Sant, Ffestiniog, o 1851 hyd 1865; ficer Clynnog Fawr o'r flwyddyn olaf hyd 1869; ac am un mlynedd ar hugain wedi hyny yn rheithor Ffestiniog a Maentwrog. Dyma gyfnod ei weithgarwch eangaf a mwyaf parhäus yn ei effeithiau. Dylem grybwyll iddo ymbriodi yn 1851 â boneddiges deilwng o'i safle fel gwraig offeiriad, Miss Chessel, a bu iddynt fab a merch. Claddwyd y mab yn ei fabandod, ond y mae y ferch, Miss Killin, eto yn fyw, yn gystal a'i mam; ac y mae llwyddiant Mr. Killin yn yr hyn a nodir rhagllaw yn ddyledus i fesur mawr i gynnorthwy parhäus ei briod, ac yn neillduol ei ferch. Hwy oedd ei ysgrifenwyr dyfalbarhäus a gohebyddion diflino. Dyma daflen lawn o'i waith fel adeiladydd Eglwysydd ac ysgolion, a chasglydd rhoddion gwirfoddol:—

| | Traul. p. |
|---|---|
| 1869, gwariwyd ar doi Eglwys Ffestiniog ... ... | 100 |
| 1870, adgyweirio yr ysgoldy ... ... ... ... | 130 |
| 1872, Eglwys newydd Tyddyn Gwyn ... ... | 680 |
| 1872, ysgolion newyddion Maentwrog ... ... | 1100 |
| 1873, ychwanegu darn at y fynwent ... ... ... | 260 |
| 1875, adeiladu ysgol Tynant ... ... ... ... | 500 |
| 1876, adeiladu tŷ i gurad, Tyddyn Gwyn ... ... | 500 |
| 1876, ailadeiladu rhan o dŵr cloch Eglwys St. Michael ... ... ... ... ... ... | 63 |
| 1877, organ newydd i St. Michael ... ... ... | 135 |
| 1882, adgyweirio rhan o'r Eglwys ... ... ... | 117 |
| 1885, helaethu Eglwys Tyddyn Gwyn ... ... | 710 |
| | 4295 |

Mae y rhestr uchod yn dangos maint y gwaith a wnaed mewn 21 mlynedd gan y diweddar Mr. Killin, ac nid yw ond un esampl o'r hyn a wneir gan gannoedd o offeiriaid Cymru yn yr oes hon. Naw mis oedd er pan symmudasai Mr. Killin o ardal boblogaidd Ffestiniog i blwyf neillduedig Llaniestyn yn Lleyn, ac yno yr oedd efe yr un mor weithgar, ac ef allai yn orbryderus. Gwedi gweinidogaethu fel arfer ar y Sul cyntaf o Fawrth, aeth y dydd Llun canlynol i ymweled ag un o'r plwyfolion cleifion; dychwelodd yn lluddedig, gorphwysodd yn ei gadair, a chyn gallu cael meddyg ymadawodd â'r fuchedd hon mewn math o hûn dawel yn terfynu mewn llewyg. Yr oedd ei nerth wedi ei dreulio allan cyn ei symmud. Gorphwys ei farwol ran ym mynwent wledig Llaniestyn, ac erys ei waith yn fendith i'r oes a ddêl. Gorphwys yntau oddi wrth ei lafur, a'i weithredoedd sydd yn ei ganlyn.

Digitized by Google

*Y diweddar Barch. Thomas Jones Hughes, rheithor Llanbedr, Dyffryn Clwyd.*

Llithrodd dau neu dri o gamgymmeriadau i mewn i'n byr amlinelliad o serchus gof am y gwr da uchod. Y camgymmeriad mwyaf annymunol genym oedd copïo allan o'r *Liverpool Courier* fod y diweddar Mr. Hughes yn arholwr *cyflogedig* yr ysgolion dyddiol yn esgobaeth Llanelwy dros amser. Arholwr mygedol neu anrhydeddus yn cyflawnu ei holl waith am ddim oedd, gan ddwyn traul ei deithiau o'i boced ei hun. Dywedir i ni hefyd gan ei fab, W. H. Hughes, Ysw., na ddymunai ei dad gael ei ystyried yn uchel-Eglwyswr, gan na charai mewn un modd glywed son am linell derfyn rhwng y naill ran o'r Eglwys a'r llall. Eglwyswr y dymunai alw ei hun mewn cydymdeimlad â'r holl gorff, er na allai fyned i eithafion o'r naill ochr na'r llall. Eangder a chynnwysfawredd oedd ei nodwedd amlycaf. Bydd o ddyddordeb i lawer wybod mai y diweddar Esgob Thirlwall, o Dŷ Ddewi, a'r diweddar Barch. Charles Williams, rheithor Caergybi, ac ar ol hyny prifathraw Coleg yr Iesu, yn Rhydychain, oedd y beirniaid yn eisteddfod Aberffraw pan ennillodd Mr. Hughes y wobr am ei draethawd penigamp ar Egwyddorion a Chystrawen yr Iaith Gymraeg. Cyhoeddwyd llenyddiaeth yr eisteddfod hòno, yn cynnwys y traethawd gan Parker, Rhydychain, yn 1850; ac yr oedd y diweddar lenor yn parotoi argraffiad newydd o hono ar ben ei hun yn 1889, pan gymmerwyd ef yn glaf. Yr oedd ei lwyddiant colegol yn fwy nag a ddeallasom wrth droi dalenau *Crockford*, gan ei fod wedi ennill dwy ysgoloriaeth. Aeth i Gaergrawnt yn ddeunaw oed, ac ar ol gorphen ei efrydiaeth yno bu yn athraw yn Enfield o 1844 hyd 1846. Am ei bregethau, dywed Mr. I. Ffoulkes (Llyfrbryf) yn y *Cymro*, am Chwefror 12fed, "Yr oedd ei bregethau yn Gymraeg a Seisoneg yn ymylu ar berffeithrwydd." Gallai y cawn gyfleusdra i argraffu un o'i bregethau megys enghraifft cyn pen hir yn yr *Haul*. Yr ydym yn deall fod ei fab, Mr. W. H. Hughes, yn hollol barod i argraffu cyfrol o honynt, os gellir gwneuthur hyny yn ddigolled.

*Y diweddar Barch. John Hughes, ficer Llanidloes.*

Graddiodd Mr. Hughes yng Ngholeg Clare, Caergrawnt, yn 1869 yn B.A., ac yn 1886 yn M.A. Derbyniodd urddau sanctaidd yn 1869, diacon ac offeiriad yr un flwyddyn. Gwasanaethodd fel curad yn Nolgelau o'r flwyddyn hòno hyd 1886, sef am yr ystod maith o ddwy flynedd ar bymtheg. Gweithiwr tawel, diwyd, dystaw, a diymhongar oedd, ond o alluoedd cryfion a dyfalbarhâd diflino. Bu farw yn yr oed cymharol ieuanc o saith mlwydd a deugain. Mae y marwolaethau ym mysg offeiriaid yr Eglwys ar gynnydd mawr. Hwyrach y llawenycha ei herlidwyr!

---

## GEMAU Y BEIRDD.

### YMRANIADAU.

O! mor niweidiol yw ymraniadau!
Y deml *un* ydoedd; ond aml enwadau
Yn dorf a godent mewn dirif gadau
Fel gelynion dieflig-galonau;
Gwanhau undebaeth mae gweinion dybiau,
Am lygru daiar mae'r aml gredoau:
Ewch eilwaith yn eich holau—i gelloedd
Beibl y miloedd, O bobl, am olau!—*Tudno.*

### GWLADGARWCH.

Hen ddaiar, pan i ddüwch—difodiad
'E fudir dy degwch;
Pan lusgi'n llesg, pan losgi'n llwch—o'th hynt,
Ni sigl dy gorwynt hanes gwladgarwch.
*Elfyn.*

### ENW DA.

Ym maes y byd ail mesen—yw enw da,
Hwn dyf yn frenin-bren;
Cynnydd araf cain dderwen
Fydd i'w oes ganrifoedd hen.
*Elis Wyn o Wyrfai.*

### BEDD Y MORWR.

Uwch ei ben un ywen werdd
Ni all a bod, na phill bardd;
Na min fwyn â'i chwyn ni cherdd
Hyd ei gŵys â blodau gardd.
*Gwilym Alltwen.*

### LLONG WEDI YSTORM.

I'r hafan ddaw, a rhyfedd—ei gweled
Ag olion dialedd
Tònau a gwynt yn ei gwedd,
Yn nofio i dangnefedd.—*Glan Llyfnwy.*

### TRANC Y LLOFRUDD.

Drwy 'storm o wg y byd a chrechwen uffern ddofn,
Ei enaid du roes lam i nos tragwyddol ofn!—*Pedrog.*

Digitized by Google

BOREU SABBATH.

Yng ngwylfa'r cyfnos, selir olaf glawr
Fy hen wythnosau, fel memrynau llawn—
Memrynau, lle yr ysgrifena dyn
Ei gyfrifoldeb yn ei law ei hun!
A boreu Sabbath egyr wynion ddail
Wythnosau newydd bywyd ger fy mron.
*Eifion Wynn.*

NOSON DDU.

Uwch y dwr i'r morwr mad,
Ni wna ser heno siarad;
I'w llwyfan niwl sy'n llifo;
Aur sereiph hwyr sy ar ffo!
Y swil, dlos, leuad lân—a yw'n crwydro?
Neu giliodd hòno i gladdu ei hunan?—*Elfyn.*

GORSEDD GRAS.

Mae mor uchel nas gall cerub hedfan dros ei phinacl gwyn;
Mae mor isel gall y gwanaf bwyso arni yn nwfn y glyn:
Gall y plentyn roi ei law i bwyso arni heb un nam,
Pan yn sisial yn y nos y weddi ddysgodd gan ei fam.

ETO.

Heb y Groes ni fyddai'r orsedd ond drychiolaeth yn y wlad,
Lle i blentyn dori ei galon wedi methu gwel'd ei Dad?—*Elfed.*

---

## AMRYWIAETH.

Er fod canmoliaeth yn felus win i'r glust, mae yn fynych yn wenwyn i'r enaid.—*Toplady.*

O herwydd ein pechodau y mae genym achos i dristäu yng nghanol ein llawenydd; ond o herwydd trugaredd Duw, y mae genym achos i lawenhau yng nghanol ein tristwch.

*Gweddi ddirgel.*—"Tydi, pan weddïech, dos i'th ystafell; ac wedi cau dy ddrws, gweddïa." Mae y rheswm am hyn yn eglur. Rhaid i'r hwn a fyn weddïo, yn gyntaf ymneillduo oddi wrth y byd; o blegid fod ysbryd y byd ac ysbryd gweddi yn wrthwynebol i'w gilydd. Mae hyd yn oed ymddyddanion cyffredin y byd yn anaddasu y meddwl i ddefosiwn. Rhaid i'r gweddïwr ystyried natur y Duw yr ydys yn gweddïo arno, ein hunain sydd yn gweddïo, a'r pethau yr ydym i weddïo am danynt. Dylid gwybod y pechodau yr ydym yn euog o honynt a'u cyffesu, a'r bendithion yr ydym yn myned i weddïo am danynt. Nis gellir gwneyd hyn ond trwy ddwys fyfyrdod, sef mam defosiwn a merch ymneillduad. Nis gellir gweddïo heb fyfyrio, ac nis gellir gwneyd yr un o'r ddau heb ymneillduad oddi wrth y byd.—*Esgob Horne.*

---

## PENODIAD MR. HELM.

Dymunir arnom hysbysu fod Cymdeithas Amddiffyniad yr Eglwys wedi penodi Mr. W. E. Helm fel ei hysgrifenydd yng Nghymru. Gellir ysgrifenu ato yn Granville Street, Shrewsbury.

Bydd yn dda ganddo dderbyn oddi wrth unrhyw un a fyddo cystal a'u hanfon iddo:—

1. Gwybodaeth am waith a chynnydd yr Eglwys.
2. Gwybodaeth am yr ymosodiadau ar yr Eglwys.
3. Pigion allan o newyddiaduron.
4. Ceisiadau am ddarlithiau, cyhoeddiadau, &c.
5. Tanysgrifiadau a chyfraniadau tuag at y Gronfa Gymreig.

---

Y LLITHIAU PRIODOL, EBRILL, 1891.

| Dydd | Suliau a Gwyliau | Boreu | Prydnawn. |
|---|---|---|---|
| 5 Sul | 1 Sul gwedi'r Pasc* | Num. xvi. hyd 36<br>1 Cor. xv. hyd 29 | Num. xvi. 36 neu xvii. hyd 12<br>Ioan xx. 24—30 |
| 12 Sul | 2 Sul gwedi'r Pasc | Num. xx. hyd 14<br>Luc xi. hyd 29 | Num. xx. 14 hyd xxi. 10 neu xxi. 10<br>Gal. iii. |
| 19 Sul | 3 Sul gwedi'r Pasc | Num. xxii.<br>Luc xiv. 25 to xv. 11 | Num. xxiii. or xxiv.<br>Eph. iii. |
| 25 Sad. | Sant Marc, Efeng. a Mer. | Esai lxii. 6<br>Luc xviii. 31 to xix. 11 | Ezec. i. hyd 15<br>Philip. ii. |
| 26 Sul | 4 Sul gwedi'r Pasc | Deut. iv. hyd 23<br>Luc xix. 11—28 | Deut. iv. 23—41 neu v.<br>Philip. iii. |

* Rhagymadrodd y Pasc yng Ngwasanaeth y Cymmun.

---

CARMARTHEN:
Printed and published by W. SPURRELL & SON, at their Printing Office, situate and being at No. 87, King-street, in the Parish of Saint Peter, in the County of the Borough of Carmarthen, on Tuesday, the 31st of March, 1891.

Digitized by Google

# YR HAUL.

Ail Gyfres Caerfyrddin.

"YNG NGWYNEB HAUL A LLYGAD GOLEUNI."
"A GAIR DUW YN UCHAF."

RHIFYN 77. MAI, 1891. CYF. VII.



*Dychweledig.* FUEGIAID. *Annychweledig.*

## MAES Y GENADAETH.

### CYFERBYNIAD TARAWIADOL.

CEFAIS fenthyg y darlun uchod gan y genadaeth glodwiw yna sy'n cynnrychioli ein Heglwys yn America Ddeheuol. Clywais lawer gwaith yr esgus yma yn cael ei wthio ym mlaen gan lawer yng Nghymru, a ddylent gynnal achos yr Eglwyswyr Cymreig ym Mhatagonia, sef na wyddant ddim am y gymdeithas a elwir y *South American Mission.* Wel, ef allai y dysg y darlun yma iddynt mai cymdeithas yn dwyn ym mlaen waith ein Hiachawdwr ydyw. Mae y darlun yn adgoffa yn darawiadol i ni wyrth ein Harglwydd yn Gadara. Sylwn ar y naill blaid yn eu gwisgiad trefnus a'u hagwedd siriol, agored, a'r lleill heb arwydd o'r cysur a berthyn



Digitized by Google

hyd yn nod i'r creadur direswm dan amgeledd dyn. Eto, brodorion o'r un wlad ydynt, hiliogaeth yr un tylwyth. Gwaith Efengyl Crist, trwy ddyfal lafur a hunanaberthiad cenadon ein Heglwys, a welir yn ymddangosiad y ddau fachgen trefnus yna. Ar y llaw arall, wele y *raw material* fel ag y daw i'r weithfa genadol megys.

Ychydig amser yn ol daeth rhyw adyn ariangar â myntai o drigolion Fuegia anwaraidd i Lundain: i ba bwrpas? I'w dangos yn gyhoeddus yn y Westminster Aquarium: ac O resyn a chywilydd! Wele filoedd yn galw eu hunain yn Gristionogion (?) yn talu eu sylltau am weled *barbareidd-dra iselaf* daiar yn ei ffieidd-dra a'i fudreddi. Prif gamp yr *exhibition* ydoedd cael gweled y trueiniaid yn bwyta cig ceffyl amrwd a deflid iddynt, fel y porthir llewod a bwystfilod rheibus ereill. Blinid calon pwyllgor y S.A.M.S. feddwl fod Seison mor isel eu chwaeth a myned i weled barbariaid truain yn eu hagwedd iselaf, eto yn diystyru yn hollol y gwaith nefol a ddechreuodd Cadben Gardiner ym mhlith yr un genedl. Ceisiwyd yn daer ar lywodraeth Lloegr roddi pen ar yr arddangosfa gywilyddus; ond, fel arferol, cyndyn iawn ydoedd awdurdodau ein gwlad grefyddol ni i roddi pen ar y gwaith ffiaidd, ac yn y cyfamser symmudwyd y *show* i Belgium; ac yn y wlad lled ddigrefydd yna cafodd perchenog yr arddangosfa ei gymmeryd i garchar, a danfonwyd y creaduriaid anwaraidd yn ol i'w gwlad i'w dodi dan ofal cenadon y S.A.M.S. Dyma enghraifft eglur o'r dull y gweithia ysbryd mammon yn erbyn Ysbryd Crist bob amser. Wele ddynion yn galw eu hunain yn Gristionogion, ac yn ymffrostio yng ngoleuni gwareiddiad, yn gwneuthur budrelw wrth gadw meibion a merched yng nghyflwr isaf dynoliaeth, ac ereill yn cael math o bleser wrth fyned i edrych ar drueni ofnadwy barbareidd-dra. Ar y llaw arall, diolch i Dduw, dyma ddynion megys y diweddar Admiral Sir B. J. Sullivan, ac ereill o urddas yn ein gwlad, yn gwneuthur eu goreu i gyfodi y Fuegian tywyll o laid barbariaeth i safle creadur wedi ei brynu fel ninnau â gwerthfawr waed Crist. Y mae ysbryd hunanoldeb a chwantau y cnawd yr *un fath* ym mhob natur, ac fe ymddengys yn ei liw hyllaf yn aml yn y dynion sydd wedi eu meithrin dan gysgod yr Efengyl, eto heb erioed deimlo gwerth eu genedigaeth-fraint. Dyma y dynion sydd yn wastad yn lluddias gwaith cenadon Lloegr ym mhob gwlad bell—dynion â'r *goleuni ynddynt yn dywyllwch*. Fe gyfyd y pagan yn nydd y farn i dystio yn erbyn llawer un a fedyddiwyd yn enw yr Arglwydd Iesu.

W. M. R.

## CARDINAL NEWMAN.

Y MAE pob dyn gwir fawr o ddyddordeb cyffredinol: ac os mesurwn fawredd Newman wrth y rheol hon, efe yw y mwyaf o ysgrifenwyr ein gwlad yn y ganrif bresennol. Y mae dyddordeb neillduol gwedi ei deimlo gan filoedd o ddynion o bob plaid grefyddol yn ei holl droion a'i symmudiadau. Am y gwyddai hyn yr ysgrifenodd gymmaint am dano ei hun, ac wrth ysgrifenu amddiffyniad o'i fywyd ei hun, yr oedd ar yr un pryd yn amddiffyn yr Eglwys o ba un y daeth yn gardinal. Nis amcanwn fesur a phwyso dyn mor fawr, ond yn unig osod i lawr ychydig o fyfyrdodau ar ei gymmeriad a'i ysgrifeniadau. Cydnabyddir gan bawb bron mai ei bregethau ef yw y rhai goreu yn yr iaith Seisoneg. Y mae pob pregeth yn llawn hyd yr ymylon o wirionedd, a'r gwirionedd hwnw gwedi ei wisgo yn y wisg mwyaf effeithiol i wneyd argraff barhäus ar ein meddwl. A diau mai trwy ei bregethau yr effeithiodd efe fwyaf ar ein Heglwys ni. Yn lle y pregethau sych a choeg-ddysgedig a draddodid yn Rhydychain, efe a bregethodd o ddyfnderoedd argyhoeddiadau personol. Felly profodd unwaith yn rhagor fod pregethu yn un o brif offerynau diwygiad a chynnydd crefyddol. Y mae holl amrywiaeth a chyfoeth yr Efengyl yn d'od i'r golwg yn ei bregethau. Y mae Newman yn efengylaidd yn ei bregethau. Felly Dr. Pusey, ac felly pob pregethwr ag sydd gwedi effeithio ar y lluaws, ac yn barhäus yn ei ddylanwad. Gall syniadau newyddion a thwyllodrus effeithio ar ryw ychydig, ond rhaid cael gwirioneddau mawrion a sylfaenol Duw i gyffwrdd â'r tyrfaoedd, ac i fod yn fwyd cysson i'r galon ddynol. Nid ydym byth yn blino ar oleuni haul, tra y mae goleuadau o ddyfais dyn yn andwyo ein llygaid, ac yr ydym yn blino arnynt. Felly am *false lights* ac *artificial lights* yn y byd ysbrydol.

Ei ddull tarawiadol o wisgo hen wirioneddau a'n tarawodd fwyaf. Mae y ffeithiau a'r gwirioneddau a leferir ganddo yn wybyddus i ni yn hir cyn darllen dim o'i weithiau. Er esampl, yn un o'i bregethau yn yr athrofa dangosa mewn modd effeithiol pa fodd y mae Cristionogaeth yn meithrin ysbryd gwir wyddonol ynom, ac yn dyfnhau ein cariad at wirionedd ym mhob peth. Nid efe oedd y cyntaf i fynegu hyn i ni. Felly am y rhan fwyaf o'i feddyliau. Nid newydd-deb ei natur, ond y dull deniadol y gosodir hwynt o'n blaen ydyw ei swyn mwyaf. Mewn gair, gwreiddioldeb ei berson sydd yn ein denu. Nis gall wneyd na dweyd dim fel y gwna ereill. Mewn geiriau ereill, y mae ysbrydoliaeth

Digitized by Google

newydd a dwfn yn yr oll a wna. Gall ereill ddweyd gwirioneddau llawn mor bwysig ac amserol, ond nid mor fywiol yn eu heffaith ar ein calon. Y mae pob gwirionedd yn weledigaeth newydd iddo ei hun, a llwydda i'w gyflwyno i ni yn y goleu y gwelwyd ef ganddo. Y mae ambell i feddyliwr yn gweled mwy nag y mae yn ei draethu—pethau annhraethadwy a gogoneddus; ond am Newman, gallai draethu gydag eglurder a nerth y pethau a welodd ac a glywodd. Y mae ynddo gyfoeth, prydferthwch, a gwreiddioldeb dychymmyg uwch law y rhan fwyaf o ysgrifenwyr galluog ei oes. Y mae yn ei bregethau lawer darn ag sydd mor brydferth mewn iaith a dychymmyg a dim a welsom yn y prif fardd Shakespeare. Mewn dwysder moesol y mae yn ein hadgofio am rhai o weithiau Carlyle, ac mewn cyfoeth diben-draw o adnoddau y mae yn peri i ni feddwl am Coleridge. Oni ddylem ddiolch fod meddwl mor doreithiog gwedi llafurio cymmaint yn y pethau a berthynant i'n heddwch tragwyddol?

Ei hoffder o'r Ysgrythyr Lân sydd nod amlwg arall. Oddi ar faes yr Ysgrythyrau y mae yn lloffa y ffeithiau mwyaf tarawiadol i argraffu y gwirionedd arnom. Dwyn pethau newydd a hen allan o'r trysor dwyfol a wna gyda budd ac hyfrydwch mawr i'r darllenydd. Ac yma gallwn ddysgu gwers oddi wrtho, sef i beidio bod yn chwannog i ddefnyddio (*passing events*), neu ddygwyddiadau y dydd, fel y prif foddion i ddysgu gwirionedd. Gwell gan Newman ddefnyddio y dygwyddiadau a groniclwyd gan ddwyfol ysbrydoliaeth fel darlun o'i wersi i ni. Derbynia llawer un ei ysbrydoliaeth oddi wrth *current events*, ac y mae ei waith o'r ddaiar yn ddaiarol. Cymmerwch y dygwyddiadau hyn allan o'r bregeth, ac nid oes yn aros ond ysgerbwd marw. Ereill a ddysgant eu duwinyddiaeth oddi wrth ysgrifau brysiog ac hunanol a ymddangosant yn y misolion. Gellid meddwl mai dyma drysor cuddiedig rhai o awdwyr y *Lux Mundi*. Mor wahanol i hyn ydoedd arferiad y cardinal. Cofus genym weled am dano yn ateb un a ddaeth ato â'r cwestiwn, "A welsoch chwi y feirniadaeth ar eich llyfr olaf yn y *Review* (gan ei enwi)?" "O," meddai, "nis gwyddwn am fodolaeth y fath gyhoeddiad." Byddai yn dda i ni anwybyddu llawer i gyhoeddiad coegddysgedig, a glynu mwy wrth Air Duw am eiriau cymmeradwy a materion cyfaddas i osod ger bron Sïon.

Yr oedd ei ddychymmyg gwreiddiol a bywiog o wasanaeth mawr iddo yn ei bregethau. Ond mewn pethau ereill, sef mewn ymchwiliad diragfarn i hanes yr athrawiaeth, yr oedd yn anfantais iddo. Yn y cylch olaf yma gwel luaws o bethau na fu erioed, ac y mae yn darllen i fewn i ysbryd yr oesoedd gynt ysbryd ei oes ei hun. Y mae dychymmyg hanesyddol (*historical imagination*) yn fantais i hanesydd ond iddo fod yn *historical*, ac nid dychymmyg pur y galw i fyny ffug wrthddrychau a chyffelybiaethau gau. Er enghraifft, wrth son am yr Ariaid a'r sectau ereill o'r bummed ganrif, dywed mai Eglwys Lloegr sydd yn eu cynnyrchioli yn awr, a bod Eglwys Rhufain yn cynnyrchioli yr Eglwys uniongred yr amseroedd hyny. Dichon fod yna debygolrwydd arwynebol, ond y mae y gwahaniaeth hanfodol yn llawer mwy amlwg. Felly yr oedd ganddo ormod o ddychymmyg a rhy fach o farn addfed pan ysgrifenodd ar y pynciau pwysig hyn. Er cymmaint yw gallu neb, ni ddylai ysgrifenu ar yr athrawiaeth fel y gwnaeth ef hyd nes ei fod gwedi byw yn llawer mwy yn y pethau hyn.

Cymmaint o bethau celyd a ysgrifenodd efe am Eglwys Rhufain, am ba rai yr oedd yn flin ganddo ar ol derbyn gwybodaeth helaethach. Er esampl, triniodd yn arw ymddygiad y Babaeth yn cytuno â'r Rhyddfrydwyr mewn symmudiadau gwleidyddol, a dywedodd eu bod yn *time servers* ac nid yn ffyddlawn i'w cred; eu bod yn hollol ddiegwyddor, a'u bod yn barod i ymuno ag unrhyw blaid pa mor anghrefyddol bynag, ond i hyny droi yn fantais iddynt hwy; eu bod yn anonest ac Jesuitaidd fel corff o bobl. Ond ar ol troi, dywed eu bod fel corff yn rhagori llawer mewn gonestrwydd a gwroldeb moesol ar fwyafrif o offeiriaid Eglwys Lloegr. Diau fod y Pabyddion yn amgenach mewn rhinwedd nag y tybiai ef am danynt ar y dechreu, ac nad yw offeiriaid Eglwys Lloegr mor ddiffygiol yn yr un rhinweddau ag y tybiai ef eu bod ar ol iddo ei gadael. Ei ddychymmyg, meddaf, oedd yn ei gludo i eithafoedd fel nad oedd ei farn yn un uniawn a theg. Yr oedd yn ddiammheu yn credu yn ddwfn bob peth a ddywedai; ond fel pawb ereill, yr oedd at drugaredd lluaws o amgylchiadau yn ffurfiad ei gred. A gallai ddweyd gyda Mr. Gladstone fod ugain mlynedd o amgylchiadau newydd yn ddigon i'w wneyd yn greadur newydd a dyfod i'w oedran. Yn wir, nis gwyddom am neb oddi gerth Mr. Gladstone yn well esampl o'r dywediad mai creadur amgylchiadau yw dyn. Pe anfonasid ef i'r Alban ac nid i Rydychain, digon tebyg na chlywsid byth am dano yn symmud tua'r Rhufain. O blegid pan ddaeth i Rydychain yr oedd yn Brotestant o'r Protestaniaid, ac yn casäu â chasineb eithaf pob rhith Pabyddiaeth. Ond ar ol anadlu awyrgylch newydd cafodd ei newid, ac aeth i'r eithafnod arall. Dysgwyd ef yno i roddi pwys ar Eglwys weledig, ac aeth

Digitized by Google

i chwilio am y nodau sydd yn perthyn iddi, a'r canlyniad oedd iddo weled fod y nodau yma yn fwy cyflawn gan Eglwys Rhufain na chan yr Eglwys o ba un yr oedd yn aelod. Ond tybed, onid oedd yn myned i eithafoedd yma hefyd, ac yn unochrog yn ei farn? A oes mwy o gyssondeb didor yn yr olyniaeth yn Rhufain nag sydd genym ni? Trueni na buasai efe, fel y sylwodd Dr. Dollinger, yn fwy cyfarwydd yn hanes yr holl olyniad, megys cyfnod y Canoloesoedd a'r oesoedd tywyll, yna deuai ammheuaeth i'w feddwl o barthed i olyniad dilwgr yr Eglwys hòno hefyd. Os rhoddwn bwys ar yr olyniad gweledig, dylid dilyn yr olyniad trwy yr oesoedd tywyll yn ogystal a thrwy oes euraidd y Babaeth. Ond ni ddefnyddia arf beirniadaeth o gwbl mewn perthynas i'r Babaeth, ond derbynia pob gosodiad ar dystiolaeth ac awdurdod y pab. Os dywed y pab fod y nodau gan Eglwys Rhufain ac nid gan neb arall, yna ymfoddlona Newman ar hyny. Nid yw yn canfod y nodau i gyd genym, ond y mae yn foddlawn i aberthu ei farn bersonol wrth draed y Babaeth. Y mae anffaeledigrwydd y pab bob amser yn lloches i'w feddwl. Efe a greda fod yr olyniaeth genym, ond i'r pab ddweyd hyny. Yn sicr, y mae yna elfen o ofergoeledd mewn cred fel yna. Gall hanesiaeth syml brofi i ni pa un a ydyw y nod allanol o olyniaeth yn perthyn i'r Eglwys. Mater o hanes yw ac nid barn neu bwnc o athrawiaeth, fel ag y mae galw i fewn farn y pab ar fater o hanes yn ymddangos yn hollol afreidiol. Mae y profion wrth law, ac nid oes ond eisieu eu gwybod mewn trefn i gredu yr athrawiaeth. Wrth hyn y gwelwn beth yw agwedd meddwl Pabydd mewn pethau crefyddol. Un peth yw credu pan yn aelod o Eglwys Lloegr, peth arall yw credu pan yn aelod o Eglwys Rhufain. Y mae lle a gwaith i farn bersonol yn un; y mae y llall yn lladd rheswm er mwyn porthi ffydd.

(*I'w barhau.*)

*Cymmer, Llantrisant.* LEWIS HUGHES, M.A.

---

## ARDDERCHOG LU Y MERTHYRI.

(*Parhâd o dud. 110.*)

YN awr, ni a awn drosedd i'r cyfandir am ychydig er mwyn cael gwybod sut yr oedd pethau yno tua'r adeg yma. Yn y flwyddyn 1560, yn Calabra yn Itali, merthyrodd y Pabyddion y nifer mawr o 1600 mewn ychydig amser. Torwyd gwythïenau gwaed 80 o'r Protestaniaid yn yr un diwrnod gyda chyllyll. Felly hefyd yr erlidiwyd ac y merthyrwyd y Waldensiaid yn Piedmont, yr hon sydd wlad rhwng Itali a Ffrainc, ac yn cael ei chylchynu gan fynyddoedd uchel yr Alps. Yn y wlad hon yr oedd miloedd ar filoedd o Gristionogion yn byw, ac yr oedd eu tadau a'u teidiau wedi bod yno yn proffesu Cristionogaeth er ys oesoedd. Cafodd y rhai hyn oll o'r bron eu lladd a'u mwrdro a'u merthyru, yn wŷr, gwragedd, a phlant—yr hen wr penllwyd yn gystal a'r plentyn sugno. Cafodd llawer o honynt eu rhostio wrth dân araf. Yn Ffrainc, yn y flwyddyn 1571, cafodd 70,000 o Gristionogion eu rhoddi i farwolaeth yn y modd creulonaf gan y Pabyddion, a hyny yn benaf ar ddydd gwyl St. Bartholomew. Yn yr holl erlidigaeth hon fe laddwyd fel y tybir dros 300,000 o Gristionogion. Ac yn ysbaid 30 o flynyddoedd, yn nheyrnas Ffrainc yn unig, fe gyfrifir fod y nifer a ganlyn o Gristionogion wedi dyoddef merthyrdod—tywysogion, 39; iarllod, 148; barwniaid, 234; boneddigion, 147,518; pobl gyffredin, 760,000. "Ardderchog lu y merthyri!"

Yn adeg y rhyfel gartrefol yn amser Siarls y Cyntaf (1642–1645), darfu i'r Gwyddelod Pabyddol yn yr Iwerddon gyfodi yn ddisymmwth a lladd a mwrdro dros 200,000 o Gymry a Seison ac Albanwyr Protestanaidd mewn ychydig wythnosau yn yr Iwerddon. Yr oedd y Gwyddelod trwy gytundeb dirgelaidd yn eu mysg eu hunain wedi penodi amser neillduol i ddyfod ar warthaf y Protestaniaid yn annysgwyliadwy iddynt, gan feddwl mwrdro pob Protestant drwy yr holl ynys; ac fe wnaent yr un peth eto, a hyny y fory nesaf pe yn eu gallu, i'r holl Brotestaniaid sydd yno yn byw yn bresennol. Yn 1798 yr oedd lladd *tri* Phrotestant yn cael ei ystyried yn *drwydded* i'r nefoedd.

"Yn 1798 llofruddiwyd llawer o Brotestaniaid yn yr Iwerddon mewn gwaed oer. Llosgwyd holl dai y Protestaniaid ym mhlwyf Kilcormick, a lladdwyd cynnifer ag a fedrwyd ddal o'r preswylwyr, ac yn eu mysg lladdwyd y gweinidog Protestanaidd. Yn Enniscorthy llwyr ddinystriwyd tai y Protestaniaid, a lladratwyd eu heiddo, a llofruddiwyd pawb allwyd dd'od hyd iddynt; a danfonwyd heidiau o ddyhirod Gwyddelig ar hyd a lled y wlad i ddal y Protestaniaid, a thrywanwyd a llofruddiwyd hwy. Dywed Musgrave fod tua 500 wedi cael eu llofruddio yno; ac yn Wexford yr adeg yma llosgwyd llawer o Brotestaniaid, a lladratwyd eu heiddo. Yn Scullabogue defnyddid hen ysgubor fel carchar, yn yr hon yr oedd tua 250 o Brotestaniaid wedi cael eu carcharu—gwŷr, gwragedd, plant, a babanod ar fronau eu mamau. Cawsant eu cadw yno nes eu hanner llewygu. Cynnygiwyd eu rhyddid iddynt ar

Digitized by Google

yr ammod iddynt newid eu crefydd a d'od yn Babyddion, ond gwrthododd y rhan fwyaf o honynt wneyd hyny; ac mewn canlyniad rhoddwyd yr hen ysgubor ar dân, a llosgwyd yr holl rai a wrthodasant wadu eu crefydd. Yr oedd nifer y rhai hyn tua 184."—*H. Tobit Evans.*

Esgynodd Elizabeth i orsedd Prydain yn y flwyddyn 1558 ar ol ei chwaer Mari. Bu Elizabeth mewn perygl mawr am ei bywyd lawer tro dan deyrnasiad ei chwaer. Yr oedd hefyd wedi cael ei hesgymmuno gan y pab. Cafodd ei thraddodi i'r Tŵr, ond bu farw Mari cyn y diwrnod yr oedd Elizabeth i gael ei rhoddi i farwolaeth. Bu yr amgylchiad yna ac esgyniad Elizabeth o'r carchar i'r orsedd yn destyn llawenydd a gorfoledd mawr gan yr holl genedl, am ei fod yn wybyddus fod Elizabeth yn ffafriol i'r Diwygiad. A'r peth cyntaf bron a wnaeth oedd ail-sefydlu y grefydd Brotestanaidd, a gwneyd cyfraith ar ol cyfraith yn ffafriol i'r Protestaniaid. Hefyd gorchymmynwyd dwyn adref y rhai hyny oedd wedi cael eu halltudio o achos eu crefydd dan deyrnasiad Mari Waedlyd. Gorchymmynwyd gollwng yn rhyddion y rhai oedd yn y carcharau gartref. Dan ei theyrnasiad hi y gorphenwyd cytuno ar erthyglau yr Eglwys gan yr archesgobion, yr esgobion, a'r clerigwyr. Hefyd, yr adeg yma y cyhoeddwyd *Ail Lyfr yr Homiliau.* Fel y canlyn y dywed Nicander am y llyfr hwn: "Mae yr ail lyfr hwn yn fwy amrywiol yn ei gynnwysiad na'r llyfr cyntaf a gyhoeddwyd yn amser y Brenin Edward, ond y mae fel hwnw yn annelu ym mhob homili ryw saeth yn erbyn Pabyddiaeth. Mae hefyd yn llawer llymach a mwy pendant yn erbyn Pabyddiaeth nag ydyw y llall; ac nid rhyfedd, canys yr oedd Eglwys Lloegr cyn cyhoeddi Ail Lyfr yr Homiliau wedi teimlo dychrynfëydd teyrnasiad Pabaidd y Frenines Mari Waedlyd." Bu farw Elizabeth yn y flwyddyn 1603, yn 70 mlwydd oed, wedi teyrnasu am 45 o flynyddoedd.

Yn adeg teyrnasiad Elizabeth yr oedd yr enwogion canlynol yn byw: yr Archesgob Parker, a'r Esgobion Jewel a Hooper, Shakespeare, Ben Jonson, Ford, Webster, Sydney, Spencer, Lord Bacon, ac ereill. Yn Yspaen tua'r adeg yma carcharwyd 800 ar unwaith o Brotestaniaid, a chawsant oll eu llosgi, o fesur 20 ar y pryd. Merthyrwyd llawer yn Venice hefyd y pryd yma, gan eu taflu i'r môr. Yn Llundain yn y flwyddyn 1604, pan oedd Iago yn frenin ar ol Elizabeth, bu "Brad y Powdwr Gwn." Pan oedd y brenin a dau Dŷ y Senedd i eistedd yn Westminster, y nos cyn hyny canfyddwyd 36 o farilau yn llawn o bowdwr gwn wedi eu cuddio yn y selerau oedd dan y lle gan y Pabyddion. Yr oedd yno ddyn (?) pan ganfyddwyd y brad o'r enw Guy Faukes yn gwneyd y barilau yn barod i chwythu i fyny y Senedd dranoeth, a thrwy hyny lladd y brenin, yr arglwyddi, ac aelodau y Tŷ Cyffredin oll gyda'u gilydd.

Dywedir ar lafar gwlad mai Syr John Wynn o Wydir a fu yn offerynol i ddarganfod Brad y Powdwr Gwn, trwy iddo dderbyn llythyr dienw yn ei gynghori i beidio bod yn bresennol yn y Senedd ar yr amser a'r amser, am fod rhyw gyflafan ofnadwy i gymmeryd lle ar y pryd. A dywedir fod Syr John wedi myned i Lundain ar frys mawr â'r nodyn gydag ef, ac felly canfyddwyd y brad. Yr oedd rhyw foneddwr arall hefyd wedi derbyn nodyn cyffelyb.

(*I'w barhau.*)

*Ceryg y Druidion.* HUGH HUGHES.

---

## DUWINYDDIAETH: NEU SYLWADAU AT WASANAETH YR YSGOL SUL AR YR EFENGYL YN OL ST. MATTHEW.

### GWERS XXV.

*Yr Efengyl yn ol St. Matt. ix. 1–8. O.C. 28. Golygfa: Capernäum—Iachäu y claf o'r parlys. Darllener St. Marc ii. 1—12 a St. Luc v. 17—26. Dysger allan 1 St. John ii. 1.*

#### ESBONIAD EGLURHAOL.

Adn. 1: "*A aeth drosodd.*"—Dychwelodd dros y môr o'r ochr ddwyreiniol, gwlad y Gergesiaid, i'w "ddinas ei hun," Capernäum, gwel iv. 13.

Adn. 2: "*Claf o'r parlys,*" gwel viii. 6. Y mae yn amlwg fod y claf yn hollol ddiffrwyth.

"*Yn gweled eu ffydd,*" &c. Cydnabyddwyd ffydd y canwriad o'r blaen, gwel viii. 10. Dylem gymmeryd i mewn ffydd y claf yn gystal a'i bedwar cymmwynaswr.

"*Ha fab*" (τέκνον). Cymmer *Bengel* yn ganiataol mai gwr ieuanc oedd.

"*Maddeuwyd i ti dy bechodau.*"—Dyma gam mawr ym mlaen yn hawliau dwyfol yr Arglwydd Iesu. Yr oedd newydd ryddhau dynion o afael ysbrydion aflan (viii. 33), ac yma rhyddhâ y dyn oddi wrth ei bechodau.

Adn. 3: "*Y mae hwn yn cablu.*"—Cabledd ydyw i ddyn honi iddo ei hun briodoliaethau Duw. Yr oedd yr Iesu wedi maddeu. "*Maddeuwyd* i ti," meddai.

Digitized by Google

Adn. 4: "*Pan welodd yr Iesu eu meddyliau.*"—Dyma arddangos *gallu* dwyfol, Salm cxxxix. 2; Matt. xii. 25; St. Marc xii. 15.

"*Meddyliwch ddrwg.*"—Tueddiad cyntaf pob natur lygredig ydyw *drwgdybio*. "Cariad ni feddwl ddrwg," ac ni all casineb feddwl yn dda.

Adn. 5: "*Pa un hawsaf?*" &c. Cyssyllter hyn â'r geiriau, "A phan welodd yr Iesu eu meddyliau." Ymresymai yr Ysgrifenyddion yn eu calonau.

"*Y mae hwn yn cablu.*"—Y mae ei feiddgarwch yn ddiderfyn. A digon hawdd iddo *ddweyd* wrth y claf yna, "Maddeuwyd i ti dy bechodau," ond pa le y mae y prawf? Os ydyw wedi maddeu i'r claf ei bechod—y pechod a ddygodd arno y parlys—pa ham na iachäi Efe ef? Daliodd yr Iesu y rhai "cyfrwys" hyn yn eu "cyfrwysdra," a rhoddes y cwestiwn ger eu bron, "Pa un hawsaf ai *dweyd*," &c.

Adn. 6: "*Eithr fel y gwypoch*," &c. Dyma y prawf. "Gan Fab y *Dyn*." Yr oedd dyndod Crist yn eglur i'r Phariseaid a'r Ysgrifenyddion. Yn ei ddyndod, am ei fod yn Fab Dyn, yr honai yr Iesu yr awdurdod.

"*Ar y ddaiar.*"—Yn rhinwedd ei ymgnawdoliad yr hawlia yr Arglwydd Iesu awdurdod i faddeu pechodau, a hyny ar y ddaiar mewn modd gweledig. Drwy ei ddyndod y dygodd efe iachawdwriaeth i'r byd. Y dyn Crist Iesu ydyw "Ceidwad ei frawd."

Adn. 7: "*Ac efe a gyfododd*," &c. Dyma y prawf. Dyma yr ochr ddwyfol yn ymddangos. Y *gallu* dwyfol. Y mae yma allu dwyfol ac awdurdod ddynol wedi eu cydgyfuno ym Mherson Crist. Y mae y wyrth hon yn gosod o'n blaen mewn dull mwy eglur nag un dull arall nodwedd sacramentol y gwyrthiau fel arwydd gweledig oddi allan o ras ysbrydol neu allu ysbrydol oddi mewn.

ATHRAWIAETH Y WYRTH.

Athrawiaeth fawr y wyrth hon ydyw, "Crist yn maddeu pechodau," neu "fod awdurdod gan Fab y Dyn ar y ddaiar i faddeu pechodau." Pa le yr oedd yr awdurdod cyn hyny, ac fel y deallai yr Ysgrifenyddion ef? Gyda "Duw yn unig," gwel St. Marc ii. 7; St. Luc v. 21. O ba le y dysgwylient am faddeuant? O'r nefoedd, gwel 1 Bren viii. 30, 34, 39. Drwy ba foddion? Drwy yr aberthau a offrymid yn y deml, ac eiriolaeth yr archoffeiriad, gwel Lef. iv. 1—30. Ond nid oedd maddeuant drwy aberth am bechodau gwirfoddol, gwel yr un bennod ac Act. xiii. 39. Y mae geiriau yr Arglwydd Iesu fel hyn yn blaen-awgrymu trosglwyddiad y fendith o faddeuant pechodau oddi wrth yr oruchwyliaeth Iuddewig i'w Berson Ef ei Hun. Gesyd ei Hun i lenwi a mwy na llenwi yr oll. Dengys hefyd yr egwyddor o faddeuant. Maddeuant drwy berson dynol, ac nid drwy ddefod ydyw; a maddeuant yn cael ei *dadgan* yn awdurdodol ar y ddaiar gan Grist ydyw.

SYLWADAU.

Blaen-eglura yr Arglwydd Iesu yma egwyddorion maddeuant pechodau cyn gosod yr awdurdod yng ngweinidogaeth ei Eglwys (gwel St. Ioan xx. 23), fel y blaen.eglurodd egwyddorion sacrament y Bedydd yn St. Ioan iii. 1—13, ac egwyddorion sacrament ei gorff a'i waed yn St. Ioan vi. 30—58. Cawn hanes yr Arglwydd Iesu unwaith yn ychwaneg yn defnyddio ei awdurdod i faddeu pechodau, heb roddi un arwydd gweledig o iachâd i brofi ei allu, gwel St. Luc vii. 47. Yr arwydd a phrawf yn hanes y claf o'r parlys fod ei bechodau wedi eu maddeu ydoedd iachâd ei gorff, nes gallu o hono gyfodi, cymmeryd i fyny ei wely, a myned i'w dŷ. Yr arwydd-fod y wraig wedi cael maddeuant oedd ei dagrau, ei defosiwn, a'i "*chariad*," "o blegid hi a garodd yn fawr," St. Luc vii. 47. Iachasai y galon oddi fewn i fod yn dyner a phur. Argoelion a phrofion maddeuant yw edifeirwch, cariad a phurdeb oddi mewn, a gweithgarwch bywiog a buchedd sanctaidd oddi allan.

CWESTIYNAU.

Pa le y cyflawnwyd y wyrth o iachäu y claf o'r parlys? O ba le y daethai Crist yno? Canfod ffydd pwy yr oedd yr Iesu? Pa beth a awgrymir am oed y dyn claf wrth y geiriau, "*Ha fab?*" Beth a ddywedodd Crist wrtho? Pwy oedd yn gweled bai arno? Pa sut feddyliau oedd gan yr Ysgrifenyddion? Pa un hawsaf ei *ddweyd* o'r ddau, Maddeuwyd, &c., ai cyfod? &c. Pa un ai fel Mab Duw ai fel Mab y Dyn yr hawliai yr Iesu yr awdurdod? Pa le yr oedd trefn maddeu cyn dyfodiad Crist? Ym mha le y mae maddeuant yn awr? Dywedwch yr adnod, "O phecha neb y mae i ni Eiriolwr gyda'r Tad," &c.

SYLWADAU YCHWANEGOL.

1. Rhoddir llawer o bwys gan aml esbonwyr ar "ffydd fechnïol" y pedwar cymmwynaswyr a ddygasant y claf o'r parlys at Grist. Y mae ffydd fechnïol yn cael ei hamlygu yn barhäus yn y Testament Newydd. Gweithredai Crist i fendithio ereill ar gais eu carenydd a charedigion. Digon yw enwi ffydd y canwriad, ffydd Jairus, a'r pendefig o Capernäum (St. Ioan iv. 46), fel esamplau ychwanegol.

Digitized by Google

2. Ymdrecha ereill wadu ffydd fechnïol o gwbl, ac ymdrechant ei dirmygu drwy ddweyd mai nid cael maddeuant pechodau i'r claf o'r parlys oedd nod amcan ei gymmwynaswyr, eithr cael iachâd iddo. Nid oes a wnelo hyn â'r pwnc o ffydd fechnïol. Ffydd yng ngallu ac ewyllys Crist i iachäu oedd yn rhoddi nerth, dyfalbarhâd, ac amynedd i'r pedwar gwr ymdrechu tori trwy bob rhwystr nes cael gosod y claf ger ei fron. Gwelodd yr Iesu yr oll. Gwyddai fod ganddynt ffydd na ddiffygiai yn fuan, ac y gallai *ddal* oediad, nes y dygai Efe beth mwy nag iechyd y corff i'r golwg. Gwydneiddiwch a grymusder eu ffydd hwy oedd un o'r manteision i Grist gymmeryd y cyfleusdra i brofi ei awdurdod faddeuol. Cloddiasant hwy am arian a chawsant.

3. Nid oes yn hanes y wyrth son am edifeirwch yn y claf. A'r arwydd gweledig oddi allan y mae a wnelo yr hanes, sef ffydd amlwg y pedwar cymmwynaswr ac iachâd y claf. Darllener hanes y wraig yn nhŷ Simon (St. Luc vii. 36—50), a chawn ddarlun o'r cyflwr mewnol. Diau nad oedd y claf o'r parlys yn amddifad o edifeirwch a ffydd bersonol, a gwyddai yr Iesu beth oedd ei gyflwr. Telerau maddeuant ydyw edifeirwch.

Ymdrinir â maddeuant pechodau a gollyngdod yng nglŷn â hanes y wyrth hon yn fynych, ond ef allai mai yng nglŷn â rhoddiad y commissiwn i'r apostolion, y dylid ymdrin ag ef yn benodol—1. Fel y dangoswyd eisoes, ym Mherson Crist yr hanfoda pob hawl a haeddiant i faddeu pechodau. Trwy ddynoliaeth Crist y mae dynoliaeth ar y ddaiar i dderbyn iachawdwriaeth, sef iachâd enaid a chorff. 2. I weinidogaeth ei Eglwys yr ymddiriedodd Crist y ragorfraint ddwyfol hon (St. Ioan xx. 19—23; 2 Cor. v. 18—21), ac y mae pob pregethwr a safodd erioed i fyny i lefaru yn enw Iesu yn *ymarferol* honi yr awdurdod i ddadgan ac i gyhoeddi maddeuant pechodau i bawb a fyddont wir edifeiriol ac yn credu yng Nghrist. Y mae swyddogion y *Salvation Army* yn *honi* yr awdurdod mor gyflawn a neb.

Am offeiriad yr Eglwys nid yw ei honiadau *personol* ef yn ddim. Nid yw yn gosod sail ei awdurdod ar ei deimlad, na'i syniad, na'i dduwioldeb personol, ond ar gommissiwn Crist yn unig. Nid yw yn dibrisio dim o'r elfenau personol, ond eto ar ei awdurdod Eglwysig y gweithreda. Teimla fod ganddo awdurdod goruchwyliwr y gras hwn, fel pob gras arall, i'w gymhell i braidd ei ofal. Geiriau Crist, yn lleferydd yr Eglwys, sydd ganddo i gyflwyno y gras, a thelerau Crist sydd gan bob aelod i'w derbyn iddo ei hun. Y mae yn ffurfwasanaeth yr Eglwys dair ffurf o ollyngdod, sef yn Nhrefn y Weddi Foreuol a Phrydnawnol, yng Nghymmun y Claf, a Threfn Gwasanaeth y Cymmun.

GWERS XXVI.

*Galwad St. Matthew a'r wledd yn ei dŷ, St. Matt. ix. 9—13. Darllener St. Marc ii. 13—17; St. Luc v. 27—32.*

ESBONIAD EGLURHAOL.

Adn. 9: "*Y dollfa.*"—Y dollfa oedd swyddfa y dreth neu doll-gasglydd Rhufeinig, lle yr eistedda i i dderbyn tâl am bob nwyddau a ddygid dros y môr i mewn i Capernäum. Fel rheol, rhan o'r nwyddau fel *toll* y melinau oedd y tâl am fyned â'r eiddo i'r farchnad.

"*Matthew.*"—Nid oes ammheuaeth nad "Lefi mab Alphëus" oedd efe, St. Marc ii. 14; St. Luc v. 27. Y mae yn debyg mai enw a dderbyniodd ar ei ddychweliad at Grist oedd Matthew, sef rhodd Duw.

"*Canlyn fi.*"—Dyma alwad ar Matthew oddi wrth ei alwedigaeth. Ni ddywedir dim am y cymhellion mewnol, ond dilys fod yr Ysbryd wedi siarad oddi mewn yn gyntaf. Rhoddes yntau ufuddhâd.

Adn. 10: "*A bu ac efe yn eistedd yn y tŷ,*" &c. Dull gwylaidd yr efengylwr o gyfeirio at ei waith ei hun ydyw hyn. Dywed St. Luc iddo "wneuthur gwledd fawr yn ei dŷ," St. Luc v. 29. Y mae y gwir Gristion bob amser yn wylaidd a llednais ei eiriau a'i weithredoedd.

"*Publicanod lawer a phechaduriaid,*" &c. Y mae yn amlwg mai cydswyddogion a chydnabod y publican Matthew oedd y rhai hyn, a'u bod hwy yn eistedd wrth y bwrdd gyda'r Iesu.

Adn. 11: "*A phan welodd y Phariseaid,*" &c. Pa fodd y daethant hwy i weled? Y mae bron yn sicr mai trwy ymwthio yn haerllug i mewn i'r cyntedd o amgylch y wledd ystafell. Yr oedd yn y Dwyrain, fel ym mysg y Cymry gynt, ryddid hyd yn nod i estroniaid droi i mewn i unrhyw dŷ ar unrhyw amser heb neges, ac eistedd i lawr (*Scripture Manners and Customs*, tud. 185). Taenid bwrdd y wledd ar ganol yr ystafell, a lled-orweddai y gwahoddedigion o'i amgylch. Gweinyddai y gweinidogion arnynt o'r tu cefn, lle y gadewid llwybr llydan rhyngddynt â'r mur neu bared yr ystafell. Gyda'r pared yr oedd rhes o eisteddleoedd, a deuai dyeithriaid, ac hyd yn nod gardotwyr i mewn, ac eisteddent ar yr eisteddleoedd ar amser gwledd neu giniaw, gan gymmeryd rhan yn yr ymddyddan. Y mae yn eglur ddigon i'r Phariseaid a'r Ysgrifenyddion gymmeryd mantais o'r rhyddid hwn i wylio ymadroddion ac ymddygiad yr

Digitized by Google

Iesu, o herwydd nid oes ddigywilydd-dra mwy haerllug na'r eiddo y Phariseead.

Adn. 12: "*Nid rhaid i'r rhai iach,*" &c. Mewn math o watwareg y defnyddir y geiriau drwy fabwysiadu syniad y Phariseaid am danynt eu hunain, a dangos ei wrthuni mewn gwawd tosturiol. Tybiai y bobl hyn eu hunain yn gyfiawn a dirmygent ereill (St. Luc xviii. 9). "A'r Arglwydd a'u gwatwar hwynt."

Adn. 13: "*Ewch a dysgwch,*" &c.; "*trugaredd,*" &c., gwel Hosea vi. 6. Trugarhau wrth bublicanod a phechaduriaid yr oedd yr Arglwydd Iesu a myned i'w dysgu, dyrchafu, a gwaredu. Gwell myned at y pechadur i'w waredu na'i sarhau a dirmygu, gan ymffrostio ein bod yn well nag ef. Cyflawnder y gyfraith yw cariad.

### YMPRYDIO.

*St. Marc ii. 18—22; St. Luc v. 33—39.*

Adn. 14: "*Yna y daeth dysgyblion,*" &c. Ymddengys oddi wrth yr efengylau ereill i'r Phariseaid a'r Ysgrifenyddion gymmeryd rhan yn yr ymholiad, St. Marc ii. 18.

Adn. 15: "*Plant yr ystafell briodas,*" &c. Ymadrodd ffugyrol ydyw hwn. Crist ydyw y priodfab, St. Matt. xxv. 5. Yr Eglwys yw y briodferch, St. Ioan iii. 29 a Dad. xxi. 9. Ymgnawdoliad Mab Duw ydyw y briodas. Yr ystafell briodas ar y pryd oedd gweinidogaeth bersonol Iesu Grist. Tra yr oedd Efe ei hun ar y ddaiar nid oedd ei ddysgyblion yn ymprydio. Dyddiau o lawenydd oeddynt.

"*Ond y dyddiau a ddaw,*" &c. Yr oedd dyddiau yn dyfod pan y goddiweddid y dysgyblion a "galar," o herwydd dwyn y Priodfab oddi arnynt, ac yna ymprydient. Y mae galar ac ympryd i gydfyned; a'r amser y dylem alaru ac ymprydio fwyaf yw, pan gollwn olwg ar Grist y Priodfab.

Adn. 16: "*Hefyd, ni ddyd neb,*" &c. Ymadrodd ffugyrol sydd yma eto. Nid llain o hen frethyn oedd goruchwyliaeth Crist, eithr gweinidogaeth newydd yn yr ystyr o gyflawniad yr holl gysgodau ac addewidion. Nid i roddi *clwt* ar rwygiad yn yr Eglwys Iuddewig y daethai Crist, ond i fod yn sylfaen gyflawn Eglwys a adeiledid arno Ef ei hun.

Adn. 17: "*Gwin newydd*" &c.; "*costrelau hen.*" Costrelau neu botelau lledr a ddefnyddid yn y wlad hòno, ac yr oeddynt yn agored i gracio a dryllio, Jos. ix. 4.

"*Y gwin newydd.*"—Y Gair a wnaethpwyd yn gnawd. Mab Duw, sef y gwirionedd yn y cnawd ydyw. Yr oedd ganddo bob haeddiant ac awdurdod ynddo ei Hun. Yr oedd yr "hen gostrelau" seremonïol yn ammhriodol i'w cadw. Rhaid oedd wrth gostrelau newyddion—bedydd yn lle enwaediad, cymmun corff a gwaed Crist yn lle Oen y Pasc, a gweinidogaeth ysbrydol o awdurdod Crist ei hun yn lle offeiriadaeth deuluaidd Aaron, Eglwys Gatholig yn lle un genedlaethol, a Christ ei hun yn archoffeiriad. Y mae i Eglwys Crist ei chostrelau newyddion, yn mwy na chadw lle yr hen rai, ac y mae mor briodol ac angenrheidiol iddi wrth ympryd ag ydoedd i'r Eglwys Iuddewig.

### GWESTIYNAU.

Pa beth oedd y dollfa? Pa enw arall sydd i St. Matthew. Pa le yr oedd yn byw? Pa beth a wnaeth yn ei dŷ? Pwy oedd yno gyda'r Iesu? Pa fodd y cawsai y Phariseaid fyned i mewn yno? Pa beth ydyw nodwedd Phariseaeth pob oes? Pwy oedd Iesu Grist yn feddwl wrth y rhai iach? Pa fodd y dangosai y Phariseaid nad oedd ganddynt drugaredd? Dysgyblion pwy a ofynasant gwestiynau yng nghylch ympryd? Pwy oedd "plant yr ystafell briodas?" Pwy y Priodfab? Pwy y briodferch? Pa le yr ystafell? Pa beth oedd y briodas? Beth oedd y llain o frethyn newydd? Beth yr hen? Hen ddilledyn beth oedd? Beth yw y gwin newydd? Beth oedd yr "hen gostrelau?" Enwch rai o gostrelau newyddion yr Eglwys Gristionogol, y rhai a drefnwyd yn lle y costrelau hen, neu hen ordinhadau.

### GWERS XXVII.

*St. Matt. ix. 18—26. O.C. 28. Meirch Jairus—Y Wraig â'r dyferlif gwaed. Darllener St. Marc v. 21—43; St. Luc viii. 40—56.*

### ESBONIAD EGLURHAOL.

Adn. 18: "*Daeth rhyw benaeth.*"—"Arch-synagogydd," medd St. Marc, a Jairus wrth ei enw. Dull Lladinaidd o ysgrifenu Jair (Numeri xxxii. 41) ydyw *Jairus*, a'r ystyr ydyw, "Efe a ddihuna." Enw awgrymiadol, onid e?

"*Bu farw fy merch.*"—Yn St. Marc dywedir, "Y mae fy merch fechan ar dranc;" ac yn St. Luc dywedir, "A hon oedd yn marw." Ychwanega St. Marc, "Ac efe [sef Crist] yn llefaru daeth rhai o dŷ penaeth y synagog, gan ddywedyd, "Bu farw dy ferch," St. Marc v. 35.

Adn. 20: "*Dyferlif gwaed.*"—Gwariasai yr oll a feddai ar feddygon, a buasai yn dyoddef er yr amser y ganesid merch Jairus.

"*Ymyl ei wisg,*" pennod xiv. 36; Numeri xv. 38,

Digitized by Google

39. Ystyrid ymyl y wisg yn gyssegredig am fod arni arwyddluniau i gofio am Dduw. "Bydded i chwi yn rhidens i edrych arno, ac i gofio holl orchymmynion yr Arglwydd," ebai Moses.

Adn. 21: "*Hi a ddywedasai.*"—Arwydda yr ymadrodd gwreiddiol deimlad ac argyhoeddiad dwfn. Y mae yn gyfystyr â'r ymadrodd, "*Daliodd* i ddweyd ynddi ei hun."

Adn. 22: "*Dy ffydd a'th iachaodd.*"—Nid yn y wisg yr oedd y rhinwedd, eithr yn y Person; nid oedd y wisg yn gyfrwng dideimlad anymwybodus, ond Person llawn tosturi oedd yn iachäu. Yr oedd yno galon yn cyffwrdd â chalon, ac nid llaw ag ymyl gwisg. Drwy gyffwrdd yn fwriadol a ffyddiog, gan daer ddymuno, y derbyniodd y wraig yr iachâd. Rhaid oedd *cyffwrdd*. Ffydd drwy gyfryngau sydd yn sugno bendith i enaid dyn oddi wrth Grist. Y cyfryngau, neu ymylon gwisg y Gwaredwr, yn awr yw y Gair a'r weinidogaeth a'r sacramentau sanctaidd, y rhai ydynt oll o'r un awdurdod ddwyfol. Ni wiw bychanu un o honynt. Eu bychanu hwy ydyw diwreiddio ffydd.

Adn. 23: "*Tŷ penaeth y synagog*;" "*cerddorion.*"—Galarwyr wrth eu galwedigaeth wedi brysio i'r lle i alarnadu neu "ganu galarnad" oedd y rhai hyn, gwel Preg. xii. 5; Jeremiah ix. 17; Amos v. 16.

Adn. 24: "*Ni bu farw y llances, ond cysgu y mae.*"—Defnyddia ein Hiachawdwr y gair cysgu am farw yn fynych, St. Ioan xi. 11; Act. vii. 60. Huno y mae y duwiol yng Nghrist; ac y mae pawb yn fyw i Dduw (St. Luc xx. 38), o herwydd nid ydyw y meirw ond aros adgyfodiad bywyd, neu adgyfodiad barn.

"*Hwy a'i gwatwarasant.*"—Y galarwyr proffesedig oedd yn gwneuthur hyn. Nid oes diystyrwch mwy yn un man na diystyrwch anwybodaeth. Diystyrent Grist am nad adwaenent Ef.

Adn. 25: "*Bwriodd hwynt allan,*" &c. Gallai ein Hiachawdwr ddefnyddio ei awdurdod pan ddymunai.

"*Ymaflodd yn llaw*" y ferch fechan. Sylwer mor dyner, deimladwy, y deffroai yr Arglwydd Iesu yr enethig o gwsg marwolaeth, gan ei chyfarch yn iaith agos ac anwyl yr aelwyd, "Talitha, cwmi; yr hyn o'i gyfieithu yw, Yr eneth, yr wyf yn dywedyd wrthyt, cyfod," St. Marc v. 41.

Cofnodir hanes y wyrth hon gan y tri efengylydd cyntaf. Byr grynoad a geir yn St. Matthew, ond ceir manylion lawer yn St. Marc. Mae y tri efengylydd, pa fodd bynag, yn dodi hanes y ddwy wyrth wedi cymmeryd lle ar yr un amser ac yng nglŷn â'u gilydd, y naill ar y ffordd tra yr oedd yr Iesu yn myned i gyflawnu y llall. Iachawyd y wraig o'i dyferlif trwy gyffwrdd o honi ag ymyl gwisg y Gwaredwr, pan ar ei ffordd i dŷ Jairus i gyfodi ei ferch. Dyma iachâd ar y ffordd i gyfodi y marw.

1. Oni allwn weled yma ddrych mewn dammeg? Y mae yr Arglwydd Iesu, yng ngwisg gweinidogaeth ac ordinhadau ei Eglwys, yn myned drwy ganol y lluaws ar ei ffordd i adgyfodi y meirw. Caiff pob pechadur a deimla ei glwyf feddyginiaeth ganddo, ond iddo gyffwrdd mewn ffydd ag ymylon ei wisg.

2. "Ni bu farw yr eneth, eithr cysgu y mae." Dyma wirionedd cysurlawn i filoedd o rieni galarus.

3. Dyma yr enghraifft gyntaf o Grist yn cyfodi y marw. Cawn dair enghraifft. Cyfododd yr "eneth fechan ddeuddeg oed" oddi ar wely angeu; y "gwr ieuanc, mab y weddw (St. Luc vii. 14), oddi ar ei elor; a Lazarus o'r bedd (St. Ioan xi. 44), wedi gorwedd o hono yno bedwar diwrnod.

#### CWESTIYNAU.

Pwy oedd y penaeth? Pa beth yw ystyr yr enw? Sut y dywed St. Marc am y ferch? Pwy a ddaeth at yr Iesu ar y ffordd? Pa hyd y buasai yn glaf? Pa fodd yr oedd wedi ymresymu? Pa beth a osodid ar ymyloedd gwisgoedd Iuddewon defosiynol? Pa beth oedd yn iachäu? Trwy ba fodd y *dangosodd* y wraig ei ffydd? I ba beth yn awr y cyffelybir ymylon gwisg yr Arglwydd Iesu? Pa berygl sydd o fychanu ordinhadau Duw? Pwy oedd yn nhŷ penaeth y synagog pan aeth Crist i mewn? Pa fodd yr ymddygasant? Pa fath bobl oedd y cerddorion? Beth a ddywedodd yr Iesu am yr eneth? Pa sut y cyfarchodd hi? Pa sawl un o'r efengylwyr sydd yn rhoddi hanes y wyrth hon? Pwy sydd yn gwneyd hyny yn fwyaf manwl? Pa sawl enghraifft sydd genym o Grist yn cyfodi y meirw? Pwy oeddynt?

### GWERS XXVIII.

*St. Matthew ix. 27—31. O.C. 28. Iachâd y deillion. Darllener Esaiah xlii. 5—7; St. Matt. xii. 22; xx. 30; xxi. 14.*

#### ESBONIAD EGLURHAOL.

Adn. 27: "*Dau ddeillion.*"—St. Matthew yn unig sydd yn rhoddi hanes y wyrth hon. Y mae dallineb yn anhwyldeb tra chyffredin yn y Dwyrain drwy fod tanbeidrwydd yr haul yn fwy, a chymmaint o lwch mân dywod yn cael ei chwythu oddi amgylch, a dynion yn arfer cysgu allan yn y llwch, a gwlith gwenwynllyd y nos.

Digitized by Google

"*Mab Dafydd,*" &c.: gwel pennod xv. 22; xx. 30, 31. Wrth ei enw swyddogol yng ngoleuni prophwydoliaeth yr Hen Destament y galwai y rhai hyn ar yr Iesu. Credent yn ei genadwri. Dyma oedd gwreiddiau eu ffydd.

Adn. 28: "*Ddaethant ato.*"—Aethant ar ol yr Iesu i'r tŷ. Yr oeddynt dan argyhoeddiad ffydd.

"*A ydych chwi yn credu y gallaf fi wneuthur hyn?*"—Rhoddir yma brawf personol ar eu ffydd. Amcan yr Arglwydd Iesu oedd dwyn eu dirgel ffydd i'r amlwg, er mwyn dangos mai drwy gydymdeimlad ac ymddiried ysbrydol dyn yn Nuw y mae cael bendithion dwyfol.

Adn. 29: "*Yna y cyffyrddodd efe,*" &c. Dyma weithred allanol yn arwydd gweledig i'r dyn ac i'r gwyddfodolion.

"*Yn ol eich ffydd,*" &c. Mesur eu ffydd oedd mesur eu llwyddiant. Yn ol eu ffydd y derbyniasant. Credent hwy fod rhinwedd dwyfol yn y llaw a gyffyrddai â'u llygaid hwy, am ei bod yn llaw Mab Dafydd, Eneiniog (Messïas) Duw. Rhaid cael ffydd yn holl ordinhadau Duw cyn y derbynia neb les ysbrydol oddi wrthynt.

Adn. 30: "*A'r Iesu a orchymmynodd iddynt trwy fygwth,*" &c. Dyma eiriau cryfion i wahardd y deillion rhag mynegu o honynt i'r Iesu roddi iddynt eu golwg. Y mae yn werth sefyll uwch ben y gair *ἐνεβριμήσατο.* Defnyddir ef yn St. Marc i. 43—"Wedi gorchymmyn iddo yn gaeth;" a St. Ioan xi. 33—"A riddfanodd" (yn yr Ysbryd). Awgryma yr ymadrodd fod yr Arglwydd Iesu o dan deimlad gofidus yn gorfod gwahardd i'r deillion yn y modd mwyaf penderfynol beidio â mynegu fod yr Iesu, Mab Dafydd, wedi agor eu llygaid. Pa ham y gwaharddai? Am fod perygl o'r ddeu-tu camddefnyddio y wybodaeth—1. Yr oedd un blaid yn edrych am Fab Dafydd fel brenin tymmorol yn dyfod i'w gwaredu o ddwylaw eu gelynion gwladol Rhufeinig, ac yn barod i'w gipio a'i wneuthur yn frenin, St. Ioan vi. 15. Mynai Ef i'r rhai hyn ei adnabod fel Mab Duw, eu Gwaredwr ysbrydol. 2. Yr oedd plaid arall yn ei wylied i ddweyd pob anair am dano a'i gyhuddo, gwel adn. 34.

Sylwadau ymarferol. 1. Gwelir yma werth ffydd, yr hon sydd yn gweithredu nid oddi wrth yr olwg allanol, ond ar sail addewidion Duw. Credai y deillion mai yr Iesu oedd y Messïas, neu Fab Dafydd, ac y gallai agor eu llygaid yn ol y prophwydoliaethau. 2. Peth mor beryglus ydyw darostwng gweinidogaeth, ordinhadau, a sacramentau Eglwys Crist. Os gall Satan ddilëu crediniaeth dyn yn nwyfoldeb y *cyfryngau hyn*, bydd diwedd ar grefydd Crist.

IACHAU Y MUD CYTHREULIG.

*Adnodau 32—35.*

Adn. 32: "*Mud cythreulig.*"—Ni wyddom pa fath anhwyldeb oedd ym mhellach nag mai gwaith yr un drwg oedd. Darostyngasai ddyn i gyflwr anifail *dileferydd.*

Adn. 33: "*Llefarodd y mudan.*"—Wedi bwrw allan yr un drwg, cafodd y dyn ei leferydd i ogoneddu Duw. Mewn geiriau y mae dyn yn corffori ei feddwl, a thrwy eiriau y derbynia bob syniad am Dduw trwy ddadguddiad. Y gair sydd yn achub yn yr ystyr yna, ac wrth ei "eiriau ei bernir."

Adn. 34: "*Trwy benaeth y cythreuliaid.*"—Priodolir yma amcan *drwg* i weithredoedd *da.* Dyma bechod yn erbyn Ysbryd Glân y gwirionedd. Nid yw yn bosibl argyhoeddi neb a briodola amcan drwg i weithredoedd da, gan mai wrth eu ffrwythau yr adnabyddir dynion, gwel xii. 24; St. Marc iii. 22; St. Luc xi. 15. Dyma hen arfau Satan i ladd dylanwad gweinidogaeth Efengyl Crist, hen arfau a geidw yn loew ar lawn gwaith hyd heddyw—priodola amcanion drwg i weithredoedd goreu yr Eglwys.

Y CYNAUAF.

Adn. 35. Byr grynoad sydd yma o ail daith yr Iesu drwy Galilea, St. Marc vi. 6.

Adn. 36: "*A phan welodd efe,*" &c. Casglai y tyrfaoedd ato o bob man, a gresynai yntau eu cyflwr.

Adn. 37: "*Y cynauaf,*" &c. Y mae cynauaf y ddaiar yn fawr bob amser, a gellir gwneuthur llawer mwy o ddaioni ysbrydol pe byddem ni yn fwy awyddus i waith ysbrydol.

Adn. 38: "*Atolygwch,*" &c. Lle yr Eglwys oll ydyw gweddïo am i'r Arglwydd anfon gweithwyr i'w gynauaf. Y mae yr Eglwys wedi neillduo pedwar tymmor, sef Dyddiau y Cydgoriau, i weddïo mewn modd neillduol ar i Arglwydd y cynauaf roddi ei "ras a'i nefol fendith i'r sawl a urddir i bob swyddogaeth sancteiddlan."

CWESTIYNAU.

Pa sawl dall y darllenwn am danynt yma? Beth sydd yn peri fod llawer o ddeillion yn y Dwyrain? Pa enw a roddasant ar yr Iesu? Pa beth oedd hyny yn ei ddangos? Pa fath ffydd oedd ganddynt? Pa fodd y profwyd eu ffydd? Pa beth a orchymmynodd yr Iesu iddynt? Pa ham y gorchymmynodd? Ar ba beth y mae ffydd yn seiliedig? Trwy ba gyfryngau y gallwn ni yn awr seilio ein ffydd yn

Digitized by Google

Iesu Grist? Pwy arall a iachawyd? Pa beth oedd ei anhwyldeb? Beth a ddywedodd y Phariseaid am waith yr Iesu yn ei iachäu? Beth oedd natur eu pechod?

---

## CYNLLUN YN NHREFN NATUR.

(*Cyfieithad o weithiau y diweddar Archesgob Thomson, gan Bodfach.*)

DYWEDAI tad athroniaeth Roegaidd, "Fod pob peth yn llawn o Dduw." "Nid ydyw y dybiaeth o Dduw yn angenrheidiol," meddai seryddwr Ffrancaidd diweddar. Ar y dywediad olaf yr attegwn ein sylwadau, am ei fod yn ddysgrifiad cywirach o sefyllfa gwyddoniaeth yn bresennol. Nid oes un ammheuaeth nad oes anffyddiaeth yn bodoli; ond y mae y dull o feddwl sydd yn anwybyddu bob angen am y natur ddwyfol yn ei hymwneyd â'r byd a'i arddangosion yn fwy cyffredin, gan ystyried fod dyfod ag enw Duw i olrheiniadaeth wyddonol yn dyrysu yr hyn sydd eglur, yn tywyllu rheolau ymchwiliadaeth, gan ddyfod â dadleuon anfuddiol i wyddoniaeth, yn attal rhediad arweiniol ymresymiad trwy ofni y canlyniadau, a rhwystro ymofyniad anianyddol sydd yn arwain i ganlyniadau clir ac eglur ag ymofyniad meddyliol ac ysbrydol na chynnyrchodd ddim ond dadleuon. Nid ydyw y meddwl poblogaidd i fyny â dull manwl o ymresymu; ac ymddengys i'r rhan fwyaf o bobl mai yr un peth ydyw gwadu bodolaeth Duw ag anwybyddu y meddwl o hono yn ei greadigaeth.

Nid ydym yn rhyw anobeithio y gwna ychydig o sylwadau ar yr "ymresymiad oddi wrth gynllun," fel ei gelwir, dueddu i leihau y dyeithrwch cynnyddol rhwng gwyddoniaeth a chrefydd, ac ar yr un pryd hawlio i grefydd ei chyfran gyfiawn mewn pethau o ddyddordeb gwyddonol. Yr wyf yn addaw y caiff y pwnc, er ei drin yn annheilwng mewn ystyr arall, ei chwilio heb un math o chwerwder, gan gydnabod yn barchus y rhai a lafuriasant mor helaeth ar faes gwyddoniaeth anianyddol yn ystod y genedlaeth hon.

Y mae yn ofynol rhoddi rhyw fraslun byr o'r maes creadigol y mae a fyno yr ymresymiad oddi wrth gynllun ag ef. Cyflwyna y byd ger ein bron bedair teyrnas, neu ffeithiau dosbarthus. Un o'r rhai yma, neu y gyntaf mewn trefn, ydyw y deyrnas fwnawl. Y mae ychydig nifer a elwir yn elfenau, megys metel, gwaelodion daiarol a'r cyffelyb, y cyfryw yn cael gweithredu arnynt gan alluoedd gwybyddus i ni, megys dyscyrchiad, symmudiad, poethder, trydaniaeth, attyniad, a pherthynas elfenol, y rhai a ffurfiant y mynydd a'r dyffryn, y gwynt a'r cymylau, ymylon y môr a'r ogof; mewn gair, yr oll o'r sylfeini ysblenydd ar y rhai y cymmera y teyrnasoedd uchaf eu lleoedd. Darganfyddodd gwyddoniaeth ddiweddar, modd bynag, fod y nerthoedd anianyddol yma yn gyfnewidiol ac yn droadwy; ac fod gohiriad symmudiad yn troi yn wres, fel yng ngherbyd y gledrffordd, fod gwres yn cenedlu trydan, ac fod y ffrwd drydanllyd yn attynu yr haiarn o amgylch y ffordd yr aiff heibio. Nid yn unig hyn, ond y mae pob gallu yn cenedlu nerth cyfartal i allu arall—hyny a dim yn rhagor, ac felly ni chollir yr un gallu, er y gall y cyfryw fyned o fod yn weithredol i sefyllfa orphwysol. Cyfodir, er enghraifft, ddau dwn o ddwfr trwy fygdarthiad o'r môr, a dyfera un yn wlaw mewn dyffryn lle yr ymgasgl yn afon, ac yn ei fynediad i waered i'r môr fe droa olwyn ddwfr, cluda y cwch yn gyflym yn ei rediad, neidia dros ddibyn y rhaiadr gorwyllt. Gwir ffynnonell yr holl waith yma ydyw gwres yr haul. Cyn y gorphwysa y dwfr eto yn y môr, bydd wedi rhoddi cyfrif am yr holl nerth, mwy neu lai, a fu yn gweithredu arno—rhan o hyny mewn anesmwythder ar ei wely o achos y gwres, a'r rhan arall yn y rhwystrau a osodwyd yn ei ffordd gan ddyfais ddynol. Disgyna y twn arall yn rhyw siglen gauedig i fyny yn uchel yn y mynyddau, fel nas gall yn fuan ddefnyddio ei nerth mewn gwaith neu ddyledswydd, ac felly safa y nerth mewn gohiriad yn un gronfa. Defnyddia, dwr ar ol ei godi i safle uchel, lawer o wres yr haul; mor fuan ag y gwneir ffordd iddo redeg i'r môr, fe adfera y gwres yn ol, neu rywbeth cydwerth yn ei le, a bydd y nerth, mwy neu lai, a'i cyfododd i'r uchelder crybwylledig wedi darfod. Mae y galluoedd hyn yn gyfnewidiol, a pha un bynag ai felly neu beidio, y maent yn barhaol, fel nad oes dim yn cael ei golli, yr hyn sy'n osodiad arddangosol. Yr wyf yn credu, er nad ydyw wedi ei brofi, ond yn dybiaeth briodol, nad ydyw yr holl nerthoedd ond rhyw un nerth gorfawr yn cael ei arddangos mewn gwahanol foddau.

O berthynas i'r elfenau naturiol ar y rhai y gweithreda y nerthoedd hyn, megys *hydrogen*, *carbon*, haiarn, *calcium*, a'r cyffelyb, ni ddylid eu hystyried ond fel rhai eto heb eu dosranu i ddefnyddiau mwy syml. Ni wyddom ddim am gynnwysiad eithafol y cyfryw. Gallant fod yn agweddiad o fater eithafol; ond a ydyw y cyfryw yn bodoli? neu, fel y mae materolwyr yn dywedyd gyda'r fath hyder, ei fod yn dragwyddol ac annifodol, pa un a ydyw annhreiddgarwch yn un o'i agweddau, neu ei fod yn rhyw begwn ar gyfer y galluoedd anianyddol a

Digitized by Google

fferyllol sy'n gyssylltedig â hwy ac mewn byd gwahanol, a bod nerthoedd ereill ar waith, fel y mae yn rhaid fod yna elfenau gwahanol: mae y rhai hyn yn ofyniadau ymchwilgar, ond nis gellir eu profi. Nid oes gan yr ymchwilydd anianyddol ond ystyried yn unig y ffeithiau a ganfydda; a phan ddyweda wrthym fod mater yn dragwyddol, ac felly fod creadigaeth yn annichonadwy, y mae yn encilio o'r tir yn yr hwn y mae yn gadarn ynddo. Y mae gwadiad yr Esgob Berkeley a Collier nad ydyw defnydd yn bodoli yn wirioneddol mor briodol a'r honiad yma. Nid ydyw y ddau ond awgrymiad honiadol, ac nid gwyddoniaeth.

Y mae yna deyrnas arall i'w ychwanegu at y gyntaf. Nid ydyw y byd yn bentwr o greigiau a mynyddau, llynau a moroedd. Cyn i'r galluoedd anianyddol gwblhau eu gwaith, ychwanegwyd atynt allu newydd, sef bywyd. Gwisgwyd y creigiau noeth â mwswg byw. Blagurai mewn corsydd cynhes a llaith lysiau cyfoethog, y rhai a ddiflanent. Cadwai gwreiddiau y glaswellt y pridd ar hyd lethrau y bryniau rhag cael ei olchi ymaith gan y gwlaw a'r llifogydd i'r lleoedd iselaf. Gwisgwyd ac addurnwyd y ddaiar gerygog â miloedd o lysiau a blodau amryliw. Gofalwyd yn yr oesau hyny am fawredd presennol y deyrnas gyfunol trwy ffurfio fforestydd mawrion, y rhai a wywasant ac a fuant feirw mewn hinsawdd gwahanol i'r un y ffurfiwn ein gweinyddiaeth bresennol.

Yn drydydd, yn unol â threfn deua y deyrnas anifeilaidd. Nid wyf yn amcanu deffinio bywyd yn fanwl, pa un bynag ai anifeilaidd ai llysieuol. Methodd pawb yn yr ymdrechiad yma. Fel brasddysgrifiad o fywyd anifeilaidd, ef allai mai boddhäus dywedyd fod yr hanfod bywydol yn gynnysgaeddol ag ymsyniaeth ac hunansymmudiad, pryd y cyfrana pob rhan rywbeth at ei barhâd, ac y mae yn ei dro yn cael ei gynnal ganddynt oll. Os edrycha y rhai a welant fai yn hyn am ddeffiniad arall yng ngweithiau helaeth Dr. Whewell, canfyddant fy esgusawd yn yr amrywiol a'r annigonol ddiffyniadau sy'n gasgledig yno. Mae y deyrnas yn wasgaredig dros y byd, ac y mae yn ehelaeth, hardd, ac amrywiol o'r dechreuad. Mae y gareg galchaidd sy'n cynnwys gronynau crynion a'r *chalk* gwyn yn gyfansoddedig o gregyn Foraminifera; hefyd y mae gwely o glai ar yr afon Columbia yn 500 o droedfeddi o drwch yn cynnwys cyfran lled helaeth o gregyn y Diatorus, os rhestrir y cyfryw yn y deyrnas anifeilaidd. Cynnwysa cregyn y Foraminifera, y rhai ni ellir eu chwilio ond drwy y mwyadur, amrywiaeth rhyfeddol a phrydferth. Ond y mae y Polycystina yn hynotach fyth, cregyn, y rhai yn ol darluniau llyfr Mr. Ponton, a gynnwysant thuserau, a chawgiau, croes-emau, ser, clust-emau, y rhai y byddai yn dda i ofiaid aur Llundain eu hefelychu. Ni ellid chwilio y rhai hyn â'r llygaid nes darganfod y mwyadur. Ymdebyga cregyn y llwythau bychain hyn, y Foraminifera a'r Polycystina, i gregyn creaduriaid ereill llawer uwch yng ngraddfa bodolaeth; ond er eu bod yn berthynasol o ran cyfluniad i'w gilydd, y mae y ffurf yn wahanol, ac y mae pob un yn arddangos amrywiaeth rhyfeddol o ffurfiau. Canfyddir cymmeriadau tebyg mewn rhywogaeth uwch o anifeiliaid. Mae y cread yn orlawn, sef daiar, dwfr, ac awyr. Os siaradir am eu Creawdwr, gellir dywedyd fod ei alluoedd yn anfeidrol mewn dyfais yn yr hyn sy'n ddefnyddiol a phrydferth. Canfyddwn yng ngweithrediadau diorphwys y creaduriaid hyn, yn fychan a mawr, y dedwyddwch anianyddol sy'n dilyn can gymmaint o fywyd. Nid ydyw ond rhyw gydgan o ddiolch a mawl o lyn a dyrysni, o frigyn y pren i lawr i'r gwelltglas esmwytha, ac i fyny at y creaduriaid sy'n ymhyfrydu yn y bywyd a roddodd Duw iddynt.

Wrth hawlio yr ystyriaeth fod dyn fel yn bedwerydd yn nheyrnas natur, yr wyf yn wybyddus y gall rhai fod yn anfoddlawn i'r dybiaeth. Nid oes ammheuaeth na raid iddo gymmeryd gradd yn nheyrnas yr anifeiliaid, am y rheswm ei fod yn gydwedd â hwy yn ei gyfran fywydol. Dywedwyd pethau distadl iawn am ei ymenydd; a sylwodd Moleschott, Yr wyf yn tybio nad ydyw yr oll o'i bethau goraf ond *phosphorus* wedi ei dymmeru. Honir yn ddiweddar nad ydyw yr hyn sydd i'w weled ar ymylau allanol y glust ond ryw argoelion rhanol. Y mae meddianniad y cyfryw grair (*relic*), yr hwn fel tlws colledig y plentyn a drodd allan yn ddisymmwth mewn ffugchwedl gynhyrfus, yn profi ein perthynas â'r hil Simianaidd, a thybir ein bod yn disgyn o ryw linach foelach, gan roddi lle i ni ar bren teuluol diammheuol.

(*I'w barhau.*)

---

## GWYRTHIAU YR ARGLWYDD IESU.

MEWN trefn i ddeall natur ac amcan gwyrthiau ein Harglwydd, mae yn fanteisiol i ni geisio deall ystyr yr enwau a roddir arnynt yn y Testament Newydd. Gelwir hwynt yn arwyddion, rhyfeddodau, nerthoedd, a gweithredoedd. Ni a gawn weithiau amryw

Digitized by Google

o'r enwau hyn gyda'u gilydd, pryd arall ddim ond un o honynt. "A Duw hefyd yn cyd-dystiolaethu trwy arwyddion, a rhyfeddodau, ac amryw nerthoedd a doniau yr Ysbryd Glân, yn ol ei ewyllys ei hun," Heb. ii. 4.

1. Gelwir hwynt yn *rhyfeddodau* o herwydd dyma un o'r effeithiau uniongyrchol ar y bobl wrth eu canfod hwynt, "A synu a wnaethant yn anfeidrol, gan ddywedyd: Da y gwnaeth efe bob peth; y mae efe yn gwneuthur i'r byddair glywed ac i'r mudion ddywedyd," St. Marc vii. 37. Nid yw yr enw hwn yn gosod allan ystyr foesol y gwyrthiau; am hyny, ni ddefnyddir ef byth wrtho ei hun, ond mewn undeb ag un neu ychwaneg o'r enwau ereill.

2. Gelwir hwynt yn *nerthoedd* neu *weithredoedd nerthol* am eu bod yn amlygiadau o allu goruwchnaturiol: "Yna y dechreuodd efe edliw i'r dinasoedd yn y rhai y gwnaethid y rhan fwyaf o'i weithredoedd nerthol ef, am nad edifarhasent," St. Matt xi. 20.

3. Gelwir hwynt hefyd yn *arwyddion* am eu bod gyda golwg ar yr Arglwydd Iesu yn arwyddion o'i ddwyfol anfoniad. Yr oeddynt megys cloch yn galw'r bobl yng nghyd i wrando ar yr Hwn oedd yn gallu cyflawnu y fath arwyddion, ac yn yr Hwn yr oedd y fath nerthoedd yn preswylio. Gan fod yr Arglwydd Iesu yn dweyd ei fod yn Anfonedig ac yn Fab Duw, yr oedd yn naturiol dysgwyl iddo wneyd rhywbeth teilwng o hono ei Hun, ac yr oedd gan ddynion hawl i ofyn arwydd neu arwyddion ganddo i brofi yr hyn oedd yn ddweyd am dano ei Hun. Gan hyny, mae ei wyrthiau yn brofion, yn arwyddion, ac megys tyst-lythyrau o'i blaid yn profi yn ddwyfol anfoniad: "Credwch fi, fy mod i yn y Tad, a'r Tad ynof finnau: ac onid e, credwch fi er mwyn y gweithredoedd eu hunain," St. Ioan xiv. 11. "Oni bai wneuthur o honof yn eu plith y gweithredoedd ni wnaeth neb arall, ni buasai arnynt bechod; ond yn awr hwy a welsant, ac a'm casasant i a'm Tad hefyd," St. Ioan xv. 24. Yn y geiriau uchod mae y Gwaredwr yn cyfeirio at ei weithredoedd fel arwyddion neu brofion o'i ddwyfol anfoniad, ac o wirionedd ei ddysgeidiaeth.

4. Enw arall ar y gwyrthiau yw *gweithredoedd*, yr hwn a ddefnyddir yn fynych yn yr efengyl yn ol St. Ioan, gan yr efengylwr ei hun a chan yr Arglwydd Iesu. Prif bwnc y pedwerydd efengyl yw dwyfoldeb Person yr Arglwydd Iesu, ac yn y goleuni hwn mae y gwyrthiau yn peidio â bod yn rhyfeddodau. Nid yw yn rhyfedd fod yr hwn oedd â'i enw yn "Rhyfeddol" yn cyflawnu gweithredoedd rhyfedd. Y rhyfeddod mwyaf yw Ef ei hun, dwyfoldeb ei Berson, y dyn â'r Duwdod ynddo'n trigo; felly nid yw y gwyrthiau rhyfeddaf a gyflawnwyd erioed ond gweithredoedd naturiol iddo Ef.

Credwn mai y darnodiad goreu o wyrth yw, mai gweithred oruwchnaturiol ydyw, nid croes i ddeddfau natur ond uwch law iddynt. Nid yw pob arwydd yn wyrth; er enghraifft, fe ddywedodd yr angel wrth fugeiliaid Bethlehem, "A hyn fydd arwydd i chwi: Chwi a gewch y dyn bach wedi ei rwymo mewn cadachau, a'i ddodi yn y preseb," St. Luc ii. 12. Ac nid yw rhyfeddodau, nerthoedd, neu weithredoedd nerthol bob amser yn wyrthiau; o herwydd y mae y greadigaeth yn llawn rhyfeddodau, ac y mae deddfau natur yn nerthoedd mawrion, ond y maent yn gweithio yn ddystaw, yn raddol, ac yn gysson, fel nad yw dynion yn aml yn sylwi arnynt nac yn meddwl yn eu cylch. Y mae gwyrthiau yn wahanol i ddeddfau natur, am eu bod uwch law iddynt, yn bethau anghyffredin, yn cymmeryd lle yn sydyn yn ol ewyllys yr Hwn sydd yn eu cyflawnu, a thrwy hyny yn tynu sylw. Mae yn perthyn i natur ddeddfau uwch a deddfau is, ac y mae dyn o fewn rhyw derfynau yn gallu gwneyd defnydd o ddeddfau natur, a'u troi at ei wasanaeth ei hun, nid trwy dori unrhyw ddeddf, ond trwy ddwyn deddfau uwch i weithredu ar ddeddfau is. Pan y mae dyn yn taflu careg i'r awyr, nid yw yn tori deddf attyniad, ond y mae y ddeddf hon ar y pryd yn rhoddi ffordd i ddeddf arall o uwch, sef y gallu y mae braich dyn yn ei roddi i'r gareg i esgyn i fyny. Felly nid yw gwyrth yn groes i natur ond uwch law: iddi deddfau natur yn rhoddi ffordd i alluoedd ereill uwch sydd wedi eu dwyn i weithrediad ar y pryd.

Nid yw pob math o wyrthiau yn profi fod yr Hwn sydd yn eu cyflawnu yn anfonedig Duw, o herwydd mae y Diafol yn gallu rhoddi nerth i ddynion i gyflawnu rhyw fath o wyrthiau. Rhaid addef fod gweithredoedd swynwyr yr Aipht yn wyrthiau gwirioneddol, eto plant y Diafol oedd yn eu cyflawnu ac nid gweision Duw. Y prawf goreu pa un a yw dyn yn anfonedig Duw ai peidio yw ei gymmeriad personol a natur ei ddysgeidiaeth. Os bydd dyn yn dysgu twyll a chelwydd, nis gall unrhyw wyrthiau brofi fod celwydd yn wirionedd. Mae y gwyrthiau a gyflawnir yn nerth y Diafol yn ddiles, yn gwasanaethu er llwyddiant teyrnas y tywyllwch, ac yn dwyn delw eu hawdwr, yr hwn yw tad y celwydd a lleiddiad dyn o'r dechreuad.

Mae y fath ragoriaethau pwysig yn perthyn i wyrthiau yr Arglwydd Iesu, fel y maent yn profi ei fod yn Anfonedig y Tad, yn Fab Duw, ac yn Waredwr pechaduriaid, yn enwedig wrth edrych arnynt mewn undeb â'i ddysgeidiaeth ddwyfol a'i fywyd

Digitized by Google

sanctaidd. Gyda'r eithriad o felltithio'r ffigysbren ddiffrwyth, gweithredoedd o drugaredd yw ei holl wyrthiau. Wrth felltithio'r pren yr oedd ein Harglwydd yn dysgu gwers bwysig, sef y perygl o gamddefnyddio ein breintiau, ac o fyw yn ddiffrwyth yng nghanol breintiau crefydd; gan hyny, trugaredd oedd y prif amcan mewn golwg yn y wyrth hon eto. Y mae gwyrthiau prophwydi yr Hen Destament ac apostolion y Testament Newydd yn wyrthiau o drugaredd a barn, ond nid oes dim ond trugaredd yng ngwyrthiau ein Harglwydd. Troi y dwfr yn win, iachäu pob clefyd a phob afiechyd ym mhlith y bobl, rhoddi llygaid i ddeillion, traed i gloffion, clustiau i fyddariaid, bywyd i'r meirw, porthi'r miloedd, gostegu'r 'storm ar y môr, bwrw allan ysbrydion aflan, yr helfa bysgod, a'r cyffelyb. Mae y rhai hyn yn weithredoedd o drugaredd, yn wyrthiau o gariad yn gystal a gwyrthiau o allu. Pan ddarfu i Ioan Fedyddiwr anfon cenadau at ein Gwaredwr i ofyn ai Efe oedd y Crist, ei ateb oedd, "Ewch, a mynegwch i Ioan y pethau a glywch ac a welwch: y mae'r deillion yn gweled eilwaith, a'r cloffion yn rhodio, a'r cleifion gwahanol wedi eu glanhau, a'r byddariaid yn clywed; y mae y meirw yn cyfodi, a'r tlodion yn cael pregethu yr efengyl iddynt," St. Matt. xi. 4, 5. Yn hytrach na dweyd mewn geiriau mai Efe oedd y Crist, Mab Duw, y mae yn cyfeirio at ei weithredoedd fel profion o hyny. Mae ei wyrthiau o gariad yn egluro ei "ogoniant, gogoniant megys yr Uniganedig oddi wrth y Tad, yn llawn gras a gwirionedd," ac yn profi iddo ddyfod i'r byd nid i ddistrywio eneidiau dynion ond i'w cadw. Yr oedd yn myned oddi amgylch gan wneuthur daioni, ac yn gwasgaru bendithion pa le bynag yr elai.

Fe ellir dweyd mewn ystyr am wyrthiau ein Harglwydd, gyda'r eithriad o felltithio'r ffigysbren ddiffrwyth, mai y gwir naturiol ac nid y goruwchnaturiol ydynt: yr annaturiol yw fod dynion yn cael eu blino gan wahanol glefydau, heintiau, ac anhwylderau; y gwir naturiol yw fod pawb yn mwynhau helaethrwydd o iechyd a nerth; yr annaturiol yw fod gwin yn brin at wasanaeth dyn; y gwir naturiol yw fod cyflawnder o win i'w gael at angen dyn; yr annaturiol yw fod neb mewn eisieu bara beunyddiol, a bod y ddaiar yn brin yn rhoddi ei ffrwyth; y gwir naturiol yw fod cyflawnder o ymborth i'w gael; yr annaturiol yw fod elfenau natur, megys y gwynt a thônau'r môr yn beryglus i fywyd dyn. Y gwir naturiol yw, fod pob peth ar y ddaiar yn gwasanaethu er cysur a dedwyddwch dynion; yr annaturiol yw fod dynion yn cael eu meddiannu a'u poeni gan ysbrydion aflan; y gwir naturiol yw, fod dynion yn rhydd oddi wrth eu dylanwadau niweidiol a thruenus. Dengys yr uchod mai amcan ein Gwaredwr yn dyfod i'r byd oedd ein gwaredu oddi wrth ein pechodau ac oddi wrth eu holl effeithiau yn dymmorol ac ysbrydol, ac yn amserol a thragwyddol.

*Abercrave, Ystradgynlais.* D. J. DAVIES.

---

## CYNTEDD Y GWRAGEDD.

### ORIAU HAMDDENOL A MODDION DIFYRWCH.

GWEDI son am anfanteision a chamwri merched yn eu galwedigaethau yn yr ardaloedd amaethyddol, mi a droaf yn bresennol at eu horiau hamddenol a moddion difyrwch. Yr wyf yn ysgrifenu oddi ar brofiad personol, ac y mae genyf ger bron fy llygaid dystion byw o wirionedd yr hyn a ddywedaf. Fel rheol, nid ydyw merched ieuainc yr oes hon ddim yn defnyddio eu horiau hamddenol yn ddoeth, nac yn cael nemawr ddim elw o'u difyrwch. Prif a bron unig foddion difyrwch merched ieuainc yr oes hon ac yn y gymmydogaeth yma ydyw mynychu cyfarfodydd cyhoeddus, cyfarfodydd llenyddol, cyngherddau neu *concerts*, a gwrandaw darlithiau, a chymmeryd rhan mewn cyfarfodydd canu.

Y mae hanes dwy o'm morwynion fy hun yn dyfod i fy meddwl y mynyd hwn, a gallai mai y dull goreu i mi ddangos pa fodd y gellir troi oriau hamddenol yn foddion i ychwanegu cysuron neu i'w dinystrio, yw dodi hanes fy nwy forwyn.

Ugain mlynedd yn ol, daeth i fy ngwasanaeth eneth gariadus a llon yn un ar bymtheg oed fel ail forwyn, ac ni bu geneth fwy rhadlawn a charedig mewn tŷ. Yr oedd wedi bod yn yr ysgol genedlaethol hyd nes oedd yn dair ar ddeg, ac yn gallu ysgrifenu yn dda, ac yr oedd ganddi *certificate* y *tonic sol-ffa*. Syrthiodd fy mhlant mewn cariad â hi ar unwaith, ac nid oedd dim yn fwy pleserus ganddynt na bod yn ei chwmni. Canu oedd ei phleser, ac yr oedd ei llais fel cloch arian. Yr oedd y wlad ar y pryd yn llawn o ganu, a'r cyngherddau bychain a chyfarfodydd adloniadol (*penny readings*) yn ysgubo pob peth o'u blaenau. Tybid ar y pryd y byddai i'r moddion difyrwch "*moes-ddyrchafol*" a deniadol hyn wacäu y tafarnau a sirioli oriau hamddenol y gweithiwr. Gan fod Jane Ellin, ein morwyn ieuanc ni, yn gantores hynod o dda, ac yn meddu llais *soprano* anghyffredin o lawn a mwyn, yr oedd galwad parhäus arni i wneyd i fyny ryw driawd, neu bedwarawd, neu ddeuawd yng nghôr

unedig y pentref. Yr oedd hithau, yn eneth lon, chwarëus, a phrydferth iawn hefyd, wrth ei bodd, ac yn barod dros ben i aberthu pob dechreu-nos at ganu erbyn rhyw gyfarfod. Bûm lawer gwaith yn grwgnach fod Jane Ellin yn colli gormod o amser gyda'r canu—a dweyd yn ddystaw i chwi, yn gadael i'w hosanau fyned yn dyllau, a dillad ereill cynhes yn rhy anghynnefin â dwfr ac awyr agored, ac yn dyllog. Ofnwn hefyd i Jane Ellin droi yn wammal; ond a dweyd y gwir am dani, ychydig o'r duedd ysgafn wammal oedd ynddi. Geneth siriol, chwarëus, heulog, galon ysgafn, ond ddifalais a phur ei meddwl oedd. Yr oedd John fy ngwr hefyd yn hoff iawn o'r cyfarfodydd adloniadol, a chan ei fod yn dipyn o lenor, gofynid iddo yn wastad lywyddu; a lle yr oedd John yn llywydd, nid oedd wiw i mi ddweyd llawer yn erbyn i Jane Ellin "helpu'r canu." Daeth doethion y côr undebol i ddeall hyn yn gynt na mi na John. A byddai gofyn am John i lywyddu yn rhagdybio Jane Ellin i ganu.

Ni pharhaodd y canu mawr yn ei hwyl ond am dri gauaf; ond eto yr oedd wedi tynu ysfa gwau a gwnïo yn llwyr o fysedd Jane Ellin, a phlanu ynddi awydd nas gallai ei orchfygu am fynychu pob *concert* a allai, a chymmeryd rhan yn y canu mor aml ag ydoedd bosibl. Ychydig hefyd ar y cyfan oedd hi wedi ei ddysgu yn wirioneddol o waith tŷ, o herwydd nid oedd ei chalon yn y gwaith. Gadäwn Jane Ellin yma dros ychydig.

Yr oedd yn y côr undebol wr ieuanc o saer maen ryw ddwy neu dair blynedd yn hŷn na Jane Ellin, ac yn ganwr *bass* rhagorol. Dywedai pawb o'r doethion cerddorol y byddai llais y ddau wrth gydganu yn "toddi i'w gilydd," a dodid hwy i mewn bron ym mhob deuawd, triawd, a phedwarawd. Edrychent yn union fel brawd a chwaer, a daethant yn ddiarwybod yn hoff o'u gilydd. Aeth Evan Jones y saer maen i weithio i ardal arall, a pharhaodd Jane Ellin yn ein gwasanaeth ni, yn forwyn *fwyaf* bellach. Yr oedd yn un ar hugain oed pan, gwedi absennoldeb blwyddyn, y daeth Evan Jones yn ol i weithio at adeiladwr yn y pentref. Yr oedd hi yn gynnar yn y gwanwyn, a dywedodd Jane Ellin wrthyf yn 'swil nad oedd hi ddim yn meddwl cyflogi yr haf, ac yn araf rhoddes ar ddeall i mi ei bod dan ammod i briodi ym Mai, a phriodi Evan Jones y saer maen. Gwyddwn nad oedd Jane Ellin wedi cynnilo bron ddim, a gofynais beth oedd gan Evan Jones. Atebodd nas gwyddai, ac nad oedd wedi gofyn iddo; ond yr oedd wedi dweyd wrthi ei fod yn gwneyd tri a chwech y dydd o gyflog trwy yr haf. Priodi a wnaed ym Mai, a rhoddais innau wely plu i Jane at ddechreu byw, gan mai hi oedd y forwyn gyntaf i briodi o'n tŷ ni, wedi gwasanaethu dros chwe mlynedd.

Cafodd Evan Jones a Jane Ellin dŷ yn ymyl y pentref, ar fin y ffordd fawr, heb ddim ond gardd fechan o ryw hanner canllath ysgwâr rhyngddo a'r ffordd. Yr oedd gardd hefyd a lle taenu dillad agos i chwarter erw o dir wrth dalcen y tŷ, ond yn lled aflêr. Rywfodd neu gilydd gallodd y ddau gael ychydig o ddodrefn yn lled gysurus at eu gilydd, a llawer gwaith y troais i mewn i edrych am Jane Ellin ar fy ffordd i'r pentref. Byddai llyfr y *tonic sol-ffa* yn aml iawn ar y bwrdd yng nghanol llestri bwyd heb eu golchi weithiau gryn bellder oddi wrth amser pryd; ac elai yr ychydig weddill gwaliau ceryg o amgylch yr ardd o flaen drws yn fwy aflêr fis ar ol mis, ac nid oedd ond ychydig o ganol yr ardd wrth dalcen y tŷ wedi ei phlanu â thatws, na dim arall. Gelwais sylw at y mân esgeulusderau o'r tu allan i'r tŷ mewn dull mor ddidramgwydd ag y gallwn, a rhoddai Jane Ellin yn esgus fod rhywun yn wastad yn galw am ei help hi ac Evan Jones at ryw *concert* neu gilydd. "Yr ydym ni wedi helpu llawer iawn ddiwedd yr haf yma," meddai, "ac y mae pawb am glywed Evan yn canu." Yr oedd Jane Ellin yn ddigon gwylaidd i beidio enwi ei hunan, ond gwyddwn ei bod yn meddwl am y clod a roddid iddi gan ei hedmygwyr. Aeth blwyddyn lled hapus heibio yn mywyd priodasol Jane Ellin heb i lawer o ofalon i beri iddi ofid.

> "A pheth bynag ddcuai i'w blino,
> Canu wnai a gadael iddo."

Yn lled ddiweddar yng ngwanwyn yr ail flwyddyn ar ol priodas Jane Ellin, troais ar ddamwain i edrych am dani ar fin yr hwyr, a chefais hi yn ei dagrau bron am y tro cyntaf erioed, o herwydd geneth siriol a llawen oedd bob amser. Ymdrechodd eu cuddio pan aethym i mewn, ond yr oedd yr olwg ddigysur o amgylch wedi ennyn y fath dosturi a theimlad ynof, fel y methais beidio â gofyn beth oedd yn ei blino. Agorodd hyny ffrwd ei dagrau yn fwy, ac atebodd gan gystal ag y gallai—

"Yr wyf yn unig iawn, ac wedi bod yn unig trwy y gauaf. Nid ydyw Evan ddim gartref braidd noson drwy'r gauaf. Ac y mae o heno wedi myned yr holl ffordd i'r Capel Celyn i ganu hefo côr y Gelli Fawr. Nid oedd ganddynt neb i ganu y *solo bass*, ac mi fuasai yn dda genyf fyned gydag ef. Ar ol geni'r babi nid oes modd i mi fyned i unlle, ond y mae Evan â'i draed yn rhyddion fel llanc, yn medru myned i bob man. Ond ni fuaswn i ddim yn hidio

Digitized by Google

pe buasai yn aros gartref nosweithiau ereill. Yr wyf yn ofni ei fod yn colli ei flas ar ei gartref ar ol geni'r babi, ac y mae yntau yn fabi croes iawn. O meistres, yr ydwyf wedi meddwl llawer am danoch wrth feddwl am yr hen erddi yma a'r gwaliau yn gydwastad â'r llawr yn un *lanast* o amgylch y tŷ; ac yr ydwyf wedi gofyn llawer i Evan am eu codi, ac y mae wedi addaw gwneyd yn yr haf. Mi fuasai yn ddigon hawdd iddo wneyd y gauaf; fe fu yn hir allan o waith. Ddoe ddiweddaf yr oeddwn yn golchi wrth y bwrdd yna a'r babi yn y siamber, ac ni wneis i ddim ond troi fy nghefn wrth glywed y babi yn *stwyrian* (deffro) na ddaeth mochyn Ty'n y Ffordd i'r tŷ; a phan ddaethym o'r siamber rhedodd y mochyn dan y fainc, a thaflodd y badell bridd oedd genyf yn golchi yn ddarnau ar y llawr, a'r dwr a'r dillad yn *llanast*. A'r wythnos o'r blaen mi 'roeddwn i wedi golchi dwy gynfas a dillad ereill a'u taenu ar wrych uchaf gardd talcen tŷ, a daeth un o wartheg Ty'n y Nant, a bwytaodd y rhan fwyaf o un ganfas, a thynodd ddillad ereill dan draed. Pe buasai Evan wedi edrych am wneyd y wal i fyny mewn pryd, ni fuasai na buwch na mochyn yn *trespasu*, fel y byddech chwi yn dweyd, meistres."

Ni wyddwn pa beth i'w ddweyd i wneyd lles ac i gysuro Jane Ellin, druan. Yr oedd tynged y ceiliog rhedyn bron â'i dal. Yr oedd wedi canu drwy yr haf, ac angenrheidiau gauaf wedi ei dal. Gwyddwn ei bod hi mor aflêr yn y tŷ ag ydoedd Evan allan, ond i ba beth yr elid i edliw? Edrychais yn ofalus dros y babi tri mis oed oedd yn myned i'w olchi, a gwelais ol esgeulusdra arno. Gadawsai i dynerwch ei gorff ysgaldian o ddiffyg newid dillad yn ddigon aml a golchi, a gwelais un o achosion ei groesni. Dangosais fy ngoreu iddi pa fodd i wella; ond ofnais na allwn wneuthur llawer o les, am nad oedd erioed wedi ymbleseru mewn gwaith tŷ, a gwau, a gwnïo; a dywedodd wrthyf nad oedd erioed wedi bod yn ymbleseru yn gwisgo doll pan yn eneth fechan. A thori ystori hir yn fer, daeth Jane Ellin yn fam tri o blant, ond ni fu yn "llawen fam plant." Rhoddes ei hysbryd i lawr yn raddol; collodd ei hiechyd, ond daliodd y gwr i ganu, a threulio ei nosweithiau ac oriau hamddenol mewn cyrddau canu, heb ofalu am gysur ei wraig a'i blant ym mhellach na thaflu ei gyflog i'w dwylaw, nes y dechreuodd blodau y bedd ymddangos ar ruddiau Jane Ellin, gan daflu iddynt wrid annaiarol a dysgleirdeb dyeithr i'w llygaid. Dywedodd y doctor ar ol genedigaeth y trydydd baban, os na ddeuai cyfnewidiad buan, na allai fyw drwy drymder gauaf a gwanwyn yn ychwaneg. Deffröes Evan fel un o freuddwyd, a gwelodd gyflwr digysur ei deulu. Agorwyd ei lygaid i weled fel yr oedd wedi gadael ei wraig yn ddigysur a digymhorth am dros bum mlynedd, heb ymdrechu ei gwneyd yn gysurus. Gadawsai hi mewn bywyd o unigolrwydd gartref tra yr elai efe o amgylch i ymheulo yng ngwenau diwerth cwmnïon ysgeifn, a chanmoliaeth wag curo dwylaw a thraed bachgenos a genethod. Ar ol iddi fyned yn rhy hwyr, fe wnaeth ei oreu drosti; ond yr oll a allai wneyd oedd cadw haul-wenau ei dyner gariad i dywynu uwch ei phen hwyr nawn ei chystudd, ac esmwythäu ei gobenydd ar wely angeu. Penliniodd lawer wrth ei gwely gydag offeiriad y plwyf yn ei ymweliadau, ac wrtho ei hun hefyd, a gweddïodd am ei hadferiad. Fel yr oedd y darfodedigaeth yn teneuo y llen o gnawd, a bwyta nerth y cyfansoddiad oddi mewn, ymddangosai ei wraig yn ymdrwsio fwyfwy mewn anwylderau a thegwch pryd a moes, llais a gwenau swynol. Tynwyd i fyny ei chrefydd a'i phurdeb calon i'r gwyneb, a dychwelodd teimlad canu yn ol i'w mynwes. Canai ambell linell o'r hen emynau melus a garai gynt ar ei gwely y nos. Daeth cyfnod byr o sirioldeb heulog i'w lloni cyn ei myned, a gwelodd ei gwr beth a allasai fod ei gysur ef a hithau, pe buasent wedi meddwl a dysgu sut i fyw ar ol priodi.

Hunodd Jane Ellin yn dawel ym mreichiau ei gwr, a breichiau mwy galluog na'r eiddo ef, gan adael ar ei hol ei thri phlentyn. Ar ol ei cholli dechreuodd Evan Jones feddwl am fyw; a thrwy gynnorthwy chwaer iddo y mae ganddo dŷ cysurus; neu yn hytrach y mae wedi gwneyd ei dŷ yn gysurus drwy dacluso pob peth oddi allan ei hun, a chalonogi ei chwaer i drefnu oddi mewn.

Yr eiddoch,

MARGARET HUGHES.

---

## LLAN CWM AWEN: NEU DDEFFROAD EGLWYSIG HANNER CANRIF YN OL.

(*Parhâd o dudal. 117*).

### PENNOD VIII.

### *Y Deon Gwladol.*

"Gan ein bod yn ymdrin â phynciau Eglwysig," ebai Llewelyn Llwyd, "beth am eich deon gwladol (gwladol, *rural;* gwledig, *rustic*. Gwelir ambell bapyr newydd yn galw *rural dean* yn ddeon gwledig, *rustic dean*)? yr wyf yn ofni na adawodd yr argraff oreu ar feddwl Mrs. Lloyd."

Digitized by Google

"Tybed, Mrs. Lloyd," atebai Mr. Hughes. "Nid oes hen foneddwr purach yn nhair sir ar ddeg Cymru na Mr. Meurick Oxley. Y mae yn foneddwr o fawd ei droed i'w goryn."

"Gormod o foneddwr ef allai ydyw," meddai Angharad.

"Gormod o foneddwr i wneyd ei waith oeddwn yn feddwl," ychwanegai.

"Ofnaf, madam," atebai Mr. Hughes, "fod Mr. Meurick Oxley wedi cael taith lled hir trwy yr oerni heddyw, a gallai nad oedd yn y dymmer oreu, o herwydd nid yw yn hoff iawn o deithiau meithion ar hyd ein ffyrdd geirwon yr amser yma o'r flwyddyn, ac y mae yn heneiddio."

"Wel," meddai Angharad, "yr ydych chwi, Mr. Hughes, yn esgusodwr da dros eich blaenoriad. Ond ymddangosai i mi fel gwr a'i teimlai yn ormod o faich rhoddi Mr. Lloyd mewn meddiant o'i blwyf; ac am y plwyfolion, ni ddywedodd air wrth un o honynt, nac am danynt."

"Ychydig o Gymraeg yn wir a fedr Mr. Meurick Oxley siarad, a chan belled ag y mae a wnelo lles yr Eglwys, buasai yn dda pe na lefarasai ddim, o herwydd gwneir ei Gymraeg yn destyn difyrwch pobl gellweirus, ac yn boen i ereill."

"O, Mr. Hughes," ebai Angharad, "yr ydych yn tori fy nghalon i. Ni fedraf fi ddim Cymraeg werth dim; ac yr oeddwn yn meddwl dechreu siarad Cymraeg o ddifrif ar ol dyfod yma. Ai fy ngwneyd yn destyn difyrwch a wna gweilch Llan Cwm Awen?"

"Nag e, madam," atebai Mr. Hughes. "Y mae gwahaniaeth dirfawr rhwng boneddiges yn ymostwng i ymdrechu siarad â'r werin yn eu hiaith eu hunain, er y gall fod mewn llediaith plentynaidd, a gwr Eglwysig yn esgyn i ddysgu cenedl mewn llediaith annealladwy, ac aceniadau neu ymadroddion chwerthinllyd. Dyrchefir y foneddiges yn wrthddrych anwylder, tra y darostyngir yr athraw yn destyn gwawd."

"Y mae eich athroniaeth yn rhy ddofn i mi," ebai Angharad. "Pa fodd y gall hyny fod?"

Ychwanegai Mr. Hughes, "Nid oes dim yn fwy naturiol. Mae y syniad o gymmwynasgarwch ac ymostyngiad, os nad o aberth, yn cydfyned â gwaith y foneddiges. Ennilla hyn y serch, ac ychwanega y llediaith symlrwydd ei hymddygiad. Dywedir ei bod yn siarad yn anwyl. Mae y syniad o anghyfaddasrwydd, o gamwri gwladol, os nad o sarhâd gwladol, yng nglŷn â dyrchafiad estron lledieithog, i'r safle o offeiriad Cymreig, fel y cymmerir mantais i'w ddiystyru. Ac yn wir, madam, maddeuwch i mi am wneyd y sylw, y mae yn anhawdd i'r werin beidio gweled anghyfaddasrwydd mawr mewn rhoddi gofal pum plwyf i un boneddwr fel Mr. Meurick Oxley."

"Gan ein bod wedi cyffwrdd â'r fath destyn, Mr. Hughes," ebai Angharad, "yr ydych yn siarad yn llawer rhy dyner wrth ddweyd 'rhoddi *gofal* pump o blwyfydd'—'rhoddi *elw* pum plwyf yr ydych yn feddwl.'

"Onid ydyw ein deon gwladol wedi rhoddi dau o'i blwyfydd i fyny yn ddiweddar?" gofynai Llewelyn Llwyd.

"Ydyw," atebai Mr. Hughes. "Y mae yr esgob yn dirwasgu ar yr hen segur-swyddwyr gweddill yn yr esgobaeth i ddarparu curadiaid yn ol rhif y boblogaeth, a thalu iddynt hefyd ar well *scale*. Felly ni bydd y fath elw mewn bod yn aml-blwyfog yn fuan."

"Ond gadëwch i mi ofyn i chwi, Mr. Hughes, beth a barai i Mr. Oxley fod mor ffurfiol, byr-eiriog, a phellenig gyda ni? Ni chynnygiodd gymmaint a llaw i Mrs. Llwyd, er i mi ei chyflwyno i'w sylw?"

"Yr ydych yn gofyn cwestiwn tyner iawn," atebai Mr. Hughes, "a rhaid i ni ofyn maddeuant Mrs. Llwyd cyn ceisio ei ateb. Un o erthyglau ffydd Mr. Meurick Oxley yw, na ddylai curad briodi; a'i ail erthygl yw, na ddylai neb ond pobl o foddion da gael personoliaeth. Yr ydwyf yn gwybod ei fod yn cyfeiliorni wrth eich rhoddi chwi yn nosbarth ei ysgymmunedigion, ond ofnaf mai dyna fu eich tynged. Y mae llawer iawn o ddaioni yn yr hen foneddwr; ond y mae ei hynodrwydd, ei gas, a'i gariad yn fawr hefyd. Y mae wedi treulio ei holl fywyd mewn awyrgylch hollol wahanol i naw o bob deg o'i blwyfolion, ac i dri o bob pedwar o'r offeiriaid presennol."

"Yn sicr ddigon, Mr. Hughes," ebai Angharad, "yr ydych wedi ennyn fy chwilfrydedd i ymholi mwy am y rhywogaeth yma o offeiriaid Cymreig. Yr wyf yn ofni y byddant oll wedi meirw yn fuan, ac na cheir un enghraifft ond mewn amgueddfa neu mewn *fossil*: bydd bechgyn Ystrad Meirig wedi eu gwthio o fodolaeth.

## PENNOD IX.

### *Y Lletty.*

Cyn pen nemawr o ddyddiau ar ol ei ddodiad mewn meddiant ffurfiol o bersonoliaeth Cwm Awen, yr oedd Llewelyn Llwyd ac Angharad wedi cymmeryd eu cartref fel llettywyr ym Mhlas y Cwm. Gwelsai yr hen Blas amser gwell—amser o lawnder gwledig—digonedd cartrefol, cyfeddach, a gwledd-



Digitized by Google

oedd, swn a miri trystfawr ysweiniaid hanner diwylliedig canrif yn ol. Safai yr hen Blas ar godiad tir lled uchel, yng nghanol coed hynafol, tua chwarter milltir oddi wrth yr Eglwys a'r Persondy, ac uwch ben yr afonig gymmwynasgar a gludai bron holl ddyfroedd Cwm Awen i'r môr cyfagos. Er fod coedwig hynafol y Plas wedi ymddiosg o'i dail, ac fel môr-lynges yn y porthladd â'i hwyliau i lawr, wedi ymbarotoi ar gyfer ystormydd y gauaf, gwelid, er i'r hen foneddwyr ymadael o'r Plas, nad ymadawsai y brain o'r goedwig. Arosai ol-weddillion eu pebyll hwy yng nghrog i siglo yn yr awel ar frigau y coed; ac eisteddai ambell dŵr bychan o frain yma a thraw ar y brigau i ymgom am a fu neu ymgynghori am a ddeuai mewn llais crug tra phriodol i'r amser hwnw o'r tymmor.

Yr oedd holl gynneddfau meddwl Angharad yn effro iawn, fel y mae yn naturiol ar ei dyfodiad i le newydd, mewn safle newydd, ac o dan gyfrifoldeb newydd, felly cymmerai sylw manwl o bobpeth. Yr oedd mor llawn o fywyd, teimlad, syniad, a chydymdeimlad fel y derbyniai argraff oddi wrth bobpeth, ac y daliai fath o gymmundeb â phobpeth. Siaradai megys â phobpeth—ymofynai megys â phobpeth Nid rhyfedd felly iddi gymmeryd i'w meddwl ar un olygfa photographaidd ddarlun o'r Plas yn gystal a'i amgylchoedd—ei furiau llydain, wedi eu gorchuddio ag eiddew hyd y tô—ei ffenestri bychain a lluosog, y grisiau derw duon, llydain, cryfion, yn esgyn ar hanner tro bwaog o'r neuadd i'r llwyfan uwch ben, a'r fynedfa rhwng yr ystafell welyau. Y drysau derw duon, y llofftydd derw, a'r cwppyrddau derw ym mhob ystafell, ac nid lleiaf y panneli derw yn lle calch-waith, neu babyr, neu baent ar hyd parwydydd pob ystafell, yn rhoddi golwg gynhes i'r tŷ, ac amddiffyniad cadarn i'r llygod mawr a wnaent eu llochesau o'r tu cefn i'r estyll. Rhoddwyd meddiant o dair ystafell o'r hen Blas i Angharad.

Ond nid awn i fanylu ar ddarpariaethau mewnol y briodferch ieuanc yn ei lletty cyntaf. A'r bywyd cyhoeddus y mae â wnelom ni yn uniongyrchol, a dyma gaiff ein hystyriaeth fanylaf. Ond rhaid dweyd gair am deulu y Plas. Yma preswyliai Mr. Humphrey Owen, gwr o deulu tra adnabyddus yn y cymmydogaethau, ac fel lluaws ereill o breswylwyr y môr-lanau, un yn ymwneyd â dyledswyddau amaethwr a morwr. Magesid ef yn y Plas. Cawsai addysg forwrol dda—buasai yn treulio ugain mlynedd o'i oes fel morwr gan ddechreu yn *second mate*, a hwylio cyn diwedd dros rai blynyddoedd yn gadben mewn masnach coed o Ogledd America i Lerpwl. Pan yn ddeugain oed, ymbriodasai â merch ieuanc deg ei golwg, hardd ei moes, a phur a chywir ei chalon, o hanner ei oedran ei hun, ac o eiddo da. Rhoddes i fyny y môr yn lled fuan, ac ar farwolaeth ei dad oedd yn weddw cymmerodd ei gartref yn y Plas gyda'i briod ieuanc hoffus. Ond daliodd ei afael yn ei gyfranau o'r llongau a'r masnach coed, a chwythai awelon llwyddiant yn deg o'i du. Fel cymmwynas i Mr. Hughes y gadawsai iddo gael lletty yn y Plas; a chyda'r un teimladau da y cymmerodd i mewn Llewelyn Llwyd ac Angharad. Yr oedd digon o le yn y Plas, a phrinder mewn manau ereill; a chan fod Mr. H. Owen yn talu am dano, ni welai ddim allan o'i le mewn derbyn tâl am y rhan ddiangenrhaid iddo ei hun o hono. Erbyn dyfodiad Llewelyn Llwyd i'r Plas, yr oedd Mr. a Mrs. Owen yn rhieni llawen geneth siriol a chwareugar o saith mlwydd oed. Nid awn i dynu darlun cwilsyn gwydd o honi. Digon yw dweyd ei bod yn eneth iach, heinif, o dymmerau siriol, gwedi cael cyflawn chwareu teg mewn ymborth, dillad, a phob gofal arall gan ei rhieni o'i mebyd. Cawsai ddigon o luniaeth—digon o gynhesrwydd, digon o gymdeithas, digon o awyr agored, a digon o chwareuaeth, yn gymmysg ag addysg priodol i'w hoed. Nid oes angen dweyd mwy na hyn i argyhoeddi y darllenydd synwyrol ei bod yn *beth* tlws, yn beth hoffus, llawn anwylder, a llawn sirioldeb. Nid oes angen dweyd yng ngeiriau deusill ymffrostgar yr hen Rufeiniwr, "daethym," "gwelais," "curais" (gorchfygais); ond yn sicr, gellir dweyd yng ngeiriau y bardd Americanaidd Cymreig am yr eneth fach Gwenhafwy Owen iddi "drechu ag un edrychiad." Nid cynt yr ymddangosodd ger bron Angharad â'i gwallt melyn-llaes yn disgyn dros ei hysgwyddau yn gydynau, a'i bochau fel rhosynau, a'i llygaid byw, ymofyngar, treiddgraff, a'i hedrychiad hanner yswil, carüaidd, na redodd ei holl serchiadau i'w chyfarfod i'w chofleidio ar unwaith.

Lle byddo hoffder daw hyder. Felly atebai Gwenhafwy serch am serch, a hoffder am hoffder; ac os gallwyd dweyd erioed am ddau neu ddwy o'r un rhyw neu ystlen, "calon wrth galon," rhaid dweyd am y ddwy galon hòno—calonau Angharad a Gwenhafwy.

Impiwyd cariad byw yr eneth fach ar wreiddyn calon bur a chryfach yr ieuanc wraig. Cawsant amser i dyfu, ac hwyrach ddydd o brawf ar ol hyny.

(*I'w barhau.*)

---

Gwneuthur drwg yw gadael da heb ei wneuthur.

Digitized by Google

## EMYN PRIODAS.

M.N. 8.7. D.

DAD tragwyddol, Ti ordeiniaist
Drefn priodas gynt dy Hun,
Ac yn rhwymyn purdeb seliaist
Ammod bywyd dau yn un:
Ti dy Hunan fu'n bendithio
Undeb eu calonau 'nghyd,
Ac â'th gariad yn sancteiddio
Glân briodas gynta'r byd.

Arglwydd, megys gynt yn Eden,
Tyred yn dy gariad mawr,
Taena Di dy dadol aden
Ar y ddeuddyn yma 'nawr;
Fel yn ystod taith eu bywyd,
Deued hindda, deued gwlaw,
Caffont nawdd a chyfarwyddyd
Trwy ymostwng dan dy law.

Iesu grasol, ymostyngaist
I gymmeryd natur dyn,
Cnawd o'n cnawd o'th fodd a unaist
Yn dy Berson mawr dy Hun:
Megys ym mhriodas Cana
Rhoddaist wedd dy wyneb llon,
Boed dy bresennoldeb yma
I fawrhau'r briodas hon.

Llewyrch cysson presennoldeb
Ysbryd Sanctaidd Duw ei hun
Fo'n tywynu mewn dysgleirdeb
Ar y ddau a wnaed yn un:
Cymmer hwy ar awr eu huniad
I dy nodded, dirion Dad,
Ac yn llaw dy ddwyfol gariad
Arwain hwy i'r nefol wlad. Amen.

PENFRO.

---

## PRIF NODWEDDION DUWINYDDIAETH Y CANOLOESOEDD.

RHAGARWEINIOL.

Y MAE cynauaf toreithiog o addysgiadau gwerthfawr yn dilyn pob astudiaeth fanwl o lenyddiaeth dduwinyddol yr Eglwys. Gellir tybied mai cyfnod tywyll y Canoloesoedd yw y mwyaf digynnyrch yn yr ystyr hwn, eto y mae yn perthyn iddo ei nodweddion, ei ddyddordeb, a'i wersi. Mantais yn meddu cyssylltiad hanfodol ag astudiaeth o'r tymmor dan sylw ydyw y ffaith y gorfodir y myfyriwr manwl a difrifol i wahaniaethu yn barhäus cydrhwng y dwyfol a'r dynol yn elfenau ei dduwinyddiaeth. Argyhoeddir ef wrth fyned rhagddo nad oes ym mhlith y nifer luosog o ysgrifenwyr duwinyddol gymmaint ag un wedi lloffa ei syniadau, *yn gwbl o hollol*, ar feusydd addfed gwirionedd dadguddiedig. Teflir goleuni ar genedliad meddyldrychau, a dygir i'r amlwg y modd y darfu dansoddiaeth a rhesymeg, traddodiad ac awdurdod yr Eglwys, addysg, amgylchiadau, a neillduolion meddyliol, effeithio ar sylwedd a ffurfiad golygiadau duwinyddol. Amlygir gwerth manyldeb (pan yn ymlwybro trwy dryblith o syniadau) i gydnabod a gwerthfawrogi y cywir a'r da, yn ogystal a'r pwysigrwydd o gadw mewn golwg yn barhäus ffeithiau elfenol duwinyddiaeth uniongred, ac i gloriannu a phrisio y casgliadau hyny sydd yn gysson â hwynt. Wrth gyssylltu hanes personol dynion gyda dadblygiad eu syniadau, ceir cipdrem ar natur dylanwad *bywyd* crefyddol ar nodweddion eu dysgeidiaeth dduwinyddol. Er enghraifft, dywedir am St. Awstin, "O ddyfnder ei ymwybodolrwydd teimlai yn reddfol beryglon dyfodol yr Eglwys oddi wrth heresi Morgan, a chyfeiriodd ei nerth, megys y cynnorthwyodd Duw ef, i wrthwynebu y drwg ydoedd y pryd hwnw megys heb ei eni." Y mae astudio egwyddorion mewn cyssylltiad â bywydau y rhai a'i dalient nid yn unig yn ddyddorol, ond hefyd o werth ymarferol: cynnorthwyir ni i ddeall y naill ac, i wneuthur cyfiawnder â hanes y llall. Ym mhellach, arweinir ni i ffurfio damcaniaeth gywir o nodweddion dadblygiad llenyddiaeth Eglwysig; i gydnabod y dichon i'r hedyn fod yn ddwyfol, eto y tyfiant yn ddynol: y dichon i ddadblygiad cywir o wirioneddau dwyfol gymmeryd lle, ac eto fod dadblygiad twyllodrus yn bosibl. Awgrymir yn barhäus y ddyledswydd o appelio at safon anffaeledig yr Ysgrythyrau canonaidd.

Dywed yr Esgob Butler mai cyfundrefn yw Cristionogaeth a ddeallir ond yn ammherffaith. Nid yw yr oll a wyddys am dani ond ychydig mewn cymhariaeth i'r hyn sydd gynnwysedig yn ei dirgeledigaethau; ond un o nodweddion duwinyddion y cyfnod dan sylw ydyw, y ffaith eu bod i raddau mawr yn anwybyddu analluogrwydd y meddwl dynol i amgylchynu a sylweddoli holl adranau gwirionedd dadguddiedig. Ymgodymant gyda chyndynrwydd gwallgofus ag awgrymiadau tywyllaf a mwyaf dirgeledig y gyfrol sanctaidd, a ffurfiant gyfundrefnau eang a chywrain gyda beiddgarwch a medr na bu eu cyffelyb yn hanes llenyddiaeth y byd. Y mae ymdrafodaeth feirniadol â'r tymmor hwn yn ein

dysgu mai ychydig o sylw a roddid i'r cyd-ddilynol mewn dadguddiad. Nid ymddengys eu bod erioed wedi ystyried y nodwedd hon yn yr Ysgrythyr Lân, sef y ffaith y rhoddir mwy o arbenigrwydd ar y gwirioneddau sydd hanfodol er iachawdwriaeth nag ar unrhyw beth arall. Eglurant rai egwyddorion mewn modd deheuig a therfynol, tra yr anwybyddant yn hollol egwyddorion perthynasol a chydbwys: aberthant wychder ysgolheigdod er mwyn addurno syniad cymharol ddiwerth, tra yr alltudiant i ddinodedd hanner *system* o wirionedd ymarferol. Nid ydoedd y ffaith o anghyfartaledd mewn pwysigrwydd ym mhlith gwirioneddau dadguddiedig yn ffurfio erthygl yn eu credo, ond mewn *ymarferiad* ceid hwy yn hidlo gwybedyn tra y llyncent gamel. Eglur yw fod eu *critical apparatus* yn ammherffaith. Camgymmerent weithiau y gronynau o lwch ar wydr eu pelladur am fynyddoedd cribog y byd tragwyddol, a sisialon ansoniarus yr oraclau paganaidd am daranau Sina a'r farn.

Y mae ystyriaeth briodol o nodweddion duwinyddiaeth y Canoloesoedd yn debyg o ddangos i'ni berygl *unochraeth* pan yn ymdrin â gwirioneddau y Beibl. Mae yn wir fod cyssylltiad bywydol yn bod rhwng gwahanol ranau yr Ysgrythyr Lân, ond fel pob bywyd medda amrywiaeth ddiderfyn; ac er mwyn sicrhau syniad cywir am unrhyw ran, y mae yn hanfodol cadw mewn golwg unoliaeth yr oll. Un yw gwirionedd, ond y mae iddo amryw ochrau, a llawer brwydr galed a ymladdwyd ar faes llenyddiaeth grefyddol y cyfnod hwn mewn canlyniad i anwybyddu yr ystyriaeth bwysig hon. Yr ydoedd, er enghraifft, mor angenrheidiol cadw mewn cof ryddid yr ewyllys ddynol dros ba un y dadleuai Pelagius, a'r penarglwyddiaeth ddwyfol a amddiffynid mor neillduol o fedrus gan St. Awstin.

Mewn duwinyddiaeth, yn gystal ag athrawiaeth, saif y naill egwyddor ar gyfer y llall, ac yn eu mantoliad y gorphwys diogelwch pob un o'r ddwy. Rhaid cyssylltu egwyddorion. Oddi eithr eu cyssylltu y mae perygl i wirionedd unigol ymddangos yn hannerog, ac y mae gwirionedd hannerog bob amser yn ffurfio sylfaen cyfeiliornad, ac fel rheol yn achosi sism, ac weithiau heresi. O bosibl fod y damcaniaethau, y dadleuon, a'r gwrthwynebiadau ydynt mor luosog yn hanes duwinyddiaeth yr oesau wedi eu goddef gan Ben yr Eglwys er mwyn dysgu dynion mai unoliaeth mewn amrywiaeth yw deddf sefydlog y llywodraeth ddwyfol.

Nid ydym eto wedi cyfarfod â neb a feiddiai honi am foment ei fod wedi darganfod diffyg unoliaeth mewn natur er ei bod yn gyfansoddedig o elfenau a gwrthddrychau yn amrywio yn ddiderfyn. Y mae dynion yn gwbl argyhoeddedig fod anian yn un; ystyriant hi felly, a gwiriant eu credo ym mhob ymchwiliad. *Ystyried* dynion fod gwirionedd dadguddiedig yn meddu y cyffelyb unoliaeth, a diogelir hwy rhag unochraeth mewn credo. Pa berthynas sydd rhyngom ni a duwinyddion y Canoloesoedd? Rhaid cydnabod fod cyssylltiad agos iawn. Yr ydym yn etifeddion y gorphenol, ac y mae â wnelo syniadau dadblygedig y cyfnod dan sylw a dysgeidiaeth dduwinyddol ein dyddiau ni. "Nid oes y fath beth a dynoliaeth noeth; y mae meddwl a chalon pob un o honom yn gwisgo *livery* nas gellir ei daflu o'r neilldu." Un o brif honiadau yr oes hon yw ei *gwreiddioldeb*. Honir annibyniaeth a newydd-deb meddyliol. Proffesir na thremiodd llygad erioed cyn y presennol ar uchelderau rhamantus y wybodaeth newydd, ac na ddychymmygodd athrylith fwyaf beiddgar y Canoloesoedd y darganfyddid y fath wybodaeth ryfeddol o agweddion gwirionedd ag a feddiannir gan blant y dyddiau hyn! Ond ymbwyller, a oes unrhyw werth mewn gwreiddioldeb ynddo ei hun, ac yn annibynol ar bobpeth arall? Y mae hawl dyn i wreiddioldeb yn gynnwysedig, nid mewn dadguddio *rhywbeth newydd*, ond yn hytrach mewn dadguddiad newydd o wirionedd ydoedd, o angenrheidrwydd, eisoes yn bod. Un o nodweddion cymmeriad gogoneddus yr Arglwydd Iesu ydyw, ei fod yn *llai gwreiddiol* nag yn hawdd y gallasai fod. Digon iddo Ef ydoedd *un* llyfr o'r *pum* i wrthsefyll a gorchfygu y gelyn. Dyddorol yw sylwi pa fodd y mae hen olygiadau yn cael eu hadgyfodi, ysbryd yr oes yn cael ei anadlu iddynt, a gwisgoedd ffasiynol y dyddiau hyn yn cael eu crogi am danynt, a hwythau yn cael eu danfon fel bodau newydd-grëedig i rodio ym mysg plant dynion. Fe ddichon i'r cynllun a fabwysiadir fod yn newydd, a'r cyfluniad fod yn meddu nodweddion y tymmor presennol; ond y mae y syniadau, yr *ideas*, a drosglwyddir yn hen, ac wedi eu darganfod gan lafurwyr meddyliol ydynt wedi cwympo er ys canrifoedd i ddyfnder y bedd.

Ein sylw diweddaf ydyw, fod ein cyssylltiad â'r gorphenol yn meddu tuedd i gynhyrfu ac eangu ein teimladau crefyddol. Dygir ni dan ddylanwad ysbrydoliaeth canrifoedd o ymdrech feddyliol. Syllwn ar frwydr ar ol brwydr gyda elfenau mwyaf ofnadwy teyrnas y tywyllwch, a gwelwn enghraifft ar ol enghraifft o allu y natur ddynol, dan gyfarwyddyd a bendith Ysbryd Duw, i lwyr ddarostwng balchder ei thywysog. Ar ol ugain canrif o feirniadaeth lem a chelyd, y mae gwirionedd dadguddiedig mor annhreiddiol a diysgog ag erioed, ac er iddo gael

Digitized by Google

ei ddarnio, ei wanu, ei ddryllio, buan y casgl at eu gilydd ei wahanol ranau, a chyda nerth bywyd annherfynol saif yn fuddugoliaethus ar lan ei fedd, er cysur diddiwedd i'r rhai sydd yn ei garu, a gwae annyoddefol i'w lofruddion. "Y gair a leferais I hwnw a'i barn ef yn y dydd diweddaf." Gwelwn ein bod o ran sylwedd ein ffydd a natur teimlad yn meddu undeb agos a bywydol ag Eglwys yr holl ganrifoedd. Y mae yr argyhoeddiad hwn ynddo ei hun yn fath o ragbrofiad o fwyniant y nef, canys yno bydd y gorphenol a'r presennol yn gydamserol, a llawenydd yr oll yn eiddo personol pob un. Tra y mae tori ein cyssylltiad a'r oesau a fu, fel y gwneir i raddau mawr gan Ymneillduwyr, yn ein gadael mewn sefyllfa o unigoldeb crin a marwaidd, ac yn tueddu i falchder, hunanddigonedd, a gwag ogoniant, y mae *plentyn yr heddyw* yn golygu ei hun yn ddoethach a chryfach na *dyn y canrifoedd.*

Onid annhraethol well ydyw cael ein cyfrif *ym mhlith meibion lawer* teulu Duw, a chael gyda hwynt fwynhau yr etifeddiaeth hòno yn y goleuni a sicrhawyd i'r holl deulu yn y cyfammod tragwyddol? Nid oes swyn, ysbrydoliaeth, dyddordeb, na gwerth i'r Ymneilldüwr cul a rhagfarnllyd yn y cyfoeth o brofiad ac addysg grefyddol a geir ar ddalenau crychiog hanesiaeth Eglwysig y Canoloesoedd. Saif ef yn hollol wahanedig oddi wrth yr olyniad apostolaidd a phob olyniad arall o unrhyw werth, ac mewn effaith gwada fodolaeth unrhyw sant o ddyddiau St. Ioan hyd y Diwygiad Protestanaidd. Ymdrinia ag hanesiaeth Eglwysig, megys y gwna yr hynafiaethwr a'r daiar-gwr â hen gyfrol neu *fossil*, ond heb eu dyddordeb hwy. Nid oes ynddo unrhyw gyssylltiad â ni, perthyna i oesoedd y gorphenol: y mae a wnelo â dynion wedi marw, ond *nid yn llefaru eto.* Eglur yw nad oes a wnelo â ni! Mae y dibrisdod hwn o'r gorphenol a diffyg o barch iddo yn dwyn ei ffrwyth, fel anniolchgarwch yn gyffredin, mewn tlodi meddyliol ac *arwynebedd teimlad* mewn crefydd brofiadol. Gwir mai mater personol dyn ei hun yw crefydd o ran ei hanfod; ond y neb a amddifada ei hun o nerth a maeth ysbrydol, y mae yn anwybyddu yr Eglwys hòno ar awdurdod yr hon y derbynir yr Ysgrythyrau fel Gair Duw.

D. T. Hughes.

---

## AR GROESBREN CALFARI.

Anfeidrol Iawn a dalwyd,
O daliad, daliad drud;
Yr Iesu'n rhoi ei fywyd
Dros feiau mawr y byd:
Y nefoedd a foddlonwyd,
Trugaredd sydd i ni,
Er mwyn yr Hwn fu'n dyoddef
Ar groesbren Calfari.

Oddi wrth anwiredd lawer,
Gwna'n puro a'n glanhau;
O'th ras a'th dosturiaethau,
Gwna wrthym drugarhau;
Trugaredd dyro imi,
O gwrando ar fy nghri,
Er mwyn yr Hwn fu'n dyoddef
Ar groesbren Calfari.

Tra'n ddydd yr iachawdwriaeth
Dod etifeddu'r gwir;
Yr amser cymmeradwy
Ni phery ddim yn hir:
O Arglwydd, o'th drugaredd
Gwna faddeu'n *awr* i mi;
Er mwyn yr Hwn fu'n dyoddef
Ar groesbren Calfari.

O anwyl Iesu tirion,
Dod ini ras a dawn,
I'th ddilyn a'th addoli
O galon gywir iawn;
Ein dyled yn feunyddiol
Yw talu parch a bri
I'r Hwn fu'n dyoddef drosom
Ar groesbren Calfari.

Y mae gorphwysfa eto
Yn ol i bobol Dduw;
O am gael bod yn gymhwys
I fyned yno i fyw:
Byth, byth yn wynfydedig
Ym mhlith y dorf ddiri,
Yn canu i'r Hwn a'n prynodd
Ar groesbren Calfari.

*Ceryg y Druidion.* Hugh Hughes.

---

## GWAITH CENADOL YN EI BERTHYNAS A'R EGLWYS.

Pan ysgrifenir hanes Eglwys y 19edd ganrif, rhaid fydd rhoddi lle amlwg ac anrhydeddus i'r gwaith cenadol ardderchog a gyflawnwyd, a'r hwn sy'n myned rhagddo. O'r amrywiol gymdeithasau cenadol perthynol i'r Eglwys Anglicanaidd, saif y Gymdeithas Genadol Eglwysig (a adnabyddir yn gyffredin â'r prif-lythyrenau C.M.S.) o ran ei derbyniad-

Digitized by Google

au arianol a mawredd ei gwaith yn y *front*. Ychydig wythnosau yn ol, appwyntiwyd y Parch. Morris Roberts, Llanllyfni, yn gynnrychiolydd swyddogol y gymdeithas yng Nghymru. Hyderwn y bydd i glerigwyr a lleygwyr y gwahanol esgobaethau Cymreig gynnal ei freichiau i fyny; ei wahodd i'w plwyfi i osod hawliau y gymdeithas ger bron y plwyfolion, ac i drefnu moddion effeithiol i dderbyn punnoedd y cyfoethogion a cheiniogau y gweithwyr i drysorfa y C.M.S.

Bodola anwybodaeth dirfawr ym mhlith Eglwyswyr Cymru am y gwaith mawr cenadol ag y mae eu Heglwys yn ei gario ym mlaen agos ym mhob rhan o'r byd. Yn hyn o beth, fel ag yng nglŷn â rhai pethau ereill pwysig, mae Ymneillduwyr Cymru "yn gallach yn eu cenedlaeth" nag Eglwyswyr Cymreig. Nid oes bron yr un plentyn o Fethodist Calfinaidd nad yw wedi clywed ugeiniau o weithiau am Fryniau Casia; ac wedi i'r plentyn hwn dyfu i fyny yn ddyn, ffol-freuddwydia mai cenadaeth fechan Bryniau Casia yw prif faes llafur cenadol yr Eglwys Gristionogol. Nis gellir beio yr Ymneilldüwr am hyn, pan gofiwn am gynnifer o Eglwyswyr sydd i'w cael trwy ein gwlad na chymmerant ddim dyddordeb yn, ac na wyddant y nesaf peth i ddim, am waith cenadol eu Heglwys. Yn lle cymmeryd dyddordeb yng ngweithrediadau amrywiol gymdeithasau cenadol yr Eglwys, nis gall llawer un gymmaint a'u henwi; nis gwyddant am eu bodolaeth, llawer llai y gwaith mawr a gyflawnir ganddynt neu trwyddynt. Yn wir, pa sawl un y cant o ddarllenwyr yr *Haul* a feddant wybodaeth briodol o hanes gwaith cenadol enfawr y cymdeithasau cenadol Eglwysig y dodir eu henwau i lawr isod.[1] Gan, fel y credwn, y bodola cymmaint anwybodaeth ym mhlith Eglwyswyr am waith cenadol yr Eglwys, nid rhyfedd o gwbl fod y mwyafrif mawr o Ymneillduwyr Cymru mewn ystâd o anwybodaeth hollol am y gwaith cenadol o "ledaenu yr Efengyl" ar raddfa eang a gyflawnir dros wyneb y byd gau-grefyddol ac eilunaddolgar gan yr Eglwys hòno ag yr oedd Ymneillduwyr politicaidd Cymru, ychydig amser yn ol ar lawr St. Stephan, yn llefain yn aflafar yng nghlust Caesar, "Tor hi i lawr." I egluro yr anwybodaeth hwn ym mhellach, adroddwn yr hanesyn canlynol a gymmerodd le oddi fewn cylch gwybodaeth bersonol ysgrifenydd yr erthygl hon.

Ychydig flynyddau yn ol yn y plwyf hwn, aeth Ymneilldüwr at Eglwyswr blaenllaw i gasglu at Genadaeth Dramor y Methodistiaid Calfinaidd. Atebodd yr Eglwyswr ef ei fod ef ychydig ddyddiau cyn hyny wedi cyfranu ei "hanner coron" at Gymdeithas Genadol yr Eglwys. "*Dear me*," ebai yr Ymneilldüwr mewn syndod, "cyfranu at Gymdeithas Genadol yr Eglwys! Ni wyddwn i erioed o'r blaen fod gan yr Eglwys yr un cenadwr yn unman; ac yn wir, ni fedrai mo'ch coelio ch'i chwaith â'r chware' bach." Nid oedd yr Ymneilldüwr hwn ond enghraifft o laweroedd ereill cyffelyb iddo mewn rhagfarn ac anwybodaeth. Mae yr anwybodaeth hwn i'w ofidio o'i herwydd, ond nid yw y ffaith o'i fodolaeth yn gymmaint syndod, gan nad yw ond effaith y dystawrwydd poenus hwnw ag sydd wedi bod i raddau gormodol yn cloi geneu yr Eglwys rhag cyhoeddi ei newyddion cenadol oddi ar benau y mynyddoedd i'r lluaws, ond yn y dirgel i'r ychydig mewn cylchoedd swyddogol trwy gyfrwng *reports* trwchus blynyddol y cymdeithasau. Mae yr anwybodaeth yma yn achos o wendid; ïe, yn ffynnonell o berygl i'r Eglwys. Un math o *Church defence* rhagorol i'r Eglwys fyddai gwasgaru trwy Loegr a Chymru wybodaeth o weithrediadau ei gwahanol gymdeithasau cenadol, pa rai a gasglent bob blwyddyn agos i chwe chan mil o bunnau (£600,000) tuag at waith cenadol—swm mwy o lawer na'r holl arian a gesglir gan Ymneillduwyr y deyrnas gyda'u gilydd, a chyfrif y Pabyddion ym mhlith y sectau Ymneillduol. Dylai y newyddion o wahanol feusydd cenadol yr Eglwys gael eu dwyn yn nes at werin Lloegr a Chymru. Dysgwyliwn y bydd i gynnrychiolydd Cymreig swyddogol y C.M.S. drefnu rhyw foddion gyda'r gymdeithas i ddwyn hyn oddi amgylch. Ond cofier, nid ar ysgwyddau cynnrychiolydd y C.M.S. yn unig y gorphwys y ddyledswydd hon; na, gorphwysa hefyd ar ysgwyddau pob un o offeiriaid yr Eglwys ym mhob plwyf trwy Loegr a Chymru: heb gydweithrediad calonog yr offeiriaid, nis gall cynnrychiolydd y C.M.S., na'r un o swyddogion y gwahanol gymdeithasau cenadol Eglwysig ereill, wneyd y nesaf peth i ddim. Nid oes ar yr Eglwys ofn i'r goleuni ddadguddio ei gweithredoedd yn gartrefol a thramor. Yn nygiad ei gweithredoedd da i'r goleuni y gorphwys nerth a gobaith yr Eglwys mewn ystyr dymmorol. Anwybodaeth a rhagfarn ddall-bleidiol

[1] Society for Promoting Christian Knowledge (S.P.C.K.). Society for the Propagation of the Gospel in Foreign Parts (S.P.G.). Church Missionary Society (C.M.S.). London Society for Promoting Christianity amongst the Jews. Colonial and Continental Church Society. Colonial Bishoprics Fund. Jerusalem Bishopric Fund. Association for the Furtherance of Christianity in Egypt. Mackenzie Memorial Mission to Zululand. Universities Mission to Central Africa. Church of England Zenana Missionary Society. Oxford Mission to Calcutta. Church Emigration Society. Anglo-Continental Society. South American Missionary Society.

Digitized by Google

yw yr unig ellyllon bwystfilaidd, ysglyfaethus, ysbeilgar, du eu lliw a hagr eu gwedd, ag y dylai yr Eglwys eu hofni. Ac os am symmud ymaith anwybodaeth a lladd rhagfarn, gan ar yr un pryd genedlu cariad a pharch edmygiadol tuag ati yng nghalon fawr y genedl, angenrhaid yw yn un peth agor llygaid Eglwyswyr, yn ogystal ag Ymneillduwyr, i weled ac amgyffred y gwaith cenadol gogoneddus ac aruthrol fawr a garia yr Eglwys ym mlaen o'r dwyrain i'r gorllewin, ac o begwn i begwn. I wneuthur hyn, rhaid yw gwneyd defnydd o'r *pwlpud*, yr *esgynlawr*, a'r *wasg Gymreig*.

Mewn ufudd-dod i daer ddymuniad cynnrychiolydd newydd appwyntiedig y C.M.S., ac hefyd gyda'r amcan i gyfranu ychydig wybodaeth genadol er lleihau i raddau yr anwybodaeth poenus a ffyna hyd yn oed ym mhlith niferoedd lluosog o Eglwyswyr yng Nghymru, bwriadwn ysgrifenu yn achlysurol i'r *Haul* o dan benawd yr ysgrif hon, heb am foment honi unrhyw fath o wreiddioldeb, nac unrhyw deilyngdod neu ragoriaeth arall o fath yn y byd. Cyn y gall yr un dyn feddu syniad cywir am fawredd a gallu yr Eglwys Brydeinig yn *ysbrydol* a *thymmorol*, rhaid yw iddo wybod am ei gwaith a'i llwyddiant, ei nerth a'i dylanwad yn rhanau pellenig y byd, yn "nhywyll-leoedd y ddaiar" yn y gwledydd tu hwnt i'r moroedd. Ymdrechwn o bryd i bryd roddi o flaen darllenwyr yr *Haul* ffeithiau a ffigyrau a daflant oleuni ar weithrediadau yr Eglwys dros wyneb y byd. Y mae maes cenadol yr Eglwys mor eang, fel nas gallwn ond lloffa ambell dywysen yma ac acw. Hyderwn, pa fodd bynag, y bydd cael golwg ar yr ychydig rawnsypiau a ddygir o dir yr addewid, greu awydd cryf angerddol ynom i ddyblu a threblu ein hymdrechion cenadol tuag at y byd paganaidd anghristionogol, a phenderfynu "myned i mewn a meddiannu y wlad," gan blanu baner y Groes ar benau y mynyddoedd i gyd yn enw a thrwy Grist ein Pen. Mewn geiriau ereill, gobeithiwn ddangos, er cymmaint angenion mawrion y byd paganaidd a gau grefyddol heddyw, fod llawer "Jericho gaerog" wedi ac yn syrthio o flaen Israel Duw, a bod eu harswyd wedi disgyn ar "bobl y wlad," yr hyn a ddylai galonogi a chynhyrfu yr Eglwys gyda mwy o sel sanctaidd, i fyned rhagddi gan yn barhäus ymegnïo fwyfwy yng nghyflawniad ei dyledswyddau yng nglŷn â'i gwaith cenadol tramor, mewn ufudddod i gommissiwn olaf Crist i'w Eglwys trwy ei apostolion sanctaidd cyn ei esgyniad—"Ewch i'r holl fyd a phregethwch yr Efengyl i bob creadur."

H. J. MANLEY.

*Llangian.*

## Y DYRCHAFAEL.

YN nhawelwch dwfn ei fawredd,
  Sefyll mae yr Iesu gwyn
Ar Olewwydd yng nghymdeithas
  Ei ddysgyblion ofnus, syn.
Buddugoliaeth heddyw chwery'n
  Dònau dwyfol ar ei wedd:
Ei elynion wedi eu maeddu;
Byd colledig wedi ei brynu
  Ganddo o grafangau'r bedd.

Rhoddi mae ei fendith olaf
  I'w ddysgyblion dan eu cur,
Tra dyfera dafnau melus
  Cariad dros ei wefus bur.
Pa gynghanedd ber a lifa
  O bellafion glas y nen?—
Wyneb Iesu ymddysgleiria,
Coron Duw'n danbeidiach fflamia
  Mewn gogoniant ar ei ben.

Fry yng nglesni dwfn y nefoedd
  Dacw gwmwl goleu, gwyn,
Yn cynnyddu, yn ymledu,
  Nes cyrhaeddyd pen y bryn.
Cerbyd y gogoniant ydyw,
  Wedi d'od i'w gyrchu Ef,
Cerbyd Israel a'i farchogion,
Dano fflamia'r mellt-olwynion,
  Gwau o'i gylch mae engyl nef.

Ymolwyna'r cerbyd gloew
  Yn ei flaen drwy byrth y wawr,
Heuliau dirifedi fflamiant
  Eu haddoliad iddo'n awr.
Engyl, plygwch eich adenydd!
  Duw sy'n d'od mewn cerbyd gwawl!
Cynghaneddion nefol lifant
Trwy ardaloedd y gogoniant,
  Mae y nef yn dân o fawl.

Byrth tragwyddol, ymddyrchefwch!
  Duw sy'n d'od â'i wisg yn waed!
Wedi sathru dreigiau uffern,
  A rhoi angeu dan ei draed.
Teifl angylion eu coronau,
  Plyg seraphiaid ger ei fron,
Hwythau'r seintiau ganant geinciau
Nefol odlau ar delynau
  Am y goncwest rhyfedd hon.

Ben blinedig! fe gaiff orphwys,
  Gorphwys yn dragwyddol mwy:
Ffarwel i dymmestloedd dirmyg,
  Ffarwel boen, a ffarwel glwy'.

Digitized by Google

Eistedd fel Cyfryngwr heddyw
Rhwng colledig ddyn a'r nef,
Ar ei ben mae nef-goronau;
Tragwyddoldeb diofidiau
Wena yn ei wyneb Ef.

ELLDEYRN.

---

## GOHEBIAETHAU.

### *At Olygydd* YR HAUL.

SYR,—A ellwch chwi ddweyd i ni pa beth yw swydd Canonau Mygedol yr Eglwys, a pha faint ydyw eu cyflogau?

Yr eiddoch, &c.

ANWYBODUS.

[Anwybodus ydym ninnau am eu swyddi, ond gwyddom nad oes iddynt un ddimai o gyflog. Boddloned ein gohebydd ar yr englynion canlynol a wnaethom wrth droi dalenau Hanes Esgobaeth Llanelwy i ymdrechu ateb ei gwestiwn:—

Hen swyddau hanesyddol—yw'n henwog
Ganonau Mygedol;
Heb adaw o'u da bydol,
Na'r hen waith un rhan o'u hol.

Fe warantir ryw freintiau—yn eu llaw
Yn y llys-gynghorau;
A bydd eu hurdd yn boddhau,
Anrhydeddant hwyr ddyddiau.]

---

### Y CYMRY AR WASGAR.

### *At Olygydd* YR HAUL.

SYR,—Yn yr *Haul* am fis Ebrill y mae Mr. W. M. Roberts, yn ei erthygl gampus ar "Faes y Genadaeth," yn cwyno fod llawer o'r offeiriaid plwyfol yn hwyrfrydig i adael neb i bleidio dros y "Cymry ar wasgar" yn eu pwlpudau. Yr ydym ni yn y plwyf hon er ys blynyddau yn danfon rhyw gymmaint yn flynyddol i'r S.P.G., ac un rheswm pa ham y dewiswn yr S.P.G. yn hytrach na'r C.M.S. yw, ei bod yn proffesu darparu—yn Seisoneg wrth reswm—ar gyfer angenion ysbrydol y "Seison a'r Cymry ar wasgar." Awgryma Mr. Roberts y dylai y Cymry gartref ofalu ym mlaen pobpeth am angenion ysbrydol y *Cymry* ar wasgar. A oes rhyw gymdeithas genadol ganolog i ba un y gall yr offeiriaid ddanfon eu cyfraniadau i'r perwyl hyny? Os nad oes, a fyddai'n bosibl ac yn ddoeth sefydlu'r fath gymdeithas? Neu, ef allai gwell fyth, a fyddai'n bosibl cael gan y gymdeithas gref hòno, yr S.P.G., i arfer cyfraniadau Cymru, neu ran o'r cyfraniadau Cymreig a ddanfonir iddi, er budd y "Cymry ar wasgar"?

Yr unig gymdeithas genadol Gymreig a wn ni am dani yw'r un sy'n darparu ar gyfer y Cymry yn Patagonia; a chan fod maes ei llafur yn gyfyngedig i'n cydwladwyr ar y Gamwy, y mae hòno ef allai yn derbyn cymmaint ag sydd arni eisieu o gynnorthwy. Cyn y gellid cario allan yr awgrym uchod, byddai'n angenrheidiol cael llawer iawn mwy o wybodaeth nag sydd gan yr offeiriaid plwyfol yn gyffredin yng nghylch lleoliad, angenion, dymuniad y Cymry am genadon Eglwysig Cymreig, a'u parodrwydd i gynnorthwyo eu hunain. Credaf fod yr awgrym yn werth sylw ac ystyriaeth.

Yr eiddoch, &c.

*Bwlchgwyn.* J. WILYM JONES.

[Gobeithiwn y cymmer cynnrychiolydd y Gymdeithas er Lledaenu Gwybodaeth o'r Efengyl sylw o'r awgrymiadau yn y llythyr uchod, ac y defnyddiant golofnau yr *Haul* i wneuthur gwaith mawr y gymdeithas yn hysbys yn y plwyfydd gwledig, a gallant fod yn sicr fod digon o genedlgarwch yn y wlad i ychwanegu cyfraniadau ar gyfer cenadon ***medrus yn y ddwy iaith***, i wasanaethu y "Cymry ar wasgar."—GOL.]

---

### *At Olygydd* YR HAUL.

SYR,—Yr oeddwn yn siarad â gweinidog lled lwyddiannus yn sir Fynwy y dydd o'r blaen, a dywedai wrthyf y fath wahaniaeth oedd rhwng y Cymry a'r Seison mewn ystyr grefyddol, y rhai oeddynt yn d'od i'r lle o'r newydd.

Deuai Seison o Henffordd a Gwlad yr Haf i'r lle, y rhai nid oedd ganddynt, fel rheol, yr un ymlyniad enwadol neillduol, nac yn wir fawr o ymlyniad crefyddol chwaith, ac y gwnai ymddibynu llawer ar y gweinidog neu yr offeiriad at ba enwad yr aent i wrando, ac o bosibl yr ymunent yn y diwedd, pa un a fyddai neu beidio yn gyfeillgar ac yn dangos gostyngeiddrwydd a chydymdeimlad yr Efengyl; tra, o'r tu arall, fod y Cymry, fel rheol, wedi arfer myned i wrando at ryw enwad neillduol, os na fyddent yn aelodau. A phan y gwnaent dd'od i le newydd, eu bod yn debyg iawn o lynu wrth yr un enwad, gan fod cyfeiriad wedi ei roddi i'w meddyliau yn nyddiau mebyd ac ieuenctyd; eu bod wedi eu crefyddoli i raddau, yn teimlo rhyw gymmaint o ddyddordeb mewn pethau crefyddol er ef allai heb fod yn aelodau.

Ond am y Seison, ymddengys fod corff mawr y dosbarth gweithiol wedi talu ac yn talu y nesaf peth i ddim o sylw i grefydd. Melus i galon pob Cymro yw gweled cymmaint o Gymry o siroedd Penfro,

Digitized by Google

Ceredigion, a Chaerfyrddin, y rhai sydd bron yn hollol Gymreig, mor ddefnyddiol a blaenllaw gyda chrefydd ym Mynwy a Morganwg. Y mae hefyd lawer o siroedd Cymreig Gogledd Cymru yr un mor ddefnyddiol a blaenllaw.

Nis gwn pa fodd i gyfrif am hyn. Nis gwn yn iawn beth ydyw y rheswm fod y Cymry fel cenedl yn llawer mwy crefyddol na'r Seison: ni ryfeddwn nad oes llawer a fyno yr iaith â hyn. Rywfodd mae yr iaith Gymreig yn fwy ffafriol i gynnydd crefydd wresog a bywiog nag ydyw yr iaith Seisonig; o bosibl, fod y Seisonig yn fwy bydol—fod arwedd y byd hwn yn fwy arni—fod sail, a chyfansoddiad, a hanfod yr iaith yn neillduol glymedig â masnach ac â holl arweddiadau y byd presennol. Tra y mae y Gymraeg yn fwy athronyddol, damcaniaethol--cylchbynciau mawr bodolaeth—dyn, Duw, a byd arall; fod arni yn neillduol arwedd grefyddol; fod y wedd yma wedi ei chordeddu drwy holl gyfansoddiad yr iaith. Felly, bod eu dysgu a'u gwybod yn trwytho y meddwl a'r ysbryd â syniadaeth grefyddol yn anwybodol i'r dyn ei hunan; ei bod wedi derbyn yr argraff yma ar y cyntaf gan yr hen Dderwyddon, y rhai oeddynt yn grefyddwyr penaf eu hoes a'u cenedlaeth; ac megys y gwnaethant hwy hynodi eu hunain yn eu crefydd, gwna eu disgynyddion heddyw ragori yn yr un peth yng Nghymru, yn yr Iwerddon, a'r Alban. Mae y Celtiaid ag eithrio yr Iuddewon y bobl fwyaf crefyddol ar y ddaiar, y rhai sydd wedi myned ym mlaen gyda'r oes, ac eto yn dal gafael yn eu crefydd; rhaid cyfaddef fod yr Arabiaid yn grefyddol, ond maent wedi aros yn eu hunfan mewn ystyriaethau gwleidyddol. Sonir llawer am allu a dylanwad y Seisoneg, o blegid ei bod yn iaith masnach; eithr a wnawn ni gydnabod a chyfaddef fod masnach yn egwyddor gadarnach a gwydnach yn y natur ddynol na'r egwyddor o grefydd? Os ydyw yn ffaith, fel y credwn ei bod, y gwna cael gwybodaeth o'r Gymraeg barotoi dyn yn well na'r Seisoneg er cael meddiant o grefydd, a'r peth pwysicaf i ddyn ar y ddaiar ac ym myd mawr y dyfodol; a oes raid i ni yn barhäus, fel Cymry, ac a oes raid i'r Gymraeg i ymgrymu o flaen delw aur fawr y Seisoneg?

A nyni yn credu hyn, ac yn gweithredu yn unol â'u crediniaeth, nid oes raid i ni betruso am ddyfodol y Gymraeg; ac er mwyn crefydd dylem weithio â'n deng ewin i osod y Gymraeg yn y fath safle yn nhair sir ar ddeg Cymru, fel na fydd raid ofni y dyfodol. "Cas y gwr na charo y wlad a'i mago." Felly annheilwng o enw Cymro yw y dyn hwnw sydd am ddifodi ein hiaith ac am ladd ein harweddion neillduol fel pobl a chenedl.

Dengys ein barddoniaeth genedlaethol arwedd grefyddol neillduol; pynciau crefyddol neu athronyddol yw y rhai y canodd ein prif feirdd arnynt. Ar y pynciau uchod y cyfansoddwyd y prif ddarnau barddonol yn yr iaith Gymraeg. Ffaith alarus, a ffaith sydd yn codi gwrid i'n gwyneb ydyw, fod plant ysgolion dyddiol Cymru yn gwybod dim am ein prif feirdd na'n prif ddarnau barddonol, y rhai a ddaliant eu cymharu â beirdd unrhyw oes neu wlad. Wrth gwrs, yr ydym fel Cymry wedi arfer edrych i lawr ar bobpeth Cymreig, ac yn eu plith ein beirdd. Tra y gwna y Seison bwffio eu beirdd i'r cymylau, dylai ein plant yn yr ysgolion dyddiol ddysgu darnau o weithiau goreu ein prif feirdd; byddai hyny yn llawer mwy buddiol iddynt na dysgu darnau o'r beirdd Seisonig am ryfeloedd a thywallt gwaed: maent yn llawn mor gelfyddydgar, a'u pynciau yn llawer gwell.

Telir hanner addoliad i Shakespeare yn ein colegau a'n prif-ysgolion; dotiant ar eiddigedd Iago; synant ar fwrddrad Macbeth. Diammheu fod yna gelfyddyd, ond nid yw y testynau yn oruchel, nac yn tueddu i wella chwaeth. Tra y mae pryddest fawreddog Iorwerth Glan Aled ar y "Pentecost" mewn dinodedd, ac awdlau gorchestol Ieuan Glan Geirionydd a Goronwy Owain ar yr "Adgyfodiad" yn wybyddus ond i ychydig. Rhaid dweyd fod beirdd Cymru wedi canu gormod yn y mesurau caethion, yr hyn a'u caua allan yn hollol oddi wrth ddarllenwyr cyffredin.

Ydwyf,

D. Ff. D.

---

## CALENDAR Y MIS.

Mae y calendar am fis Mai eleni yn cymmeryd mewn yr uchel-wyliau Eglwysig, y Dyrchafael a'r Sulgwyn, gyda Sul y Drindod. Yn ein byr sylw o'r deugain nydd rhwng y Pasc a'r Dyrchafael, sef rhwng adgyfodiad yr Arglwydd Iesu o'r bedd a'i esgyniad i'r nefoedd, sylwasom yn ein rhifyn diweddaf ei fod yn cynnefino ei ddysgyblion â'i bresennoldeb ysbrydol ac anweledig. Er na ddadguddir llawer yn uniongyrchol o'r hyn a wnaeth yr Arglwydd Iesu tra y bu "yn weledig i'w ddysgyblion dros ddeugain niwrnod," gwyddom ei fod yn "dywedyd y pethau a berthynent i deyrnas Dduw," Actau i. 3. Dyma y pryd y sefydlodd sacrament y Bedydd yn ddrws er myned i mewn i'w Eglwys â gwystl, sel, ac arwyddocâd, golchiad yr adenedig-

Digitized by Google

aeth, ac adnewyddiad yr Ysbryd Glân, St. Marc xvi. 15, 16; Titus iii. 5.

Dyma hefyd y pryd y rhoddes ei gommissiwn mawr i'w apostolion i adeiladu ei Eglwys arno Ef ei hun, gan drosglwyddo pob awdurdod ysbrydol oddi wrth offeiriadaeth a seremonïau a defodau yr hen oruchwyliaeth, i oruchwyliaeth y Testament Newydd yn rhinwedd ei iawn a'i aberth, a'i adgyfodiad a'i esgyniad Ef, St. Ioan xx. 19—33; Actau ii. 23, 24, 38; Actau iv. 11, 12. Yn nistawrwydd cymhariaethol y deugain niwrnod hyn y gosodwyd i lawr sylfeini dyfnion yr Eglwys ar yr Arglwydd Iesu ei hun, gwedi ei "brofi ef yn Fab Duw drwy ei adgyfodiad oddi wrth y meirw." Y mae llawer o bobl yn synu wrth ganfod y fath wahaniaeth rhwng ymddygiad a phrofiad dysgyblion ac apostolion Crist ar ol tywalltiad yr Ysbryd Glân rhagor cyn y croeshoeliad. Anghofiant fod yr adgyfodiad wedi gwneyd mwy na dwy flynedd o addysg at agor eu llygaid i ddeall yr Ysgrythyrau, heb law symmud ymaith ofn y rhai a "allent ladd y corff ond na allent ladd yr enaid." Bu y deugain niwrnod yn ffrwythlawn o brofiad i barotoi yr apostolion at eu gwaith erbyn tywalltiad yr Ysbryd Glân. Ar ol i'r Arglwydd Iesu sefydlu gweinidogaeth ei Eglwys (St. Ioan xx. 17—33), a'r sacrament o Fedydd (St. Matt. xxviii. 18, 19), yr oedd yn barod i'r

ESGYNIAD.

"Efe a esgynodd i'r nefoedd, ac y mae yn eistedd ar ddeheulaw Duw Dad Hollgyfoethog; oddi yno y daw i farnu byw a meirw," Credo yr Apostolion. "Ac ar ei deyrnas ni bydd tranc," Credo Nicea. "Yr Arglwydd, wedi llefaru wrthynt, a gymmerwyd i fyny i'r nef, ac a eisteddodd ar ddeheulaw Duw," St. Marc xvi. 19. "Ac efe a gododd ei ddwylaw, ac a'u bendithiodd hwynt. Ac fe a ddarfu tra yr oedd efe yn eu bendithio hwynt, ymadael o hono ef oddi wrthynt, ac efe a ddygwyd i fyny i'r nef," St. Luc xxiv. 50, 51.

Dyma yr hanes Ysgrythyrol a chred didor yr Eglwys drwy yr oesoedd. "Efe a esgynodd i'r nefoedd, ac y mae yn eistedd ar ddeheulaw Duw." Dyma *orseddiad* y natur ddynol a'i choroniad ym Mherson Crist i ogoniant uchaf nef. Dyma agor drws newydd o ogoneddiad i'r natur ddynol mewn byd sydd *uwch* na hwn. Ni raid i'r Cristion ffyddiog byth ofyn y cwestiwn dyrys, pa beth a ddaw o ddynoliaeth pan elo'r ddaiar hon yn rhy fechan i gynnwys ei thrigolion? Y mae yr Arglwydd Iesu wedi "cymmeryd drachefn ei gorff (yn yr adgyfodiad) gyda chnawd ac esgyrn, a phob peth a berthyn i berffeithrwydd dyn; â'r hyn y dyrchafodd i'r nefoedd, ac yno y mae yn eistedd hyd oni ddychwelo i farnu pob dyn y dydd diweddaf," IV. Erthygl. "A byddwn yn wastad gyda'r Arglwydd," 1 Thess. iv. 17. Fel y dywedodd Crist, fe brofa yr esgyniad o'r nef fod "yn nhŷ ei Dad lawer o drigfanau." Esgynodd ein Harchoffeiriad mawr," Heb. ix. 24. Esgynodd megys brenin, 1 Cor. xv. 25.

Ond erys megys athraw yn ei Eglwys drwy ei Air, y weinidogaeth, y sacramentau, a'i Ysbryd. Ym mhen y deng niwrnod ar ol esgyniad Crist fe ddaw

Y SULGWYN (*Pentecost*).

Yr unig waith a gofféir am y deng nydd oedd dewisiad apostol i lenwi lle Judas fradwr (Act. i. 15—26), a gweddi ddyfal. Dyddiau o barotoad oedd y cyfnod hwnw. Yr oedd yr apostolion â'u "lwynau wedi eu gwregysu," a'u "canwyllau yn oleu." Ar ddydd y Pentecost derbyniodd y "y praidd bychan"—Eglwys Crist—ei Bedydd. Bedyddiwyd hi â'r Ysbryd Glân ac â thân, a derbyniodd pob un o'i haelodau "nerth o'r uchelder." Ymddangosodd y tân sanctaidd, Shechinah yr hen oruchwyliaeth, ar ffurf tafodau gwahanedig o dân, ac a eisteddodd ar bob un o'r dysgyblion, gan gyssegru pob un ar ben ei hun o honynt, a'u llenwi â'r Ysbryd Glân, a chan wneuthur y galon ddynol yn deml iddo. Gwnaeth yr Ysbryd Glân ei gartref yn yr Eglwys, i "aros yn dragywydd gyda hi," St. Ioan xiv. 16. Dyma ddydd genedigaeth ysbrydol yr Eglwys o'r Ysbryd a dodiad i lawr yn gyhoeddus ei chareg sylfaen hi, Actau ii. 38. Cymmerodd St. Pedr ar y dydd hwn agoriadau teyrnas nefoedd yn ei law, ac agorodd ei drws i dderbyn tair mil o aelodau newyddion i mewn iddi," Act. ii. 41.

---

## Y WASG.

### *Y Geninen.*

MAE y *Geninen* am Ebrill yn cynnwys nifer o ysgrifau rhagorol ar destynau dyddorol ac amserol, a cheidw i fyny ei nodwedd genedlaethol yn gyflawn. Gwelir ynddo ddrych o'r genedl yn ei nerth a'i gwendid, ei daioni a'i diffygion. Yr ysgrif gyntaf ydyw eiddo y Parch. J. A. Morris ar "Hanes Addysg yng Nghymru." Y bedwaredd ar yr un testyn. Y mae y gyfres ar y testyn yn dda, a thelir teyrnged i Ysgol Ystrad Meirig yn hon.

Yr ydym wedi canfod yn yr ysgrif hon ac amryw

Digitized by Google

ysgrifau blaenorol ysgrifenwyr da a gwybodus, yn defnyddio y gair "mynedol" yn gyfystyr â gorphenol. Dywed y Parch. J. A. Morris yn yr ysgrif ger ein bron am Ysgol Ystrad Meirig: "Gan nad beth a wneir o honi yn y dyfodol, mae wedi gwasanaethu Cymru yn y *mynedol* yn gyffredinol, a'r Eglwys Sefydledig yn neillduol," &c. Swnia y gair "mynedol" yma yn chwithig ar ein clust ogleddol, gan ein bod wedi *hen gynnefino* â'r gair *gorphenol* am yr amser a aeth heibio, a gwelsom ddefnyddio y gair mynedol am yr amser sydd yn cyflym fyned heibio. Pwy o'r beirdd a ddywedodd, "Y mynydau *mynedol*," fel ymadrodd cyfystyr â *passing moments?* Ac ai nid oedd yn ei le? Llinell ar ein cof yw, a thybiwn mai Tudno a'i defnyddiodd. Nid ydym ond taflu awgrymiadau gan rith dybio mai arferiad lleol sydd yn gyfrifol am roddi yr ystyr o "gorphenol" i "mynedol."

"Llynoedd Cymru," gan y Parch. J. E. Davies, M.A., ydyw yr ysgrif nesaf. Y mae ei chwedl am Lyn y Gadair yn swnio i ni fel clytwaith. Yr oeddym yn dra chynnefin hanner can mlynedd yn ol â rhan o'r chwedl, ond gan ein bod er ys cynnifer o flynyddoedd wedi gadael *troed* y Wyddfa, gall mai yr argraffiad yn y *Geninen* sydd nesaf i'r adroddiad lleol o'r chwedl. Ysgrif dda iawn ydyw "Ffugwladgarwch," gan y Parch. E. Anwyl, B.A. Gwerin gwlad ydyw y dosbarth mwyaf gwladgarol bob amser ac ym mhob lle. Yng Nghymru, fel yn yr Iwerddon a Lloegr, yn awr y mae y werin wedi dyfod i'r wyneb, a pharant glywed eu llais, yn enwedig eu *pleidlais;* ac y mae *swyddgarwyr* pob plaid yn ymdrechu swnio eu *shib*-olaeth, ond sibolaeth yw yng ngeneu y ffug-wladgarwyr o bob tu. Y mae gwenieithwyr y gwr mawr gynt yn gwenieithio i'r lluaws yn awr; ond daw y werin wladgarol i adnabod y ffug-wladgarwch yn araf.

Dyddorol iawn fyddai darllen "Breuddwyd Pabydd wrth ei ewyllys," gan y Tad Morgan; a "Dechreuad a Chynnydd yr Enwad Annibynol yng Nghymru," gan y Parch. D. Griffith. Yma gwelir dau eithafion nad ydynt yn cyfarfod eu gilydd mewn dim, ond taflu ambell ergyd ar yr Eglwys Sefydledig rhyngddynt. Fe wel y lleiaf ei gyfleusderau hanesiol mai nid yn Nolgellau y ganwyd Phariseaeth gynt, ac mai nid yn Ninbych y rhestrwyd byddinoedd Philistiaeth gyda'r gwaewffyn hirion gyntaf. Ond nid ar y Tad Morgan a'r Parch. D. Griffith y mae y bai eu bod yn adrodd rhai pethau celyd am erlidigaeth o'r ddau du. Adrodd hanes y maent, a hyny mewn ysbryd rhagorol, a'r wers a ddylem oll ddysgu yw, i "gydoddef â'n gilydd mewn cariad," gan gofio mai y blaidd fydd yn *erlid* y defaid bob amser.

Ym mysg y farddoniaeth y mae pryddest swynol gan Tudno ar Eglwys Llangurig. Cynnwysa y rhifyn oll gyfansoddiadau gan wyth ar hugain o wahanol awdwyr, a cheidw y *Geninen* ei safle fel y chwarterolyn neu gyfnodolyn goreu yng Nghymru.

---

## CELL DIRWEST.

### PA HAM YR WYF YN LLWYRYMWRTHODWR?

Am fy mod yn gweled y dinystr ofnadwy a wneir ar gysuron teuluaidd, iechyd corfforol, a moesoldeb a chrefydd Crist. Yr wyf yn offeiriad yn gweinidogaethu yn un o drefydd mwyaf llwyddiannus gogledd Lloegr, lle yn y cyffredin y mae y cyflogau yn dda. Cefais fy magu mewn teulu nodedig am eu cymmedroldeb ym mhob peth, mewn bwydydd, diodydd, gwisgoedd, ac ymddangosiad. Ym mhob peth, cymmedroldeb oedd arwyddair teulu fy nhad gartref. Anaml y profai na gwin, na gwirod, ac ni chyffyrddai â na snisin na thybaco; ac ni chefais i erioed weled drygedd meddwdod gartref. Aethym drwy ysgol a choleg heb weled llawer o *ddrygedd* meddwdod, ond nid heb weled peth o'i ffolineb. Fel ffolineb a gwastraff yr oeddwn bob amser wedi edrych ar feddwdod. Daethym yn gurad ddeng mlynedd ar hugain yn ol i'r dref hon, lle yr wyf yn awr yn ficer, ac yma dechreuais weled *drwg* meddwdod, a dechreuais ofidio o'i herwydd, a chynllunio moddion i'w wrthwynebu, ond ni theimlwn un math o angen llwyrymwrthod fy hun, am nad yw y ddiod yn un demtasiwn i mi. Un diwrnod, ar ol bod yn y plwyf tua hanner blwyddyn, daeth geneth o forwyn mewn dychryn i alw arnaf i dŷ gwr ieuanc ger llaw. Dilynais hi ar unwaith, ac erbyn croesi y rhiniog gwelwn y cymmydog yn gorwedd ar y llawr â'i waed yn ffrydio o archoll ddychrynllyd yn ei fynwes. Yr oedd mewn gwallgofrwydd dan effeithiau y ddiod feddwol, wedi trywanu ei hun â chyllell hyd ei galon. O'i amgylch safai ei wraig a thri o blant bychain, a gwaed priod a thad yn daenelledig ar eu gwisgoedd. Ym mhen tridiau aethym i ymweled â'r weddw ieuanc drallodus a'i thri phlentyn. Penliniais gyda hi mewn gweddi wrth arch ei phriod, ac yn swn ei hocheneidiau calon-ddrylliog dystaw, addunedais trwy ras Duw nad yfwn lymaid o ddiod a allai fod mor niweidiol i reswm a syniad moesol dyn. Cedwais fy mhenderfyniad hyd heddyw, ac ni bu yn un caeth-

Digitized by Google

iwed arnaf. Ond gofidus genyf ddweyd, mai nid dyma yr unig enghraifft o ddrygau meddwdod a welais yn y ddinas hon. T. J. M.

### CYMDEITHAS DDIRWESTOL YR EGLWYS.

Y mae gan y gymdeithas hon ei rhestr lyfrau a thocynau ymrwymiadol yn Seisoneg, ond ni welais hwy yn Gymraeg. Dyma rwydd-gyfieithad o'r tocyn. Ar ei wyneb y mae yr ymrwymiad.

"Gwyliwch a gweddïwch nad eloch i brofedigaeth."

"Na feddwer chwi gan win yn yr hyn y mae gormodedd."

CYMDEITHAS DDIRWESTOL YR EGLWYS.

*Cangen*..................

Yr wyf yn ei hystyried yn ddyledswydd arnaf fel Cristion wneuthur yr oll a allaf tuag at ddilëu meddwdod, ac fel aelod o'r gymdeithas hon, mi a ymdrechaf yn enw a thrwy gymhorth yr Arglwydd Iesu Grist, drwy esampl a llafur, hyrwyddo yr amcan daionus.

Ardystiad fy llaw y......dydd o ............189

Enw.....................

"Eithr llanwer chwi â'r Ysbryd."

Ar gefn y tocyn mae y weddi ganlynol:—

CYMDEITHAS DDIRWESTOL YR EGLWYS.

*Gweddi.*

"Hebof fi ni ellwch chwi wneuthur dim."—St. Ioan xv 5.

O Arglwydd Dduw ein Tad nefol, dyro i mi dy Ysbryd Glân, fel yr amddiffyner fi drwy dy rasol a pharotaf gymhorth, ac y gallwyf gyflawnu ammodau fy Medydd drwy gadw fy nghorff mewn cymmedroldeb, sobrwydd, a diweirdeb; ac fel y gallwyf barhäus gynnyddu ym mhob gair a gweithred dda, nes cyrhaedd o honof dy nefol deyrnas, drwy haeddiant ein Harglwydd a'n Hiachawdwr Iesu Grist. Amen.

### MWY DEDWYDD YW RHODDI NA DERBYN.

Ebai bachgen penfelyn pengrych wrth ei dad, "Sut y mae hi yn fwy dedwydd rhoddi na derbyn?" Atebai y tad, "A wyt di yn gweled y *tramp* yna yn dyfod at y drws?" Troes y bychan ei lygaid at y ffenestr a gwelai gardotyn yn nesu at y drws. "Dos â'r geiniog yna iddo i'r drws," ychwanegai y tad. Rhedodd y bachgen â'r geiniog i'r cardotyn yn llawen, a dychwelodd yn ei ol yn siriol dros ben, gan ddweyd, "Mi 'roedd y *tramp* yn falch o'r geiniog." "Wel," ebai ei dad, "pa un yn awr yw y mwyaf dedwydd, ai derbyn ai rhoddi? A fuaset ti, John, yn dewis newid lle gyda'r *tramp*—y *tramp* i ddyfod yma i fyw, a thithau i fyned i *fegio* am geiniog o ddrws i ddrws?" "Nid ai byth i *drampio* a *begio*," meddai y bychan, "y mae yn well genyf fi roddi pres yn y drws." "Os myni di roddi pres yn y drws, John," ebai ei dad, "rhaid i ti fod yn fachgen da, diwyd, gweithgar. Rhaid i ti fod yn ufudd gartref, dysgu yn yr ysgol, a gweithio wedi myned o'r ysgol. Yr oedd y *tramp* a welaist ti yn y drws yn brentis o siopwr pan oeddwn innau yn brentis yn saer, a byddai ganddo arian yn ei boced pan oeddwn i heb y nesaf peth i ddim. Ond aeth efe i wisgo yn uwch na'i foddion; aeth i loddesta yn y tafarnau; aeth yn araf yn anonest, a chollodd ei le. Aeth o ddrwg i waeth nes myned i'r *jail* fwy nag unwaith, ac y mae er ys blynyddoedd bellach yn *trampio* y wlad, yn cysgu allan, ac mewn beudai a chorau, ac wedi hanner dyrysu yn ei synwyrau. Cofia, John, am y *tramp*, a chei weled mai gwell yw rhoddi na derbyn. Ond cyn y gelli roddi, rhaid i ti weithio a chynnilo."

### MANYLION.

Dywedodd gweithiwr un boreu wrth ei wraig am freuddwyd hynod a welodd yn y nos. Breuddwydiodd iddo weled pedair llygoden fawr yn dyfod ato fel y canlyn:—yn flaenaf, hen lygoden dew fawr; yna dwy arall, deneu eiddil; ac yn olaf llygoden ddall. Blinwyd calon y gwr yn dost, o herwydd teimlir yn y wlad hòno (sef yr Alban) ofergoeledd mawr yng nghylch breuddwydion. Ystyrir breuddwyd am lygod yn arwyddocaol o ryw ddamwain niweidiol; felly gofynai i'w wraig ddeongli y breuddwyd. Nis gallai hithau wneuthur dim ag ef, ond daeth y mab bychan ym mlaen ag esboniad cymhwys. "Fy nhad," meddai, "gwrandëwch: y llygoden dew yna ydyw y dyn sy'n cadw y dafarn, y ddwy lygoden deneu ydyw mam a finnau, a'r llygoden ddall ydych chwi, fy nhad—a gwyddoch hyny gystal a finnau." Aeth y ddammeg fel saeth i galon y meddwyn.—*Allan o'r "Sunday Words."*

### DR. JOHNSON A'R DDIOD FEDDWOL.

Creadur sarig a chwta ei ymadrodd ydoedd yr enwog lenor Seisoneg Samuel Johnson, ond yn wastad i'r pwnc fyddai pob gair ganddo. Yr oedd unwaith mewn lletty croesawus, lle y ceisiai boneddiges y tŷ yn daer arno gymmeryd gwydriad o win. "Nis gallaf, madam," meddai; "gyda myfi cymmedroldeb yn y ddiod gadarn sydd *ormodedd*." "Dim ond un glasaid," meddai hithau, gan bwyso yn daer: "gallwch yn sicr gario ymaith *un glasaid*." "Nis gallaf," ebai y doctor, "o herwydd fe aethai *un* glasaid *ymaith â mi*."

W. M. R.

## NEWYDDION.

### CONFFIRMASIWN NEU FEDYDD ESGOB YNG NGHORWEN.

Cynnaliodd esgob Llanelwy wasanaeth conffirmasiwn yng Nghorwen ar ddydd Llun, y chweched o Ebrill, lle y derbyniwyd 75 drwy yr ordinhâd hon i freintiau cyfranogi o Gymmun corff a gwaed Crist. Pan yn gwrandaw anerchiad pwrpasol yr esgob i'r bobl, teimlem fod ynddo swn *amddiffyniad* i'r ordinhâd hon. Pa ham y rhaid wrth si o *amddiffyniad* i ordinhâd sydd gan hened a Christionogaeth, ac eglurhâd ar ddefod mor hen a dyddiau yr apostolion? Rhaid fod achos i'r amddiffyniad a rheswm dros yr eglurhâd a'r profion Ysgrythyrol. Yr achos o'r ddau ydyw esgeulusdra amser a fu, a chamddarluniadau y presennol. Esgeuluswyd yn yr amser a fu wasgu at ystyriaeth yr Eglwys yn gyffredinol, a rhieni a thadau a mamau Bedydd yn neillduol, y cynghor pwysig a roddir yn niwedd Gwasanaeth Bedydd Cyhoedd Plant Bychain. Gadawodd y rhifedi mwyaf o lawer o hen offeiriaid boneddigaidd ac elusengar Cymru addysg grefyddol y plant yn llwyr yn llaw eu rhieni ac ambell athraw ysgol. Ar adeg conffirmasiwn cesglid ieuenctyd llawer plwyf i'r ordinhâd sanctaidd fel defaid o'r mynydd, heb un addysg, cynghor, a dysgyblaeth, a phrawf blaenorol. Daeth yr ordinhâd ddwyfol yn arddangosiad allanol gwag, heb ynddo dim dyddordeb pellach na *seremoni y dydd*, a dyna y gwir achos i'r ordinhâd syrthio i ddiystyrwch. Gan fod yr ordinhâd hon wedi peidio â bod yn gyfrwng a phrawf dysgyblaethol i dderbyn aelodau cymhwys at fwrdd y Cymmun Bendigaid, trefnodd y Methodistiaid Wesleyaidd a Chalfinaidd gyfarfodydd addysgu (*class meetings*) a chymdeithasau (*societies*) i gyflawnu y gwaith o barotoi a derbyn i'r Cymmun Bendigaid. Ym mysg yr enwadau Ymneillduol, gan hyny, cymmerir pleidlais yr aelodau lleygol mewn cymdeithasfa neillduol (*seiat*) yn lle barn y gweinidog a threfn conffirmasiwn i dderbyn i mewn at fwrdd y Cymmun Bendigaid. Fel y dywedodd un ysgrifenydd diweddar, gyda mwy o ffraethineb ef allai na pharch, derbynir i gyflawn gymmundeb gan yr Ymneillduwyr drwy *gyfodiad* dwylaw y gynnulleidfa yn lle *arddodiad* dwylaw yr esgob. Trefn ddynol ddiweddar ydyw cynllun y "seiat," ond trefn apostolion Crist ydyw conffirmasiwn. Eto, naturiol iawn ydyw i'r bobl sydd wedi mabwysiadu trefn newydd ddynol, siarad yn erbyn a drwgliwio yr hen drefn Ysgrythyrol.

Ond yr ydys yn gobeithio na bydd eisieu amddiffyn trefn conffirmasiwn yn hir. Bydd gwaith pob offeiriad yn eu gwahanol blwyfydd, wrth barotoi y bobl ieuainc, a'u bywyd a'u buchedd hwythau, ar ol derbyn yr ordinhâd, yn foddion effeithiol

"I gau geneu goganwyr."

Fe dybiem fod golwg addawol iawn ar y 75 a dderbyniasant eu Bedydd esgob yng Nghorwen. Edrychai yr oll yn ddifrifol; canent yn rhagorol ac ymunent oll yn ddefosiynol yn y gwasanaeth sanctaidd; a diau y gwelir yr oll o honynt wrth fwrdd y Cymmun ar y cyfleusdra cyntaf.

### GWEINYDDIAD CONFFIRMASIWN YN EGLWYS ST. ANNE'S, BANGOR.

Gweinyddwyd conffirmasiwn ar 36 o bobl gan esgob Bangor yn Eglwys St. Anne's yn ddiweddar, a chyfranogodd 192 o'r Cymmun Bendigaid ar ol i'r ordinhâd o Fedydd esgob fyned drosodd. Credwn mai doeth iawn, lle y gellir yn gyfleus, ydyw yr hen drefn o uno gwasanaeth y Cymmun Sanctaidd â'r conffirmasiwn, fel y caffo y rhai a dderbyniasant yr "arddodiad dwylaw" gael hefyd y cyfleusdra o dderbyn eu "Cymmun cyntaf" o law yr esgob. Y mae mawr angen arnom am feithriniad mwy o ddefosiwn calon a duwiolfrydedd meddwl. Yn yr Eglwys yn unig y gall defosiwn gwylaidd, enciliedig, gael noddfa yn awr. Y mae wyneb-galedwch a digywilydd-dra haerllug yn mynu y blaen ym mhob man arall bron.

### DYRCHAFIADAU EGLWYSIG YN ESGOBAETH LLANELWY.

Dyrchafwyd y Parch. Thomas Jones, ficer Rhosllanerchrugog, i reithoriaeth Llanbedr, Dyffryn Clwyd; y Parch. T. Prichard, ficer Llanclidan, i ficeriaeth Rhosllanerchrugog; y Parch. John Morris, curad Cymraeg Croesoswallt, i ficeriaeth Llanclidan; a'r Parch. H. W. Fletcher, ficer Croesoswallt, i ficeriaeth Gwrecsam.

### YN ESGOBAETH BANGOR.

Dyrchafwyd y bardd-offeiriad adnabyddus, y Parch. W. Lewis (Gwilym Berw), curad Llandudno, i reithoriaeth Llanfihangel y Pennant, Meirionydd; y Parch. J. Davies, ficer Eglwys Dewi Sant, Ffestiniog, i reithoriaeth Llaniestyn yn Lleyn; y Parch. T. Richards, M.A., ficer Tŷ Ddewi, i ficeriaeth Eglwys Dewi Sant, Ffestiniog; y Parch. M. Lloyd, rheithor Llanelltyd, Meirionydd, i reithoriaeth Llanelian, Mon; y Parch. J. Williams, curad Conwy, i Lanelltyd; y Parch. R. Williams, Dolyddelen, i

Digitized by Google

ficeriaeth Llanidloes; a'r Parch. Samuel Jones, curad St. Anne's, Bangor, i reithoriaeth Darowen.

Yn ein rhifyn diweddaf hysbysasom ar seiliau adroddiad personol fod y Parch. Samuel Jones wedi ei ddyrchafu i Lanfihangel y Pennant, yng nghesail anghysbell Cadair Idris, ond deallwn erbyn hyn nad oedd yn dewis dringo *mor uchel*. Bu yn rhaid cael bardd i olynu y bardd Gwynedd yno, ac yn Gwilym Berw caiff y plwyf anghysbell fardd coeth, offeiriad gofalus, pregethwr da, a Christion bob modfedd o hono. Dywedai Hiraethog fod ei awdl ar Ragluniaeth "yn darllen fel yfed llefrith."

### CANON MYGEDOL NEWYDD BANGOR.

Da genym weled fod yr offeiriad gweithgar a llwyddiannus, a'r llenor gwych, a'r gweithiwr llafurus gyda phob cymdeithas genadol ac achos da, nid yn unig yn esgobaeth Bangor, ond ym mhob cyfeiriad—y Parch. D. W. Thomas, M.A., rheithor St. Anne's (Gwallter ab Geraint), wedi ei benodi yn ganon mygedol o Eglwys Bangor. Yr ydym yn ei gofio yn un o'r dynion mwyaf heinif yn yr esgobaeth, ond y mae wedi llafurio nes gwanychu bron yn gynamserol, gan ein hadgofio yn barhäus o'r diweddar Ganon Williams, o Lanelli.

### AFIECHYD Y PARCH. R. A. WILLIAMS (BERW).

Bydd yn ddrwg gan ein lluaws darllenwyr yn Ne a Gogledd ddeall mai dal yn wael ei iechyd y mae y llenor coeth a'r bardd enwog Berw. Cydymdeimlir ag ef a'i briod ieuanc ym mysg pob dosbarth o'n cydwladwyr, ac anfonir aml weddi i'r nef am adferiad buan iddo.

### Y CYNGHRAIR CENEDLAETHOL CYMREIG YN YR AMWYTHIG.

Gan ein bod yn copïo allan o newyddiadur Seisonig dan y penawd "*Welsh National Society*," nid ydym yn sicr fod ein cyfieithad yn gywir; ac os nad yw, maddeued aelodau gwladgarol (?) y gymdeithas i ni. O dan y penawd, "Y Cynghrair Cenedlaethol Cymreig," dysgwyliem weled hanes "pwyllgor gweithredol" o Gymry yn cynnrychioli Cymru, fel y gwelir ar bwyllgor eisteddfod genedlaethol, ac yng nghyfres ysgrifenwyr y *Geninen;* ond druan o Gymru fechan, pwy oedd yn y gadair yn llywydd? neb amgen na'r Sais estronol Mr. Stuart Rendel, A.S., yr hwn yn rhinwedd ei bwrs hir a lenwir wrth wneuthur arfau rhyfel, ac a bryna iddo ei hun eisteddle fel cynnyrchiolydd swydd amaethyddol a heddychol Maldwyn. Amgylchynid ef ar y pwyllgor gan garn Seison yn cael eu britho â nifer o bregethwyr y gwahanol enwadau, ac ymdriniwyd â phob pwnc yn Seisoneg. Dyma *ben* a chalon y gymdeithas genedlaethol Gymreig! Druan o Gymru fechan, yn cael ei marchogaeth gan estroniaid y pyrsau hirion, a'u dilynwyr newynog am gyhoeddusrwydd ac elw bydol.

Y gwaith oedd gan y pwyllgor anachaidd hwn mewn llaw ydoedd "trefnu at ddechreu ar gadgyrchiad (*campaign*) uniongyrchol drwy Gymru a Lloegr yn ffafr Dadgyssylltiad a Dadwaddoliad yr Eglwys yng Nghymru." Penderfynwyd "fod casgliad penodol yn cael ei wneyd ar unwaith i alluogi darlithwyr medrus i fyned drwy Gymru a Lloegr i ddadleu dros yr achos, a bod yr arian i gael eu hymddiried i law pwyllgor y cadgyrchiad" (*campaign committee*). Gwelwn fel hyn mai gwaith arbenig y gymdeithas genedlaethol Gymreig (?) ydyw dinystrio yr Eglwys yng Nghymru, a hyny o dan arweiniad carn-Seison ac aillt-Wyddelod.

Mae y pwyllgor dadgyssylltol, hwn o dan y ffug a gau enw o Gymdeithas Genedlaethol Gymreig, yn gwneyd yr un peth yn grefyddol yn yr oes hon, ag a wnai eu tadau naŵ can mlynedd yn ol mewn ystyr wladol.

Dyma ychydig o hanes

*Bradychwyr eu gwlad*

yn yr hen oesoedd allan o *Brut y Tywysogion:* "Oed Crist 978, aeth Hywel ab Ieuan waith arall yn erbyn ymddiffyn Iago ei ewythr, a chydag ef lu *mawr o Seison*, ac anrheithiaw Lleyn a Chlynog Fawr a wnaethant, a *thori yr Eglwysi* yn aruthr," &c.

"Oed Crist 980 y daeth Hywel ab Ieuaf â llu mawr o'r *Seison* i Frycheiniawg, a holl gyfoeth Einion, ac y diffeithiasant y wlad," &c.

"Oed Crist 991 y daeth Edwin ab Einion a'i wŷr, ac yn gymhorth iddo Adelff, tywysog o Sais, a chydag ef lu mawr, ac anrheithiasant holl diroedd Meredydd, sef Ceredigion, a Dyfed, a Mynyw, a Gŵyr Isaf, a Chydweli."

"Oed Crist 996 y daeth y Daniaid i Ddyfed o gynghor a chymhorth i Iestyn fab Gwrgant, ac Aeddan ab Blegywryd, ac a losgasant Fynyw (Tŷ Ddewi), ac a laddasant Forgeneu Esgob Dewi."

Oni ellir ychwanegu yn hollol gywir o dan yr amgylchiadau presennol?

"Oed Crist 1891 casglodd blaenoriaid y pedwar enwad fyddin gref o Seison a Gwyddelod dan arweiniad y cadfridog Seisoneg Mr. Stuart Rendel, gwneuthurwr arfau rhyfel, i ymosod ar a dinystrio yr holl *Eglwysydd* yng Nghymru."

Digitized by Google

### MR. GLADSTONE A CHYMDEITHAS RHYDDHAD CREFYDD.

*Brwydr yr egwyddorion.*

Cymmerodd gohebiaeth ddyddorol le rhwng golygydd y newyddiadur Anghydffurfiol y *Baptist* a Mr. Gladstone ar egwyddorion ei araeth ar Ddadgyssylltiad yr Eglwys yng Nghymru. Swm a sylwedd araeth Mr. Gladstone yw: Y mae yr Eglwys yng Nghymru yn dda, yn sefydliad unol ag ewyllys Duw; yn hen grefydd y genedl, ac yn fendith i'r oes; ond y mae yr Anghydffurfwyr yn anfoddlawn iddi gael mwynhau ei gwaddoliadau, ac y mae yn y *lleiafrif* o'r holl drigolion. Egwyddor Mr. Gladstone ydyw llais y mwyafrif; neu yr hen waedd, "*Vox populi, vox Dei.*"

"Neu, llais y dorf yw llais duw,"
Boed uniawn neu boed annuw.

Ond dychryna golygydd y *Baptist* wrth feddwl am gymhwyso yr egwyddor hon at ddadgyssylltu a dadwaddoli yr Eglwys. Ysgrifena ac ymresyma fel hyn: "Os dadsefydlir yr Eglwys yng Nghymru am fod ei haelodau yn y lleiafrif, onid ellir sefydlu Anghydffurfiaeth yno ar yr un egwyddor?" Bid siwr y gellir, a bu golygydd y *Baptist* yn hir heb agor ei lygaid i *egwyddorion* ei blaid ei hun, ond eto ni raid i'n cyfoesolydd ofni y gwneir. Dychryna y golygydd, pa fodd bynag, wrth feddwl y gellir ysbeilio Eglwys o'i meddiannau tymmorol oddi ar un egwyddor ond "nef anedig egwyddor cydraddoldeb crefyddol." Cerydda Mr. Gladstone yn llym, a dywed wrtho yn eglur nad ydyw ddim yn gymhwys arweinydd i Anghydffurfiaeth yn eu hymdrech at ddadgyssylltiad. Mewn rhifynau dilynol o'r un newyddiadur ceir gohebiaeth ar y testyn oddi wrth amryw weinidogion Ymneillduol, ac oddi wrth Mr. Carvell Williams, ysgrifenydd Cymdeithas Rhyddhâd Crefydd. Mae bron yr oll yn cymmeradwyo gwneuthur y defnydd goreu a ellir o Mr. Gladstone i Ddadgyssylltu yr Eglwys am ei fod yn erfyn effeithiol.

Y mae yn amlwg ddigon nad ydyw golygydd y *Baptist*, a channoedd ereill, ddim yn deall egwyddorion gwleidyddiaeth ddiweddar fel ei gweithir allan gan Mr. Gladstone. Llais moel y mwyafrif yw. Nid oes yn yr *egwyddor* un syniad o foesoldeb nac anfoesoldeb; cyfiawnder nac anghyfiawnder; cyfraith Duw nac arferiad gwlad. Yr egwyddor mwy yw mwyafrif o *un*. Y mae tri yn fwy na dau, pump yn fwy na phedwar, a 50,000 yn fwy na 48,000 pleidlais; ac ar y seiliau hyn *yn unig* y mae hawl gan y mwyafrif i wneyd fel y gwelont yn dda â'r lleiafrif. Y mae Cardinal Manning yn deall hyn yn gyflawn, ac amcana ei chymhwyso i gael y Babaeth i awdurdod uwchafol ar bob buddiannau Eglwysig a gwladol yn yr Iwerddon.

Arfau moelion a noethion, fel llif a bwyell yn llaw y saer, ydyw cynnrychiolwyr seneddol yr oes hon gan mwyaf. Ar y *pleidleisiwr* y teflir y cyfrifoldeb moesol; ac ar ei lais ef *yn unig* y gwrandewir. Gwaedd y *pleidleiswyr* a ddiorseddodd Mr. Parnell, pan oedd ei gydgynnrychiolwyr yn cwbl gau eu llygaid i'w aflendid moesol a phersonol. Perygl yr oes ydyw camgymmeryd llais yr *ychydig* bobl eithafol am lais y mwyafrif. Mewn amser o gyffro y mae dyrnaid o bobl eithafol yn mynu mwy o ddylanwad na thorf o bobl gymmedrol.

### PARNELLIAID A GWRTH-BARNELLIAID.

Pan ddygwyd swyddog Ffrengig—oedd wedi gadael y milwyr teyrngarol a dilyn Napoleon Buonaparte ar ei ddyfodiad o Elba, ac wedi troi yn ol at achos y brenin Louis XVII.—at Bloucher, ar ol brwydr Waterloo, edrychai yr hen wron Prussiaidd yn lled guchiog arno. Gan dybied nad oedd *Bloucher* wedi deall pwy oedd y swyddog, dywedai milwriad o'r fyddin Brussaidd, "Oni welwch chwi Col. Mountjoy â'r *lili* freninol yn ei gap?" "Ni waeth beth a fyddo yng nghap bradychwr, bradychwr fydd o byth," oedd ateb sarig yr hen wron. Felly am luaws mawr o'r Parnelliaid a gwrth-Barnelliaid, ni waeth pa beth a roddant yn eu capiau, brodyr o un gwaed a chymmeriad ydynt; a dangosant y naill y llall yn bresennol yn eu *lliwiau* eu hunain, gan brofi gwirionedd hen ddywediad Seisonig, "*When rogues fall out, honest men get their rights.*"

Tra y byddo y Parnelliaid a gwrth-Barnelliaid yn ymryson, fe gaiff heddgeidwaid yr Iwerddon gyfiawnder. Un o bethau rhyfedd yr oes ydyw yr ammharch a deifl y Radical Ymneillduol a Phabyddol ar yr heddgeidwaid, a'r brys a ddengys y naill a'r llall i geisio eu nodded ar bob awr o gyffro.

### ADAR UNLLIW A GWAHANIAETH RHYNGDDYNT.

Aeth Cymru Ymneillduol a'r Iwerddon Babyddol yn wenfflam o eiddigedd teilwng o'r amgylchiad, am i brawf o dor-priodas godinebus gael ei ddwyn yn erbyn Parnell yn llys yr ysgariaeth yn Llundain, a rhoddes un o'r

*Pedwar enwad yng Nghymru*

fenthyg eu capel yng Nghwm Rhondda ar Wythnos y Dyoddefaint i Syr Charles Dilke i bregethu *politics*

Digitized by Google

ac efe wedi cael ei brofi yn euog o dori priodas trwy odineb â gwraig ei gymmydog. Yr oedd y ddau aderyn hyn o'r un *lliw* yn llys yr ysgariaeth, ond y mae gwahaniaeth rhwng Parnell o dan draed y *mob* yn yr Iwerddon a Syr Charles Dilke arianog yn y pwlpud yng Nghymru.

---

## MANION.

Iaith dda ddefnyddiol dros ben yw y Seisoneg. Nid oes neb all wadu hyn, na gwadu ei grym a'i phrydferthwch ar ol darllen Milton, a Tennyson, a Bright, a Spurgeon, ond mae rhyw "guddiad cryfder" yn y Gymraeg na cheir yn iaith Shôn Ben Tarw. Clywais Liddon yn pregethu yn Sant Paul. Clywais Spurgeon yn ei Dabernacl. Clywais Dale yn City Road: Parker droion yn ei deml. Ond erioed nid wyf wedi clywed pregethwyr Seisoneg yn gwneyd grymuswaith fel Hiraethog a Llawdden.—*Parch. Eynon Davies.*

Pregethu yw gogoniant yr hen wlad. Mae Gwalia yn rhagorol mewn cerddoriaeth a barddoniaeth, ond nid yw cenedloedd ereill yn gwybod fawr am dani yn y pethau hyny; ond mewn gallu i bregethu yr Efengyl, cydnabyddir y Cymro yn gorffoliad o brif anhebgorion y swydd a'r gelfyddyd.—*Cynonfardd yn y "Cenadwr."*

Gofynodd un i'r Parch H. W. Beecher a fyddai efe byth yn colli cwrs ei bregeth. "Byddaf" oedd yr ateb. "Beth fyddwch yn ei wneyd ar amgylchiad felly?" "Cerdded yn ol a blaen yn y pwlpud, a churo, a gwaeddi nerth fy mhen. Boreu dranoeth bydd nodiad yn y *New York Herald* fel hyn: "Yn y fan hon daeth y pregethwr yn nodedig o hyawdl."

Fel yr oedd clerigwr o dalaeth Efrog Newydd yn ymweled â dinas Washington, dygwyddodd iddo grwydro un diwrnod tua'r senedd-dŷ, ac agor y drws, ac yr oedd ar fedr myned i mewn, pan y gofynodd ceidwad y drws iddo, "A ydych chwi yn aelod breiniol?" "Beth yw hyny?" gofynai y gweinidog. Yr ateb oedd, "Llywydd talaethol, hen aelod seneddol, neu weinidog tramor." Atebai mai gweinidog oedd. "Perthynol i ba wlad?" gofynai'r ceidwad. "I'r nefoedd, syr!" I hyn atebodd y ceidwad yn dra ffraeth, "Nid yw'r Unol Daleithiau yn bresennol yn dal un math o drafnidiaeth na chymdeithas â'r gallu tramor y soniwch am dano."

Er mwyn bod yn deilwng o swydd y dyddiau hyn, rhaid bod yn annheilwng braidd o bobpeth arall.

## PENODIAD MR. HELM.

Dymunir arnom hysbysu fod Cymdeithas Amddiffyniad yr Eglwys wedi penodi Mr. W. E. Helm fel ei hysgrifenydd yng Nghymru. Gellir ysgrifenu ato yn Granville Street, Shrewsbury.

Bydd yn dda ganddo dderbyn oddi wrth unrhyw un a fyddo cystal a'u hanfon iddo:—

1. Gwybodaeth am waith a chynnydd yr Eglwys.
2. Gwybodaeth am yr ymosodiadau ar yr Eglwys.
3. Pigion allan o newyddiaduron.
4. Ceisiadau am ddarlithiau, cyhoeddiadau, &c.
5. Tanysgrifiadau a chyfraniadau tuag at y Gronfa Gymreig.

---

## Y LLITHIAU PRIODOL, MAI, 1891.

| Dydd | Suliau a Gwyliau | Boreu | Prydnawn. |
|---|---|---|---|
| 1 Gwe. | St. Phylip a St. Iago, Ap. a Mer. | Esai lxi.<br>Ioan i. 43 | Zech. iv.<br>Col. iii. hyd 18 |
| 3 Sul | 5 Sul wedi'r Pasc | Deut. vi.<br>Luc xxii. 31—54 | Deut. ix. or x.<br>Col. iv. 7 |
| 7 Iau | Y Dyrchafael* | Dan. vii. 9—15<br>Luc xxiv. 44 | 2 Bren. ii. hyd 16<br>Heb. iv. |
| 10 Sul | Sul wedi'r Dyrchafael | Deut. xxx.<br>Ioan i. 29 | Deut. xxxiv. neu Jos. i.<br>2 Thes. ii. |
| 17 Sul | Y Sulgwyn† | Deut. xvi. hyd 18<br>Rhuf. viii. hyd 18 | Esai xi. neu Esec. xxxvi. 25<br>Gal. v. 16 neu Actau xviii. 24 hyd xix. 21 |
| 18 Llun | Llun yn Wythnos y Sulgwyn | Gen. xi. hyd 10<br>1 Cor. xii. hyd 14 | Num. xi. 16—31<br>1 Cor. xii. 27 a xiii. |
| 19 Maw | Mawrth yn Wythnos y Sulgwyn | Joel ii. 21<br>1 Thes. v. 12—24 | Micah iv. hyd 8<br>1 Ioan iv. hyd 14 |
| 24 Sul | Sul y Drindod‡ | Esai vi. hyd 11<br>Dad. i. hyd 9 | Gen. xviii. neu i. a ii. hyd 4.<br>Eph. iv. hyd 17 neu Mat. iii. |
| 31 Sul | 1 Sul wedi'r Drindod | Jos. iii. 7 to iv. 15<br>Ioan xii. 20 | Jos. v. 13 hyd vi. 21 neu xxiv.<br>Heb. vii. |

* Salmau Priodol—Boreu, viii., xv., xxi.; Prydnawn, xxiv., xlvii., cviii. Credo Sant Athanasius. Rhagymadrodd Priodol yng Ngwasanaeth y Cymmun hyd y 14eg.

† Salmau Priodol—Boreu, xlviii., lxviii.; Prydnawn, civ., cxlv. Credo Sant Athanasius. Rhagymadrodd Priodol yng Ngwasanaeth y Cymmun hyd y 23ain. Colect y Cydgoriau yn ddyddiol.

‡ Credo Sant Athanasius. Rhagymadrodd Priodol yng Ngwasanaeth y Cymmun.

---

CARMARTHEN:

Printed and published by W. Spurrell & Son, at their Printing Office, situate and being at No. 37, King-street, in the Parish of Saint Peter, in the County of the Borough of Carmarthen, on Thursday, the 30th of April, 1891.

Digitized by Google

# YR HAUL.

Ail Gyfres Caerfyrddin.

"YNG NGWYNEB HAUL A LLYGAD GOLEUNI."
"A GAIR DUW YN UCHAF."

RHIFYN 78. MEHEFIN, 1891. CYF. VII.



EGLWYS GADEIRIOL COLOGNE.



Digitized by Google

## EGLWYS GADEIRIOL COLOGNE.

Y MAE Eglwysi Cadeiriol Cred ym mhob gwlad yn rhwym o dynu sylw pob dyn meddylgar. Yn hanes ei daith o'r Bala i Geneva, dywed O. M. Edwards, Ysw., am dano ei hun pan yn dynesu at Cologne, "Dychymmyga fod pinaclau Eglwys Gadeiriol Cologne yn y golwg dros yr ugain milltir o wastadedd sydd rhyngof a hi. Yr oeddwn innau yn dychymmygu llawer wrth nesäu ati—dychymmygu gweled mam Nero yn gosod ei chareg sylfaen i lawr cyn i Gaersalem gael ei dinystrio; dychymmygu gweled y cenedloedd duon yn ei llosgi yn garnedd; dychymmygu gweled penaethiaid dinasoedd rhyddion y Canoloesoedd yn ymgyfarfod ynddi i gydgyhoeddi rhyfel yn erbyn breninoedd; dychymmygu gweled y Ffrancod, y Rwssiaid, y Prwssiaid yn tori trwy ei gwarchgloddiau, ac yn lliwio ei heolydd â gwaed. Echnos, tua'r llwydnos, yr oeddwn yn prysuro tua'r Eglwys Gadeiriol. Saif ar foncyn (fryncyn?) trigain troedfedd yn uwch na'r Rhein; y mae yn bedwar cant a hanner o droedfeddi o hyd, agos yn ddau cant o led, dros dri chant a hanner o uchder. Waeth i mi beidio â son am y creiriau a gedwir yma—penglogau'r doethion o'r Dwyrain a rhyw deganau felly. Ond golygfa nas gellir ei hanghofio ydyw y goedwig o golofnau mawreddog sydd yn ymsaethu i fyny y tu mewn iddi."

Ni a welwn yn eglur fod y ddychymmyg hanesyddol ar lawn gwaith gan ein cydwladwr ffraethbert a dysgedig, Mr. O. M. Edwards, pan yn dynesu at Eglwys hynafol ardderchog Cologne. Gwelai megys hanesiaeth y canrifoedd—holl ganrifoedd Cred—wedi ei groniclo mewn *du a gwyn* o gylch ei muriau. Yr ydym ninnau mewn dychymmyg yn gweled heulgylch (*halo*) o oleuni dwyfol yn tywynu yn goron ddysglaer sanctaidd o amgylch ei phinaclau uchel, er fod llawer o lwch daiaroldeb fel brychau i'w canfod yn chwareu yn ei belydrau. Dengys yr adeilad gogoneddus mai y teimlad defosiynol, addoliadol, ysbrydol ydyw gwreiddyn dyfnaf syniad dyn. Mae y teimlad wedi dal yn nerthol drwy yr oesau, gan beri i'r hen Eglwys gyfodi yn ol o'i llwch ar ol pob dinystr a ddeuai fel tòn amserol drosti. Nid oedd na Llu Du na Normaniaid, na dinystr tân na difrod arfau rhyfel, a allai ei dilëu. Tybiwn mewn dychymmyg fod ryw argraff mewn llythyrenau dwyfol uwch ei phen hi a phob chwaer Eglwys iddi: "Dinystriwch y deml hon, ac mewn tridiau yr adgyfodaf hi." Y mae nwydau y natur ddynol yn gryfion, ond y mae ei defosiwn yn ddyfnach a mwy dyfalbarhäus.

*

Gan fod y teimlad defosiynol ac addoliadol mor ddwfn yn y natur ddynol, mor bwysig yw cael goleuni digon pur, a chyfryngau digon sanctaidd i dynu allan a meithrin y gynneddf ysbrydol hon. Y mae goleuni bywyd Crist a gwres ei gariad yn marw dros bechaduriaid yn cael ei adlewyrchu yn dyner a mawreddog hefyd yn yr hen adeiladau ardderchog hyn, y rhai y treuliwyd allan risiau eu pyrth agored gan draed pererinion yr oesoedd. Yma yn yr adeilad eang, di ben draw, o dan y nenfwd uchel nas gall y llygad ei fesur, teimla dyn ei fychander personol mewn ofnus barch ac ymostyngiad; ond ar yr un pryd, teimla ei hun yn rhan o'r dyrfa fawr nas gall neb ei rhifo, a braidd na ddychymmyga glywed swn hen saint yr oesoedd yn y pellder yn canu ar eu taith o'i flaen.

Yn ol y dysgrifiad sydd genym ni o'n blaen, y mae Eglwys Cologne yn 480 troedfedd o hyd, 282 troedfedd o led, a 154 o uchder, ac ar lun croes, ac y mae ei thŵr uchaf oll yn 500 troedfedd. Y mae yn y tŵr chwech o glychau, a'r drymaf o honynt yn un dynell ar ddeg.

---

## DUWINYDDIAETH: NEU SYLWADAU AT WASANAETH YR YSGOL SUL AR YR EFENGYL YN OL ST. MATTHEW.

(*a*) GWERS XXIX.

*St. Matt. ix. 36; x. 11. O.C. 28. Darllener St. Marc iii. 13—19; vi. 7—13; xiii. 9—13. St. Luc vi. 12—16; ix. 1—6; xii. 1—12; xxi. 12—19. Cymharer St. Luc x. 1—16. St. Ioan xx. 19—23. Dysger allan St. Matt. xxviii. 19, 20.*

1. Y WEINIDOGAETH APOSTOLAIDD.

*Rhagbarotoad.*

Pen. ix. 36: "*Pan welodd efe y tyrfaoedd,*" &c. Gwelodd yr Iesu bobl mewn angen. Dyma wreiddiol gymhelliad i'r weinidogaeth. Y mae angen a thrueni o un tu yn cyffroi ymysgaroedd cariad o'r tu arall, St. Ioan iii. 16.

Adn. 37: "*Y cynauaf yn ddiau sydd fawr,*" &c. Y mae mawredd y gwaith a bychander y llafurwyr yn gymhelliad pellach.

Adn. 38: "*Atolygwch,*" &c. Y mae Eglwys Dduw i weddïo am lwyddiant y weinidogaeth. Gweddïo ar yr Arglwydd am iddo gynhyrfu ysbryd gwŷr cymhwys i ymgymmeryd â'r gwaith; ac y mae i

Digitized by Google

weddïo am gyfarwyddyd i'w dewis (St. Luc vi. 12); a gweddïo dros eu llwyddiant, 1 Thess. v. 25 (Gweddi ar Ddyddiau y Cydgoriau).

### 2. GALWAD YR APOSTOLION A'U DEWISIAD.

Adn. 1: "*Ac wedi galw ato,*" &c. Nid dyma yr alwad gyntaf. Cawn hanes amryw o honynt yn St. Ioan i. 35, 39, 40, 41, 43, 44, 45. Yr oedd y rhai hyn gyda'r Iesu o'r dechreu, sef Andreas, Pedr, Ioan, Nathanael, a Phylip.

Adn. 2: "*Rhoddes iddynt awdurdod,*" &c. (Εξουσίαν). Awdurdod a gallu. Yr oedd yr awdurdod a'r gallu yn cael ei roddi gan Grist fel y ffynnonell o hono. Duw Fab oedd yn ei roddi.

"*Yn erbyn ysbrydion aflan.*"—Galluoedd trech na dyn, ac yn gweithredu *arno* mewn llawer dull a modd oedd y rhai hyn.

"*Iachäu pob clefyd a phob afiechyd,*" &c. Gwendidau oddi mewn yng nghyfansoddiad dyn ydyw y rhai hyn. Mae y galluoedd goruwchnaturiol hyn yn cysgodi gallu moesol ac ysbrydol gweinidogaeth yr Efengyl. Y mae yr Efengyl sanctaidd yn waredigaeth ac iachâd; y mae yr Arglwydd Iesu yn Geidwad ac Iachawdwr; y mae yn gwaredu o feddiant y Diafol ac yn cwbl iachäu.

Adn. 2: "*Deuddeg apostol.*"—Deuddeg oedd rhifedi llwythau Israel, mewn efelychiad o'r deuddeg patriarch, meibion Jacob.

"*Apostolion.*"—Anfonedigion, cenadwyr. Derbyniant yr enw oddi wrth eu hawdurdod genadol. Awdurdod mewn cylch cyfyng oedd ganddynt yn bresennol, adn. 5. Yr oedd y deuddeg yn cael eu neillduo a'u parotoi; yr oeddynt yn ddysgyblion dan addysg eu Harglwydd, a chenadwyr neu apostolion i ledaenu gwybodaeth am Grist yng ngwlad Judea a Galilea.

### 3. ANFONIAD CYNTAF YR APOSTOLION.

Adn. 5: "*Y deuddeg hyn a anfonodd efe,*" &c. Anfoniad o ragddarpariaeth a blaen-brofiad oedd hwn. Cynnwysai ymarferiad ac ymgynnefiniad â gwaith newydd, ac ag ymorphwys ar ofal rhagluniaeth Duw, St. Luc xxii. 35.

"*Nac ewch i ffordd y Cenedloedd,*" &c. Pa ham y cyfyngid y cylch? Am nad oedd y neges eto yn gyflawn. Nid oedd teyrnas nefoedd *wedi* dyfod. Neges Ioan Fedyddiwr oedd ganddynt, sef dweyd fod teyrnas nefoedd yn nesäu.

Adn. 6: "*Cyfrgolledig ddefaid tŷ Israel.*"—"At yr eiddo ei hun," sef ei gydgenedl yn ol y cnawd, y daeth Mab Duw yn gyntaf; atynt hwy yr anfonodd ei apostolion oll yn gyntaf, St. Ioan i. 11; St. Matt. xv. 24; Act. i. 8; Act. xiii. 46.

Adn. 7: "*Fod teyrnas nefoedd yn nesäu.*"—Adsain o bregeth St. Ioan Fedyddiwr oedd hyn. Nid oedd yr Arglwydd Iesu wedi gorphen ei waith eto; ac ni ellid ei bregethu Ef nes ei farw, ei adgyfodi, ac esgyn o hono i'r nefoedd.

Adn. 8: "*Iachëwch,*" &c. Arddangosiad o weithredoedd goruwchnaturiol ydyw y commissiwn hwn. Geilw sylw at deyrnasiad *Duw yn y cnawd.* I dynu sylw yr Iuddewon at weinidogaeth bersonol Crist yr elai y dysgyblion, fel ei apostolion Ef, oddi amgylch. Crist oedd yma yn gweithio drwyddynt hwy. Y mae yma flaen-brofiad eglur i'r apostolion o allu Crist, er yn absennol, i weithredu drwyddynt hwy, neu yn "ei enw ef," St. Luc x. 17. Dyma brawf o awdurdod y weinidogaeth yn absennoldeb corfforol Crist.

"*Derbyniasoch yn rhad, rhoddwch yn rhad.*"—Yr oedd y gallu a ymddiriedwyd i'r apostolion o werth masnachol ammhrisiadwy—y gallu o iachäu, &c.—a derbyniasant y gallu hwnw yn ddidraul mewn ystyr fasnachol, ac nid oeddynt i wneyd masnach o hono. Nid oeddynt i wneyd arddangosiadau am arian o'r doniau gwyrthiol, nac i godi tâl am iachäu. Dyma ystyr blaenaf y gwaharddiad, ond cynnwysa rybudd yn erbyn gwneuthur *elw tymmorol* o ddoniau ysbrydol, Act. viii. 18—21; 1 St. Pedr v. 2. Y mae hefyd bob dyn ag sydd yn gwir dderbyn gras Duw i'w galon yn barod i gyfranu o'r un gras yn rhad i ereill. Ffynnon o ddwfr *bywiol* yn rhedeg allan ydyw gwir grefydd.

Adn. 9: "*Na feddwch,*" &c. Seisonig, "*Provide not.*" "Na ddarparwch" aur, arian, efydd, neu "bres." Nid oedd angen iddynt ddarparu arian i'r daith.

Adn. 10: "*Nac ysgrepan.*"—Cod i gario ymborth o le i le oedd yr ysgrepan. "*Dwy bais, esgidiau na ffon.*" Nid oedd angen iddynt *ragddarparu dim.* Dywed St. Marc nad oeddynt i fyned â dim i'w canlyn, "ond llawffon yn unig" a "sandalau am eu traed," St. Marc vi. 8, 9. Sandalau a wisgid gan y bobl dlotaf ac ar deithiau byrion. Nid oeddynt amgen na gwadn dan y troed, wedi ei rwymo â gardasau i'w ddal yn ei le. Ergyd dwfn y cyfarwyddyd yw eu dysgu nad oedd raid iddynt betruso am ymborth a dillad.

"*Canys teilwng i'r gweithiwr ei fwyd.*"—Duw gras ydyw Duw rhagluniaeth. Y mae agoriadau y ddwy deyrnas yn ei law Ef. Aeth apostolion Crist allan heb ddim ond eu cenadwri rasol am eu Harglwydd i'w bregethu i'r byd, a gofalodd rhagluniaeth Duw

Digitized by Google

am danynt. Y mae Efe wedi gofalu am ei Eglwys ym mhob oes a thrwy gannoedd o gyfyngderau, ac er iddi gael ei hysbeilio yn fynych, ni raid iddi ddigaloni. Y mae yr Eglwys ym mhob oes yn gwaddoli ei hun, ac yn lle derbyn gan y galluoedd gwladol yn cael ei hysbeilio.

CWESTIYNAU.

Pa beth a gynhyrfodd yr Arglwydd Iesu i anfon ei apostolion i bregethu? Adroddwch yr adnod, "Felly y carodd Duw y byd," &c. Pa beth oedd yr Iesu yn feddwl wrth ddweyd, "Y cynauaf yn wir sydd yn fawr"? Pa beth ydyw dyledswydd yr Eglwys mewn perthynas i gyfodi gweinidogion? Eu dewis? Eu gwaith? Pa ham y rhoddwyd yr enw apostolion i'r dysgyblion a anfonodd Crist i bregethu? Pa allu ac awdurdod a roddwyd iddynt? Pa fodd y rhenir yr anhwylderau oeddynt i iachäu? At bwy yr oedd yr apostolion i fyned? Pa ham y gorchymmynwyd iddynt wneuthur yr oll yn rhad, neu heb godi tâl? At bwy y gwaharddwyd iddynt fyned? Pa ham? Pa ham y gwaharddwyd iddynt fyned â dim i'w canlyn? Beth ydyw gwers fawr y gwaharddiad hwn a'r addewid?

(*b*) GWERS XXIX.

*O.C. 28. Y Weinidogaeth Apostolaidd. St. Matt. x. 11—26.*

4. DERBYNIAD Y WEINIDOGAETH.

Adn. 11: "*Ac i ba ddinas bynag neu dref,*" &c.

"*Ymofynwch,*" &c. Yr oedd yr apostolion i ymofyn yn ofalus pwy oedd debyg o wrandaw ar eu neges. Yr oeddynt i chwilio am ddrws agored. Doeth yn holl genadon yr oesoedd yw gwneuthur hyn.

"*Pwy sydd deilwng,*" &c. Pwy sydd debyg o werthfawrogi y genadwri," Act. xiii. 46.

Adn. 12: "*A phan ddeloch i dŷ, cyferchwch well iddo.*"—Ffurf y cyfarchiad oedd, "Tangnefedd i'r tŷ hwn," St. Luc x. 5. Yn "y drefn i ymweled â'r claf" hyfforddia y Llyfr Gweddi Gyffredin i'r gweinidog gyfarch y teulu yn y geiriau, "Tangnefedd fyddo i'r tŷ hwn, ac i bawb sydd yn trigo ynddo" Efengyl y tangnefedd ydyw Efengyl yr Arglwydd Iesu. Sylwer ar St. Luc i. 78, 79; ii. 14. St. Ioan xiv. 27; xvi. 33; xx. 19—21. Act. x. 36. Rhuf. i. 7. Rhaid fod tueddiad ymrafaelgar y creadur o ddyn yn gryf, neu buasai Cristionogion bellach wedi dysgu byw mewn tangnefedd.

Adn. 13: "*Os bydd y tŷ yn deilwng,*" &c. Os derbynir y genadwri mewn ysbryd cariad, gan gr awu y gwirionedd, byddai y neges yn fendith si gynnyrchu tangnefedd enaid at Dduw a thang edd teuluaidd. Lle y mae gwir grefydd fe gartr tangnefedd.

"*Oni bydd deilwng,*" &c. Fe ddychwela y tan nefedd i gartrefu yn mynwes y cenad hedd. B ei gydwybod ef yn dawel, ac ni ddylai ddigio y ngwyneb siomedigaeth.

Adn. 14: "*Ysgydwch y llwch,*" &c. Cawn han St. Paul yn gwneyd hyn yn Antiochia, Act. xiii. 5 Yn dystiolaeth yn erbyn yr Iuddewon erlidigaeth

Adn. 15: "*Esmwythach fydd i Sodom,*" &c. mae rhagorfreintiau pobl yn ychwanegu eu cyfrif deb," St. Luc xii. 47, 48.

5. GORTHRYMDERAU Y WEINIDOGAETH.

*Darllener St. Marc xiii. 9—23; St. Luc xii. 49—5*

Adn. 16: "*Fel defaid,*" &c. Dyma y cymmeriad Cristionogol yn troi allan i ddiwygio'r byd, heb erfyn amddiffynol, heb erfyn ymosodol. Gweiniwyd cleddyf yr Eglwys dros byth yng ngardd Gethsemane, St. Matt. xxvi. 52.

"*Bleiddiaid,*" &c. Creadur ysglifgar yn byw ar larpio y defaid diamddiffyn ydyw y blaidd. Dyma ydyw dyn wrth natur—y dyn anianol. Fe gymmer fantais ar bob gwendid.

"*Byddwch gall,*" &c., "*a diniwed,*" &c. Doethineb a didwylledd ydyw nodwedd y Cristion i fod.

Adn. 17: "*Ymogelwch,*" &c. Mae y Cristion i ymarfer â gochelgarwch rhag rhedeg yn amryfus i berygl.

"*Cynghorau,*" &c. Llys uchaf y gyfraith oedd hwn. Bu yr Arglwydd Iesu ei hun ger ei fron (St. Matt. xxvi. 57), a gwysiwyd yr apostolion o'i flaen amryw weithiau, Act. v. 39, 40.

"*Synagogau,*" &c. Tai addoliad. At erlidigaeth o waith yr Iuddewon *crefyddol* y cyfeirir yma. Crefydd yn erlid a chospi a dodi i farwolaeth ydoedd Iuddewaeth. Yr oedd gan yr Iuddewon yn ol eu cyfraith *esgus* dros erlid a chospi â marwolaeth (Deut. xiii. 6, 9, 10), ond nid oes gan Eglwys Crist rith o esgus dros erlid.

Adn. 18: "*Llywiawdwyr a breninoedd.*"—Llysoedd gwladol a feddylir yma. Cawn hanes St. Paul yn cael ei ddwyn ger bron Sergius Paulus, Galio, Ffelix, Ffestus, a Herod Agrippa, Act. xiii. 7; xviii. 12; xxiv. 3—27; xxvi. 1, 2.

"*Er tystiolaeth,*" &c., 2 Tim. iv. 16. Dyma y dull y cafodd llywiawdwyr daiar glywed Efengyl Crist. Pregethai yr apostolion yng ngoleuni gor-

Digitized by Google

seddfeinciau byd, â'u gwynebau ar gospedigaethau llymaf daiar, "er tystiolaeth iddynt hwy," a dyma un o'r tystiolaethau cryfaf dros *eirwiredd* yr apostolion a dilysrwydd yr efengylau.

Adn. 19: "*Pan y'ch rhoddant i fyny, na ofelwch,*" &c. Nid yw y geirwir a gonest yn rhagofalu dan y fath amgylchiad beth a ddywedant. Neges Crist oedd gan yr apostolion, ac addawai Crist fod yn *nerth* a *doethineb* iddynt.

Adn. 20: "*Ysbryd eich Tad,*" &c. Y mae Ysbryd Duw yn trigo ym mhlant Duw, ac ysbryd y Diafol ym mhlant y Diafol.

Adn. 21: "*A brawd a rydd frawd,*" &c. Dengys angerddoldeb y nwydau erlidgar grefyddol sydd mewn dyn fod y berthynas ysbrydol yn myned yn ddyfnach na'r un dymmorol. Y mae hyn yn gywir am bob gau grefydd yn gystal ag am Iuddewaeth a Christionogaeth. Mor bwysig, gan hyny, ydyw cael crefydd *bur*, crefydd Crist, a chariad yn llenwi yr enaid a thori dros yr ymylon ar bob cyffyrddiad, 1 Pedr iii. 20—23.

Adn. 22: "*A chas a fyddwch gan bawb,*" &c. Yr oedd y dysgyblion cyntaf a'r apostolion i wynebu cas cyffredinol. Nid ydyw felly yn bresennol; ond erys i raddau, 2 Tim. iii. 12.

Adn. 23: "*Ni orphenwch ddinasoedd Israel,*" &c. Byddai i ddinystr Jerusalem roddi terfyn ar yr erlidigaeth Iuddewig, St. Matt. xxiv. 21—30.

Adn. 24: "*Nid yw'r dysgybl,*" &c., St. Matt. xii. 24. Dylai yr ystyriaeth hon fod yn ddigonol i gau pob geneu rhag achwyn dan erlidigaeth. Os mynwn y goron rhaid dwyn y groes.

Adn. 25: "*Digon,*" &c., St. Luc xi. 15.

CWESTIYNAU.

Pa beth ydyw dyledswydd y cenadwr pan yn myned i bregethu i ardal newydd? Pa gyfarchiad oedd yr apostolion i ddweyd wrth fyned i mewn i dŷ? Enwch y lleoedd y defnyddiwyd yr un cyfarchiad, sef "tangnefedd." Pa beth ydyw y cyfarchiad yn nhrefn ymweliad â'r claf? Os gwrthodid gwrandaw y genadwri, pa beth oedd yr apostolion i'w wneyd? Pa farn a fygythid ar y rhai na wrandawent? I ba greaduriaid y cymharai Crist ei apostolion? I fysg pa fath gymmeriadau yr anfonid hwy? Adroddwch yr adnod, "Byddwch gall fel seirff," &c. Beth yw "cynghorau"? "Synagogau"? Pwy oedd yn dwyn o flaen y rhai hyn? Pwy oedd y breninoedd y dygwyd yr apostolion o'u blaenau? I ba beth? Pwy a gafodd ei gamdrin o flaen yr apostolion?

(*o*) GWERS XXIX.

*St. Matt. x. 26—34.*

6. CYMHELLION I DRAETHU Y GWIRIONEDD.

Adn. 26: "*Nac ofnwch,*" &c. "Dim cuddiedig." Dyma appeliad yr union ei galon a'r pregethwr ymwybodol fod y gwirionedd ganddo at yr *amser i ddyfod*, Salm. xxxvii. 5, 6. Fe wneir cyfiawnder â'r daionus yn y byd hwn rywbryd. Y mae enwau gogoneddus apostolion Crist yn tystio hyn.

Adn. 27: "*Yr hyn yr ydwyf,*" &c. Dysgai yr Iesu lawer o'r neilldu, ac nid oedd yr apostolion yn ystod ei fywyd Ef ar y ddaiar ddim yr alluog i'w deall. Ar ol ei esgyniad yr oeddynt yn deall y cyfan ac i'w bregethu.

"*Y glust,*" &c., "*penau tai.*"—Yr oedd penau tai yr Iuddewon yn wastad, ac esgynid yno i le amlwg; ac felly yr oedd yn fan cyflëus i gyhoeddi pob newydd i'r bobl yn yr heolydd oddi tanodd, St. Marc ii. 4; Act. x. 9. Y mae yma gudd-awgrymiad clws i holl weinidogion Eglwys Crist ymneillduo i'r dirgel i astudio, myfyriò, gweddïo, a dal cymmundeb â Duw, ac yna, wedi eu goleuo, dyfod allan i bregethu yn gyhoeddus i'w cynnulleidfaoedd.

Adn. 28: "*Nac ofnwch,*" &c. Dyma appeliad at wobrwy sicr yr enaid a'r bywyd bery byth. Ni raid ofni dyn. Ni all gelyn daiarol ddim ond niweidio y corff dros amser; ni all Diafol ond temtio; Duw yn unig a all gosbi yma ac yn dragywydd. Y gosp fwyaf sydd i'w gwir ofni. Cosp ar y gelyn ydyw hòno.

Adn. 29: "*Oni werthir,*" &c. Dyma appeliad at amddiffyniad a gofal. Y mae rhagluniaeth Duw yn amddiffynfa i chwi. Mae y Tad yn gofalu am y pethau lleiaf megys adar y tô, pa faint mwy am ei blant?

Adn. 30: "*Holl wallt eich pen,*" &c. Y mae gofal Duw am ei blant yn llawer manylach nag ydyw am adar y tô. Gofala am y peth lleiaf a berthyn iddynt, St. Luc xxi. 18; Act. xxvii. 34.

Adn. 31: "*Nac ofnwch,*" &c. Dyma dri o gymhellion i chwalu ofnau yr apostolion wrth wynebu ar y byd annuwiol drwg fel cenadau dros Grist: 1. Byddai i'w gweithredoedd gael eu dwyn i oleuni yn y byd hwn, a chael eu cyfiawnhau. 2. Ni allai eu herlidwyr wneyd iddynt un niwed gwirioneddol. 3. Yr oedd gofal rhagluniaeth eu Tad nefol am danynt.

7. AMMODAU CYFIAWNHAD A DIOGELWCH DYSGYBLION CRIST.

Adn. 32: "*Pwy bynag, gan hyny,*" &c. Rhaid i'r Cristion sefyll yn ddiofn dros ei Arglwydd. Yr oedd

Digitized by Google

cyffes a phroffes agored o ymlyniad wrth Grist yn hollol angenrheidiol. Rhaid gwisgo am danom yr Arglwydd Iesu Grist yn amlwg agored. Y mae Crist yn y nef yn arddel fel dysgybl a brawd bob un a'i cyffesa Ef yn Fab Duw ar y ddaiar.

Adn. 33: "*A'm gwado,*" &c. Gwadu mewn geiriau a feddylir yn gyntaf, 2 Tim. iv. 10. Gwadu drwy ofn ger bron breninoedd ac yng ngwyneb erlidigaethau, 2 Tim. iv. 16. Gwadu yn ymarferol drwy guddio ein proffes. Gwadu mewn ymddygiad a bywyd tra yn proffesu â'r geneu, St. Matt. vii. 21.

CRIST Y CYFRYNGWR.

Dyma y blaen-awgrymiad cyntaf o safle yr Arglwydd Iesu fel cyfryngwr. Addawai Efe arddel yn y nefoedd ger bron y Tad bob un a'i harddelai yntau ar y ddaiar ger bron dynion. Mae y Tad yn guddiedig oddi wrth lygad y corff ar y ddaiar; ond daeth Crist *delw y tad* i'r ddaiar; a'r neb a'i gwelodd Ef a welodd y Tad (St. Ioan xiv. 9), a'r neb a gara Grist a gâr y Tad hefyd. Pan edrychom ni fel hyn ar Grist drwy weinidogaeth y Gair Sanctaidd a thrwy y sacramentau, ac y carom ac y cyffesom Ef yn Fab Duw a'n Harglwydd ni, y mae Iesu Grist o'i ochr yntau yn ein harddel a'n cyffesu ninnau yn frodyr iddo Ef a phlant i Dduw yn y nefoedd, canys yr ydym ni oll yn blant i Dduw trwy ffydd yng Nghrist Iesu; a chynnifer o honom ag a fedyddiwyd yng Nghrist a wisgasom Grist, Gal. iii. 26, 27.

SYLWADAU YMARFEROL.

Y mae o ddirfawr bwys fod dyn yng ngwlad Efengyl yn talu gwarogaeth eglur i Grist drwy arddel ei hun yn ddysgybl iddo mewn proffes gyhoeddus. Rhoddir cyfleusdra i hyny i bawb mewn Eglwys agored bob Sul, ac adroddiad cyhoeddus o'r Credo Apostolaidd ym mhob gwasanaeth. "Canys â'r galon y credir i gyfiawnder, ac â'r geneu y cyffesir i iachawdwriaeth, Rhuf. x. 10. Heb law hyn, fe ddylai pob Cristion arddel ei Arglwydd wrth ei fwrdd sanctaidd, ac yn ei holl ddyledswyddau, o herwydd trwy y pethau hyn y derbynia nerth o'r uchelder oddi wrth yr Arglwydd Iesu. Am bob ymgais ar ran dyn i ogoneddu Crist ar y ddaiar, y mae Crist yn gogoneddu y dyn ger bron Duw, ac yn ei droi yn fwy i'w ddelw ei Hun.

CWESTIYNAU.

At ba beth yr appelia Crist pan yn dweyd nad oedd dim cuddiedig a'r nis dadguddid? Pa bryd y daw gweithredoedd pob dyn yn amlwg? Ym mha le yr arferai yr Arglwydd Iesu ddysgu llawer o bethau i'w ddysgyblion? Pa fodd yr oeddynt hwy i'w gwneyd yn amlwg? Pa addysg a all gweinidogion yr oes hon dderbyn oddi wrth eiriau Crist yn adn. 27? Pwy oedd yr apostolion i'w ofni yn fwyaf? Pa beth a addysgir i ni oddi wrth ofal Duw am adar y tô? Pa sawl cymhelliad i beidio ofni dweyd y gwir sydd yn yr adnodau gyda'u gilydd? Pa beth ydyw ammodau fod yn ddysgyblion i Grist? Pa beth a feddylir wrth gyffesu? Pa beth wrth wadu? At ba swydd yr oedd Iesu Grist yn cyfeirio pan yn son am gyffesu dynion ger bron y Tad? Pa berthynas sydd rhwng Crist a'r Tad? Trwy ba fodd yr ydym ni yn adnabod y Tad? Pa beth ydyw y pwysigrwydd i ni gyffesu Crist? Pa le y ceir cyfleusdra i wneyd hyny? Mewn pa sawl modd? Pa lesâd a dderbyniwn wrth wneuthur?

(*d*) GWERS XXIX.

*St. Matt. x. 34—42. O.C. 28.*

8. Y CENAD HEDD YN ACHLYSUR YMRAFAEL.

Adn. 34: "*Na thebygwch,*" &c. Dull grymus o osod allan y gwrthdarawiad rhwng gwirionedd a chelwydd, sancteiddrwydd a llygredd; a gwybodaeth a rhagfarn ydyw hwn.

"*Cleddyf,*" Dad. i. 16. Y mae y gwirionedd fel cleddyf llym yn archolli pob twyll y geudeb. Drwgdybiaeth ydyw yr elfen a ddaw gyntaf i'r wyneb ym meddwl dyn yn erbyn pob peth newydd a dull newydd o ddangos, dysgu, ac ymddwyn. Peth poenus i bob dyn ydyw cael ei argyhoeddi, ac y mae y boen yn fwy lle bo mwyaf o ragfarn. Cyllell lem y Meddyg mawr yw, "yn cyrhaedd trwodd hyd wahaniad yr enaid a'r ysbryd, a'r cymylau a'r mer," Heb. iv. 12.

Adn. 35: "*Canys mi a ddaethym,*" &c. Canlyniad cyntaf dyfodiad Crist oedd bod yn achlysur o ymrafaelion hyd yn nod rhwng perthynasau agosaf. Nid y dychweledig at Grist sydd yn erlid (gwel adn. 21, 22), ond yr anghredadyn. Y drwg bob amser sydd yn erlid ei well.

Adn. 36: "*A gelynion dyn,*" &c. Y fath ydyw grym y gwir fel na fyn ymguddio o'r golwg, a'r fath ydyw anoddefgarwch rhagfarn fel na all beidio ag erlid. Mor bwysig, gan hyny, ydyw cael gwir afael ar Grist fel Dyddiwr mawr i holl drigolion byd ymgrynoi o'i amgylch a bod yn un.

Adn. 37: "*Yr hwn sydd yn caru,*" &c. Am yr anghredadyn yn erlid y sonir yn uniongyrchol yn adnodau 16—23, ond am ddyledswydd y Cristion o sefyll yn gadarn dros Grist y sonir yn benaf yma.

Digitized by Google

Y mae Crist yn fwy i ddyn na mam a thad, ac na mab na merch. Rhaid i Grist fod yn bobpeth dyn neu ddim. At ei Berson ei Hun y cyfeiria Crist; rhaid sefyll drosto Ef fel Mab Duw. Am y rhan fwyaf o ymrysonau enwadol Eglwys Crist, nid ydynt yn cyffwrdd â'i Berson Ef, ond â'r dull o'i osod allan.

Adn. 38: "*Yr hwn nid yw yn cymmeryd ei groes,*" &c. Dyma yr awgrymiad cyntaf at y groes. Diau y gwyddai yr Iuddewon am y dull Rhufeinig o roddi i farwolaeth drwy groeshoelio, fel y dengys eu llefau, St. Matt. xxvii. 22; St. Marc xv. 13. Gorfodid y neb a gondemnid i farwolaeth i gyfodi ei groes ar ei ysgwyddau a'i chario i le y dienyddiad. Felly daeth yr ymadrodd cyfodi y groes i arddangos parodrwydd a gwroldeb i wynebu rhwystrau, peryglon, a dyoddefiadau, St. Matt. v. 30.

Adn. 39: "*Y neb sydd yn cael,*" &c., xvi. 25; St. Luc xvii. 33. Y mae pob dyn a wado yr Arglwydd Iesu ar air neu ar weithred, er mwyn gochel erlidigaeth, yn colli ei einioes. Wrth feddwl gormod am y bywyd hwn a rhy fychan am Grist, y mae pob pechadur yng ngwlad Efengyl yn colli ei einioes neu enaid. Trwy foethau, segurdod, a mwynhâd y mae dyn yn dyfetha ei gorff a'i enaid; trwy ddirwest, hunanaberth, llafur, a defosiwn, a chariad at Dduw a dyn, y mae yn cadw corff ac enaid, y naill yn iach a'r llall yn bur.

9. GWYNFYD Y RHAI A GROESAWANT GENAD HEDD.

Adn. 40: "*Y neb sydd yn eich derbyn,*" &c. Dyma gadwyn fawr yr iachawdwriaeth, *chwi*, Fi, a'r Tad, neu Anfonydd. Y mae Duw yn anfon y Mab, a'r dysgybl yn ei dderbyn; yna enfyn Crist ei ddysgybl yn genadwr neu apostol, ac ä hwnw â'r neges at ereill. Anfona Duw ei Fab yn apostol, ac anfona Crist ei ddysgybl yn apostol. Yr oedd y neb a dderbyniai apostol Crist yn derbyn Crist, ac wrth dderbyn Crist, yn derbyn yr Hwn a'i hanfonodd, sef Duw Dad. Mor bwysig ydyw credu yn awdurdod apostolaidd neu genadol gweinidogion crefydd, a pheth mor angeuol i grefydd ydyw darostwng awdurdod y cenad hedd. Mor bwysig hefyd yw i weinidogion Eglwys Dduw ddangos eu hunain yn apostolion teilwng o'u cenadaeth ysbrydol.

Adn. 41: "*Y neb sydd yn derbyn prophwyd,*" &c. Cenadwr wedi ei anfon gan Dduw i draddodi cenadwri benodol oedd prophwyd. Derbyn prophwyd yn enw prophwyd felly ydyw ei dderbyn fel cenad Duw a chredu ei neges. Trwy gredu yn ei anfoniad, a gwrandaw ar ei genadwri, bydd y genadwri yn eiddom ni, a ninnau yn brophwydi ein hunain, yn gallu mynegu yr un gwirionedd. Ac ym mhellach, y mae derbyniad o Grist, y Prophwyd mawr, yn y diwedd yn sicrhau i ddyn yr un wobr a'r eiddo Crist ei hun, St. Luc xxii. 28—30.

"*Un cyfiawn yn enw un cyfiawn.*"—Ar sail yr anfoniad a'r awdurdod genadol yr oeddid yn son am dderbyn yn yr adnodau o'r blaen; ond yma derbyn ar seiliau moesoldeb a rhinwedd personol sydd dan ystyriaeth. Mae y neb a dderbynio ddyn o gymmeriad rhinweddol ar seiliau ei rinweddau yn brawf fod y cyfryw yn parchu rhinwedd, ac yn caru rhinwedd, a bydd yn sicr o ddyfod yn fwy rhinweddol ei hun. Wrth edmygu, gwerthfawrogi, a charu y rhinweddol, a chymdeithasu â hwy, y deuwn yn rhinweddol. Y mae yr Arglwydd Iesu yn feddiannol ar awdurdod y Prophwyd a rhinwedd yr Un Cyfiawn.

Adn. 42: "*A phwy bynag a roddo,*" &c., Zech. xiii. 7. "Rhai bychain." "Phiolaid o ddwfr oer, yn enw dysgybl." Dyma gymmwynas fechan i rai bychain yn y peth lleiaf a berthyn i achos Crist, ond caiff ei gydnabod. Dyma radd-ddisgyned dlos o'r mawr at y bychan, sef o son am y "prophwyd" at yr "*un* cyfiawn," ac yma at "rai bychain," ac addewir yr un fendith i'r oll. Dyma yr hyn a ddechreuwyd mewn peryglon, dyoddefiadau, ac ymryson yn terfynu mewn un wobrwy gyffredinol. "Dos i mewn i lawenydd dy Arglwydd."

SYLWADAU YMARFEROL.

1. Y mae i'r weinidogaeth alwad fewnol ac allanol—llais yr Ysbryd oddi mewn, a chymhelliad a dewisiad ac ordeiniad yr Eglwys oddi allan. 2. Rhaid credu yn y weinidogaeth cyn y gellir credu yn yr Arglwydd. 3. Y mae crediniaeth ac ufudd-dod yn sicrhau y fendith.

CWESTIYNAU.

Pa fodd yr oedd pregethiad Efengyl Crist yn arwain i ymryson? Pa beth a gymherir yn y Beibl i gleddyf? Pa ham y mae y gwirionedd fel cleddyf? Gyda pha fath deimlad yr edrycha dynion yn gyffredin ar beth newydd? Pa fodd y mae perygl colli einioes wrth garu bywyd? Pa beth ydyw codi y groes? Pa fodd y mae derbyn Crist? Pa berygl sydd os iselhäwn awdurdod apostolaidd gweinidogion y Gair? Pa fodd y mae derbyn prophwyd? Ar ba sail? Pa beth yw y gwahaniaeth rhwng prophwyd ac un cyfiawn? Ar ba seiliau y derbynir un cyfiawn? Pa beth a fydd y wobr? Pa beth a ddysgwylid wneyd i'r rhai bychain? Pa sawl gradd a enwir yma yn Eglwys Crist? Pa beth yw gwobr pawb yn y diwedd?

Digitized by Google

## Y SAMARIAD TRUGAROG.

"Pwy yw 'nghymmydog?" Wel di'r truan acw
Yn archolledig ac yn ymyl marw,
Yn gorwedd ar y llawr yn wael ei lun,
Gan ymdrybaeddu yn ei waed ei hun—
Yng ngwaed ei galon gynhes, adyn tlawd,
Tra saeth y llofrudd winga yn ei gnawd!
Pwy wrendy ei riddfan? pwy dosturia wrtho?
Mae'r Lefiad a'r offeiriad yn myned heibio:
Creulawn fyn'd heibio'r truan archolledig,
Tra bys dyledswydd ato'n gyfeiriedig—
Myn'd heibio! tra tosturi saif yn brudd,
A deigryn gofid ar ei gwelw rudd.
A raid i'r truan drengu dan ei friw?—
Na, na, mae caredigrwydd eto'n fyw,
Ac yn blodeuo megys rhosyn ha'
Yng nghalon gynhes y Samariad da.
A dwylaw cariad rhwymodd yr archollion,
Gan roddi eli ar y clwyfau dyfnion;
Disgynai ei acenion melus, melus,
Yn falm-ddyferion ar y fron ddolurus;
Ar ei anifail ef ei hun fe'i dododd,
I'r lletty llonydd, clyd, fe'i hesmwyth ddygodd.

Beth yw'r Samariad hwn, ond cysgod egwan
O fywyd y tosturi pur ei Hunan?
Yn ei ryfeddol ddwyfol Berson Ef,
Yr ymgnawdolodd holl dosturi'r nef.
Beth oedd coronau aur y nefol wlad,
A chlaer ogoniant gorsedd wen ei Dad,
Wrth fyd yn marw—marw yn ei waed,
A deddf doredig Duw o dan ei draed?
Pob sill yn llyfr ei fywyd sanctaidd, cun,
Ni chynnwys ond "ymwadu ag Ef ei hun;"
A'r hunanaberth yma a berffeithiwyd
Pan dros ei fin y llifodd y "*gorphenwyd.*"
Samariad nefol! pa sawl unig, tlawd,
A'i cafodd dan ei ddyfnion glwyfau'n frawd?—
Sawl Magdalen golledig, euog, ddamniol,
Fu'n gwlychu ei draed â'i dagrau edifeiriol,
Ar ol i'w lygaid lleddf, maddeugar Ef
Droi 'storom ddofn ei henaid yn dawel fel y nef?
Beth ond tosturi oedd ei wyrthiau mawrion,
Yn llifo'n ddafnau dros ymylau'i galon?
A rhedeg wnai'r dyferion nefol hyn
Ar hyd ei ddreiniog ffordd i "ben y bryn."
Pan dros ei wedd ymgripiai'r nos-gysgodion,
Trugaredd ymwreichionai o'i olygon:
Pan yng nghrafangau angeu, chwilio am le
I drugarhau a maddeu wnai Efe;
Pan wylai'r llofrudd tlawd am nefoedd wen,
Llaw dlos maddeuant roddodd ar ei ben.

Beth ydyw crefydd, onid adlewyrchiad
O egwyddorion y tragwyddol gariad?
Fel lloer yn gwel'd ei delw yn y llyn,
Yn hon y gwel yr Iesu ei ddarlun gwyn:
Nod amgen hon yw serch a chydymdeimlad,
A'i hael goronir fyth â blodau cariad.
Yng nghanol caddug oesau chwardd mewn tlysni,
Fel chwardda gwawrddydd hedd ar nos trueni;
Yn ei deheulaw y mae gwin a balm,
Ac ar ei gwefus dyner, cryna salm
Tosturi. Hi gofleidia'r byd yn gyfan,
Mor eang yw a mynwes Duw ei hunan.
O! grefydd brydferth, eang, ac ardderchog,
Goleuni hon a dd'wed "pwy yw'r cymmydog."
Pwy yw 'nghymmydog?" Ymaith, gulni sectol;
Ffowch, hen ragfarnau cyfyng cenedlaethol,
O flaen Efengyl cariad, ymaith, reol
I hon O rowch, O rowch "dragwyddol heol."

Pwy yw fy mrawd? Pwy fy nghymmydog i?—
*Trueni* gwelw etyb: "Wele fi'n
Mingamu yn llygaid Magdaleniaid euog,
Ac yn ymwelwi ar ruddiau crwydriaid carpiog:
Hen blant y nos, yr hydref oer, a'r bedd,
A rhos gwywedig angeu ar eu gwedd,
A'u bronau'n archolledig dan eu clwy',
Tra gwyntoedd miniog ing yn eu byth-guro hwy."

"Pwy yw 'nghymmydog?" Gwel y pagan trist
Na chlywodd son erioed am Iesu Grist:
D'wed wrth yr aflan yna am y gwaed
A'i olch fel eira gwyn o'i ben i'w draed.

"Pwy yw 'nghymmydog?" Wel di'r weddw dlos
A'i baban llwyd yn unigeddau'r nos,
Yn crwydro drwy dymmestloedd blinion helynt,
A hiraeth yn ymwelwi ar ei hemrynt?
Fy Nuw! 'does ganddi le na man i droi,
Mae drws pob noddfa rhagddi wedi ei gloi.

"Pwy yw 'nghymmydog?" Tua'r fynwent brudd
Y crwydra heddyw'n dlawd a gwlyb ei rudd.
Ar noson ddu, i'w fwthyn unig, tlawd,
Daeth bywyd a marwolaeth ar eu rhawd—
Daeth bywyd gyda phlentyn bach, dinam,
Ac aeth marwolaeth ymaith gyda'r fam!
Llaw dyner bywyd roddodd lili fechan
I wenu ar fron marwolaeth oer ei hunan.
Fy Nuw! beth ddaw o hono yn y lli,
A'i blant amddifaid, bychain, lon'd y tŷ?
Samariad! tyr'd ym mlaen â'th win a'th eli,
Mae yma galon dan ei phwysau'n tori.

Lle bynag bo dynoliaeth ar lawr dan gur a gwawd,
Fan hòno mae cymmydog, fan hòno y mae brawd.

ELLDEYRN.

Digitized by Google

## Y BABAETH.

### BYR HANES.

Cyfystyr yn fynych â sylweddoliad pob llygredd mewn athrawiaeth a moes y cymmerir y Babaeth; fel pe na byddai ddim amgen nag Anghrist, fel pe na ddichon i ddim da ddyfod allan o honi. Ond, fel pob sefydliad daiarol, graddol fu ei llygriad, a gall nad difudd fydd brasdrem o'i tharddiant, ei thwf, a'i dirywiad: "Pa farn bynag a draddodir ar y pabau yn yr amseroedd boreuaf, dilys yw eu bod bob amser yn mynwesu meddylddrychau mawreddog; fel y gwelir yn eu gofal am y grefydd orthrymedig, eu hymdrechion yn erbyn paganiaeth, a thros ledaeniad Cristionogaeth ym mhlith cenedloedd gogledd Ewrop, ac yn eu sefydliad o allu Eglwysig annibynol ar y wladwriaeth. Mae y meithriniad o feddylddrychau aruchel yn dyrchafu natur dyn, ac effeithiodd eu hymdrechion hyn i gynnal i fyny wir urddasolrwydd y Babaeth."—Ranke, *History of the Popes*, tudal. 15.

Yn ystod y tair ganrif gyntaf aeth yr Eglwys trwy dri chyfnod: ymosodwyd arni gan dri gallu gwahanol. Yn gyntaf, daeth mewn gwrthdarawiad â theimlad cymdeithasol a gwerinol yr oes. "I'r llewod â'r Cristionogion" ydyw cri y cyfnod hwn—cyfnod a barhaodd hyd ganol yr eilfed ganrif. Yn nesaf, fe'i gwrthwynebwyd gan ragfarn dysgedigion ac athronwyr, megys Aurelius, Lucian, y Gnostics a'r Neoplatonists. Yn ddilynol daeth dan wg yr ymherawdwyr hwythau. Yng ngwaith y Cristionogion yn gommedd dwyfoli Cesar, cenfydd y pencoronog yn yr Iesu o Nazareth wrth-ymgeisydd i'w orsedd. Ond yn nhreiglad amser llwyddodd y gwirionedd i beri i'r tri gallu gelyniaethus hyn gydweithio er cynnydd Cristionogaeth. Profodd yr erlid cymdeithasol burdeb ei moesoldeb, achlysurodd dynoethiad y doethion o'i hegwyddorion, drwy offerynoliaeth tröedigion dysgedig (*apologists*), ledaeniad gwybodaeth o'i hathrawiaethau; tra y profwyd nad anghysson y Cristion a'r gwladgarwr, gan mai deddf ei deyrnas ysbrydol Ef yw "rhoddi yr eiddo Cesar i Cesar," fel awdurdodau y sydd wedi eu hordeinio gan ei Dduw.

Llwyddodd hefyd teyrnas Crist i sicrhau yr hyn nas llwyddodd ymherodraeth Rhufain, sef ennyn serchiadau ei deiliaid tuag at eu gilydd yn ddim llai na'r ufudd-dod dyladwy i'w llywiawdwyr ysbrydol; dymchwelodd hon ragfur y gwahaniaeth rhwng caeth a rhydd, rhwng Rhufeiniwr a barbariad. Meithrinwyd y syniad mai un Tad oedd iddynt, mai o un gwaed y gwnaeth Efe bob cenedl o ddynion, mai yr Iesu o Nazareth ydoedd eu Harglwydd hwy a'i Grist Ef; mai un teulu oeddynt oll yng Nghrist Iesu—un â'u gilydd, un â Christ, un â'r Tad, trwy ei gorff gweledig, trwy ei Eglwys sydd hithau yn milwrio yma ar y ddaiar. Yn y modd yma ceir megys "teyrnas o fewn teyrnas" yn cydweithio yn gytûn, er ar linellau annibynol, a chanddynt nod gwahanol i'w gilydd. A thrwy gydffurfio o'r awdurdodau Eglwysig â chyd-drefniad yr ymherodraeth—trwy wneuthur yr esgobaeth yn gyd-eang â'r dalaeth wleidyddol—lled-ddylanwada y naill gyfundrefn ar y llall; lefeinir y byd Rhufeinig gan ysbryd crefydd Crist.

Yn y modd yma y tyfodd yr had trwy gyfnod nosawl paganiaeth, y modd nis gwyddent, heb unrhyw ganolbwynt i gyrchu ato—heb unrhyw safon gyffredinol i weithredu wrthi: ond yn ei iawn bryd caed yr un peth angenrheidiol hwn i'w gyd-drefniad. Toddwyd calon Cystenyn yntau i fabwysiadu crefydd Crist: goddefodd ef gydymgynnull o gynnrychiolwyr yr Eglwys mewn cynnadledd gyffredinol; a rhag llaw ceir crynoad o'r galluoedd oeddynt hyd yn hyn yn gweithredu yn wasgarog ar ddisberod. Safwn yn awr ar drothwy cyfnod newydd. Llesgâ weithiau yr ymherodraeth o'i hoewder; gwywa ei godidogrwydd; dan ruthriad yr anwar Goth-breswylwyr Germani, ymollwng yn adfeilion. A ddymchwelir muriau Sïon? A ddiflana gogoniant y Shechinah hwn? Na, er milwrio o dan faner eryraidd Cesar—er eu gorchfygu fel deiliaid sydd o'r byd hwn; er hyny, eu gwir arfau hwy nid ydynt gnawdol. Baner y Groes yw eu harwyddlun. Rhwydd-dros-glwyddant eu hymlyniad i'r barbaraidd lu; nid, er hyny, mewn ysbryd gwasaidd, eithr yn hytrach i'w gorchfygu—i'w dwyn dan iau Tywysog y tangnefedd.

Saif yr Eglwys drachefn fel noddwr y gorthrymedig. Cras fynwes y Goth nawseiddia â'i hysbryd cariad; pregetha beunydd frawdoliaeth y ddynolryw—mai un ydynt oll yng Nghrist Iesu. Hyrwyddir ei gorchwyl gan helyntion yr amseroedd. Trosglwyddir sedd yr ymherawdwr o Rufain i Gaergystenyn. Yn ddiarwybod megys arwisgir esgob y brifddinas â gradd o'i hynafol fri: sylweddolir undeb gweledig Eglwys y gorllewin yn ei thad yn Nuw. Golygfa brydferth! Breuddwyd tlws! *Un* Eglwys, *un* gorlan, dan ofal *un* Bugail, dan nawdd *un* Duw. Ond, fel pob peth dynol, nid hir y parhaodd hyn. Yng nghanol dysglaer rhagolygon wele gwmwl yn ymddangos, bychan yn wir, "megys cledr llaw gwr," ar ddiniwed arliw dyladwy urddas—cwmwl, er hyny, i ymledu fwyfwy dros awyrgylch ysbrydol trwy gyfnod y Canoloesoedd i ddyfod. Wele ysbryd seithwaith waeth na'r ysbryd erlid gynt yn ymrithio

Digitized by Google

i mewn. Y "tadau yn Nuw," "cynnrychiolwyr y Goruchaf ar y llawr," ydynt rhag llaw â'u bryd ar draha uchelgais, eu serch ar gynllwyn celwydd, a'u calon ar draethu twyll.

Dechreua y dirywiad o ddeutu 755 o.c. Gwahardd y pab yr hawlfraint o benodiadau Eglwysig i'r lleygwyr; gwahardd ymbriodi i'r gŵyr llên; gwna fyddin fynachaidd megys o'r offeiriaid, darostyngedig iddo ef, fel na feiddiant godi llaw na llais, oddi gerth wrth ei amnaid ef. Cyhoeddir ffug-lythyrau yn dwyn, ysywaeth, insel Sant Pedr, pa rai a gyhoeddant am ba beth bynag a rwyma y pab ar y ddaiar, y rhwymir yr unrhyw yn y nef. Cyd-drefnir yn ffurfiol y sefydliadau mynachaidd, annibynol hyd yn oed ar yr esgobion cyfrifol, fel "*militia*" (fel eu gelwid) i'r pab. Nid balchder bywyd; nid ysbryd uchelgeisiol dros eu heglwys yn unig ("*the last infirmity of noble minds*") a'u meddianna; eithr ymollyngant hefyd i borthi chwant y cnawd i gyflawnu pob trachwant. "Nyth trigfan anfoesoldeb" ("*The sink of iniquities*") y gelwid Rhufain, y ddinas sanctaidd. "Lle y mae cenfigen ac ymryson, yno hefyd y mae terfysg a phob gweithred ddrwg." Gwiriwyd hyn yn Rhufain. Daeth y Babaeth hithau i fod yn deyrnas wedi ymranu yn ei herbyn ei hun dros flynyddoedd. Ceir dau bab gwrthymgeisiol, y naill a'r llall yn ymhoni anffaeledigrwydd; ond mewn amser y maent yn medi o'r hyn a hauwyd ganddynt. O fewn 50 mlynedd i'r Diwygiad Protestanaidd, yr oedd llygredd yn ganolbwynt gweladwy a Christionogaeth yn anoddefadwy. Diorseddir y pab gan y naill gynnadledd, deddfir gan arall am ddiwygiad "mewn pen ac aelodau," nes o'r diwedd, pan ydoedd cwpan eu hysgelerder wedi ei llenwi hyd yr ymylon, daeth mynach (Luther) ag udgorn lef a barodd ymsiglo o'r pab ar ei orsedd.

O fewn talaeth Itali daeth diwygiad (os cymhwys ei alw) a'n dug i ganoldir "ammheuaeth." Yn Germani llewyrchodd llusern gwir grefydd; ïe, cydweithredodd Arabiaid Mahomet, trwy gwymp Caergystenyn, i ddwyn trysorau yr iaith Roeg—ydoedd weithian er ys amser yn farw o'i llefaru—i fodolaeth: "Cododd y Roeg oddi wrth y meirw â'r Testament Newydd yn ei llaw" ("*The Greek arose from the dead with the New Testament in her hand*").

*Llanduggarn.* D. Lloyd.

---

Y mae cyfeillion twyllodrus yn debyg iawn i gysgodion; ac nid ydynt byth yn ein dilyn ond pan y bydd yr haul yn tywynu.

## ARDDERCHOG LU Y MERTHYRI.

(*Parhâd o dud. 133.*)

Dywed yr Apostol Paul, "Cynghori yr ydwyf, am hyny, ym mlaen pob peth, fod ymbiliau, gweddïau, deisyfiadau, a thalu diolch dros bob dyn; dros freninoedd a phawb sy mewn goruchafiaeth; fel y gallom ni fyw yn llonydd ac yn heddychol mewn pob duwioldeb ac onestrwydd; canys hyn sy dda a chymmeradwy ger bron Duw ein Ceidwad," 1 Tim. ii. 1—3. Dyna addysg ac hyfforddiad yr Ysbryd Glân trwy eneu yr Apostol Paul i bob Cristion ym mhob parth o'r byd, ac ym mhob oes. A phwy oedd mewn "goruchafiaeth" ac mewn awdurdod ar y rhan fwyaf o'r Cristionogion oedd yn byw yn y byd ar yr adeg y rhoed y cynghorion uchod trwy eneu yr Apostol Paul gan yr Ysbryd Glân? Nero oedd un o'r rhai penaf o'r rhai hyn yr adeg hòno, yr hwn oedd filein-ddyn creulawn, wedi llofruddio miloedd ar filoedd o'r Cristionogion, eto gorchymmynir gweddïo drosto. Ac oni ddylem *ni* weddïo dros ein tirion Frenines, dan deyrnasiad yr hon yr ydym ni a'n gwlad yn mwynhau cymmaint o fendithion. Dywedai Mr. Gladstone wrth areithio yn eisteddfod Gwrecsam, yn 1888, "Pan yn siarad am weithgarwch yr Eglwys . . . yr wyf yn meddwl fy mod yn barnu yn wahanol i lawer o wŷr teilwng. Mae'r nifer luosocaf o'r bobl yn credu fod y Cymry wedi bod yn bobl grefyddol iawn er ys tua 120 neu 150 o flynyddoedd; ac mae llawer iawn o rai yn arfer a dyweyd fod y Cymry cyn hyny yn bobl didduw. . . Caniatëwch i mi, foneddigesau a boneddigion, i ddweyd nad wyf yn credu gair o hyn. Yr wyf fi yn credu eu bod wedi bod yn bobl grefyddol er pan dderbyniasant yr hen grefydd Gristionogol yn y 4ydd, y 5med, a'r 6fed ganrif. . . . Yr wyf yn gofyn, sut yr oedd y Cymry, y rhai sydd yn awr mewn enw yn genedl o Anghydffurfwyr, yng nghanol yr eilfed ganrif ar bymtheg yr Eglwyswyr mwyaf selog yn y wlad? . . . Nid oes ammheuaeth i fod yng nghylch y ffaith mai Cymru oedd cadarnle yr Eglwys a'r blaid deyrngarol."

Mae gwrthryfel ac erlidigaeth yn achosi trueni ac anffodion fwy na mwy, megys ysbeilio a llosgi tai, a phentrefi, a dinasoedd, a dwyn tlodi a newyn yn y wladwriaeth; halogi gwyryfon, treisio gwragedd diwair, a lladd miloedd o'r trigolion, lladrata eu heiddo, ac yn achos pob trallod ac aflwydd; yn tori pob rheol a threfn dda, yn dibrisio a mathru dan draed y cyfreithiau gwladol; a'r blaenoriaid yn moli pob mathrwr cyfraith, yn moli llofruddion a

Digitized by Google

mwrddwyr, yn sathru dan draed pob rhinwedd a gonestrwydd; a'r cwbl i gyd dan yr esgus o wella'r wladwriaeth yn grefyddol a gwladol! Gwŷr fel hyn, y rhai ni fedrent ac ni fynent fyw yn heddychol a thangnefeddus, fu bob amser yn codi terfysg ac yn pleidio gwrthryfel ac erlidigaeth. Mae gwrthryfel ac erlidigaeth y dinystr a'r aflwydd mwyaf all fod i bob teyrnas a gwladwriaeth. Ac mae pob dyn sydd yn caru cadw cyfraith Duw, ac yn caru ei wlad a'i genedl, yn ffieiddio pob annheyrngarwch, ac yn mawrhau o galon pob dyledus barch ac ufudd-dod i gyfreithiau ei wlad, yr hyn sydd un o'r rhinweddau penaf. Cofleidia bob ufudd-dod i gyfreithiau ei Dduw a chyfreithiau ei wlad. O'r ochr arall, mae yr Arglwydd yn ei Air Sanctaidd yn gorchymmyn i dywysogion a phawb sydd mewn awdurdod am wneyd ymarferiad beunyddiol o ddarllen a deall Gair Duw, ac ymddwyn, byw, a bucheddu yn ol ei reolau. Mae Gair Duw yn dysgu tywysogion a breninoedd beth ydyw eu dyledswyddau fel pobl ereill. Dysga iddynt y modd y maent i ufuddhau i orchymmynion Duw *eu hunain*, a pha fodd y maent i lywodraethu eu deiliaid a'u cyd-ddynion.

Bendith fawr iawn i deyrnas ydyw fod ganddi frenin neu frenines Gristionogol a duwiol i'w llywodraethu. Y fath greulonderau a gyflawnwyd yn y deyrnas *hon* dan deyrnasiad pabyddol Mari Waedlyd; ac o'r tu arall, gymmaint o fendithion ydym ninnau yn eu mwynhau dan deyrnasiad ein grasusaf Frenines Victoria—bendithion crefyddol a gwladol tu hwynt i'r un wlad dan haul. Bydded i ni oll, y pen coronog yn gystal a'r deiliaid, wneuthur iawn ddefnydd o'n breintiau, trwy rodio wrth oleuni Gair Duw yn y byd hwn, fel y caffom ran o etifeddiaeth y saint yn y goleuni yn y byd a ddaw ar fryniau gwynfyd.

*Ceryg y Druidion.* HUGH HUGHES.

---

## CYNLLUN YN NHREFN NATUR.

### DYN YN LLYWODRAETHU NATUR.

(*Cyfieithad o weithiau y diweddar Archesgob Thomson, gan Bodfach.*)

PARHAD O DUDAL. 140.

AR ol y cyfan a draethwyd gan naturiaethwyr er mwyn ein dysgu i fod yn ostyngedig, y mae rhai ffeithiau, serch hyny, yn aros a roddant i ddyn le gwahanol, o'r hyn leiaf fwy o amlygrwydd iddo nag yn flaenorol. Dyma hwy:—Gall dyn lywodraethu natur. Gall ddarllen natur a'i deall. Y mae ganddo allu o hunanreoleiddiad a alwn yn gydwybod. Hefyd gall ac mae yn meddwl llawer am Dduw.

Mewn perthynas i alluoedd dynion i reoleiddio natur, gwell genyf ddefnyddio geiriau Mr. Wallace, un o'r rhai cyntaf i ddwyn ym mlaen yr hyn a elwir yn "ddeddf detholiad naturiol," yr hwn ni hawlia le dadblygol neu freinteb i ddyn. "Gyda chorff noeth a diamddiffyn," ebai, "rhoddodd dealltwriaeth wisgoedd i ddyn erbyn cyfnewidiadau y tymmorau. Er nas gall ymgystadlu â'r carw am gyflymder, neu y tarw ffyrnig o ran nerth, rhoddodd iddo arfau fel y gall eu goddiweddu a'u gorchfygu. Er nad ydyw mor alluog a'r rhan luosocaf o anifeiliaid i fyw ar lysiau a ffrwythau a barotöir gan natur i'w diwallu, ond addysgodd y gynneddf yma ef i lywodraethu ac arwain natur er ei elw a'i fantais, gan ei gwneyd i gynnyrchu lluniaeth iddo yr amser a'r pryd a fynai. O'r fynyd yr arferwyd y croen cyntaf yn orchudd, y lluniwyd y waewffon gyntaf i gynnorthwyo yn yr helwriaeth, yr hauwyd yr hedyn, neu y planwyd y gwreiddyn cyntaf, effeithiwyd chwyldroad ardderchog mewn natur, yr hwn na fu ei gyffelyb yn holl oesau blaenorol y byd, o herwydd daeth bod, yr hwn nid oedd yn angenrheidiol iddo gyfnewid gyda'r greadigaeth—bod ydoedd mewn rhyw radd uwch law natur, o herwydd yr oedd yn gwybod pa fodd i lywodraethu a rheoleiddio ei gweithrediad, gan gadw ei hunan yn gysson gyda hi, nid trwy gyfnewid corff, ond trwy ddyrchafiad mewn meddwl. Yma y gwelwn wir fawredd ac urddasolrwydd dyn. Addefwn mewn perthynas i'r golygiad neillduol yma am ei briodoleddau fod gan y rhai a hawliant iddo sefyllfa a threfn, dosbarth neu deyrnas fechan wrtho ei hun, resymau o blaid y cyfryw olygiadau. Y mae yn fod gwahanol, gan na ddylanwadir arno gan y deddfau mawr sy'n rheoleiddio bodau organol ereill. Rhoddodd y fuddugoliaeth yma a ennillodd ddylanwad llywyddol iddo dros fodaethau ereill. Galluogwyd dyn i osgoi detholiad naturiol, ond y mae yn alluog i gymmeryd peth o'r gallu hwnw oddi ar natur, yr hwn cyn ei ymddangosiad a arferid ganddi yn gyffredinol. Gallwn feddwl am yr amser pryd na chynnyrcha y ddaiar ond llysiau diwylledig a chreaduriaid gwareiddiedig; pryd y dymchwela detholiad dyn ddewisiad natur, a'r môr mawr fydd yr unig fan yr arferir y gallu hwnw, yr hwn fu'n llywodraethu dros y ddaiar am oesau afrifed." Fel hyn y llefara Mr. Wallace yn hyawdl a nerthol, ond nid wyf yn myned i feirniadu yr iaith ormodol a arfera wrth drin deddf detholiad naturiol fel prif reolydd y ddaiar. Gadëwch i mi ddywedyd ychydig eiriau ar

Digitized by Google

allu dyn i fyfyrio ar natur a'i deall. Dyma yr ail nod y gwahaniaetha dyn oddi wrth y greadigaeth anifeilaidd gyda'r hon y mae ganddo gyfran gyffredin.

Nid oes ond dyn yn unig yn alluog i gymmeryd dyddordeb yn y byd o'i amgylch; hyny yw, dyddordeb nad ydyw yn cyffwrdd yn uniongyrchiol â'i angenrheidiau corfforol. Pa gan belled y cariodd y dyddordeb yma, gadawer i wyddoniaeth ddiweddar dystiolaethu. Cyflawnir yr orchest gyffredin o ragfynegu diffygiadau ar yr haul a'r lleuad bob blwyddyn heb gynnyrchu rhyfeddod a diolchgarwch. Golyga hyny y gall dyn ddilyn llwybrau y cyrff nefol am flynyddau a blynyddau i ddyfod, a dywedyd, heb ofni camsynied, y diwrnod y tafla y ddaiar ei chysgod gan guddio gwyneb y lleuad, nes dilëu ei goleuni yn gyflawn neu yn rhanol. Hen orchest ydyw hon prin gwerth ei henwi, ond ei bod yn dueddol i effeithio ar bob math o feddyliau. Dywedodd ysgrifenydd yn un o'r swyddfëydd cyhoeddus yn ddiweddar bethau rhyfedd am gyfansoddiad yr haul, a chyda chynnorthwy offeryn bychan a elwir *spectroscope*, dywed fod yn y goleuni llachar acw yr un elfenau ag a ddarganfydda y fferyllydd yng nghrystyn y ddaiar fechan yma. Nis gellir cael profion cadarnach o addasrwydd dyn i chwareu ei gyfran yn y cylch y gosodwyd ef ynddo. Y mae ei synwyrau yn gyfaddas i'r ffeithiau y sylwa arnynt, ei lygaid i'r goleuni, ei glust i'r ysgogiad soniarus, a'i gyffyrddiad i wrthwynebiad neu bwysau. Ond syrthia yr organ allanol yn fyr o'i ewyllys yn fynych, a dadlena y mwyadur y cregyn Polycystinaidd brydferth, edefyn manwl y cyhyrau, a holl ansoddau y gwaedfywyd. Deua y pellebyr â'r byd seryddol yn agos, gan ddangos y tarth dysglaer yn glystyrau o gylchau nodedig. Pwysa y fantol ronynau o fater, y rhai sy'n rhy fychain i'r cyffyrddiad eu gwerthfawrogi. Ac yn ddiweddaf, cymmera y *spectroscope* y darlun, a siarad felly, o arddangosiad fferyllol, yr hwn sydd yn rhy bell i'w brofi trwy y moddau yma, ac felly cyfansoddiad y cyrff nefol, am y rhai y buasai yr efrydydd manylaf ryw ugain mlynedd yn ol yn addef yn rhwydd na fuasem yn gwybod odid ddim yn gadarnach yn eu cylch ond dirnadaeth, y rhai yn bresennol ydynt yn destynau efrydiaeth bwysig.

Y mae enwau Homer, Plato, a Shakespeare yn ein hadgofio o'r modd rhyfeddol y darlunir y byd ac yr ail gynnyrchir ef ym meddyliau rhai dynion mawr, a'r rhan a gymmerwn ni, ddynion bychain, yn eu gweithiau trwy eu hedmygu yn wresog. Y mae cynnyrch celf, pa un bynag ai llenyddol, darluniadol, neu ddelweddol, yn greadigaeth. Nid ydoedd pethau Troia mor nodedig ac ysblenydd yn eu heffeithiolrwydd a'r pryd yr ymddangosasant yn y ffurf a roddodd y bardd iddynt. Cymmera dychymmygiad ran ehelaeth yn chwedlau Macbeth a Hamlet. Y mae yr hanesiaeth yn gysgodol, ond y mae y cyfansoddiadau yn sylweddol, ac yn cynnwys cyfran o wirionedd. Darllenir hwy gan hen ac ieuanc, a rhoddant eu holl deimladau i'r awdwr weithredu arnynt fel yr ewyllysia. Pwyswch y ffaith yma yn dda. Dangosa yn eglur fod cyfansoddiad dyn wedi ei addasu gan ragwelediad a pharotoad i'r lle a lenwir ganddo ar y ddaiar.

Golyger fod Moleschott yn iawn yn ei osodiad brawychus "nad yw meddwl ond *phosphorus:*" y fath ryfeddod a raid i ni gydnabod yma. Y mae gwylltineb Achilles, marwolaeth Socrates, drygioni penderfynol Arglwyddes Macbeth, cymmeriad ei gwr, mor wan yn ei drosedd, mor fawreddog yn ing ei edifeirwch anobeithiol a'i ddinystr; Hamlet goeth a thyner yn cael ei orfodi gan orchymmyn diawdurdod i ffugio y cymmeriad o ymddialydd—i'r holl bethau hyn yr oedd presennoldeb *phosphorus* yn yr ymenydd yn anhebgorol! Pa fodd yr achosa peth mor fychan y fath effeithiau ysblenydd? Y mae yn rhyfeddod clywed Ioachim yn cynnyrchu peroriaeth hyawdl ar yr offerynau mwyaf syml, megys y crwth; cymmerer ymaith y crwth a rhodder darn o bren yn ei le; ond pe parhäi y miwsig wedyn, yr hyn oedd yn arddangosiad o gywreinrwydd yn flaenorol, a ystyrid yn wyrthiol yn bresennol. Os nad ydyw meddyliau mawr yn ddim ond *phosphorus* yn llosgi yn nhwymdy ymenydd bardd, yr wyf yn barotach i edmygu nag erioed y doethineb creadigol a all ddyfod â hyn o hyn yna, a gwneyd i ffwrdd â moddion cyffredin yn eu cynnyrchion uwchaf. Nid ydyw y gosodiad yn wirionedd fel y safa, ac yr ydwyf yn credu nad oes *phosphorus* rhydd yn yr ymenydd. "Nid oes meddwl heb galch, ufel, a dwfr." Y mae yr oll yn wirionedd, ac amlygant ffaith wybyddus, fod dyn sy'n meddwl yn greadur yn y byd sylweddol, a bod ffurfiau neillduol o fater yn angenrheidiol i'w fodolaeth fel bod cyfluniol.

(*I'w barhau.*)

---

## CYNTEDD Y GWRAGEDD.

### ORIAU HAMDDENOL MERCHED GWEINI.

Yn fy ysgrif ddiweddaf mi a roddais i chwi hanes yr anffodus ond cariadus Jane Ellin, yr hon a adawodd i'w bywyd fyned yn fethiant drwy ymollwng

Digitized by Google

yn ormodol gyda'r duedd i ganu ymaith ei horiau hamddenol, nes ei hanghyfaddasu i gyflawnu ei gorchwyl fel gwraig a mam. Mi a roddaf i chwi yn fy ysgrif heddyw hanes geneth arall o forwyn, Margaret Lloyd, ag oedd yn hollol wahanol i Jane Ellin bron ym mhob peth.

Dwy flynedd y bu gyda mi yn forwyn, a daeth ataf i wasanaethu pan yn hŷn nag ydoedd Jane Ellin. Pwt o eneth lysti oedd â gwyneb crwn, coch, a dau lygad du a gwallt du, heb fod nac yn ddeniadol ei golwg nac ychwaith mewn un modd yn hagr. Geneth dawedog oedd, ond lled danllyd ei thymmerau os sethrid ar gyrn ei thraed, ac nid oedd ynddi nemawr o awydd ymgymmysgu llawer â chymdeithas ei chyfoed. Yr oedd yn hoff iawn o fyned i'r Eglwys, yr hon oedd yn agos, a chymmerai bleser mawr yn y gwanwyn a dechreu haf i drefnu blodau a'u gosod ar yr allor, gwaith ag yr oedd John, gan ei fod yn *warden*, yn hoff o'i chefnogi i'w wneuthur. Yr oedd yn ferch i arddwr o'r pentref, ac wedi ei magu yn ymyl y Persondy, lle yr arferai ei thad weithio mwy na hanner ei amser. Y peth cyntaf a sylwais arni oedd fod ganddi gof da, ac yr arferai roddi pob peth yn ei le ar ol ei ddefnyddio. Cyn ei bod bymthefnos yn ei lle, fe wyddai pa le i gael pob peth yn y tŷ. Gallai gael gafael ar unrhyw beth yr amser a fynai yn y tywyllwch. Nid oedd yn gyflym ei gwaith, ond yr oedd yn ddygn a diwyd dros ben, a sylwais ei bod yn cadw ei dillad yn lân bob amser, hyd yn nod wrth olchi y lloriau. Byddai ganddi arffedog o lian bras i'w daro o'i blaen at bob budrwaith. Parodd hyn i mi ddechreu ei hoffi a chymmeryd sylw mwy o honi. Ychydig o awydd myned allan i gwmnïon oedd ynddi, ond byddai yn hoff iawn o gymmeryd un o'r plant lleiaf gyda hi allan gyda'r nos yn yr haf, a hosan yn ei llaw i'w gwau; a dechreuodd rhai o'r gweision sylwi y byddai yn dueddol i gyfeirio ei chamrau yng nghyfeiriad y ffarm nesaf, Ty'n y Coed, lle yr oedd brawd iddi yn was, a dal ymgom gydag ef ar gŵr y gwrych neu ben y gamfa. Yn y gauaf eisteddai wrth fwrdd y gegin i wau, neu i wnïo ar ol swperu o'r gweision. Fel hyn y treuliodd Margaret Lloyd ddwy flynedd yn dawel, llonydd, a diwyd yn fy ngwasanaeth, ac yn ddigon hapus hefyd, o herwydd os nad oedd yn cael llawer o bleser nid oedd yn cael llawer o boen, ac os na byddai yn chwerthin rhyw lawer, anaml ei gwelais mewn dagrau.

Nid mynych y gwelid llawer o haul yn tywynu ar ei gwynebpryd, ac nid mynych y gwelid cwmwl arno. Ystyriai y llanciau hi yn gysetlyd, a galwent hi yn "hen ferch," er nad oedd ond saith ar hugain oed yn gadael ein gwasanaeth. Yr oedd wedi gwasanaethu deng mlynedd cyn dyfod atom ni, ac wedi cynnilo, fel y gelwid hi gan rai o'i chydryw yn gybyddes. Ond nid oedd mewn gwirionedd yn gybyddlyd. Yr oedd ganddi ddigonedd o ddillad da cynhes, a byddai ei chyfraniadau at bob achos daionus yn llawn cymmaint a'r cyffredin o ferched o'i sefyllfa. Anfonai aml bar o hosanau i'w mam ac i'w brawd ieuengach na hi o ddeng mlwydd, ac anfonai fynych rodd i'w mam.

Yr oeddwn wedi dyfod i werthfawrogi ei gwasanaeth, ac yn awyddus i'w chyflogi am y drydedd flwyddyn, pan hysbysodd fi ei bod am fyned adref. Deallais ei bod am wneyd cartref iddi ei hun. Cyn hir, daeth y sibrwd ei bod hi a gwas Ty'n y Coed yn myned i briodi, er na wyddai neb eu bod yn cadw cwmpeini. Yr oedd gwas Ty'n y Coed flwyddyn yn hŷn na hi, ac wedi gwasanaethu deng mlynedd yn ei le heb symmud oddi yno ym mhellach nag i'r dref farchnad. Ystyriai llawer o'r bechgyn mwyaf cellweirus ef yn hen lanc lled hynod, ond yn hengall iawn, neu yn "hen ben." Yr oedd ganddo ddull lled ryfedd i gyflawnu ei amcanion yn fynych. Yr oedd yn lled benderfynol am ei ffordd ei hun, yn ddystaw, ond cyrhaeddgar pan gymmerai gweilch direidus ormod o hyfdra gydag ef.

Yr oedd William Dafydd, o herwydd dyna ei enw, yn ddyn gweithgar, cynnil, ac wedi llwyr ennill ymddiried ei feistr, ac ni welid byth mo hono mewn tafarn ond yng nghiniaw y clwb, neu ambell dro pan yn gorfod rhoddi ei geffylau yn stablau "yr *inn*" ar daith o'r dref gyda'r *waggon*. Dywedai bechgyn ieuainc yr ardal fod gan William Dafydd hen bwrs lledr yn llawn o arian bob amser. Yr oedd wedi dechreu yn lled ieuanc ar y fudrwaith o gnoi tybaco, ond byddai yn ofalus rhag poeri yng nghegin Ty'n y Coed ac mewn Eglwys.

Yr oedd William Dafydd yn garedig iawn wrth John Lloyd, brawd ieuengaf Margaret, ac arferai fyned gydag ef yn fynych i'w gartref, Ty'n y Fynwent, ar Sadwrnau, wrth geisio ei ddillad glân, a dywedai doethion y pentref ar ol clywed y si am ei briodas mai yn Nhy'n y Fynwent gyda Sian Llwyd, mam Margaret, y gwnaed y *fatch* i fyny. Ond fe ddywedai y forwyn fach yma ei bod wedi gweled William Dafydd a Margaret unwaith yn siarad â'u gilydd dros ben y clawdd terfyn rhyngom a Thy'n y Coed. Ond beth bynag a fu, adref yr aeth Margaret Lloyd ar Galanmai, a chlywais fod William Dafydd wedi cymmeryd tyddyn bychan o'r enw Tan y Berth, lle i gadw buwch yn agos i'r pentref. Yr oedd hen wreigan a fuasai yn byw yno wedi gorfod ceisio

Digitized by Google

cymhorth o'r plwyf, a rhoddi y lle i fyny, gwedi bod yn afiach yn hir iawn, ac yn oedranus. Yr oedd y tŷ a'r beudy, gardd, a buarth, a'r gwrychoedd yn bur ddidrefn. Ond tyddyn yn perthyn i'r un ystâd a Thy'n y Coed ydoedd, ac adgyweiriwyd y tŷ gan y meddiannwr, a gwelid William Dafydd yno yn gwalio o amgylch, trin, a phlanu yr ardd, a chau y gwrychoedd bob hwyr a nawn y gellid ei hebgor o Dy'n y Coed. Erbyn dechreu y cynauaf gwair yr oedd Tan y Berth wedi ei orphen a'i *ddodrefnu*, a Margaret Lloyd wedi ei wneuthur mor lân a *snug* a nyth aderyn; ac ar y dydd cyntaf o Fehefin gwelwyd priodas seml yn Eglwys y plwyf, a chwech o gwmni—William Dafydd a Margaret Lloyd, a'i thad, gwas a morwyn briodas, a'r person. Yr oedd Sian Llwyd yn prysur barotoi ciniaw priodas i'r chwech yn Tan y Berth, lle y mynai William Dafydd gael ei giniaw y diwrnod hwnw, a mynai i'r person gael ei giniaw gyda hwy. Felly dechreuodd William Dafydd dreulio ei fis mêl yn ei dŷ ei hun, ac wrth ei gynauaf gwair ei hun, a dywedid yn y pentref na welwyd dau mwy hapus erioed yn gwneyd gwair, na William Dafydd yn lladd gwair a Margaret yn "taenu ystodiau," fel y dywedwn ni yn sir Ddinbych, ond, ebai John, yn "chwalu gwanafau:" nis gwn beth a ddywed yr Hwntw am daenu gwair.

Cyn gynted ag y cododd yr adladd, yr oedd gan Margaret ei buwch a llo wrth ei throed â *mwsel* am ei drwyn, a dau "'storyn" neu "lafn o fochyn" yn pori ar y borfa, a bwyta deiliach wedi eu malu mewn *engine* wellt, a helpu i yfed y llaeth enwyn. Dyma fel y dechreuodd y par tawel, diwyd yma fyw; ac felly y maent yn byw hyd eto, er fod yno bedwar o blant. Mae y plant oll yn wynion eu crwyn, gwynion eu dannedd, a chochion eu bochau, arwydd sicr cael digonedd o laeth. Y mae y tŷ yn drefnus a glân, a William Dafydd gan daclused a glaned ei wisg ag erioed, ac y mae gan William a Margaret, Tan y Berth, geiniog dda wrth gefn; a dywed y person fod labrwr gweithgar, cynnil, yn byw mewn lle bychan i gadw buwch a magu llo yn well allan na nemawr ffarmwr yn talu deugain punt o rent. Pedair erw o dir sydd yn Nhan y Berth, gyda thŷ o bedair ystafell, a chegin gefn, a naw punt ydyw ei rent. Mae y tir yn debyg o ran ei ansawdd i dir Ty'n y Coed. Y mae Ty'n y Coed yn gant a hanner o erwau, ac yn gant a deugain punt o rent. Ac fe ddywed y *steward* i mi fod tyddynod bychain, fel Tan y Berth, yn talu yn iawn i'r meistr tir a'r *tenant*, os bydd hwnw yn ddyn diwyd a'r wraig yn drefnus; a dadleua y person y dylai fod ym mhob plwyf ddigon o dyddynod o'r fath i o leiaf hanner y gweithwyr priod gael i fyw. Bydd yn help i'r gof, i'r saer, i'r crydd, yn gystal a llafurwyr, a saer maen, a *slater*. Tua hanner y gweithwyr priod sydd yn alluog i werthfawrogi ac i wneyd yr iawn ddefnydd o'r tyddynod bychain hyn.

Y mae tirfeddiannwyr yn gyffredin yn ofni traul adeiladu y fath dai, ond camgymmeriad yw. Y mae adeiladau wedi costio o leiaf fil o bunnau ar ffarm Ty'n y Coed. Dyma dynu i lawr hanner can punt yn rhent y tir. Deuddeg swllt yr erw felly ydyw rhent y tir. Amcan-gost tŷ gwell na Than y Berth, a beudy a chwt mochyn, yw 120p. Tyn hyn i lawr chwe phunt, gan adael y tir am dair punt neu 15 swllt yr erw.

Wrth son am dyddynod yr ydym wedi colli golwg ar Margaret Dafydd; ond os mynwch olwg arni, cewch ei gweled yr amser a fynoch rhywle rhwng drws ei thŷ a'r beudy, neu yn taenu dillad, neu yn godro yn y cae â'i harffedog wen o'i blaen, neu yn gwneyd gwair, a dau neu dri o blant bychain o'i chwmpas yn gwau fel gweision y gog. Y mae yn edrych cystal ag erioed, ac ni all neb a geisia hyny ddychymmygu pa un ai pump ai pymtheg ar hugain oed ydyw, na pha un ai deg ar hugain ai hanner cant ydyw William Dafydd.

Yr eiddoch yn gywir,

MARGARET HUGHES.

---

## "EGLWYS LLANLLECHID."

*Y prif destyn barddonol yng Nghylchwyl Lenyddol y lle uchod, 1890.*

*Ab Llechid.*—Pennillion gwir ragorol, ac yn llwyr deilyngu'r wobr.—BERW.

HEN Eglwys Llanllechid, gogoniant ein bröydd,
 Wyt anwyl i'th blentyn fel nefoedd fy Nuw;
Mae adlais peroriaeth ysbrydol dy glodydd,
 Fel dyfroedd i'r enaid sychedig a gwyw:
Cyssegrwyd di'n foreu i lân goffadwriaeth
 Un dreuliodd ei fywyd dan faner y Groes,
Ac enw ein Llechid fydd byth mewn cadwraeth,
 A'i adsain yn beraidd gan oes ar ol oes.

O'th amgylch yn gorphwys mae llwch cyssegredig
 Dy blant mewn tangnefedd ac changau dy *yw*
Estynant eu breichiau uwch gwely'r lluddedig,
 Rhyw noddfa heddychol yw "erw ein Duw;"
Adgofion bendigaid, fel dysglaer ysbrydion,
 A frithant awyrgylch byd enaid y byw:
O parcher y lanerch lle cwsg ein hanwylion,
 Man tyner fel canwyll ein llygad ni yw.

Addurnwyd dy fynwes gan dlysau y nefoedd,
  Gogoniant talentau prif gewri ein gwlad
Gyflwynwyd ar d'allor, er bywyd i filoedd,
  Ein Duw ogoneddwyd, a dyn ga'dd ryddhâd:
Tydi trwy'r canrifoedd a welid fel canwyll,
  Yn fri ac yn ymffrost—yn ddinas ar fryn;
Er dyoddef rhuthriadau yr oesau oedd dywyll,
  Ti sefaist dros enw dy Dduw yn ddigryn.

I'th ofal di'n wylaidd cyflwynodd y seintiau
  Eu heiddo yn offrwm, ganrifoedd pell draw?
Llaw halog pwy heddyw gais ddryllio y coffrau?
  Ysbeilio y deml heb arswyd na braw!
Ond Duw sy'n teyrnasu, crechwena ferch Sïon,
  Fel glân golomenod ehedeg y mae
Dy blant i'th ffenestri; derbynia hwy'n dirion
  I'th fynwes agored, pan giliant rhag gwae.

Hen gyrchfan addolwyr, mwynhëaist y dyddiau
  Bendigaid a dedwydd cyn gweled un troed
Yn mathru gwir undeb y dwyfol drefniadau,
  A gylchai dy fywyd ysbrydol erioed;
A chefaist, pan gryfaf y rhuthrai'r ystormydd,
  Wir nerth i ymwasgu yn nes at dy Dduw,
Tra'n teimlo fod breichiau dy ddwyfol sylfaenydd
  Yn dal, gan dy osod yn fendith i'r byw.

Mae rhif dy addolwyr, a bri dy ganiadaeth,
  Yn destyn llawenydd drwy'r gwledydd i gyd;
Tra'th weision llafurus, dan wlith ysbrydoliaeth,
  Yn traethu holl gynghor Duw'r nefoedd i'r byd:
Afonydd o ddyfroedd grisialaidd y bywyd
  Sy'n ffrydio o'th fynwes ar led-led y wlad,
Diesgus yr enaid yr hwn a "sychedwyd"
  Ym mro dy ffynnonydd rhinweddol a rhad.

AB LLECHID.

---

## LLAN CWM AWEN: NEU DDEFFROAD EGLWYSIG HANNER CANRIF YN OL.

(*Parhâd o dudal. 146*).

### PENNOD X.

*Sul cyntaf Llewelyn Llwyd yng Nghwm Awen.*

GWAWRIODD y boreu Sul cyntaf ar Llewelyn Llwyd yng Nghwm Awen, a buasai yntau yn effro rai oriau cyn toriad y wawr. Boreu oer gwlybyrog oedd, heb ynddo un elfen i gyffroi, llawer llai sirioli, yr ysbrydoedd. Y mae yn y gwlawogydd trymion, y corwynt uchel, croch, y daranfollt fflamllyd, neu'r cawodydd cenllysg miniog, elfenau yn deffroi a chynhyrfu y meddwl—creu arswyd, neu ennyn edmygedd, a galw yni i weithrediad. Y mae yn y rhew llym a'r barug iasog, elfenau o burdeb yn sirioli y meddwl, a galw allan y nerth gewynol i ymdrech a hoenusrwydd; ond am y tywydd niwlog, du-oer, a'r mân-wlaw dyferllyd swrth, llethu, tristäu, a lladd yr ysbrydoedd a wna. Teifi ei niwl ei hun dros bobpeth. Boreu trymllyd, pruddaidd o'r fath a wawriai ar Llewelyn Llwyd ar ei Sul cyntaf yng Nghwm Awen.

Wedi dystaw fyfyr a gweddi daer yn yr ysbryd am ddoethineb a nerth i ddechreu ei waith pwysig yn ei blwyf newydd, dechreuodd Llewelyn Llwyd ymwisgo a pharotoi at foreufwyd. Ychydig a lefarwyd y boreu hwnw. Ymddangosai ryw ysbryd o ddifrifoldeb dwfn, tawedog, yn encilio i fyfyrdod personol, yn meddiannu y ddau.

Tybiasai Angharad y seiniai llais ei phriod y boreu hwnw wrth fyned trwy yr addoliad teuluaidd yn bruddglwyfus a chrynedig. Yr oedd y cyweirnod defosiynol yn hynod o leddf ac ymbiliadol, yn arwyddocäu dirwasgiad ysbryd a theimlad o wendid. Er fod Angharad yn barablus fel plentyn, nid oedd yn brysur â'i thafod. Dyfalodd ar unwaith fod y teimlad a lanwai enaid ei phriod yn rhy gyssegredig hyd yn nod iddi hi ymyryd ag ef, ac enciliodd i gyfrinach hunanfyfyrdod, rhag dygwydd aflonyddu o honi ar y cymmundeb rhyngddo ef a Duw.

Felly, dyrwynodd heibio yn araf yr oriau boreuol mewn parotoad ysbryd tawel at yr addoliad cyhoeddus cyntaf iddynt yng Nghwm Awen.

Am chwarter i un ar ddeg, dechreuodd cloch yr Eglwys seinio ei thonau arianaidd nes deffroi ryw ychydig o adsain yn y goedwig wlybyrog o amgylch y Plas, tra y dynesai Llewelyn Llwyd ac Angharad at ei muriau llwydion a thŵr hynafol. Tybiai Llewelyn Llwyd fod rhyw swyn yng nghainc ei chân arianaidd yn taflu sirioldeb oddi amgylch hyd y nod trwy niwl y Cwm, pan y deffroai adsain yn y goedwig lom.

Bywiogodd ei gamrau, a dywedai wrth Angharad, "Onid oes ryw swyn rhyfedd yng nghloch y Llan? Cymhlethir cynnifer o adgofion yng nglŷn â'i sain, fel nas gellir teimlo yn unigol o fewn ei chlyw. Yr wyf yn teimlo fel un wedi cael gafael ar hen gyfaill yn ei swn."

"Yr wyf finnau yn teimlo yn fwy cartrefol er pan ddechreuodd y gloch ganu," atebai hithau. "Oni chanodd un o'r beirdd?—

'Mae cloch y Llan â'i pheraidd gân
  Yn adsain dros y wlad,
Gan gyd-groesawu mawr a mân
  I sanctaidd dŷ eu Tad—

Digitized by Google

Pawb yno'n anwyl frodyr sydd,
Cyfoethog fel y tlawd;
Y gwreng yn llawn etifedd ffydd,
A'r estron pell yn frawd.'"

Ar hyn, goddiweddwyd hwy gan y *warden* a chyfaill iddo, ac aethpwyd ym mlaen i'r Eglwys. Cynnullasai o ddeutu hanner dwsin o bobl oedranus, a hanner dwsin o blant yno yng nghyd.

Am un ar ddeg dechreuodd y gwasanaeth; ond nid oedd nifer y gynnulleidfa wedi cynnyddu nemawr, ac ni afaelai neb ond y clochydd ac Angharad mewn Llyfr Gweddi. Aed ym mlaen yn eu deuawd-wasanaeth undonol, yr hwn a daflai adsain boenus a fferllyd drwy yr adeilad eang a gwag, hyd ddechreu yr ail lith. Clywid, y pryd hyny, swn traed lluaws yn croesi y fynwent yn lled drystiog. Y mynyd nesaf, ymddangosai blaen myntai yn dyfod i mewn i'r Eglwys, ac ymchwalu i wahanol eisteddleoedd, tra yr esgynai nifer fawr i "lofft y grog" (*rood loft*), ar gyfer y ganghell.

Bu i swn y dyfodiad i mewn disymmwth aflonyddu peth ar Llewelyn Llwyd, nes ei attal yn ei ddarlleniad am rai mynydau, hyd oni chymmerodd y newydd-ddyfodiaid annysgwyliedig eu lleoedd. Yr oedd yr Eglwys erbyn hyn yn rhwydd lawn. Dechreuwyd y litani yn fuan, a synai Llewelyn ac Angharad nad ymunai neb ond y clochydd yn ei ymbiliau defosiynol. Ymddangosai y gynnulleidfa yn dorf o edrychwyr yn hytrach nag addolwyr. Felly, dyrwynodd y gwasanaeth i ben, ac yr oedd llais Llewelyn Llwyd yn dechreu diffygio peth. Ar ol gwasanaeth y Cymmun, angenrhaid oedd darllen y "namyn un erthygl deugain." Ar ddechreuad darlleniad y rhai hyn, dangosai y dorf gryn chwilfrydedd. Edrychent yn syn ar y darllenydd, yna at y naill y llall. Yr oedd yn amlwg na wyddai odid neb o honynt beth oedd amcan y darlleniad, na pha un ai pregeth ai rhywbeth arall oedd. Trethodd y darlleniad hwn o eiriau anghynnefin a iaith anystwyth lais Llewelyn Llwyd fwy fyth, a dechreuai sych-besychu ei flino. Esgynodd i'r pwlpud yn oer, yn wanaidd, ac yn welw, heb gael un seibiant er dechreu y gwasanaeth, ond yn unig tra y cenid emyn a roddasid allan trwy gyfarwyddyd y clochydd, ac a ganesid gan y fyntai o ieuenctyd a glwydasent yn "llofft y grog." Teimlai, tra y cenid yr emyn, y buasai y gwasanaeth yn fethiant. Ni buasai yno ddefosiwn. Ni buasai cyffyrddiad calon—ymdoddiad calon rhwng y gynnulleidfa a'r gweinidog. Os gallodd offrymu peth o'i weddi a'i foliant ei hun i'r Goruchaf, teimlai na offrymasai o "loi gwefusau" nac "aberth moliant" y gynnulleidfa iddo ef. Dan y teimlad iselfrydig a siomedig hwn, dechreuodd ei bregeth, yr hon a barotoisai gyda gweddi a gofal mawr; ond un o'r pethau cyntaf a glywodd oddi wrth un o gyfeisteddwyr llofft y grog, uwch ben ac ar gyfer y pwlpud, oedd y sylw mewn sisial-iaith, "Y mae ganddo yntau bapyr." Bron na theimlai ei hun yn diffygio; ond ymnerthodd yn ei Dduw, ac ymdrechodd anghofio pawb a phobpeth ond Ef, ac aeth trwy ei bregeth yn well nag yr ofnasai. Cafodd wrandawiad perffaith astud, ac arddangosiad amlwg o gydymdeimlad llawer. Er nad oedd Llewelyn Llwyd yn hyawdl fel llefarydd pan ar ei oreu, ac fod ei lais y tro hwn yn wan a blinedig, ceid ynddo enaint y peth byw, difrifoldeb dwfn, a thynerwch caruaidd. Yr oedd ei edrychiad diymhongar a'i wedd welŵ a gwan yn helpu, ef allai, i ennill iddo gydymdeimlad.

Terfynodd y gwasanaeth yn fwy boddhäus ar y cyfan nag y dechreuasai, ond buasai o feithder blinderus, ac yn amlwg ddigon yn garchariad poenus i lawer, a barnu wrth eu gweled yn brasgamu a thuthio adref; ac nid rhyfedd, o herwydd buasid *yn yr Eglwys* am ddwy awr a hanner a phum mynyd. Y mae carchariad o'r fath i'r anllythyrenog yn gospedigaeth.

### PENNOD XI.

#### *Ymddyddan â Mr. a Mrs. Owen.*

Am bedwar o'r gloch prydnawn ei Sul cyntaf, drachefn yn Llan Cwm Awen, aeth Llewelyn Llwyd i'r Eglwys yn ol defod yr amser, er yr ymddangosai yn dra chwithig iddo ef. Yr oedd wedi paratoi ar gyfer pregethu; ond hysbyswyd ef nad oedd yno bregeth i fod ar yr adeg hòno o'r flwyddyn, ac na wnaethid darpariaeth ar gyfer goleuo yr Eglwys. Y mae yn wir fod yno ddwy ganwyll mewn canwyllbreni coed diaddurn ar y ddarllenfa, a dyna yr oll. Bu rhaid i'r offeiriad newydd ymfoddloni ar ddarllen y gwasanaeth rhyngddo ei hun a'r clochydd yng ngŵydd tua dwsin o wrandawyr ac edrychwyr.

Ebai Llewelyn Llwyd, wrth ddychwelyd i'w letty gydag Angharad, ar ol y gwasanaeth nawnol a elwid "gosper," "Dyma waith y Sul cyntaf drosodd. Pa beth a feddyliwch o hono?"

Atebai hithau, "Nid wyf yn ystyried fy hun yn gymhwys i roddi barn arno. Yr wyf yn rhy anghyfarwydd â'r iaith Gymraeg i allu mwynhau y gwasanaeth a deall a theimlo y bregeth, ac felly ni allaf farnu yn deg. Ond nid ymddangosai y gynnulleidfa fel torf yn addoli. Gellid tybio nad oedd yno neb yn cael blas ar y gwasanaeth, fel ag i ymgolli yn y

Digitized by Google

mwynhâd o hono. Ymddangosai rhai yn gallu dilyn a mwynhau y bregeth."

"Dyna fy mhrofiad innau," ebai Llewelyn Llwyd, "a rhaid ymdrechu gwella. Y mae *drwg* yn rhywle."

"Hanner y feddyginiaeth yw cael allan y drwg." atebai Angharad.

Gan fod oriau hirion i'w treulio rhwng eu dychweliad o wasanaeth y gosper bump o'r gloch ac amser gorphwys, ac fod yr hwyr yn oer a gwlybyrog, gofynodd Angharad a welai Mr. a Mrs. Owen a'u genethig fach yn dda gymmeryd eu cwpaned tê gyda Llewelyn Llwyd a hithau, a threulio awr yn eu cwmni. Derbyniwyd y gwahoddiad yn llawen; a chafwyd cyfleusdra buan i ymgomio yn rhydd ar bynciau crefyddol neu Eglwysig, o herwydd aethai yr holl wasanaethyddion, yn feibion a merched, oddi eithr un wraig oedranus, neu *house-keeper* y Plas, yr hon a ofalai am y prif faterion teuluaidd hyd y pryd hwnw, i'r capel.

Dechreuai Mrs. Owen, "Yr wyf yn ofni, syr, mai diwrnod anghysurus a gawsoch i ddechreu ar eich gwaith yn y plwyf. Y mae yr hin yn anffafriol iawn."

"Ydyw, madam," atebai Llewelyn Llwyd.

"Buasai diwrnod sych heulog yn dwyn llawer mwy o bobl yng nghyd, ac yn sirioli pob peth."

"Ond, Mrs. Owen, maddeuwch i mi am ofyn rhai cwestiynau i chwi, mewn perthynas i'r Eglwys a'r gwasanaeth yma; yr wyf yn dra anghyfarwydd yn arferion a defodau yr ardal hon. Y peth a'm synodd i raddau oedd na welais braidd neb â Llyfr Gweddi yn eu llaw yn y gwasanaeth, ac na chlywais lais neb ond y clochydd yn ateb yn yr Eglwys."

"Dyma yr arferiad yma," atebai Mrs. Owen; "ac yn wir, rhaid i minnau gyffesu na bu dim Llyfr Gweddi yn fy llaw bron er pan ddaethym adref o'r ysgol. Y mae yma ddau neu dri o Lyfrau Gweddi Gyffredin, ond nid wyf yn credu y caech heno ddwsin a hanner yn y Cwm oll."

Taflai Mr. Owen air i mewn: "Nid wyf yn meddwl i mi glywed neb yn darllen gair yn yr Eglwys yma ar ol ymadawiad yr hen Mr. Griffith Jones, athraw ysgol symmudol Madam Bevan. Byddai yr hen wr yn darllen allan yn groew bob amser, er mawr flinder i'r clochydd, yr hwn a dybiai fod arno eisieu ei swydd." Ond ychwanegai, "A dweyd teimlad yr ardal yn deg, y mae gwasanaeth presennol yr Eglwys yn rhy gynnwysfawr, rhy ysgolheigaidd, a llawer rhy faith i fod yn flasus i'r lluaws. Nid oes ynddo mo'r gwres teimlad-gynhyrfiol ag a dyna sylw ac a ennilla galon yr annysgedig a'r anghyfarwydd. Ni all y bobl gyffredin ganlyn y gwasanaeth, fel y dywedir, ac felly nis gallant ei fwynhau."

"Ofnaf hyny yn wir," ebai Llewelyn Llwyd; "ac eto y mae y gwasanaeth yn ardderchog, yn llawn duwinyddiaeth iachus, llawn synwyr, a llawn defosiwn."

"Y mae hyny yn berffaith wir," atebai Mr. Owen. "O'm rhan fy hun y mae defosiwn y gwasanaeth yn rhy ddwfn, pur, ac ysbrydol i mi allu myned i mewn yn ddigonol iddo. Ond ar yr un pryd, y mae hyd yn nod ei ddwfn ddefosiwn a'i buredd yn peri i'w feithder fod yn *fwy o faich*. Er esampl, y boreu heddyw, onid oeddych chwi wedi treulio eich nerth yn darllen y gwasanaeth cyn dechreu ar yr erthyglau a'r bregeth?"

"Yr oeddwn yn dechreu blino," addefai Llewelyn Llwyd; "ond ofnaf fod fy llais i yn wan iawn."

"Gwelais eich gwanach mewn pwlpud Ymneillduol yn tanio tyrfa go dda," atebai Mr. Owen, "a hyny gyda phregeth â llai o ddefnydd, llai o faint, a llai o wir hyawdledd nag oedd genych chwi heddyw."

"Pa fodd y llwyddai y cyfryw?" gofynai Llewelyn Llwyd; "byddai yn dda iawn genyf gael fy nghyfarwyddo."

"Un fantais fawr i'r cyfryw bregethwr yw," atebai yntau, "eu bod yn esgyn i'r pwlpud yn *fresh* eu llais, a'u llafar, a'u nerth: yr ydych chwithau yn esgyn yno yn lluddedig, ac ystwythder, peroriaeth, a nerth y llais wedi ei dreulio allan. Yr ydych yn gwneyd cam â chwi eich hun, cam â'r Eglwys, a cham â'r wlad wrth ymdrechu myned trwy dri gwasanaeth bob boreu Sul. Rhaid i'r werin gael mwy o wres, mwy o symledd, a llai o faich, neu ni ddaw gwasanaeth yr Eglwys byth yn boblogaidd yn yr ardaloedd gwledig."

"Wel, Mr. Owen," ebai Llewelyn Llwyd, "yr ydych chwi yn dra chydnabyddus â theimlad yr ardal, ac y mae yn ddrwg iawn genyf glywed fod y fath ddyeithrwch rhwng y bobl a gwasanaeth nefolaidd yr Eglwys."

"Nid wyf yn dweyd dim ond sydd ffaith," atebai Mr. Owen; "rhaid yw cymhwyso y gwasanaeth i gyfarfod â chwaeth y bobl, neu ddyrchafu chwaeth y bobl at safon y gwasanaeth, cyn y llenwir Eglwys y plwyf ag addolwyr."

Wrth son am lenwi, taflai Angharad air i mewn, "Yr oedd cynnulliad lled dda yn yr Eglwys ar ol i'r fyntai olaf ddyfod i mewn. Debygwn eu bod yn dyfod o bell."

"O'r capel cyfagos y daethant, madam," atebai Mr. Owen. "Byddys yn myned i'r capel am hanner



Digitized by Google

awr wedi naw y boreu; ac yn lled fynych, trydd nifer mawr o'r gynnulleidfa i'r Eglwys, fel arwydd o barch i'r offeiriad a theimlad da at yr Eglwys, ac arosant trwy y gwasanaeth. Daeth bron yr oll o gynnulleidfa y capel i mewn heddyw o barch i chwi ar eich Sul cyntaf, ac yr wyf yn credu fod yr argraff arnynt yn ffafriol."

"Yr ydych bron â'm synu i," atebai Llewelyn Llwyd. "Bron na theimlwn fy mod wedi cilio hanner canrif yn ol. Y mae yn debyg mai dilynwyr Rowlands o Langeitho yw y capelwyr, a'u bod eto yn Eglwyswyr o galon, ac y gellir eu dwyn yn ol i'r Eglwys trwy ddyfalbarhâd, a charedigrwydd, a ffyddlondeb yn y plwyf."

"Ië, Methodistiaid Calfinaidd ydyw naw o bob deg o deuluoedd yr ardal. Dysgyblion John Elias ydynt gan mwyaf. Nid oes ynddynt, gan belled ag yr wyf fi yn deall, ddim gelyniaeth tuag at yr Eglwys; ond ar y llaw arall, nid oes ganddynt ddim parch *ysbrydol* iddi. Edrychant arni ym mhell is law iddynt eu hunain mewn ysbrydolrwydd. Yn syniad yr ardal, cynnrychiola yr Eglwys *foneddigeiddrwydd*, a'r capel *dduwioldeb*."

"Yn sicr," atebai Llewelyn Llwyd, "yr ydwyf dan fawr rwymedigaeth i chwi am ddadguddio gymmaint o'r hyn sydd newydd. Magwyd fi ar derfynau Lloegr, lle y mae yr Eglwys yn gref, mewn cymhariaeth, a bu fy llafur blaenorol mewn tref boblog, ym mysg y Seison gan mwyaf. Yr wyf yn ofni fy mod yn dra anaddas i ofalu am blwyf gwledig, ond gallaf hyderu y caf gymhorth Mrs. Owen a chwithau i wneyd a allwn."

Atebai Mr. Owen, "Gan belled ag y gallwn bydd ein help wrth law, ac yn bleser genym ei roddi. Yr ydym yn cynnorthwyo llawer ar y capel; ac yma y bydd John Elias ac amryw o'r pregethwyr yn cael derbyniad. Y mae Mrs. Owen yn perthyn i seiat y capel, a byddwn yn myned yno bron bob nos Sul. Ac yno y mae y teulu wedi myned heno."

Yr oedd y dadguddiad hwn yn syndod mor fawr i Lewelyn Llwyd, fel nas gwyddai ar fynyd pa fodd i ateb. Ac yr oedd yn ymwared amserol iawn iddo glywed trwst traed yn dynesu at ddrws cefn y tŷ, a chlywed yr eneth fach yn gwaeddi, "Y mae'r gweision wedi dyfod o'r capel." Wedi ychydig ymddyddan cyffredin, a sylwi fod y gwlaw yn parhau a'r nos yn dywyll, aeth Mr. a Mrs. Owen i'w rhan eu hunain o'r hen blas.

Cymmerodd Llewelyn Llwyd lyfr defosiynol neu dduwinyddol yn ei law, a gwnaeth Angharad yr un peth, fel rhai ar fedr darllen. Ond syrthio i fath o fyfyrdod breuddwydiol a wnaeth y ddau. Niwlog a thywyll iawn oedd yr olygfa Eglwysig yng Nghwm Awen, ac anhawdd iawn oedd meddwl o ba le y gellid cael awelon i wasgaru y niwl. Yr oedd rhywbeth allan o'i le yno, ond pa peth ydoedd nis gellid cael allan ar unwaith. Os cynnygid meddyginiaeth yn fyrbwyll, gellid gwneyd y drwg yn waeth. Gwelai Llewelyn Llwyd fod yn yr ardal symledd, fod yno grefydd neu deimlad crefyddol, a pharch cymdeithasol i'r Eglwys; ond nid yr Eglwys oedd ffynonnell y teimlad crefyddol, ac nid oddi yno y porthid ef. Penderfynodd fel dyn call beidio gwneyd dim cyfnewidiad byrbwyll yn y gwasanaeth, ond yn hytrach ymdrechu lloffa a dysgu mwy pa beth oedd gwir gyflwr yr ardalwyr. Ebai wrtho ei hun, "Os daw y capelwyr i'r Eglwys ar Sul y Cymmun a derbyn y sacrament hwnw wrth yr allor, y maent eto yn aros yn ei chymmundeb hi, ac er eu bod yn ceisio athrawon ereill, cynnorthwywyr a fyddant, a gellir cael addoliad defosiynol o fewn ei muriau."

(*I'w barhau.*)

---

## YR AGEN YN Y GRAIG.

O FWTHYN y weddw hyd fwlch y mynydd yr oedd dros ddeg o filltiroedd meithion heb yr un tŷ yn agos. Unffurfiaeth ac unigrwydd poenus a deyrnasai dros yr holl le. Nid oedd dim i'w glywed ond chwiban ambell i fugail a swn y gornchwigl. Yr oedd y weddw wedi ymgymmeryd â thaith hir, gan ddwyn yn ei breichiau ei hunig blentyn, sef bachgen dwyflwydd oed. Yr oedd yn foreu hyfryd o Fai pan ymadawodd y weddw â'i chartref: rhagredegydd diwrnod hafaidd heulog. Ond cyn y prydnawn, cymmerodd cyfnewidiad mawr le yn y tywydd: aeth yr awyr yn ddu ac yn fygythiol; crogodd cymylau gwg ar ael y mynydd; dechreuodd y gwynt chwiban rhwng y creigiau, ac aflonyddu gwyneb y glaslyn llonydd. Dilynwyd y gwynt gan wlaw, a'r gwlaw gan odwlaw, a'r odwlaw gan ystorm fawr o eira. Hyd heddyw, gelwir yr ystorm hòno yn "'storm fawr mis Mai," canys ym Mai y dygwyddodd. Hyd yn oed ar ddiwrnod gwylltaf a mwyaf gwallgof gauaf ni welwyd y fath eira. Llanwai bob agen, a chlaerwynai bob craig. Yn oer, yn wlyb, ac yn flinedig cyrhaeddodd y weddw a'i phlentyn i fwlch y mynydd. Gwyddai yn dda fod yno fwthyn bugail tua milltir hwnt i'r bwlch; ond pan ymdrechai wynebu yr ystorm a ruthrai dros y mynydd, gwelodd ar unwaith fod pob gobaith o gyrhaedd y bwthyn wedi darfod. Yr oedd yr un mor ammhosibl iddi ddychwelyd adref. Yr oedd yn rhaid iddi gael

Digitized by Google

rhyw gysgodfan. Buasai yn croesawu hyd yn nod ffau y llwynog. Wedi crwydro am ysbaid, o'r diwedd, canfyddodd agorfa yn y graig. Ymgwrcydodd hithau tu ol i'r graig uchel, gan wasgu y plentyn i'w mynwes oer, grynedig. Ymwallgofai yr ystorm. Daliai yr eira i ddisgyn drymach, drymach. Awr ar ol awr a aeth heibio; yr oedd yr oerni yn anoddefol. Dechreuodd y nos fantellu y mynydd mawr. Yr oedd calon y weddw dlawd yn friw gan ofn a phryder. Ei phlentyn—ei hunig blentyn—a lanwai ei meddwl, a hi a'i goblygodd yn ei mantell; ond ychydig ddillad oedd am y druanes, a'r rhai hyny yn deneuon a gwael. Ond deued a ddelo o honi hi ei hunan, rhaid iddi achub ei phlentyn. Yr oedd yr eira oer a gwyn erbyn hyn yn dechreu llenwi y gilfach lle y ceisiai nodded. Parhäi yr ystorm, ac elai y nos yn dduach, dduach. Tynodd y fam druenus ei holl ddillad oddi am dani bron, gan eu rhoddi o gwmpas ei phlentyn, ac yna dododd ef i orwedd mewn agen ddofn yn y graig. Ac yn awr, deued a ddelo, hi a benderfynodd wynebu yr ystorm, gan ddychwelyd adref i ymofyn cynnorthwy i'w phlentyn, neu drengu yn yr ymdrech. Gwasgodd ei phlentyn at ei chalon, gorchuddiodd ei wyneb gyda'i dagrau a'i chusanau, dododd ef yn dyner i lawr i gysgu ar ychydig o redyn a grug, ac a anturiodd allan i'r ystorm ofnadwy, i'r nos ddu—ac i ddinystr!

Dilynwyd y prydnawn ystormus hwn gan foregwaith tawel, hyfryd. Tywynai yr haul mewn awyr las glir, addurnid copäu y mynyddoedd gan goronblethion o niwl, tra y llifai rhaiadrau fil i lawr eu hochrau. Gwelid llawer o bobl gyda phastynau hirion yn eu dwylaw yn archwilio pob hafn a phob agen ger bwlch y mynydd; trigolion y pentref cyfagos ydynt, mewn ymchwil am y weddw a'i phlentyn. O'r diwedd, cyrhaeddant y bwlch. Gwel un o'r bugeiliaid ddernyn o glog yn yr eira. Daethant o hyd i'r weddw—*wedi marw!*—â'i dwylaw yn estynedig fel pe yn erfyn am gynnorthwy. Cyn y prydnawn, cawsant hyd i'r plentyn. Yr oedd ef yn ddiogel yn yr agen yn y graig. A! cafodd y mynyddwyr gonest weled beth oedd dyfnder cariad mam. Y noson hòno gwahoddodd yr hen weinidog penwyn y pentrefwyr i fwthyn y weddw, a thrwy gynghor tadol a gweddi, ymdrechodd wasgu yr amgylchiad difrifol at eu calonau. Llawer deigryn hallt dywalltwyd, a llawer ochenaid hiraethus a ollyngwyd tua'r nefoedd.

* * * * *

Aeth dros hanner canrif heibio. Er ys blynyddau mae yr hen weinidog penllwyd wedi ei gasglu at ei dadau, er fod ei goffadwriaeth anwyl yn parhau yn wyrdd yng nghalonau plant i blant y rhieni a feddyddiodd ef. Yr oedd ei fab, gwallt yr hwn oedd cyn wyned a'r eira, yn pregethu i gynnulleidfa o Gymry yn un o ddinasoedd mawrion Lloegr. Testyn ei bregeth oedd cariad Iesu. Tra yn darlunio natur hunanaberthol y "cariad sydd uwch law pob deall," efe a adroddodd yr ystori am y weddw, yr hon a adnabyddai ef pan yn plentyn, ac a ofynodd, "Os yw y plentyn hwnw heddyw'n fyw, pa fath galon sydd ganddo os nad ydyw'n llosgi'n dân o gariad at ei fam, yr hon fu farw erddo. Pa fath ddyn ydyw os na wnaiff yr olwg ar y wisg deneu, garpiog, a dynodd ei fam oddi am dani gan ei rhoddi o'i gwmpas ef, er mwyn achub ei fywyd ar gost ei bywyd ei hunan? Pa fath ddyn ydyw os na leinw yr adgofion yna ei galon gyda diolchgarwch a chariad rhy ddwfn i eiriau? Ond eto, fy ngwrandawyr, pa fath galonau sydd genych chwi os nad ydynt yn llosgi o fawl diolchgar ac o gariad dwfn at y Ceidwad fu'n gwaedu ac yn trengu drosoch ar y bryn?"

Ychydig ddyddiau wedi hyny, anfonwyd cenad at y gweinidog gan ddyn oedd yn marw, yn erfyn cael ei weled. Aeth yntau yn uniongyrchol. Gafaelodd y dyn claf yn llaw y gweinidog, a chan syllu yn ddifrifol yn ei wyneb, dywedodd, "Nid ydych, ac nis gallwch, fy adnabod. Ond yr wyf fi yn eich adnabod chwi, a'ch tad o'ch blaen. Bûm yn crwydro mewn llawer gwlad. Ymwelais â phob parth o'r byd, ymleddais a gwaedais dros fy mrenin a'm gwlad. Daethym i'r dref hon ychydig wythnosau yn ol â'm hiechyd wedi dadfeilio. Y Sabbath diweddaf aethym i'ch Eglwys chwi—Eglwys fy nhadau—lle y gallwn unwaith yn ychwaneg glywed yr Efengyl yn cael ei phregethu yn iaith fy mebyd a'm calon. Clywais chwi yn adrodd yr hanesyn am y weddw a'i phlentyn." Yma bloesgai tafod yr hen filwr, a rhwygid ei eiriau gan ocheneidiau, ond o'r diwedd llefodd allan, "Myfi yw y plentyn hwnw!" gan wylo yn chwerw. "Ië," meddai, "myfi yw y plentyn hwnw! Erioed, erioed, erioed nid anghofiais gariad fy mam. Iawn y gofynasoch pa fath galon fuasai genyf pe anghofiaswn hi. I mi, mae y cof am dani yn anwyl, anwyl, fel gwaed fy mron; a'm hunig ddymuniad a'm gobaith yn awr ydyw cael y fraint o ddodi fy esgyrn blinedig wrth ei hesgyrn hi yn yr hen fynwent anwyl rhwng y bryniau. Ond, syr, yr hyn sydd yn tori fy nghalon, ac yn fy llenwi â chywilydd ydyw hyn, na sylweddolais erioed hyd yn hyn gariad fy Ngwaredwr yn rhoddi ei einioes drosof. Yr wyf yn cyfaddef! yr wyf yn cyfaddef!" Llanwodd ei lygaid gan ddagrau, edrychodd i fyny

Digitized by Google

drwy ei ddagrau i'r nefoedd, gwasgodd law y gweinidog at ei fynwes, gan ddweyd, "Duw barodd i chwi ddweyd yr hanes. Mawl fyth a fo i'w enw sanctaidd na fu fy mam anwyl farw yn ofer, a bod y gweddïau a anadlodd ar fy rhan wedi eu gwrandaw o'r diwedd; canys y mae cariad fy mam wedi ei fendithio i wneuthur i mi weled, megys nas gwelais erioed o'r blaen, gariad fy Ngwaredwr. Yr wyf yn ei weled, ac yr wyf yn credu ynddo. Yr wyf wedi cael noddfa yn fy hen ddyddiau lle y cefais hi yn fy mhlentyndod—mewn agen yn y graig; ond *Craig yr Oesoedd* yw hon!" A chyda theimlad angerddol, efe a geisiai adrodd yn floesg, "A anghofia gwraig ei phlentyn sugno, fel na thosturia wrth fab ei chroth? Hwy a allant anghofio, ond myfi ni'th anghofiaf di." A thra dyferai y geiriau yna dros ei fin, efe a ollyngwyd adref mewn tangnefedd at ei fam ac at ei Dduw.

(*Cyfaddasiad.*) ELLDEYRN.

---

## ENWOGION YR EGLWYS.

### PARCH WM. GREY HUGHES.

BRODOR oedd yr offeiriad ieuanc a'r pregethwr rhagorol hwn o Geredigion. Ganwyd ef yn y Sychbant, plwyf Nantcwnlle, Awst 5, 1792. Ei dad ydoedd y Parch. John Hughes, Llanddeiniol a Nantcwnlle, ac yr oedd ei fam yn ferch i'r Parch. Thomas Grey, gweinidog Aber Meurig. Cadwyd ef i weithio ar y fferm nes bod yn 17 oed, ac yna aeth i'r ysgol i Bettws Lleucu, at y Parch. Richard Richards, wedi hyny o Gaerwys; ac wedi dysgu rhyw gymmaint o ramadeg a phethau elfenol ereill, symmudodd oddi yno i Ysgol Ramadegol Llanbedr, yr hon oedd o dan ofal y Parch. Eliezer Williams, mab yr hyglod Peter Williams. Treuliodd yno tua phum mlynedd yn fawr ei barch ar gyfrif ei fuchedd diargyhoedd a'i ddiwydrwydd gyda'i efrydiadau, ac er llafurio dan gryn anfanteision, o herwydd ei ddiweddarwch yn dechreu, daeth yn ysgolhaig clasurol da. Dywedir ei fod yn darllen rhanau helaeth o Air Duw bob dydd. Wedi gorphen o hono ei amser yn Llanbedr, dechreuodd edrych allan am le i weinidogaethu; ac wedi clywed o hono fod eisieu curad ar y Parch. Mr. Pugh, periglor Trefdraeth, sir Benfro, cyfeiriodd ei gamrau tuag yno. Cysgodd y noson gyntaf yn Llandudoch, yn nhŷ yr hen offeiriad duwiol, y Parch. D. Jones. Er mwyn rhoddi prawf ar ei ddoniau a'i gymhwysder i'r swydd, rhoddes Mr. Pugh ef i ddarllen a gweddïo yn y teulu, a mawr hoffodd ef, a rhoddodd iddo *title*. Urddwyd ef gan yr Esgob Burgess, yn y flwyddyn 1815, i guradiaeth Trefdraeth a Threwyddel, lle y gwasanaethodd am saith mlynedd. Ymddengys mai yn Eglwys Cilcenin, heb fod yn neppell o'i gartref, y traddododd efe ei bregeth gyntaf i dyrfa luosog, a dywedir iddynt dori allan mewn sain cân a moliant o dan ei weinidogaeth danllyd ac effeithiol. Darfu i un o'r gwrandawyr ar y pryd, meddir, ddarogan na fyddai yn hirhoedlog, ac felly yn wir y profodd, o blegid ni fu byw ond naw mlynedd wedi hyny.

Yn Ebrill, 1819, penodwyd ef gan yr Esgob Burgess i ficeriaeth Llandyssul, Ceredigion. Ni symmudodd yno i breswylio, ond parhaodd i wasanaethu Trefdraeth fel curad am tua thair blynedd. Tra yn ficer Llandyssul, rhoddes deitl i wr ieuanc o'r enw Enoch James, yr hwn a droes allan yn wr rhagorol, a chafodd y ficeriaeth ar waith Mr. Hughes yn ei rhoddi i fyny yn y flwyddyn 1822. Mab iddo ef ydyw yr Hybarch Archddiacon James, Abergwili. Yng Ngorphenaf y flwyddyn hòno rhoes yr esgob i Mr. Hughes ficeriaeth Mathri, sir Benfro, ac ar yr un pryd gwnaeth ef yn ddeon gwladol. Ar ei ymadawiad â Threfdraeth cymmerodd dŷ yn Wdig, ger Abergwaen, gan fwriadu priodi boneddiges gyfoethog a hynod grefyddol, ond nid hyny ydoedd ewyllys y Nefoedd. Yr oedd ei iechyd erbyn hyn yn cyflym ddadfeilio, ac yr oedd yn amlwg i bawb fod ei yrfa ddaiarol yn tynu yn brysur at ei diwedd. Ei hoff emyn yr adeg yma a'r hon a adroddai gyda llawer o ddwysder a theimlad ydoedd,

"O paid â mi, gad im' gryfhau,
Cyn darfod dyddiau 'mywyd,
A gwna â mi sydd bron fy medd
Drugaredd a syberwyd."

Gan deimlo ei hun yn gwbl analluog i ddilyn yn hwy waith y weinidogaeth, efe a symmudodd at ei hen gyfaill, y Parch. D. Jones, Llandudoch, yr hwn wrth fyned i'w dŷ a gyfarchai o dan deimlad dwfn: "Mr. Jones," ebai, "yr wyf yn dyfod yma i farw, i'r un gwely ag y cysgais gyntaf erioed yn sir Benfro." Ar ol dihoeni yno am rai misoedd, torwyd ef i lawr yng nghanol ei ddyddiau a'i ddefnyddioldeb, ar y 17fed o Fawrth, 1824, yn yr oedran cynnar o 32 mlwydd. Parhäi ei ffydd yn gadarn hyd y diwedd, a bu farw yn orfoleddus. Cludwyd ef i'w gladdu i Nantcwnlle, yng nghanol arwyddion o alar cyffredinol. Yr oedd Mr. Hughes yn llwyr ymroddedig i waith y weinidogaeth, ac fel pregethwr cyrhaeddodd yn ystod ei oes fer raddau anghyffredin o boblogrwydd. Ystyrid ef a'i gymmydog a'i gyfaill, y Parch. D. Griffiths, Nefern, yr hwn a'i

Digitized by Google

gorfucheddodd ddeng mlynedd, y ddau oleuad dysgleiriaf ym mhwlpud yr Eglwys yn chwarter cyntaf y ganrif bresennol; ac ni phetrusai rhai a'i hadwaenai yn dda, ei restru ym mlaenaf o holl enwogion Cymru yn ei oes.

Edrychid gan lawer arno fel seren ddydd yn yr adfywiad a welir yn yr Eglwys yn y dyddiau hyn, a dichon iddo dderbyn mwy o arddeliad a llwyddiant ar ei weinidogaeth na neb o'i frodyr oeddynt yn byw yr un amser ag ef. Dirgelwch ei lwyddiant a chuddiad ei fawr gryfder ydoedd gynnwysedig yn ei ddyfalbarhâd mewn gweddi. Gweddïai fwy na mwy wrth gyfansoddi ei bregethau, wedi eu cyfansoddi, ac mewn ysbryd gweddi y traddodai hwynt. Yr oedd y fath ddifrifoldeb angerddol yn ei eiriau a'i ymddangosiad, yn y pwlpud yn gystal a phob man arall, fel ag i argyhoeddi pawb mai cenad anfonedig Duw oedd efe yn traethu geiriau gwirionedd a sobrwydd. Yr oedd mwy o genadwri St. Paul yn ei weinidogaeth, sef argyhoeddi y byd annuwiol, nag o eiddo Apolos, sef dyfrhau, adeiladu, a dyddanu y saint. Swn gwynt nerthol yn rhuthro glywid yn ei weinidogaeth ef yr un modd ag yn eiddo y Parch. Daniel Rowlands, canys prin yr oedd adsain udgorn euraidd yr efengylydd enwog o Langeitho wedi dystewi nad oedd crochlais yr efengylydd o'r Sychbant yn tori ar ddystawrwydd a chwsg ysbrydol y wlad. Fel Ioan gynt, dyrchafai ei lais yng nghanol anialwch moesol y wlad, a chyda gwresogrwydd, difrifoldeb, ac angerddoldeb teimlad rhybuddiai annuwiolion "i ffoi rhag y llid a fydd." Meddiennid yr anystyriol â dychrynfëydd anaele, a chwympai cedyrn lawer yn glwyfedig gan saethau argyhoeddiadol o dan ei weinidogaeth danllyd. Syrthiai y fath nerthoedd weithiau ar ei ysbryd mewn cyfarfodydd gweddi, fel y gellid meddwl fod hyd yn oed riniogau a physt y tai yn ymsymmud gan rym ei leferydd a'i lais. Pregethai mewn angladdau yn aml, a hyny gyda'r fath sobrwydd a difrifoldeb, fel nad oedd braidd un angladd yn myned heibio heb i rywun neu rywrai gael eu hargyhoeddi a'u dychwelyd at Dduw.

Gellir dweyd yn ddibetrus am Mr. Hughes, ei fod yn un o'r dynion goreu ac yn un o'r pregethwyr mwyaf nerthol a fu yng Nghymru erioed. Dywedai un o hen bobl Rowlands, Llangeitho, wedi bod yn ei wrando unwaith, "Yn ddiau, y mae holl ddoniau Rowlands, John Hughes, a Thomas Gray o'r Sychbant wedi cydgyfarfod yn y gwr ieuanc yma." "Efe oedd ganwyll yn llosgi ac yn goleuo;" ond ei haul ef a fachludodd tra yr oedd hi eto yn ddydd.

G. M.

## DADGYSSYLLTIAD YR EGLWYS, PA BETH YW?

Cyhuddir ni o ddefnyddio iaith chwerw wrth ymdrin â phwnc y dadgyssylltiad yn ein rhifyn diweddaf. Methwn â gweled i ni wneuthur hyny, ond gallai bod ein hiaith yn finiog. Peth hawdd i blaid o wleidyddwyr ydyw siarad yn llithrig eu tafod am ddadgyssylltu yr Eglwys yng Nghymru, ond credwn nad ydynt erioed wedi ystyried pa beth ydyw ystyr y geiriau a ddefnyddiant, neu ni allent honi ar yr un pryd eu bod yn "caru lles yr Eglwys." Dywedwn yn ddiofn, a phrofwn hyny yn ein hysgrif bresennol, na all un dyn, gwedi ystyried pa beth ydyw dadgyssylltiad, ddweyd un gair dros ei ddwyn oddi amgylch, a phroffesu ewyllys da i'r Eglwys.

Dymunwn ar unwaith wasgu at ystyriaeth ein darllenwyr nad oes dim o'r fath beth yn bod a dadgyssylltu yr Eglwys heb ei dadwaddoli. Gellir newid ffurf ei chyssylltiad â'r wladwriaeth yn debyg fel y gwnaed yn yr Iwerddon heb ei dadwaddoli, neu heb ei *llwyr* ddadwaddoli. Ond ni foddlonir gymdeithas y dadgyssylltiad â dadwaddoliad rhanol fel a wnaed yn yr Iwerddon. Gallai mai doeth sylwi yn y fan yma y defnyddir y gair dadgyssylltiad gan siaradwyr ac ysgrifenwyr Cymreig yn gyfystyr â *disestablishment*, sef dadsefydlu. Ni a ddefnyddiwn y ddau air yn yr ysgrif hon, gan gymmeryd y gair dadgyssylltu i osod allan doriad y cyssylltiad rhwng yr Eglwys yng Nghymru a'r Eglwys yn Lloegr; a dadsefydlu i nodi dattodiad y rhwymau rhwng yr Eglwys a chyfraith gwlad. Sylwer yn y lle cyntaf mai

CORFFORIAETH YSBRYDOL YDYW EGLWYS Y WLAD HON,

yn ystyr manylaf y gair. Fel corfforiaeth ysbrydol y mae y pedair esgobaeth ar ddeg ar hugain yn Lloegr a Chymru yn ffurfio un corff o dan archesgob Caergaint, fel prif esgob (*primate*) Lloegr oll. Ond yn ei sefydliad gwladwriaethol cynnwysa dros fil o gorfforiaethau o dan enwau, ac yn ymddiried, esgobion, Eglwysydd Cadeiriol, rheithoriaid, ficeriaid, a'r dirprwywyr Eglwysig. Eglwys wedi *ymsefydlu o honi ei hun* drwy droi y trigolion paganaidd at Grist, a chael ryddid i adeiladu ei Heglwysydd, a derbyn nawdd cyfraith gwlad i'r eiddo neu waddol a roddid iddi, ydyw yr Eglwys yng Nghymru. Cynnwysa bedair esgobaeth wedi eu sefydlu ar wahanol adegau, a'r gwaddol esgobol a gwaddol yr Eglwys Gadeiriol yn cael ei ymddiried i'r esgob, y deon, a'r canoniaid mewn ymddiried fel corfforiaethau. Yr un modd

Digitized by Google

sefydlwyd pob un o'r 998 plwyfi ar wahân, bydded y fywoliaeth yn rheithoriaeth neu ficeriaeth. Y mae pob plwyf yn gorfforiaeth; neu a siarad yn fanwl, y rheithor neu ficer pob plwyf yn gorfforiaeth ar ben ei hun. Pan sonir felly am ddadsefydlu yr Eglwys yng Nghymru, ystyr lythyrenol hyny yw dadgorffori pob esgobaeth, Eglwys Gadeiriol, ac Eglwys blwyfol, fel ag y byddai pen ar *unwaith* ar bob awdurdod a hawl mewn eiddo ac adeiladau. Fe wel y darllenydd ar unwaith nad oes dim modd dadsefydlu Eglwys heb gymmeryd meddiant o'i holl eiddo ac adeiladau, o herwydd rhaid fyddai ar unwaith cael rhyw awdurdod gyfreithiol i gymmeryd gofal yr eiddo a'r adeiladau ar ol dilëu awdurdod esgobion, deoniaid a chanoniaid, rheithoriaid a ficeriaid, a dirprwywyr Eglwysig.

Felly darpara y dadsefydlwyr a dadgyssylltwyr fod

DADWADDOLIAD

yn cymmeryd lle. Dyma a ragdybia dadsefydliad a dadwaddoliad yr Eglwys felly. Yn cyntaf, amddifadu yr Eglwys o nawdd cyfraith gwlad; ac yn ail, cymmeryd meddiant o'i gwaddol. Ni all deddfwyr, gelynion, nac erlidwyr wneyd mwy na hyn tuag at ddinystrio Eglwys, heb garcharu a dieneidio ei gweinidogion ac aelodau. Ond dywed ein cymmwynaswyr dadgyssylltiol nad ydynt yn amcanu dinystrio yr Eglwys yng Nghymru, eithr gwnânt yr oll er ei lles ysbrydol! Cawsom gipdrem ar ddau gynllun o ddadsefydlu, un yn ynfydwaith, y llall yn ddichellwaith, a'r ddau yn haerllug. Ni a gymmerwn y cynllun swyddogol a dynwyd allan gan Gymdeithas Rhyddhâd Crefydd (?) ac a argraffwyd yn ei llawlyfr, "*The Case for Disestablishment.*"

1. Amcenir cymmeryd meddiant o'r holl waddol Eglwysig o bob math, hen a diweddar, ac o'r holl Eglwysydd Cadeiriol ac Eglwysydd ereill o bob math oedd wedi eu hadeiladu cyn y flwyddyn 1818, sef trigain a thair o flynyddau yn ol, a phrisio eu gwerth. Er enghraifft, cymmerwn blwyf â'i ddegwm yn 250p. o bunnau o arian glân, y tir yn werth 30p. yn y flwyddyn, y tŷ yn werth 20p., a'r adeilad Eglwysig (neu offrwm, &c.) yn werth 20p. Ystyrid y fywoliaeth yn werth 320p. yn y flwyddyn. Gwneid yn yr un modd gyda phob Eglwys a phlwyf yn y pedair esgobaeth. Byddai y cyfanswm yn cynnwys yr hyn a elwir gwaddol yr Eglwys yng Nghymru.

2. Y cam nesaf ydyw prisio cyfanwerth gwaddol neu eiddo pob plwyf, neu y *capital sum*, a dderbynid wrth ei werthu. Yn ol *scale* y prisiad yn yr Iwerddon, pryniad dwy-flynedd ar hugain a hanner oedd y gwerth. Cyfanswm gwerth y fywoliaeth o 320p. yn y flwyddyn fyddai 320p. × 22½=7200p.

3. Y cam nesaf yn y cynllun, wedi cael allan y cyfanwerth, yw rhoddi iawn personol i offeiriad neu ficer pob plwyf, ac felly pob gweinidog, a swyddog, ac urddaswr arall. Cafartaledd yr iawn a roddwyd i weinidogion yr Eglwys yn yr Iwerddon oedd gwerth y fywoliaeth am bedair blynedd ar ddeg; ond myn awdwyr y cynllun ger ein bron fod hyny yn ormod o werth dwy flynedd. Ni a gymmerwn y dadgyssylltwyr ar eu tir eu hunain, a dodwn waddol deuddeng mlynedd yn ol taflenau y llywodraeth ar gyfartaledd prynu blwydd-daliadau. Pa faint felly fyddai iawn yr offeiriad yn y fywoliaeth dybiedig o 320p. yn y flwyddyn? Lluosoger 320p. gyda 12 a gwna 3840p. Tair mil ac wyth cant a deugain punt.

4. Gwedi derbyn o'r offeiriad y swm hardd yma, gollyngir ef yn rhydd o bob ammod a rhwymau. Yn iaith y llawlyfr bydd yr offeiriaid yn rhyddion i fyned i gytundeb, a rhoddi eu gwasanaeth yn ol unrhyw ammodau a ddewisant gydag unrhyw Eglwys esgobaethol, neu heb fod yn esgobaethol, a ddygir ym mlaen ar yr egwyddor wirfoddol.—"*Case for Disestablishment.*"

Dyma un o'r cynlluniau mwyaf dinystriol ac *anghyfiawn* a welwyd erioed. Amcenir cymmeryd dros hanner holl eiddo yr Eglwys, yn adeiladau ac oll, oddi wrth yr Eglwys, a'i drosglwyddo yn feddiant *personol* i'r gweinidogion am ddim ond iddynt *droi eu cefnau* ar Eglwys eu tadau. Dyma beth a alwyd yn briodol, "*The biggest bribe ever offered to any trustees.*" Y lwgrwobr fwyaf a gynnygiwyd erioed i ymddiriedolwyr.

Er mwyn dangos gwrthuni y cynllun hwn yn ei eithafnod, cymmerwn gyfrif Cymdeithas Rhyddhâd Crefydd eto. Dywedant fod holl waddol yr Eglwys yng Nghymru yn 1884 yn 256,979p. yn y flwyddyn. Lluosogwch y swm yna gyda deuddeg=256,979p. × 12p.=3,083,748p. (tair miliwn wyth deg a thair o filoedd a saith cant pedwar deg ac wyth o bunnoedd). Dyma y swm anferth o werth arianol a gymhella y dadgyssylltwyr ei gymmeryd oddi ar yr Eglwys yng Nghymru, ac o feddiant yr oesoedd dyfodol—*o ddwylaw y cyhoedd*—a'i roddi ym mhocedau personau unigol i fyned gyda hwy i'r man y mynent—i brynu tir i'r America neu Awstralia, i fasnachu, neu i'w fudd-soddi er lles eu teuluoedd, a'r derbynwyr i dreulio eu hoes yn segur, neu wasanaethu Eglwysi ac enwadau y man y dewisont. Onid y bobl hyn ydyw ysbeilwyr Cymru? Nid ysbeilio personiaid y maent, ond ysbeilio yr oes sydd yn codi

Digitized by Google

—ysbeilio meibion amaethwyr unieithog Cymru—meibion ein glowyr, ein chwarelwyr, a'n crefftwyr Cymreig, y rhai sydd yn codi i lenwi pwlpudau yr Eglwys. Llwgrwobrwyant bersoniaid yr oes hon er mwyn ysbeilio y nesaf.

5. Ond awn ym mlaen. Y mae nifer mawr o Eglwysydd yn nawddogaeth lleygwyr fel personau unigol, fel ag y mae Eglwysydd Penarlag yn eiddo Mr. Gladstone, saith neu wyth o Eglwysydd yn nawdd Syr Watkin, ac felly Arglwydd Powys, a'r rhan fwyaf o foneddigion y wlad. Bu iddynt hwy neu eu hynafiaid eu gwaddoli neu brynu gan eu gwaddolwyr, ac ystyrir hwy yn eiddo iddynt. Felly addefa Cymdeithas Rhyddhâd Crefydd fod yn rhaid roddi iawn i'r nawddogwyr.—"*Case for Disestablishment*," tudal. 186.

Cymmerwn Eglwysydd Penarlag (o herwydd y mae yn y plwyf amryw). Gwerth blynyddol yr oll yn ol *Crockford* (1890) ydyw 2664p. Rhenir hyn rhwng saith o offeiriaid, o'r hyn disgyna 961p. i'r Parch. S. E. Gladstone. Meddiant teuluaidd ydyw yr oll, ond gweinydda i saith o dai addoliad. Beth a ddaw o hono ar ol dadgyssylltu? Rhoddir 2664p. × 12p.=31,968p. fel iawn rhwng y saith offeiriad, a'r gweddill 2664p. × 10½p.=27,972p. yn iawn i'r nawddogwr, Mr. Gladstone; ac amddifadir plwyf mawr poblogaidd Penarlag o'i waddol crefyddol dros byth, oni wel rhyw Gristion yn dda ei waddoli yn ol i ryw fesur. Y mae o'n blaen yn awr gyfres o enwau nawddogwyr lleol fel Arglwydd Powys, Syr Watkin, Arglwydd Penrhyn, Mr. Love Jones-Parry, Mrs. Lloyd, Mr. Wynne Finch, a fyddent yn derbyn pymtheg mil, deng mil, saith mil, chwe mil, pum mil, tair mil o bunnoedd, mwy neu lai, pe dadsefydlid yr Eglwys yng Nghymru, yn ol cynllun Cymdeithas Rhyddhâd Crefydd; ac ni ellir dadsefydlu byth heb ddigolledu noddwyr yn gystal a rhoddi iawn i'r offeiriaid. Mewn byr eiriau, canlyniad dadsefydlu yn ol y cynllun hwn fyddai *dinystrio* yr Eglwys a rhanu ei heiddo rhwng y *personiaid*, y *gwŷr mawr*, a'r *twrneiod*, gan adael i bob plwyf *blisgyn Eglwys wedi ei digyssegru*.

6. Medd Cymdeithas Rhyddhâd Crefydd, "Am yr hen Eglwysydd a adeiladwyd cyn y flwyddyn 1818, trosglwydder hwy i ofal bwrdd plwyfol o etholiad y trethdalwyr. Dylai y cyfryw fwrdd gael awdurdod i ymwneyd â hwy er budd cyffredinol y plwyfolion yn y modd y dewisent. Dylent hefyd gael awdurdod i'w gwerthu am bris teg, ac yn unol â rheolau dyledus."—"*Case for Disestablishment*," tudal. 179. Y mae yn anhawdd peidio gwenu uwch ben cynllun cyfrwys-fachgenaidd y gymdeithas wrth feddwl am gymhell fod i hen Eglwysydd cyssegredig ein gwlad fyned dan forthwyl yr arwerthwr i'w trosglwyddo i'r uchaf ei geiniog.

Beth am yr ysbail gweddill oll? Dyma a ddywedir, "Gwedi dadsefydlu Eglwys Lloegr, gall na bydd nemawr weddill i'w dderbyn i law am lawer o flynyddoedd. Pan ddaw y gweddill yn sylwedd, yn lle bodoli yn unig mewn dychymmyg, bydd i'r genedl ei drefnu yn unol ag angen a theimlad yr amser hwnw, ac nid yw yn debyg y talant un sylw i unrhyw gynlluniau a awgrymir flynyddoedd ym mlaen llaw."—"*Case for Disestablishment*."

Cofier mai iaith swyddogol y gymdeithas pan yn siarad dan bwys cyfrifoldeb ydyw hyn. Clywir Mr. Osborne Morgan, Mr. Bryn Roberts, a Mr. Lloyd George, a'r holl epil yma, yn son am droi cyllid yr Eglwys yng Nghymru at addysg ganolradd a'r fath achosion, ond addewidion *twrneiaidd* a gwleidyddol ydynt oll, heb un awydd eu gweled yn cael eu cyflawnu. Mewn gwirionedd, y maent yn ddigon gwybodus a chall i ragweled nad oes un golwg am geiniog yn weddill dros lawer o flynyddoedd ar ol dadsefydlu.

Bellach, ar ol gweled y dadsefydlwyr yn dodi mwy na hanner holl waddol yr Eglwys ym mhocedau yr esgobion, deoniaid, canoniaid, offeiriaid, a churadiaid, a rhan ddirfawr arall ym mhocedau y nawddogwyr arianog, a'r Eglwysydd cadeiriol a phlwyfol yn nwylaw byrddau plwyfol, pa beth a adewir yn llaw *deadell ysbeiliedig* Eglwyswyr Cymru? Ac ym mha gyflwr y byddant? Ni bydd ganddynt, fel Eglwyswyr, yn ol cynllun y gymdeithas, ddim cymmaint ag un adeilad i addoli ynddo. Bydd yr hen adeiladau oll ym meddiant "awdurdodau lleol," yr Eglwysydd diweddar yn nwylaw eu hadeiladwyr i wneuthur fel y mynont â hwy a'u gwaddol, a'r Eglwysi a adeiladwyd yn ddiweddar drwy danysgrifiadau yn nwylaw y gynnulleidfa i addoli fel y mynont ynddi; ond heb un awdurdod, rheol, na *hawl meddiant*, hyd nes yr adgorfforant eu hunain, ac y cânt weithredoedd ar yr eiddo fel yr enwadau. Y mae Cymdeithas Rhyddhâd Crefydd ei hun er maint ei rhagfarn yn gorfod cydnabod fod yma "anhawsderau."—"*Case for Disestablishment*."

Gallai y cwynir ein bod yn ysgrifenu "yn chwerw" pan ddywedwn mai rhagrith o'r fath mwyaf cywilyddus ydyw i un aelod o'r gymdeithas a luniodd gynllun dadsefydliad yr Eglwys ddweyd nad ydyw ddim yn elyn iddi. Gall y bobl hyn ddweyd gyda gradd o esgus nad ydynt yn elynion i'r personiaid, o herwydd y maent yn cynnyg eu *breibio* â thair miliwn o bunnau yn ol y swm a roddant eu hunain i lawr,

Digitized by Google

neu, a chymmeryd gwerth gwirioneddol yr eiddo, â *dwy* filiwn.

Ond nid dyma yr oll. Y mae

DADGYSSYLLTIAD

i dd'od. Pa beth ydyw hyny? Dadgyssylltir rhwng y pedair esgobaeth yng Nghymru a'r deg ar hugain chwaer esgobaethau yn Lloegr. Bydd hyny yn golled i Gymru o tua deugain mil o bunnoedd yn y flwyddyn, y rhai a ddeuant *i mewn* i Gymru yn bresennol drwy y dirprwywyr Eglwysig a'r cymdeithasau gwirfoddol Eglwysig.

Mae y pedair esgobaeth Gymreig er ys tua saith cant o flynyddoedd gwedi bod yn cydfyw, ac yn cyddyfu gyda'r esgobaethau Seisonig yn nhalaeth Caergaint. Cafodd yr esgobaethau Cymreig lawer o gam ar rai adegau gan ei chwiorydd, ond y mae yn bresennol yn cael cyfiawnder, a mwy na hyny, yn cael *cynnorthwy*.

Beth am y *National Society?* y gymdeithas a wna gymmaint at adeiladu ysgoldai? Y Gymdeithas er Lledaenu Gwybodaeth Gristionogol (S.P.C.K.)? Y Gymdeithas er Cynnorthwyo i gynnal Curadiaid? Y Gymdeithas Fugail Gynnorthwyol? Corfforiaeth Meibion y Clerigwyr; a'r Ddirprwyaeth Eglwysig? Mae y cymdeithasau hyn yn perthyn i'r Eglwys yn Lloegr a Chymru, y naill fel y llall, ac er ys rhai blynyddau bellach y mae yr Eglwys yng Nghymru yn derbyn miloedd yn fwy nag y mae yn anfon yno, ac fe fyddai i ddadsefydliad yr Eglwys yng Nghymru dori y cyssylltiad hwn yn llwyr, ac amddifadu Cymru o yn lled agos i ddeugain mil o bunnau yn y flwyddyn. A all un Pharisead yng Nghymru ddweyd fod hyn yn ddim llai nag arwydd naill ai o anwybodaeth dybryd neu ragfarn o'r fath fwyaf gresynus?

O, meddai doethawr bol y clawdd ac areithiwr cegrwth pen y domen, nid ydym yn ymyryd â'ch cymdeithasau gwirfoddol ac â'ch eiddo Eglwysig yn Lloegr. Ydych, yr ydych yn ymdrechu ysgaru rhwng y pedair esgobaeth Gymreig a'r esgobaethau yn Lloegr, a dryllio pob rhwymyn rhyngddynt, fel na *allo* y naill drosglwyddo dim *ceiniog* o foddion arianol i'r llall; ac yr ydych yn gwneuthur hyny pan y mae y werin Gymreig yn cymmeryd meddiant llwyr o'u Heglwys. Trwy y cynllun ysbeilgar a nodasom, y mae y dadgyssylltwyr yn gwneyd eu goreu i amddifadu y werin Gymreig—llefarwyr yr iaith Gymraeg, a dweyd y lleiaf—o gant ac ugain punt yn y flwyddyn o arian na all Seison eu mwynhau, ac y mae dros bum mil ar hugain o'r arian yma yn dyfod o Loegr. Dyma yn fyr a brysiog fras amlinelliad o'r hyn yw dadsefydliad, dadwaddoliad, a dadgyssylltiad, yn ol cynllun Cymdeithas Rhyddhâd Crefydd yn ei llawlyfr a elwir, "*The Case for Disestablishment.*"

---

## Y WASG.

"*Gweithiau Williams Pantycelyn.*"[1] *Dan olygiad y Parch. N. Cynhafal Jones, D.D. Cyfrol II. Yn cynnwys ei holl hymnau, yng nghyd â'i brif weithiau rhyddieithol, ac hefyd rai o'i bregethau.*

CAN mlynedd i ddechreu y flwyddyn hon y bu farw Williams Pantycelyn, bardd y cyssegr a pher-emynydd Cymru, ac y mae yr argraffiad sydd ger ein bron yn awr o'i weithiau a hymnau y trydydd y cawsom y pleser o'u gweled allan o'r wasg o dan ofal tri o lenorion enwog. Dengys hyn fod enw Williams Pantycelyn yn anrhydeddus yn ein mysg. Taflasom fras-olwg dros wahanol lyfrau hymnau cyfundebau crefyddol Cymru, a chawn fod emynau Pantycelyn yn dal i ffurfio asgwrn cefn ein mawl ganiadau. Cynnwysa llyfr hymnau y Methodistiaid Calfinaidd tua 75 y cant o emynau Williams, y llyfrau hymnau a arferir yn yr Eglwys (pedwar casgliad) 23 y cant o'i emynau, llyfr hymnau y Bedyddwyr tua 40 y cant, llyfr hymnau yr Annibynwyr tua'r un gyfartaledd, neu ef allai 45 y cant; a chasgliad mawr Mr. Gee rhwng 45 a 50 y cant, os ydyw'r ugain tudalen o'r llyfr a chwiliwyd genym yn cynnwys cyfartaledd digon agos i farnu am y gweddill. Casgliad y Wesleyaid yn unig sydd yn dangos cyfartaledd llai nag 20 y cant o'r emynau hyn, oddi eithr bid siwr casgliad yr Undodiaid. Dengys y defnydd mawr a wneir o hymnau Williams mor boblogaidd yw drwy Gymru benbaladr. Nid oes un emynydd Seisonig a ddeil i'w gymharu ag ef mewn poblogrwydd. Nid ydyw Charles Wesley yn Lloegr agos mor boblogaidd ag ydyw Pantycelyn gyda ni. Ffurfia emynau C. Wesley 5 y cant, neu 30 allan o 600, yn yr *Hymnal Companion*, o gasgliad yr Esgob Bickersteth, a daw I. Watts a Keble yn nesaf ato. Gwir y defnyddir emynau Wesley gan y Wesleyaid yn llawer iawn helaethach yn debyg fel y defnyddia y Methodistiaid Calfinaidd yr eiddo Pantycelyn. Ond gallai y gofynir, a ydyw hymnau Pantycelyn yn teilyngu y safle uchel a'r poblogrwydd a roddir iddynt? Beiddiwn ddweyd eu bod, ac mai eu

[1] Newport, Mon.: argraffwyd a chyhoeddwyd gan W. Jones, Commercial Street.

Digitized by Google

rhagoriaethau—nid rhagoriaethau yr oll, ond rhagoriaethau nifer dirfawr o honynt—sydd yn eu cadw yn fyw. Fel prawf o hyn gellir sylwi na bu i ddim ond un emynydd ar ei ol beryglu safle Williams fel seraph ganiedydd Cymru, a hwnw yw Ieuan Glan Geirionydd. Canodd efe ychydig, ond y mae yr ychydig mor nef-eneiniedig nes ymwthio o'r mwyafrif o honynt i bob casgliad diweddar o hymnau yng Nghymru. Fe ŵyr addolwyr Cymru pa beth yw emynau *blasus*, chwaethus, ac uniongred hefyd, a mynant eu cael i'w canu, neu bydd y cynnulleidfaoedd yn dra sychion a didwf ysbrydol.

Cwyna rhai mai emynau defosiynol y teimlad mewnol ydyw yr eiddo Pantycelyn. Y mae gryn nifer o honynt o'r nodwedd yma, ond nid yn agos i'r mwyafrif. Y mae yr emynau gwrthddrychol o fawl i'r Iesu ac a ddyrchafiad y llygad ato Ef, ac at y Tad trwyddo Ef, yn lluosog dros ben. Yn wir, y maent yn ffurfio "corff o dduwinyddiaeth" bron mor gyflawn a'r *homiliau*, ac yn rhedeg ar hyd yr un llinellau. Beth am yr emynau canlynol?—

*Crist ar y Groes.*

Hymn 516.

Dacw lofrudd ar ei aswy,
Dacw leidr ar ei dde',
Draw fe'i hoeliwyd yn y canol,
Frenin daiar, Frenin ne':
Mi appeliaf
At ei orsedd ar y groes.

Eto darllener rhif 369—

"Pwy ddyry im' falm o Gilead," &c.

Yn y pennill olaf dywed am Grist,

"Mi welaf yn ei fywyd
Y ffordd i'r nefoedd fry,
Ac yn ei angeu'r taliad
A roddwyd drosof fi;
Yn ei esgyniad gwelaf
Drigfanau pur y nef,
A'r wledd dragwyddol berffaith
Gaf yno gydag Ef."

Y mae yr ail gyfrol o weithiau Pantycelyn yn cynnwys 893 o'i hymnau Cymraeg, a thros gant o rai Seisoneg, ac y mae llawer o'r hymnau hyn yn cynnwys bob un rifedi gormod o lawer i'w canu o bennillion. Gwaith at ei ddarllen ydyw yr argraffiad hwn, a dysgu oddi wrtho. Ceir yma y fantais o fyned i *gyfeillach* y per-emynydd, a gweled ei waith fel yr oedd yn dyfod o'i law yn ei wisg *gartrefol*, deuluaidd. Y mae nodiadau y golygydd llafurus a galluog ar y gwahanol argraffiadau o'r gwaith a ddaeth allan o dan law Williams ei hun yn ddyddorol â gwerthfawr, a theimlwn fod trefn lleoliad yr hymnau yn gymhorth mawr i ddyfod i gydnabyddiaeth llawn â hanes bywyd mewnol yr awdwr. Mae y gyfrol yn ffurfio llyfr destlus mewn llythyren eglur lân, ar bapyr da, yn hawdd i'r oedranus ei ddarllen, a theg i'r llygad ar y selff. Caiff pwy bynag a'i pryno ac a'i darlleno lawer hanner awr bleserus ac adeiladol. Ni all un Eglwyswr beidio gweled mor gyflawn yr ydoedd oes Williams Pantycelyn wedi ei thrwytho ag athrawiaeth yr *homiliau*.

---

## NEWYDDION.

### ADGOF UWCH ANGHOF YR ARCHESGOB MAGEE.

Yn ein rhifyn am Chwefror diweddaf, tudalen 60, rhoddasom fyr amlinelliad o hanes bywyd y Dr. Magee ar ei ddyrchafiad i archesgobaeth Efrog, yr hynaf o'r archesgobaethau Prydeinig. Heddyw y mae genym y gorchwyl galarus o goffäu ei farwolaeth, neu fel y dywedid yn oesoedd boreu Cred, "Ei enedigaeth i fywyd gwell." Dysgwylid gwaith mawr oddi wrtho ar ei benodiad; ac wele, i orphwys ei galwyd. Yr oedd y diweddar Dr. Thomson, ei ragflaenydd yn yr esgobaeth, yn un o feddylwyr mwyaf yr oes, a'r Dr. Magee yn un o'i phregethwyr blaenaf. Ond wele y ddau wedi cael eu galw o faes eu llafur, ond diau fod gan y Pen Bugail mawr ei weision cymhwys a pharod i lenwi y bwlch a achoswyd drwy eu marwolaeth. Pan y penodwyd y Dr. Magee i archesgobaeth Efrog, teimlai llawer y byddai y symmudiad yn dreth ar nerth gwr o'r oedran cymharol hen o drigain a naw. Gall fod meddwl gwr o'r oedran hwnw yn gryf ac iraidd, ond yn sicr nid yw y corff. Gall yr ysbryd fod yn wir yn barod, ond bydd y cnawd yn wan. Gall y dyn o'r oedran yma fod mor alluog ag erioed i gyflawnu dyledswyddau ei fywyd yn y cylch y byddo wedi ymgynnefino ag ef, ond treth o'r newydd arno yw ail ddechreu ar waith mewn cylch newydd, ac ym mhlith cydweithwyr newyddion; a byddai er lles yr Eglwys pe y byddai y symmudiadau i'r oedranus yn anaml, ond i'r gweithwyr grymus yn llawer amlach. Nid cadair i orphwys a chysgu nawn bywyd ynddi ydyw cadair esgob nac archesgob yr oes hon; ond maes llafur eang, amlwg, gweithgarwch effro, a lle y rhaid i'r neb a fyno fod yn fwyaf fod yn *was i bawb*. Y mae yn yr Eglwys ddigonedd o ddynion cymhwys i lenwi yr esgobaethau tra yn eu llawn nerth ac iechyd.

Digitized by Google

Er mai o'r clefyd dyeithr ond dinystriol, yr *influensa*, y bu farw y Dr. Magee, ofnwn fod llafur, trafferth, a chyfrifoldeb ei symmudiad diweddar wedi trethu ei alluoedd corfforol. Pa fodd bynag, ni bu ei oes yn ofer. Cyflawnodd waith mawr; gedy enw anrhydeddus a llwybr goleu ar ei ol, a channoedd o edmygwyr i ddilyn ei esampl ef. Y mae daiar a nefoedd yn gyfoethacach drwy y gras a roddwyd iddo ef.

MARWOLAETH GLANMOR.

Bydd yn alar i lawer feddwl fod yr offeiriad addfwyn, boneddigaidd, a duwiol, y bardd eneiniedig a gwlithog ei awen, a'r llenor llafurfawr Glanmor (Parch. John Williams) wedi ymadaw â'r fuchedd hon er canol mis Ebrill. Buasai yn dyoddef cystudd maith ac o dan brofedigaethau teuluaidd trymion, ond aeth drwy ei brofedigaethau mewn ymostyngol dawelwch, a thrwy ei gystuddiau yn ddirwgnach. Ni allai siomedigaethau bywyd, caledi byd, na chyfyngderau wasgu dim allan o hono ef ond oedd bur a pheraidd. Dywedir i ni gan un a'i gwrandawai ei fod yn darllen a phregethu fel seraph ym mlwyddyn olaf ei fywyd, tra yn "gorfod ymgynnal â'i ddwylaw wrth reiliau yr allor" (*altar rails*).

Y mae yn ddrwg genym nad oes genym ddigon o wybodaeth bersonol o Glanmor i allu ysgrifenu adgof uwch anghof am dano yn ein rhifyn presennol. Gobeithiwn gael defnyddiau at hyny yn dra buan.

MARWOLAETH ARGLWYDD POWYS.

Dydd Iau, y 7fed o Fai, bu farw hen iarll anrhydeddus Powys, yn 74 mlwydd oed. Mab ydoedd y trancedig i ail Iarll Powys, yn llinach enwog teulu *Clive*—llywodraethydd enwog, ac un o brif sylfaenwyr ymherodraeth Brydeinig India. Derbyniodd ei addysg foreuol yn ysgol gyhoeddus enwog Eton, a'i addysg athrofaol yng Ngholeg St. Ioan, Caergrawnt. Yr ydoedd yn ysgolhaig clasurol gwych, ac ymfalchïai yn ei wybodaeth eang o'r beirdd clasurol, ac yn ei fedrusrwydd yn ysgrifenu ar eu mesurau ac yn eu hiaith. Bu ar hyd ei oes yn wir gyfaill i addysg ein cenedl mewn adeiladu a chynnal ysgolion elfenol, cynnorthwyo a rhoddi yn helaeth at y colegau cenedlaethol Cymreig, a hyrwyddo mesur addysg ganolradd. Mewn gwirionedd, gellir dweyd ei fod yn blaenori ym mhob symmudiad daionus i lesäu Cymru. Yr oedd hefyd yn haelionus ei gyfraniadau at bob achos Eglwysig yng Nghymru a Lloegr, a gwelid ef yn cymmeryd rhan yn ei holl gymmanfaoedd. Gwr ydoedd o foneddwr trwyadl a synwyr cryf. Nid oedd yn areithiwr a allai fyned i'r hwyl boblogaidd, ond llefarwr boneddigaidd, goleu, hunanfeddiannol, a llawn arabedd bywiog, a hoff o gymhariaethau chwarëus, yn peri mawr fwynhâd i'w wrandawyr.

Ei etifedd ac olynydd ydyw George, nai iddo, mab ei frawd, yr Anrhydeddus Syr Percy Herbert, a Lady Mary, merch Iarll Kerry. Y mae yn naw ar hugain oed, ac yn briod â'r Anrhydeddus Violet Lane-Fox, a merch a chyd-aeres â'r Barwn Conyers.

ESGOB BANGOR YM MLAENAU FFESTINIOG.

Daethom ar neges drwy Flaenau Ffestiniog ganol y mis diweddaf, gan lettya gyda theulu o Ymneillduwyr darllengar a hynod o ffyddlawn i'w henwad, ac mewn ymddyddan am ddygwyddiadau lleol, dywedodd un o'r meibion eu bod fel teulu gwedi bod yn edrych ar esgob Bangor yn gweinyddu Bedydd Esgob, ac yn gwrandaw ei anerchiadau ychydig amser yn ol yn Eglwys Dewi Sant, ac wedi cael eu *mawr foddhau*. Dyna, meddent, y tro cyntaf iddynt gael bod yn bresennol yn y gwasanaeth a'r ordinhâd. Gofynais iddynt pa beth oedd yn eu boddhau yn fwyaf. Atebasant yn fyr mai gweddusder tawel a difrifol y gwasanaeth oll, a difrifoldeb yr esgob, ei Gymreigiad syml, ac eglur, hollol ddirodres, a nawseiddiad defosiynol ei holl gynghorion. Ymddengys hefyd fod eglurhâd yr esgob ar yr ordinhâd, ac yn neillduol ei gyfeiriad at esboniad y Dr. T. C. Edwards ar y geiriau, "Arddodiad dwylaw" (Heb. vi. 2), wedi rhoddi iddynt oleuni newydd a boddhäus ar y ddefod. Gobeithiwn fod llawer o deuluoedd Ymneillduol ereill yn Ffestiniog wedi derbyn yr un boddhâd a *bendith*—sef y fendith o wybodaeth a ddilëa ragfarn—oddi wrth ymweliad yr esgob â'r ardal hon ac ardaloedd ereill. A. B. C.

"Y SYMMUDIAD EFENGYLAIDD YNG NGHAERDYDD."

O dan y penawd uchod cawn hanes manwl yn y *Goleuad* am ymdrech a wneir i efengyleiddio y nifer luosog o drigolion Caerdydd ag ydynt yn hollol ddifater o'u lles ysbrydol. Y mae rhai pethau yn yr hanes ag sydd yn ein taro fel pethau chwithig. Y peth cyntaf yw honiadau uwchafiaethol a Phariseaidd, i'n tyb ni. Dywed y Parch. I. Pugh am ei "gynllun er eangiad eu Heglwys:" "Os bu erioed i gorff o Gristionogion ddechreuad *dwyfol*, bu hyn i'r Eglwys Bresbyteraidd neu Fethodistaidd yng Nghymru."

Yr oeddym ni bob amser wedi edrych am ddechreuad dwyfol (*divine origin*) yr Eglwys ym Mherson

Digitized by Google

yr Arglwydd Iesu, ddau gant ar bymtheg o flynyddoedd cyn bod son am "Eglwys Fethodistaidd yng Nghymru." Ond gallai mai dull Mr. Pugh o siarad a'i arferiad o gyfyngu holl faes ei olygfa i'r cyfundeb bychan, *amserol*, y perthyn iddo, a bar iddo ysgrifenu mor chwithig. Ond awn ym mlaen. I brofi ei honiadau uwchafol dywed Mr. Pugh yn mhellach: "Y mae yn deilwng o sylw mai *ni* ydyw yr unig enwad Cristionogol a gafodd ei enedigaeth yn y Dywysogaeth. Am yr enwadau Cristionogol ereill, cyrff estronol a ddygwyd i mewn (*importations*) ydynt, ond brodorion y tir (*natives of the soil*) ydym ni."

Y mae yr ymffrostiad uchod yn swnio yn chwithig dros ben ar ein clust o eneu Mr. Pugh, yn anad neb. Planigyn Cymreig hollol o blaniad dwyfol yng Nghymru ydyw yr "Eglwys Fethodistaidd," planigion estronol ydyw pob enwad arall o Gristionogion wedi cael eu trosglwyddo yma a'u planu yn y tir. Nid yw wedi yngan gair yn hanesiol am yr Eglwys. Ond atolwg, os enwad Cymreig ydyw Methodistiaeth Cymru, o ba le y cafodd ei *ddwyfoldeb?* Onid drwy ac o'r Eglwys? Onid deuddeg o offeiriaid ordeiniedig ac yn gwasanaethu yn yr Eglwys yng Nghymru oedd deuddeg apostol yr adfywiad Methodistaidd? Onid yn eu dwylaw hwy yr oedd y Gair *dwyfol* yn cael ei gadw a'i addysgu? onid ganddynt hwy yr oedd yr awdurdod *ddwyfol* i weinyddu y sacramentau a phregethu Crist? ac onid eu hopiniynau hwy, fel eu dysgwyd yn y Llyfr Gweddi Gyffredin, a Llyfr yr Homiliau, a gorfforwyd yn Gyffes Ffydd i'r enwad? Os ydyw enwad y Methodistiaid o ddechreuad *dwyfol* (a phwy a wada hyny?) y mae yn ddwyfol am fod yr Eglwys a roddes iddo fodolaeth yn ddwyfol. Nid oes dadl am *ddechreuad* dwyfol yr adfywiad Eglwysig a fu yn achlysur i ddwyn y Corff i fodolaeth, ond y mae dadl pa un a erys ac y parhâ yn *ddwyfol* ar ol honi awdurdod uwchafol iddo ei hun, a throi yn erlidiwr Eglwys Crist. Gwyddom am bob planigyn na phlanwyd gan y Tad nefol y diwreiddir ef, ac am bob cangen nad erys yn y wir winwydden, y torir hi ymaith.

Ond awn ym mlaen eto i nodi amcan y symmudiad. Dywed y *Goleuad* mai yr amcan yw—"Yn gyntaf, dwyn yr Efengyl i gyrhaedd pobl sydd nid yn unig heb duedd i fynychu moddion gras, ond hefyd sydd heb foddion gras i'w mynychu," &c. "Amcan arall a gedwir mewn golwg ydyw gwrthweithio Pabyddiaeth, yn *arbenig Pabyddiaeth Eglwys Lloegr*." Yr eiddom ni ydyw Italeiddiad y geiriau. Swm ymresymiad yr holl erthygl yw—"Y mae paganiaeth Caerdydd yn ddrwg, ac y mae Pabyddiaeth yn ddrwg, ond Eglwysyddiaeth Caerdydd ydyw y gwaethaf oll." Cafodd paganiaeth Caerdydd lonydd i ymgroni a llifo drosodd yno, a Phabyddiaeth i ymsefydlu a chynnyddu; ond pan ddechreuodd Eglwysyddiaeth Caerdydd anfon allan genadaethau a chynhyrfu y dyfroedd cysglyd, gwel Methodistiaeth fod yn llawn bryd myned allan i'w "*wrthweithio*." Dyma air annymunol. O frodyr Methodistaidd, oni ellwch fyned allan i *gydweithio?* Y mae yr Eglwys wedi bod yn ymdrechgar dros ben i efengyleiddio miloedd paganiaid Caerdydd, ac y mae wedi llwyddo yn helaeth. Y mae cenadon gweithgar dan ofal yr Esgob Lewis wedi creu ysbryd ymchwiliad, a chynhyrfu y lluaws; ac yr ydych chwithau yn awyddus i fyned i mewn i'w llafur. Os mynwch ledu eich pebyll, fel y dywedwch, dan y cwmwl (Num. ix. 17), peidiwch â chymmeryd safle Coran, Dathan, ac Abiram i wrthddywedyd, ond pregethwch Grist. Llawenychai St. Paul wrth feddwl fod Crist yn cael ei bregethu oddi ar gymhellion hyd yn nod mor isel ag "o genfigen" (Philip. i. 15).

ACHWYNION YN ERBYN DYRCHAFIADAU EGLWYSIG.

"Achwyna y clerigwyr yng Nghernyw eu bod hwy yn ymarferol yn cael eu cau allan o ddyrchafiadau Eglwysig. Dywedant nad oes un offeiriad o Gernyw ym mysg canonau Truro, a chwynant mai estroniaid o ranau pellenig yn Lloegr a benodir i'r plwyfydd mwyaf pwysig. Os gwir hyn, y mae yn naturiol i'r Cernywiaid gwyno."—"*The News*."

Llafurio yn encilfanau a neillduedd y cymoedd gwledig ydyw aros mewn dinodedd, a rhan dinodedd yw esgeulusdra neu ddiystyrwch.

Tua'r pant drwy y pontydd
Rhêd y dwfr ar hyd y dydd.

DYSGYBLAETH Y WEINIDOGAETH.

Un o'r pethau mwyaf blinderus i esgob, a mwyaf dinystriol i les ysbrydol llawer plwyf, ydyw anhawsder dysgyblu gweinidog dan gyhuddiad o afreoleidddra neu gam-fuchedd. Dywedai Esgob Peterborough amser yn ol i ddysgyblaeth offeiriad a gyhuddid o feddwdod gostio iddo ef dair mil o bunnoedd. Pa fodd y bu iddo gostio cymmaint? Trwy fod y dull o brofi yr euogrwydd yn un costus, a'r modd i gospi yn fwy costus na hyny. Y mae yr Eglwys a'r wladwriaeth yn ddau gorff gwahanol, un â'i awdurdod yn ysbrydol, a dim ond ysbrydol, a'r llall yn wladol neu fydol, a dim ond gwladol. Nid oes gan gyfraith gwlad ddim awdurdod ysbrydol, na'r gyfraith Eg-

Digitized by Google

lwysig ddim awdurdod dymmorol. Ysbrydol ydyw cospau yr Eglwys, a thymmorol ydyw cospau gwlad. Pan ddygir gweinidog ger bron yr esgob, ac y profir ef yn euog o drosedd megys meddwdod, gall yr esgob ei luddias i weinidogaethu yn ol mesur ei drosedd, ond ni all ei fwrw allan o'i blwyf. Daw yn ol er gwaethaf esgob. Rhaid i ddyn gael ei brofi yn euog ger bron llys y Frenines cyn y gellir ei gospi gan lys y Frenines. Y mae plaid gref iawn yn yr Eglwys yn hynod ddrwgdybus o bob cyfraith a wneir i ddysgyblu y drwg rhag ofn iddi *lyffetheirio* yr Eglwys. Y mae yn annichonadwy i ni farnu pa le y dylai y derfyn linell fod rhwng yr awdurdod ysbrydol a thymmorol, ond gwyddom fod drwg ddynion yn gallu osgoi dysgyblaeth rhwng y terfynau yn rhywle, ac ni oddefir hyn yn hir. Peth dychrynllyd ydyw meddwl y gall un dyn cam-fucheddol, neu afreolus, neu ddiog fod yn boen neu orthrwm ar blwyf am oes gyfan a dinystrio Eglwys flodeuog, a dyn arall da yn bwyta y grawn surion ar ei ol am oes arall cyn gallu gwella y drwg.

#### MR. CHAMBERLAIN A DADGYSSYLLTIAD YNG NGHYMRU.

Nid oes ammheuaeth nad ydyw Mr. Chamberlain yn un o wleidyddwyr goreu a mwyaf dylanwadol Lloegr, ac y mae yr hyn a ddywed efe ar ddadsefydliad a dadgyssylltiad yr Eglwys o ddirfawr mwy ei bwys na dim a ddywed Mr. Gladstone. Cysgod mawredd yn myned heibio ydyw yr oll sydd yn aros o Mr. Gladstone fel haul yn machlud, haul yn tynu at ganol dydd, a'i belydrau yn ymdrechu glanhau yr wybren o'i niwlion, gan dywynu rhwng cymylau, ydyw Mr. Chamberlain. Y mae, os caiff fywyd, yn sicr o ddyfod yn un o brif oleuadau y blynyddoedd nesaf.

Wrth adolygu cynlluniau dyfodol y blaid Radicalaidd sydd yn dilyn Mr. Gladstone, dengys fod yr oll a addawant yn ymarferol ei wneuthur dros ac ar ran y bobl yn cael ei wneuthur yn awr gan yr Undebwyr. Ac wedi dangos geudeb y cynllun o *home rule* oeddynt wedi fabwysiadu, daw at ddadsefydliad yr Eglwys yng Nghymru, a dywed, "Y mae hwn yn bwnc ag yr ydwyf yn cydolygu â'r Gladstoniaid arno; ond pwnc yw ag y beiddiaf ddweyd am dano nad ydyw o un dyddordeb ond i ran fechan o gorff y boblogaeth, ac un yw yn sicr o achosi gwrthwynebiad angerddol, a bod yn achos o beri oediad annyoddefol i lawer o achosion o lawer uwch dyddordeb i gorff y boblogaeth." Cofier mai at ddadsefydliad y sonia Mr. Chamberlain; ac ar y pwnc dywedodd yn y senedd dair blynedd yn ol wrth siarad dros ddadsefydlu y byddai iddo ef ymddwyn yn "fwy haelionus tuag at yr Eglwys na mesur taliadau degwm" (*Tithe Rent-Charge Bill*) y llywodraeth.

Swm a sylwedd syniadau Mr. Chamberlain yw—1. Byddai yn dda ganddo fel Ymneillduwr a gwleidyddwr symmud ymaith gwyn yr Ymneillduwyr yn erbyn yr ychydig weddill rhagorfreintiau a ganiateir i'r Eglwys yn fwy na'r enwadau. 2. Gwel mai yng Nghymru yn unig y mae anfoddlonrwydd o unrhyw bwys yn bodoli. 3. Nid ydyw yr anfoddlonrwydd yn blino dim ond rhan fechan iawn o gorff poblogaeth y deyrnas. 4. Y mae llawer iawn o byneiau ereill yn nes at galon a theimlad y deyrnas oll. 5. Nid yw y waedd am ddadsefydliad yr Eglwys ddim yn waedd i ennill pleidleisiau drwy y deyrnas arni. 6. Pe y deuid â'r pwnc yn ymarferol ger bron y senedd, achosai rwyg newydd yn y pleidiau, ac achosai oediad annyoddefol i fesurau mwy pwysig. Felly ar ddeial Mr. Chamberlain symmud yn ol y mae cysgodau dadsefydliad.

#### MR. CHAMBERLAIN A MESUR ADDYSG RAD.

Amcana y llywodraeth ddwyn mesur i'r senedd cyn mis Medi nesaf i ddarparu fod addysg yr ysgolion elfenol i gael ei roddi yn rhad; hyny yw, darpara neillduo tua dwy filiwn o bunnau o'r drysorfa gyhoeddus i dalu "pres y plant" i'r ysgolion elfenol, fel na bydd angen i rieni ofalu am geiniogau i'r plant dalu am eu hysgolion bob wythnos nac ofni gweled biliau pen y chwarter. Pa beth bynag a all golygiadau dynion yn gyffredin fod ar y pwnc hwn, nid oes dim dadl na bydd o werth dirfawr yn yr ardaloedd gwledig, ac i deuluoedd llafurwyr y cyflogau bychain. Peth anhawdd ydyw i lafurwr nad yw yn derbyn dros wyth swllt ar gyfartaledd yn yr wythnos o gyflog dalu rhwng chwech ac wyth ceiniog o'r ennill prin at ysgol y plant. Gwyddom am rai caled arnynt yn ymdrechu gwneyd hyny ac yn dyoddef. Gan fod yr arian a gymmerir i ddigolledu yr ysgolion a'u galluogi i gyfranu addysg heb dâl gan y plant yn dyfod o'r cyllid cyhoeddus (*national exchequer*) y mae yn ysgafnhâd gwirioneddol i'r ardaloedd gwledig a gweithfëydd. Bydd y cynllun fel hyn yn boblogaidd gyda'r lluaws bobl gyffredin. Gwyddom fod y rhai a dalant dreth yr *income* yn grwgnach yn enbyd. Eto, wrth edrych ar y swm nid yw ond cyfartal i geiniog yn y bunt; ac nid oes neb yn talu *income tax* oni bydd ei elw yn 150p. yn y flwyddyn o leiaf. Nid yw esgid treth yr *income* felly yn gwasgu traed y lluaws.

Digitized by Google

Ofna rhai y bydd i'r mesur niweidio yr ysgolion gwladwriaethol, gan fod ymgais yn cael ei gwneuthur i'w cau hwy allan o fantais y cynllun hwn. Ond dywed pen-cynlluniwr symmudiad addysg rad nad oedd y perygl lleiaf i hyn gymmeryd lle. Cyffesai ei fod dair blynedd ar hugain yn ol yn meddwl y byddai i ysgolion y byrddau ddifodi yr ysgolion gwirfoddol, ond erbyn heddyw beth a welai? Gwelai *ddau* o bob *tri* o'r plant drwy Loegr a Chymru yn derbyn eu haddysg mewn ysgolion gwirfoddol. Darparant addysg ar gyfer 3,500,000 o blant, tra na ddarpara ysgolion y byrddau ond ar gyfer 1,800,000. Ebai, "Pe mynech gau allan yr ysgolion gwirfoddol o fudd cynllun addysg rad, byddai yn gofyn 50,000,000p. allan o'r trethi lleol i adeiladu ysgolion yn eu lle, a 5,000,000p. yn y flwyddyn at eu cynnal. Gofynaf i chwi a ydyw traul o'r fath yn debyg o fod yn gymmeradwy i drethdalwyr y deyrnas?" Gwyddom, gwedi profiad o ddeugain mlynedd yng nglŷn ag ysgolion elfenol, mai ofer fydd codi gwaedd yn erbyn ysgolion gwirfoddol.

### CAFELL DIRWEST.

Er cymmaint yw ymdrechion moesolwyr y deyrnas gyfunol o blaid dirwest, drwg genym weled mai ar gynnydd y rhaid fod y fasnach feddwol yn myned. Fe ddywedodd Mr. Gladstone rai blynyddoedd yn ol, pan oedd gwaith yn fywiog a'r cyflogau yn uchel, fod "y genedl yn meddwi ei hun allan o ddyled," gan gyfeirio at ddilead o ddwy filiwn yn y ddyled wladol. Ond os ydyw y genedl yn dilëu y ddyled wladol wrth feddwi, mae yn sicr o gynnyrchu dyledion teuluaidd. Yr oedd cynnydd y dreth neu *duties* ar ddiodydd meddwol y flwyddyn gyllidol sydd wedi terfynu y pummed dydd o'r mis diweddaf yn 1,879,000p, neu agos yn ddwy filiwn o bunnau, a'r oll o'r arian a godwyd oddi wrth y fasnach yn 30,000,000p. mewn rhif crwn. Cyfodir 9,500,000p. oddi wrth doll (*excise*) ar gwrw; a 15,150,000p. ar wirodydd a wneir gartref (*British spirits*), ac 1,900,000p. ar winoedd a gwirodydd tramor. Daw y gweddill i wneyd y 30,000,000p. am drwyddedau o bob math. Ystyrir fod yr holl swm a ddefnyddiwyd o'r diodydd hyn yn werth 135,000,000p., neu agos yn bedair punt y pen i holl drigolion yr ynys. Dull costus o ymbleseru ydyw cymdeithas y dafarn, heb law ei fod yn ffol, ac afiach, a niweidiol i'r enaid.

### *Ysmocio.*

Myned ym mlaen ar garlam y mae y wag arfer o ysmocio, ac wedi mawr gynnyddu y flwyddyn ddiweddaf, fel y dengys yr ychwanegiad 456,000p. mewn *duty* neu doll. Y mae yr ychwanegiad *duty* yn cynnrychioli ychwanegiad o dair miliwn o *ounces* (3,000,000 wns) mewn tybaco, neu 560,000,000 pibellad o'r llysieuyn hwn. Ofnwn fod haul-des cynhes cyflogau da fel gwres yr haf yn magu a meithrin seirff a gwiberod arferion drwg.

### *Cwrw fel physig.*

Arferai masnachwr gymmeryd gwydraid o gwrw gyda'i giniaw bob dydd, a dywedodd ei fam wrth y bachgen bach, pan ddymunai yntau gael rhan o hono, mai physig ei dad oedd. "Mae 'nhad yn cymmeryd gormod o physig," ebai y bachgen yn sobr ei olwg; "dwy lonaid llwy dair gwaith y dydd oedd y *doctor* yn ei roi i chwi, mam, pan oeddych yn sâl."

### *Y fasnach mewn gwirodydd yn y "badell ffrïo."*

Cynnaliwyd cyfarfod dylanwadol a brwdfrydig o ddarllawyr a thafarnwyr Llundain a'r cyffiniau i wrthdystio yn erbyn trefniadau cyllidol Mr. Goschen, gan ei fod yn dal i fyny y codiad a wnaed y llynedd yn y dreth ar wirodydd. Cyfodwyd y dreth mewn rhan gyda'r amcan o gael arian i dalu iawn i dafarnwyr pan dynid eu *license* heb achos cwyn yn eu herbyn. Ond taflwyd y cynllun dros y bwrdd gan y dirwestwyr. Cynnygiwyd yng nghyfarfod y darllawyr bleidlais o gondemniad ar y llywodraeth, ac ymrwymwyd i ymladd yn erbyn yr Undebwyr yn yr etholiad nesaf. Y mae yn eglur ddigon fel hyn fod y llywodraeth undebol wedi profi ei hun yn *badell ffrïo* i'r darllawyr, a dechreuant edrych dros yr ymylon am esmwythdra. Eto, beth a welant ond y dirwestwyr yn cynneu y dân oddi tanodd. Ond masnach yn cynnyddu wrth ei dirwasgu ydyw y fasnach hon.

### "RHYDDFREINIAD Y CAPELYDD."

"Eiddo yr Arglwydd y ddaiar a'i chyflawnder, y byd ac a breswylia ynddo."

O dan y penawd deniadol uchod, a'r dyfyniad destlus oddi tano, cawn ysgrif faith yn y *Goleuad* ar fesur ag sydd wedi cael ei ddarllen yr ail waith yn y senedd i orfodi tirfeddiannwyr sydd yn dal prydlesi ar gapelydd i werthu y cyfryw i'r enwad a fyddont mewn meddiant o'r capelydd, fel ag y byddont mwy yn eiddo "rhydd-ddaliadol" iddynt. Y mae yn hysbys i'n darllenwyr yr arfera lluaws o gynnulleidfaoedd adeiladu capelydd ar brydlesi. Pan ddelo y brydles i ben, syrth yr adeilad i fedd-

Digitized by Google

iant y meistr tir, neu bydd yn rhaid adnewyddu y brydles neu brynu y lle; a gwyddom am laweroedd o dirfeddiannwyr, megys y diweddar Syr Watkin Williams Wynne, a arferant roddi prydlesau i fyny am ddim, gan ollwng y capel yn rhydd-ddaliadol i'r gynnulleidfa neu enwad. Ond y mae ereill na wnânt hyny o'u gwirfodd. Y mae teimlad cryf ym mysg y werin bobl yn erbyn adeiladu ar brydlesi, ac y mae gan bob meddiannwr tir afael mawr yn ei dir boed fawr neu fychan. Amcan y mesur ger bron y senedd ydyw gorfodi gosodwr y brydles ar gapelydd gymmeryd iawn priodol am y brydles, a gollwng yr adeilad yn feddiant llwyr i'r enwad—brawd-fesur i un arall a drefnwyd i orfodi tirfeddiannwyr i werthu tir at adeiladu ysgolion a chapelydd. Yr unig beth a ddymunem ni sylwi am y mesur, heb air o gondemniad, yw mai

*Deddf gorfodaeth ydyw.*

Dyma *sefydlu* capelydd onid e dan ddeddf gorfodaeth, a gorfodaeth na wyddom am ddim gorfodaeth gyffelyb, yng nglŷn ag adeiladu neu "ryddfreinio" Eglwysydd. Dyma hefyd feddiannu nid yn unig *wrth* gyfraith, ond *drwy* gyfraith. Gofynir i'r gyfraith yma roddi hawl-feddiant i'r gynnulleidfa neu enwad drwy *orfod.*

Gobeithiwn weled enwau meddiannwyr a golygyddion y *Goleuad*, yn gystal a chynllunwyr y mesur hwn, bellach yn llwyrymwrthod â Chymdeithas Rhyddhâd (?) Crefydd fel y bu i Mr. Spurgeon yn ddiweddar, o herwydd annichonadwy yw iddynt hwy feddwl am ddifeddiannu Eglwyswyr o'u hen Eglwysydd "rhyddfreiniol." Cyfraith nas gellir rhoddi enw rhy gondemniol arni fyddai un i alluogi i'r enwadau droi eu prydlesi (*leases*) yn feddiant "dros byth" iddynt o'u capelydd, ac i ddifeddiannu Eglwyswyr "dros byth" o'u hen Eglwysydd.

Fe dybiem oddi wrth y dyfyniad, "Eiddo yr Arglwydd y ddaiar," &c., fod yr Ymneillduwyr yn seilio eu hawl i gael y fath feddiant o'u capelydd ar eu bod hwy yn bobl Dduw, a'r ddaiar yn eiddo Ef. Ni ddywedwn air yn erbyn y syniad, ond gofynwn, ai oni all fod Eglwyswyr yn bobl Dduw, a hen Eglwys ein plwyf yn sefyll ar ddaiar Duw? Y mae ei seiliau cyntaf wedi eu gosod i lawr er ys dros fil o flynyddoedd heb gymhorth un ddeddf orfodol, ac y mae enw y Goruchaf Dduw wedi bod yn seinio o fewn ei muriau "ym mhob cenedlaeth" o'r pryd hwnw hyd heddyw. Ond cynllunia Cymdeithas Rhyddhâd Crefyddol (?) ddifeddiannu Eglwyswyr o'u hen Eglwysydd plwyfol a'u gwerthu i'r uchaf ei geiniog ("*Case for Disestablishment*"). Os nad ydyw cynllun o'r fath yn Philistiaeth yng ngwyneb y mesur dan sylw, y mae y dyfyniad o'r Beibl yn Phariseaeth.

### ARCHESGOB NEWYDD EFROG.

Yr ydym yn deall mai y Dr. Maclagan, esgob presennol Lichfield, sydd wedi ei ddewis i olynu y diweddar Ddr. Magee yn archesgobaeth Efrog. Nid meddyliwr grymus, gwreiddiol, a chawraidd fel y diweddar Ddr. Thomson, ac nid gwefreiddiwr y lluaws a chwiliwr a dynoethwr meddyliau dynion fel y Dr. Magee, ydyw y Dr. Maclagan, ond y gweithiwr grymus a'r dyn llawn ym mhob cyfeiriad. Dechreuodd ei yrfa yn filwr yn yr India. Y milwr crefyddol oedd, mor hoff o'i Feibl ag o'r cleddyf, a chymmerodd ran flaenllaw mewn cenadaeth yno. Tueddwyd ef i osod y cleddyf o'r neilldu a dyfod adref i Loegr a gorphen ei astudiaeth yn y brifysgol, ac ymgymmmeryd â'r weinidogaeth. Gwelwyd yn fuan mai dyma oedd ei wir alwedigaeth. Bu ei lwyddiant yn fawr fel offeiriad mewn amryw blwyfydd. Yn 1878, pan yn 52 mlwydd oed, dewiswyd ef yn esgob Lichfield, lle y gwnaeth waith mawr. O fewn cylch y tair blynedd ar ddeg y bu yno, adeiladwyd a gwaddolwyd 40 o Eglwysydd newyddion, ac ail-adeiladwyd ac adgyweiriwyd 160.

Y mae yn drefnwr rhagorol, yn ddyn cryf, yn bregethwr nerthol a hyawdl, ac yn nodedig am ei nodwedd lednais ac ymddygiad boneddigaidd. Yr unig beth ammhëus yn ei benodiad ydyw ei oed o 65 mlynedd. Buasai yn well genym pe buasai bump neu ddeng mlynedd yn ieuengach. Ond yr oedd diweddar esgob Llanelwy, y Dr. Hughes, yn ieuanc gorff a meddwl yn 65 mlwydd oed.

### DYRCHAFIADAU EGLWYSIG.

Bydd yn dda gan lawer o ddarllenwyr yr *Haul* wybod fod y Parch. Robert Richards, curad Llanwnda, sir Gaernarfon, wedi ei benodi i reithoriaeth Darowen, sir Drefaldwyn. Caiff Darowen yn Mr. Richards fugail da, gweithgar, galluog, a charedig. Ysgrifenodd lawer i'r *Haul* dan yr enw R. R., Rhostryfan, ac y mae yn fedrus fel meddyliwr goleu, ac ysgrifenwr eglur syml. Y mae genym amryw esamplau yn ddiweddar fod ambell lygedyn o wenau oddi ar y fainc esgobol yn disgyn ar ysgrifenwyr y wasg Eglwysig Gymreig. Os cawn haul ar y maes llenyddol hwn, fe geir gwell cnwd o ysgrifenwyr. Byddwn yn dysgwyl am lithoedd oddi wrth Mr. Richards, o sir Drefaldwyn, ar ol iddo wella o'i waeledd presennol, a sefydlu yn ei blwyf newydd.

Digitized by Google

### YR YSBRYD CELWYDDOG YN RHIFO Y BOBL.

Y *Cambrian News* sydd yn gyfrifol am y paragraph canlynol:—"Bu i'r penderfyniad lled gyffredinol o ddweyd anwiredd mewn perthynas i wybodaeth o Seisoneg a Chymraeg roddi cyhoeddusrwydd mawr i'r ffaith fod dynion galluog nid yn unig i siarad Seisoneg, ond rhai a lenwant eu swyddi presennol yn rhinwedd eu gwybodaeth o'r iaith hòno, wedi llenwi eu papyrau cyfrif yn anwireddus fel Cymry unieithog. Byddai yn lles mawr pe y gelwid ryw ugain neu ychwaneg o'r troseddwyr hyn ym mhob sir ger bron y fainc i'w cospi bum punt yr un am eu twyll. Y mae yr ynfydion a lanwasant y cyfrifon hyn yn dwyllodrus nid yn unig wedi gwneuthur dirfawr gamwri â Chymru, ond hefyd wedi gwneuthur y cyfrif ei hunan yn hollol ddifudd."

Nid ydym mewn cyfleusdra i allu gwybod pa un a ydyw y cyhuddiad uchod yn erbyn rhifwyr y bobl yn gywir ai nad ydyw, ond gwyddom am rai enghreifftiau, ac ni all dim fod yn fwy annheilwng o ddyn mewn safle gyfrifol. Mae y fath iselwaith yn *slander* ar athrawon ac athrawesau llafurus ein hysgolion dyddiol ac ar alluoedd meddyliol y genedl. A phwy ydyw y cymhellwyr i'r iselwaith o ddiraddio a darostwng ein cenedl onid *Dick Sion Dafyddion* Seisonig wedi gwladychu yng Nghymru, ac yn gwneyd masnach ar ffug-wladgarwch, a Chymry wedi dringo i swyddi a safleoedd ennillfawr *drwy eu gwybodaeth o'r Seisoneg?* Beth ydyw eu hamcan? Ennill poblogrwydd a gwneuthur grisiau o hyny i hunanddyrchafiad.

Ni ddywedwyd gwell gwir erioed na'r geiriau a briodolir gan y diweddar Barch. Kilsby Jones i'r diweddar D. Davies, Ysw., Llandinam, pan alwodd

*Y Gymraeg yn iaith y bara haidd.*

Rhaid i'r Cymro, os myn esgyn yn uwch na safle y gweithiwr *isaf*, bron ym mhob galwedigaeth ddysgu ac ymarfer â Seisoneg. Ysgol (*ladder*) fer ydyw yr iaith Gymraeg. Os mynir esgyn yn uchel rhaid defnyddio ysgol Seisonig. Maes llafur dielw mewn ystyr dymmorol ydyw maes llenyddiaeth Gymreig ar ben ei hun. Gwyddom am ddegau o wŷr galluog hen a diweddar wedi treulio eu hoes mewn dinodedd a fuasent yn llenwi y safleoedd anrhydeddusaf yn eu gwlad, pe buasent gwedi llafurio hanner cymmaint gyda'r iaith Seisoneg, a thrwy yr iaith Seisoneg ag a wnaethant gyda a thrwy y Gymraeg. Y ffordd i'r genedl Gymreig sefyll i fyny yn gyfochrog a mwy na chyfochrog â'u brodyr Seisonig ydyw ymdrechu bod yn genedl *ymarferol* ac offerynau *defnyddioldeb*. Y nwydd defnyddiol sydd yn ennill gwerthiant. Gan nad faint o drysorau sydd yng Nghymru, y mae yn gongl rhy fechan i'r genedl ymgroni o'i mewn a byw arni. Rhaid ymwasgaru, ac y mae pob Cymro ymarferol yn gwybod na all ei Gymraeg ei helpu fawr bellach na'r Llan neu bentref. Rhaid cael Seisoneg i fyned yn swyddog isaf ar y ffordd haiarn.

### DYNOETHIAD Y CADBEN VERNEY.

Mae y mynych ddynoethiadau a wnaed yn ddiweddar ar wendidau a throseddau moesol ein dynion cyhoeddus, yn sicr o effeithio yn fawr ar safle y cyfryw ym marn a serchiadau y werin bobl. Bu i ddadguddiadau llys yr ysgariaeth neillduo Syr Charles Dilke o'i safle wleidyddol uchel ac anrhydeddus i gysgodion bywyd dan gwmwl, a Mr. Parnell o ymheulo yn nawdd-wenau pob adran o'r blaid Ryddfrydol a Radicalaidd i ddirmyg yr oll bron; ac y mae y cyhuddiad o anfoesoldeb gwaradwyddus gwedi peri i Mr. De Gobain ddianc o'i wlad, a'i gyffes o wneuthur masnach o anniweirdeb wedi trosglwyddo y Cadben Verney o Dŷ y Senedd i garchar Newgate. Am Syr Charles Dilke, ymwrthodai â'r enw o Gristion, ac am Parnell ni phroffesai ei hun yn gyhoeddus yn ddilynwr Crist. Yr unig ddoethineb a honai oedd gwleidyddiaeth; ond am Gobain a Verney, blaenorent gyda phob symmudiad daionus, moesol, a chrefyddol yn eu gwahanol ardaloedd, a pherchid hwy gan bob rhan o gymdeithas. Ond er gwaethaf yr olwg deg oddi allan, yr oedd llygredd oddi mewn, ac o'r diwedd dynoethwyd y clwyf. Ni hoffem ymdrwsio mewn Phariseaeth uwch ben ei achos, ond galarwn dros yr archoll i'w deulu, y cwmwl dros ei blaid, y clwyf i foesoldeb, y cwymp iddo ei hun, a'r gwendid a berthyn i'r natur ddynol. Fe grea ei gwymp ef ddrwgdybiaeth at lawer, a lleihâ ymddiried y bobl i'w blaenoriaid. Fe ddylai pob blaenor yn awr deimlo eu bod yn nod parhäus i lygaid y wlad.

---

## GEMAU Y BEIRDD.

### YR ADGYFODIAD.

Cyfyd fal ŷd o fol âr  
Gnwd tew eginhâd daiar;  
A'r môr a yr o'r meirwon  
Fil myrdd uwch dyfnffyrdd y dòn.

*Goronwy Owain.*

Digitized by Google

ETO.

Ar alwad y mad Ior mawr
Eirianwych ar yr unawr
Addaf rên a'i hil ddaw fry,
Dadebrant o dud obry:
Deor dyn yn dra dinam
O'r ddaiar fyddar ei fam;
Ac adfer dyfnder y dòn
Ar air ei garcharorion.

*William Wynn, Llangynhafal.*

ETO.

Rhed filfil rhawd ufelfellt,
Rhua drwy'r main rheiedr mellt.

*W. Wynn.*

HIRAETH AM FON.

Y lle bûm yn gware gynt
Mae dynion na'm hadwaenynt;
Cyfaill neu ddau a'm cofiant,
Prin ddau lle'r oedd gynnau gant

*Goronwy Owain.*

HIRAETH Y CYMRO AM EI WLAD.

Fel llwdn a'i fref am ei gynhefin,
Neu flaidd am hafaidd des Mehefin;
Fel hydd am afonydd i'w fin—yr ochaf
A mawr ysaf am Gymru iesin.

*I. G. Geirionydd.*

---

## MANION.

O blith yr holl rinweddau, dewisai Zeno *ddystawrwydd*, canys trwy hyny yr oedd yn gallu gweled ammherffeithrwydd ereill, a chuddio ei eiddo ei hun.

Mae Ysbryd Duw yn sicrhau i mi pan fyddwyf yn gwneyd daioni i ereill, fy mod yn gwneyd y daioni mwyaf i mi fy hun.—*Esgob Wilson.*

Diareb ym mhlith y Stoiciaid ydyw, mai y doethion yn unig ydynt *hardd.*

Y cam cyntaf tuag at wybodaeth yw bod yn deimladwy o'n hanwybodaeth.

Nis gall llawenydd o fewn cyffiniau diniweidrwydd fod yn adgas gan Dduw, drwg yn unig y mae Ef yn ei gasäu.

Rhoddwch enw drwg i unrhyw beth, ac yna efe a ffieiddir gan y rhan fwyaf o ddynolryw heb ymholi o'i blegid.

Na chasëwch ddim ond yr hyn sydd anghyfiawn, nac ofnwch ddim ond yr hyn sydd waradwyddus, ac na cherwch ddim ond sydd gyfiawn ac anrhydeddus. Crito, un o ddoethion Groeg, a ddywedai mai y ddoethineb ddynol uwchaf oedd hòno a allai weled yn y presennol yr hyn a ddadguddiai y dyfodol.

Ymdrechwch wneyd da i bob dyn, a pheidio dweyd gair drwg am neb yn ei absennoldeb.—*Syr Thomas Smith.*

---

## PENODIAD MR. HELM.

Dymunir arnom hysbysu fod Cymdeithas Amddiffyniad yr Eglwys wedi penodi Mr. W. E. Helm fel ei hysgrifenydd yng Nghymru. Gellir ysgrifenu ato yn Granville Street, Shrewsbury.

Bydd yn dda ganddo dderbyn oddi wrth unrhyw un a fyddo cystal a'u hanfon iddo:—

1. Gwybodaeth am waith a chynnydd yr Eglwys.
2. Gwybodaeth am yr ymosodiadau ar yr Eglwys.
3. Pigion allan o newyddiaduron.
4. Ceisiadau am ddarlithiau, cyhoeddiadau, &c.
5. Tanysgrifiadau a chyfraniadau tuag at y Gronfa Gymreig.

---

## Y LLITHIAU PRIODOL, MEHEFIN, 1891.

| Dydd | Sulian a Gwyliau | Boreu | Prydnawn. |
|---|---|---|---|
| 7 Sul | 2 Sul wedi'r Drindod | Barnwyr iv. | Barn. v. or vi. 11 |
| | | Ioan xvii. | Heb. xii. |
| 11 Iau | St. Barnabas, Ap. a Mer. | Deut. xxxiii. to 12 | Nahum i |
| | | Actau iv. 31 | Actau xiv. 8 [19 |
| 14 Sul | 3 Sul wedi'r Drindod | 1 Sam. ii. hyd 27 | 1 Sam. iii. neu iv. hyd |
| | | Ioan xx. 19 | Iago v. |
| 21 Sul | 4 Sul wedi'r Drindod | 1 Sam. xii. | 1 Sam. xiii. neu Ruth i. |
| | | Actau iv. 32 hyd v. 17 | 2 Pedr i. |
| 24 Mer. | Genedigaeth St. Ioan Fedyddiwr* | Mal. iii. hyd 7 | Mal. iv. |
| | | Mat. iii. | Mat. xiv. hyd 13 |
| 28 Sul | 5 Sul wedi'r Drindod | 1 Sam. xv. hyd 24 | 1 Sam. xvi. neu xvii. |
| | | Actau viii. 26 | 1 Ioan iii. hyd 16 |
| 29 Llun | St. Pedr, Ap. a Mer. | Esec. iii. 4—15 | Zechariah iii. |
| | | Ioan xxi. 15—23 | Actau iv. 8—23 |

* Credo Sant Athanasius.

---

CARMARTHEN:

Printed and published by W. SPURRELL & SON, at their Printing Office, situate and being at No. 37, King-street, in the Parish of Saint Peter, in the County of the Borough of Carmarthen, on Saturday, the 30th of May, 1891.

Digitized by Google

# YR HAUL.

## Ail Gyfres Caerfyrddin.

"YNG NGWYNEB HAUL A LLYGAD GOLEUNI."
"A GAIR DUW YN UCHAF."

RHIFYN 79. GORPHENAF, 1891. CYF. VII.



EGLWYS GADEIRIOL ANTWERP.



Digitized by Google

## EGLWYS GADEIRIOL ANTWERP.

Nid ydyw Eglwys Gadeiriol Antwerp ddim mor fawreddus ac urddasol ei golwg a llawn o ddyddordeb hanesiol ag Eglwys Cologne, ond eto y mae yn adeilad godidog dros ben, a'r enghraifft harddaf yn yr oll o Belgium o'r arddull Gothig o adeiladu. Y mae yn bum can' troedfedd o hyd oddi mewn, a dau gant a hanner o led, a dyma yr unig Eglwys yn Ewrop ag y mae iddi chwe mynedfa (*aisles*) rhwng yr eisteddleoedd ar hyd y neuadd (*nave*). Dechreuwyd ei hadeiladu tua'r flwyddyn 1350, a gorphenwyd hi oll ond un tŵr yn y flwyddyn 1518. Mae y tŵr uchaf yn 403 troedfedd o uchder, ond y mae y llall yn anorphenol hyd heddyw. Fel lluaws mawr o'r Eglwysydd ar y cyfandir, gwelir o'i mewn, heb law cerfiadau gwychion, rai o baent-ddarluniau goreu y byd. Yn eu mysg y mae tri o waith gorchestol Rubens, sef y Disgyniad oddi ar y Groes, Dyrchafiad y Groes, a Dyrchafiad Mair Forwyn.

---

## PREGETH ANGLADDOL

*A draddodwyd gan Mr. William Jones, lay reader, foreman Traeth Bychan Quarries, Pentraeth, Ebrill 19ydd, 1891, er serchus goffa am y Parch. John Williams (Glanmor), rheithor Llanallgo, yr hwn a gladdwyd yr wythnos flaenorol.*

"Y brawd anwyl, a'r gweinidog ffyddlawn, a'r cydwas yn yr Arglwydd."—COLOSSIAID iv. 7.

Llefarodd St. Paul y geiriau hyn am Tychicus, ei gydweinidog, er nad oedd y ddau yn dal yr un swydd ac urddau o apostolion. Yr oedd Tychicus hefyd yn fyw pan grybwyllai St. Paul am ei enw mewn dull mor gariadus. Gallaf finnau, er nad wyf ond darllenydd lleygol, ddefnyddio yr un ymadrodd cynhes ac agos am ddiweddar reithor y plwyf hwn. Cefais y fraint o weinidogaethu dan ei gyfarwyddyd dros dri mis yn ei afiechyd olaf, ac o fod yn llygad dyst o'i ragoriaethau, a chyfranog o'i gariad a lledneisrwydd. Nid oedd dyddiau olaf y trancedig ddim ond enghraifft o'i fywyd oll mewn llafur dystaw, tawel, ac er ei farw bydd yn sicr yn llefaru eto am flynyddau ac oesau. Treuliodd ei oes, ac oes lled faith, yn parhäus wneuthur daioni; ac yn ol wyf yn ei ddeall, yr oedd yn ei salwch olaf yn ymdrechu gorphen gwaith a fuasai yn fendith i'w genedl pe cawsai fyw i'w gyflawnu, sef cyfieithu un o'r esboniadau goreu a fedd y Seison i'r iaith Gymraeg. Bu farw yn lled oedranus, er nad oedd wedi cyrhaedd y terfyn llawn o ddeng mlynedd a thrigain, a bu yn weinidog ffyddlawn i Grist mewn urddau sanctaidd am wyth mlynedd ar hugain. Cafodd gladdedigaeth anrhydeddus, a rhoddwyd ei lwch-weddill i orphwys ym medd ei wraig ag oedd wedi ei flaenori rai blynyddoedd i dŷ ei hir gartref llonydd; ac mewn llanerch o'r fynwent, fel y dywedir, oedd wedi ei ddewis iddo ei hun.

Buasai yn dda genyf roddi byr hanes o'i yrfa ddaiarol i chwi, ond nid yw yn gweddu myned i fanylu gormod mewn pregeth. Nid amcan pregeth yw dyrchafu'r marw, eithr yn hytrach llesäu y byw. Eto, gallwn ddweyd byddwn ninnau ddilynwyr i'n hen fugeiliaid duwiol, megys yr oeddynt hwythau yn ddilynwyr i Grist. Dechreuodd ei yrfa fel athraw ysgol, a gwasanaethodd yn yr alwedigaeth hòno yn ffyddlawn, gan gymmeryd dyddordeb mawr yn niwylliad moesol ac ysbrydol ei ysgolheigion. Dyma'r pryd hefyd yr ysgrifenodd ei lyfrau mwyaf llafurfawr, megys Hanes Dinbych yn Hen a Diweddar, a Hanes Castell Dinbych, dwy gyfrol Seisoneg drwchus a gwerthfawr. Ar ol priodi a dechreu magu teulu, perswadiwyd ef gan ewyllyswyr da iddo ei hun ac i'r Eglwys fyned i Goleg St. Bees i ymbarotoi ar gyfer gweinidogaeth yr Eglwys. Aeth i St. Bees yn 1863, derbyniodd urddau diacon gan esgob Carlisle yn 1865, ac urddau offeiriad yn 1866. Dechreuodd ei weinidogaeth yn gurad yn Whitehaven, lle y bu ddwy flynedd; oddi yno aeth i Amlwch, lle y gwasanaethodd dair blynedd; ac o Amlwch i Ebw Vale, yn gurad mewn cyflawn ofal am yr Eglwys, lle y gwasanaethodd yn ffyddlawn a chaled am ddeuddeg mlynedd. Yn 1883, pan oedd ei iechyd wedi gwanychu i raddau, symmudodd ar gais yr Esgob Lewis i reithoriaeth y plwyfydd hyn, sef Llaneugrad a Llanallgo. Syna rhai fod offeiriad o'i alluoedd meddyliol, dysg, a'i lafur ef wedi ei adael i lafurio am mor ychydig o gydnabyddiaeth arianol. Nid fy nyledswydd i ydyw beirniadu na beio, nac esgusodi chwaith. Ond gallaf ddweyd mai dyn yn meddwl am ei ddyledswydd i'w Dduw a'i Eglwys yn gyntaf oll oedd Glanmor, ac am dano ei hun a'i deulu yn olaf. Yr oedd ar waith parhäus, naill ai yn parotoi pregethau, ysgrifenu llyfrau da, neu yn ymweled â'r cleifion ac oedranus. Dyn a gyflawn ymgollai yn ei waith a galwedigaeth oedd. Mae y lluaws llyfrau a gyhoeddodd yn dangos maint y gwaith a wnaeth yn y cylch llenyddol.

Ond rhan fechan o'i waith a welir yma. Byddai yn parhäus feirniadu yn rhai o'r eisteddfodau cenedlaethol a thaleithiol, ac ystyrid ef yn un o ddynion

Digitized by Google

mwyaf pwysig y llwyfan, er nad arferai siarad llawer, na gwneyd un arddangosiad o hono ei hun. Eto, byddai yn bresennol yn y cyfarfodydd Eglwysig, a siaradai yn gall. Ond nid llenyddiaeth fydol a gafodd hufen ei nerth a blaenffrwyth ei ymdrechion, eithr Gair Duw. Yr oedd yn esboniwr cadarn yn yr Ysgrythyrau, a myfyriai ac astudiai lawer foreu a hwyr i ddarparu ar gyfer pwlpud ei Eglwys.

Yma trown i edrych yn fwyaf neillduol ar ei

NODWEDD GREFYDDOL

yng ngwyneb y testyn a ddewisasom. Pan edrychom arno yn ei gyssylltiadau personol â Duw, yn hoffi troi at ei Dad yr hwn sydd yn y dirgel, ac yn tywallt ei galon ger ei fron Ef, yr ydym yn ei gael yn frawd anwyl. Yr oedd ei fyfyrdodau yn weddi a pharotoai ei bregethau yng nghyssegr sancteiddiolaf cymmundeb â Duw. Dyma oedd ffynnonell ei nerth ac eneiniad ei wefusau. Deuai o'i gymmundeb cyfrinachol â Duw yn y dirgel, a dygai yr enaint gydag ef i'r ddarllenfa, a'r pwlpud, a'r allor, lle y teimlid ei fod yn frawd anwyl, yn arwain gweddïau y bobl ar Dduw, neu yn eu dysgu gyda nerth a dylanwad, nes ei cyffesid yn feistr y gynnulleidfa. Rhyfedd mor gyfarwydd oedd yng Ngair Duw ac yn holl bynciau ffydd Eglwys Crist, ac fel y gwnelai i'r pethau dyfnaf ymddangos yn eglur, ac y gwisgai hen wirioneddau gyda newydd-deb cyffröus, nes blaenllymu y gwirionedd i dreiddio i mewn i lawer calon wedi hir galedu. Cefais lawer o fwynhâd wrth wrandaw arno yn pregethu, a llawer tamaid blasus i ymborthi arno mewn oriau dyfodol. Ennillai fy nghydymdeimlad bob amser cydymdeimlad â'r gwirionedd.

BRAWD ANWYL.

Mewn ystyr grefyddol, y mae yr enw brawd yn arwyddo dau beth. Yn gyntaf, perthynas â Duw Dad ac undeb â Duw Fab, y Cyntafanedig ym mhlith brodyr lawer; ac yn ail, perthynas ag Eglwys Crist, fel yr ydym wedi ein himpio i mewn drwy Fedydd yn aelodau o Grist ac etifeddion teyrnas nefoedd. Y mae hyn i'w weled yn eglur yn nhröedigaeth Saul yr erlidiwr i fod yn llestr etholedig i gludo ynddo drysorau gras i bechaduriaid euog. Pan orchymmynodd Duw i Ananïas fyned i ymweled ag ef yn ei edifeirwch a'i fedyddio, dywedodd am dano, "Wele y mae efe yn gweddïo." Gweddïo ar yr Arglwydd Iesu Grist mewn gwir edifeirwch, ac nid gwag adrodd canmoliaeth iddo ei hun fel y Pharisead yn y deml. Yn y sefyllfa hòno anerchai Ananïas ef, "Y brawd Saul." Yr oedd bellach yn frawd mewn ysbryd drwy ei undeb â Duw yng Nghrist, a derbyniwyd ef i'r undeb a'r berthynas frawdol weledig drwy sacrament y Bedydd.

Y mae hen swyn anwyldeb cynhes yn yr enw brawd. Y mae gan y brawd galon gynhes ac ysbryd cymmwynasgar, neu ni bydd yn frawd mwyach. Brawd anwyl oedd rheithor calon gynhes y plwyf hwn. Tystiolaeth un a fu gydnabyddus a chyfeillgar gydag ef dros lawer o flynyddoedd yw ei fod yn frawd a Christion, un anwyl a chywir, a dyn Duw ym mhob peth. Un oedd â'i gynnydd personol ym mhob gras yn eglur. Llewyrchai ei oleuni sanctaidd yn fwyfwy, gan dynu at ryw hanner dydd. Neu, a defnyddio cymhariaeth arall, addfedai fel afalau haf, gan wasgaru arogl mwy peraidd, nes ymryddhau o bob rhwymau daiarol, a disgyn mewn addfedrwydd llawn i'r bedd.

Yr oedd hefyd yn weinidog ffyddlawn yn ei holl dŷ—ffyddlawn i argyhoeddiad cydwybod, ffyddlawn i Air Duw, ffyddlawn i'w ymrwymiadau i Eglwys Crist. Teimlai bwys y cyfrifoldeb a ymddiriedwyd iddo, ac ymdrechai gael cydwybod ddirwystr ger bron Duw a dynion. Yr oedd yn ddigon cydwybodol i fynu gwybodaeth helaeth o egwyddorion Eglwys Crist, o'i ffurfwasanaeth eneiniedig, ac o Air Duw, a chymhwysai yr oll fel dyfroedd byw i ddiodi praidd Crist. Rhyfedd genyf feddwl am nerth ei weinidogaeth er pan adwaenais i ef yn ei flynyddoedd diweddaf yn llafurio dan anfanteision mawrion, â'i amgylchiadau bydol yn ei wasgu—afiechyd parhäus yn ei deulu, ei lesgedd corfforol yntau yn boenus i edrych arno, ac yn ofid iddo geisio ymsymmud. Ond o dan yr anfanteision hyn oll, daliodd ei ysbryd yn benderfynol, a'i law a'i lais yn ei waith; ac o'r babell oedd ar ymollwng deuai y ddwyfol genadwri yn ei nerth a gloewder, a dyferai gweddïau y cyssegr oddi ar ei wefusau gwelw a chrynedig gydag eneiniad ychwanegol.

Pan yn dyoddef dan y profedigaethau a'r gwendidau hyn y cyfieithodd yr esboniad ar Actau yr Apostolion, ac y cywirodd y prawfleni tra ei cyhoeddid yn Rhydychain. Pan feddyliaf am dano yn ei wendid a'i lesgedd, wedi ei yssigo a dirwasgu gan gyfyngderau, fel y grawnsypiau llawnion yn y gwinwryf, yn bwrw allan y fath doraeth o ymborth ysbrydol melus i blant yr Arglwydd, byddaf yn synfyfyrio pa beth a all fod cyfrifoldeb gweinidogion da eu hamgylchiadau, esmwyth eu byd, a chryf eu hiechyd, y rhai na wnânt ddim i gyfoethogi Eglwys Crist, neu borthi ei braidd Ef.

*Ei gymmeriad fel cydwas â'r apostolion.*—Cariad Crist oedd yn ei gymhell i ymgymmeryd â'r weinidogaeth, ac ymofynodd am foddion rheolaidd i fyned

i mewn iddi yn unol â'r ffordd a drefnodd Crist pan yn rhoddi ei gommissiwn i'w apostolion. Yr oedd yn olynydd i'r apostolion mewn dilyniad rheolaidd, hanesiol, drwy gyssegriad, ac yn olynydd mewn cyflawn ymgyssegriad o bob talent o'r eiddo i'r weinidogaeth sanctaidd. Yr oedd yn well ganddo oddef adfyd gyda phobl Dduw na bod yn gyfranog o fwyniant pechod dros amser. Dewisai gadw drws yn nhŷ ei Dduw o flaen trigo ym mhebyll annuwioldeb. Un peth oedd ganddo mewn golwg yn barhäus, sef achub eneidiau, gan adeiladu corff Eglwys Crist. Yr oedd yn hyn yn gydwas â'r apostolion, drwy ystyried mai braint uchaf dyn yw bod yn gydweithiwr â Duw, a dedwyddwch uchaf y weinidogaeth yw cael praidd ei ofal yn ddilynwyr i Iesu Grist. Gan basio heibio llawer o bethau dymunol yn ei fywyd, a'r amser byr y bu i mi gymdeithas bersonol ag ef, nis gallaf beidio â dweyd gair am oriau olaf y Cristion cywir hwn.

Wythnos i neithiwyr bûm yn gwylio wrth ei erchwyn drwy y nos. Gwasanaethasom arno mor ofalus ag y gallem, gan fod yn fyw i bob symmudiad iddo. Deallem yn eglur ei fod ar ein gadael, a'i "fod hefyd yn barod." Pan ofynem iddo a gaem ni estyn rhywbeth iddo, neu wneuthur rhywbeth drosto, neu a oedd rhywbeth a ddymunai ddweyd, dywedai nad oedd. Eto, diolchai am bob arwydd o ewyllysgarwch i'w helpu, gan ddweyd nad oedd dim a gymmerai o nemawr ddyben. Gwyddai yn dda, meddai, ei fod yn cefnu arnom. "Na, na," ebai, "ni ellwch roddi cymhorth pellach i mi, ond os ewch i weddi byddaf ddiolchgar." Ymddangosai yn cael mwynhâd mawr tra yr oeddym ar ein gliniau wrth orsedd gras, a bendithiai Dduw, gan ddywedyd, "Bendigedig fyddo yr Arglwydd yn oes oesoedd."

Wythnos i heno, pan yr oeddym ar fedr cynnal gwasanaeth yn yr Eglwys hon, deallasom ei fod yn suddo yn ddyfnach, ddyfnach yn yr afon, ac ar yr un pryd yn teimlo yn fwy addfed yn ei ysbryd i ymadael â'r fuchedd hon. O ddeutu wyth o'r gloch cymmerodd gân Simeon ar ei wefusau, a dywedodd yn ddifloesgni, "Yr awr hon, Arglwydd, y gollyngi dy was mewn tangnefedd yn ol dy Air." Yr oedd yn eglur ddigon fod y glyn yn goleuo o'i flaen, a'i fod yn ddigon ffyddiog i allu gafael yn llaw ei anwyl Geidwad cyn teimlo ei draed yn cyffwrdd ag ymylon y dwfr. A gallai hefyd,

"Y gwelai yntau draw ei hen gyfeillion,
Yn iach heb boen na braw ar fynydd Seion."

Peth mawr, fy mrodyr, ydyw "edrych ar y Cristion yn marw." Gedy argraff annileadwy ar y galon. Rhyw olygfa o fachlud haul rhyfedd ydyw marwolaeth y cyfiawn. Y mae goleuni tu draw i'r cwmwl, ac adlewyrchiad pelydrau haul ar y tònau o amgylch. "Darfu am y cyfiawn: efe a ä i dangnefedd."

Ymadawodd y bardd-offeiriad addfwyn, swynol, â'r fuchedd hon. Aeth i'r orphwysfa well. Ond erys adsain ei bregethau swynol mewn llawer clust ym Mon, a'i gynghorion call caredig mewn llawer calon; ac erys ei lyfrau da i adeiladu ein cenedl, a'i emynau melus i nefoleiddio teimladau yr Eglwys tra y byddo yr iaith Gymraeg mewn bod. Y mae gwersi ei fywyd a'i farwolaeth yn aml a gwerthfawr. A boed i'r amgylchiadau hyn ddyblu ein diwydrwydd i ymbarotoi erbyn y gelwir arnom ninnau i rodio llwybr ar hyd yr hwn ni ddychwelwn.

[Bu raid i ni gwtogi gryn lawer ar y bregeth uchod, ond ni adawyd allan ddim hanesiol; ac ymddengys y rhestr o lyfrau y diweddar Glanmor llawn cystal mewn ol-nodyn yn y dull canlynol. Cymmerir yr enwau o *Crockford*, gan y gall y bydd y rhestr yn gyflawnach.—GOL.]

#### GWEITHIAU GLANMOR.

Ancient and Modern Denbigh, 5/; Records of Denbigh and its Lordships, 5/; Town and Castle of Denbigh, 6d.; Gwaith Glanmor, 1/; Carolau Prif-feirdd Cymru, 6c.; Hanes yr Eglwys yng Nghymru o ddyddiau Elizabeth i waered, 1/6 mewn amlen, 2/6 yn rhwym; Cyfieithad i'r Gymraeg o ranau o Tacitus a Cesar; English Grammar, or the Peculiarities of the Celtic Tongue explained in English; Cyfieithad o Esboniad yr S.P.C.K. ar Actau yr Apostolion; Cywyddau Ninefeh; Castell Dinbych; Y Gloch Osper, gydag amryw ddarnau barddonol a rhyddieithol ereill.

---

## PRIF NODWEDDION DUWINYDDIAETH Y CANOLOESOEDD.

(*Parhâd o dudalen 149.*)

GOLYGIR y Canoloesoedd gan lawer fel tymmor maith o ddiffrwythder meddyliol a marweidd-dra ysbrydol; ac yn wir, wrth ei gyferbynu â chanrifoedd cyntaf Cristionogaeth ar y naill law, a chyfnod diweddaraf yr Eglwys ar y llaw arall, ymddengys rhyw gymmaint o sail i'r golygiad. Eto, y mae yn ddiammheuol na chollwyd yn hollol elfenau mawredd yr oesoedd cyntaf, ac nad yw safle bresennol llenyddiaeth grefyddol yn gwbl ddyledus i'r Diwygiad Protestanaidd am ei bodolaeth. Nid anhawdd ydyw canfod dylanwad diwylliant Eglwysig y Canoloesoedd ar ffurfiau diweddaraf llenyddiaeth gyssegredig ein

dyddiau ni, yn neillduol felly pan ystyrir ei nodweddion athronyddol.

Hwyrach mai nid ammhriodol yn y fan hon yw sylwi ar y berthynas a fodolai rhwng athroniaeth a duwinyddiaeth yn ystod y blynyddoedd rhwng 700 a 1500 o.c. Ni chaniatâ gofod i ni ond prin gyffwrdd â'r adran hon o'r pwnc. Cydnabyddid yn gyffredin fod athroniaeth bur, fel y cyfryw, yn cynnwys ynddi ei hun gynseiliau duwinyddiaeth naturiol, ac mor bell a hyny yn arweiniad i mewn yn gystal ag esboniad ar y dadguddiad o Dduw mewn anian. Ond nid hyny yn unig, golygid fod y *wyddor* o dduwinyddiaeth yn gwbl seiliedig ar athroniaeth, ac er nas gall athroniaeth gynnyg ond ychydig sydd gyflawn a sicr mewn duwinyddiaeth naturiol; eto, cydnabyddid y cynnwysai y *prif* syniad o ymdrafodaeth drefnus a gwyddonol ag elfenau crefydd ddadguddiedig. Yn ei pherthynas â duwinyddiaeth, gwasanaetha i ddangos pa mor derfynol yw gallu y meddwl i ymwneyd â phrif ffeithiau y gwirionedd dwyfol. "Nid oes," medd Syr W. Hamilton, "unrhyw gwestiwn dyrys wedi cyfodi mewn duwinyddiaeth nad ydoedd eisoes wedi ymddangos mewn athroniaeth." A phan ystyrir fod natur a'r Ysgrythyr Lân yn cynnwys amlygiadau amrywiol, ond nid mewn un enghraifft, gwrthwynebol, o'r Un Meddwl anfeidrol, ymddengys dyfnder a gwerth neillduol yn sylw Origen, sef *y gellir dysgwyl anhawsderau yn y naill cyffelyb i'r rhai y cyfarfyddir â hwy yn y llall.*

Y mae ffeithiau a drefnir yn gydberthynasol â rhesymegol, bob amser yn awgrymu eu heglurâd a'u hamcan, ond bai cyffredin i bob oes ydyw goddef i athroniaeth gamddarlunio a gormesu y dduwinyddiaeth gyfamserol. Y mae sylweddoliad o grebychrwydd ein cynneddfau a gostyngeiddrwydd meddwl yn hanfodol pan yn ymwneyd â gwirioneddau y dadguddiad ysbrydoledig. Gwelir yn hanes yr Eglwys gyntefig ddylanwad eang y ffurf hòno o athroniaeth a elwir y Blatoniaeth newydd, amcan arbenig yr hon ydoedd dadseilio a dinystrio egwyddorion hanfodol crefydd, trwy swyno dynion i ddymuno a chredu y llyncid yn hollol yr hunaniaeth dynol yng nghefnfor eang yr hanfod dwyfol. Ond er dyfned yr argraff a wnaed ar dduwinyddiaeth y canrifoedd cyntaf gan yr athroniaeth beryglus a gormesol hon; eto, hwyrach y gwelir fod athroniaeth Aristotle wedi cyflawnu mwy o alanasdra ar lenyddiaeth grefyddol y Canoloesoedd. Un o nodweddion amlycaf ysbryd duwinyddol y cyfnod hwn ydoedd myfyrdod o wirioneddau *nid fel yr oeddynt ynddynt eu hunain*, ond yn hytrach fel yr *ymddangosent* yn eu perthynas ag egwyddorion sylfaenol yr ysgolion.

Y mae gwyddoniaeth dduwinyddol, os yn iach, yn gynnwysedig mewn dadblygiad cywir o gasgliadau gonest oddi wrth osodiadau ysbrydoledig Gair Duw. Ond pan y mae dynion mor rhyfygus ag i oddef i benderfyniadau athroniaeth lywodraethu yn oruchaf ar wirionedd y Beibl, yna gwneir yr hyn sydd ddwyfol a pherffaith yn ddarostyngedig i'r hyn sydd ddynol a hannerog. Sylwa un hanesydd enwog fod tebygolrwydd neillduol rhwng duwinyddion y Canoloesoedd a'r cyfieithwyr Rhufeinig, yn gymmaint ag fod y naill a'r llall yn anwybyddu cyn-egwyddorion gwybodaeth ac yn mantoli a barnu yn ol *gwireddau* derbyniedig eu gwahanol ysgolion. Ac ym mhellach, fod y naill a'r llall o angenrheidrwydd yn rhesymegwyr medrus a dwfn, ond eu bod yn euog o'r unrhyw amryfusedd, trwy ddiffyg cydnabyddiaeth o ffeithiau ynddynt eu hunain ac absennoldeb cydymdeimlad â sylwedd y gwirionedd. Er nas gellir dweyd fod llawer o wreiddioldeb yn perthyn i'r cyfnod o'i gymharu â chyfnodau ereill, ac er fod appêl uniongyrchol at wirionedd ysbrydoledig i raddau mawr yn beth dyeithr, eto rhaid cydnabod fod lle digonol i ymchwiliadaeth feddyliol a dadblygiad ysbryd duwinyddol mewn myfyrdod barhäus o drysorau llenyddiaeth gyssegredig y cyfnodau blaenorol. Y mae y gwreiddioldeb neillduol a nodwedda ysgrifeniadau y tadau yn gwbl absennol o lenyddiaeth y Canoloesoedd. Ar ol dyddiau Gregori Fawr prin y cyfarfyddir ag un esboniwr o safle a gwerth.

Rhoddwyd o'r neilldu yr annibyniaeth meddyliol hwnw a ffurfiai elfen mor nodweddiadol o'r cyfnod blaenorol, ac yr ydoedd duwinyddion yn gwbl foddlawn i gasglu yng nghyd a chydnabod fel awdurdod, oddi wrth ba un nis gellid appelio, yr ysgrifeniadau hyny a drosglwyddwyd iddynt gan genedlaethau boreuach, yn enwedig eiddo y tadau Niceaidd. Ym mha beth, gan hyny, y cynnwysir llenyddiaeth dduwinyddol y cyfnod hwn?

1. Mewn cymharu ac esbonio ysgrifeniadau y tadau.

2. Mewn darganfod a thrafod sylfeini dansoddol y drychfeddyliau a drosglwyddir ynddynt.

3. Mewn cymhwyso at yr ysgrifeniadau hyny y rhesymeg lem a medrus hòno a ddysgid yn yr ysgolion.

Y prif amcan ydoedd egluro, cadarnhau, a dyrchafu llenyddiaeth y cyfnod blaenorol. Cyfrifid pob syniad gwrthwynebol i'r eiddo y tadau fel yn cynnwys cnewullyn heresi, ac ymddygid ato fel y cyfryw; ond nid ydym yn cael fod gwthio i eithafion unrhyw ym-

Digitized by Google

resymiad neu ddrychfeddwl a awgrymid neu y gellid ei gyssoni â'r tadau, er iddo ynddo ei hun sawru o gyfeiliornad, yn cyfarfod ag unrhyw gondemniad. Eto, camgymmeriad mawr fyddai tybio fod duwinyddion y Canoloesoedd fel cynnifer o ddrychau, yn meddu ond cymhwysder yn unig i adlewyrchu cysgodion meddyliau cewri ymadawedig. Na, y mae y penderfyniad a'r yni diflino â pha rai y myfyrient weithiau y tadau, y llymder a'r coethder meddyliol â'r hwn yr olrheinient eu cynseiliau, a'r medrusrwydd dihafal gyda pha un y cymhwysent eu hegwyddorion a'u gwireddau, megys cynnifer o gofgolofnau ar faes anwastad hanesiaeth Eglwysig y tymmor hwn. Y mae nos yr oesau tywyll, fel y nos naturiol, yn meddu (yng nghanol bydoedd hanner llosgedig a chyfandiroedd eang o darth a niwl) ei ser arianaidd a thlos, y rhai a lewŷrchant o gymmaint a hyny yn fwy dysglaer yn herwydd tywyllwch eu hamgylchoedd. Y mae yr ymraniad sismaticaidd gofidus a gymmerodd le yn y 6fed ganrif yn ein rhwymo, pan yn ymdrafod â duwinyddiaeth, i ystyried neillduolion y ddwy gangen fawr o'r Eglwys gyffredinol, sef eiddo y dwyrain a'r gorllewin, neu Eglwys Groeg ac Eglwys Rhufain. Ac er ein galluogi i ymlwybro yn drefnus ac addysgiadol, doeth fyddai mabwysiadu rhyw gynllun megys y canlynol—cynllun, modd bynag, a awgrymir gan adranau penodedig y wyddor o dduwinyddiaeth :—

1. Duwinyddiaeth esboniadol, neu wir ddeongliad y testyn ysbrydoledig.
2. Duwinyddiaeth athrawiaethol, neu berthynas hanfodol gwahanol ranau dysgeidiaeth Feiblaidd.
3. Duwinyddiaeth ymarferol er llywodraethu achosion yr Eglwys a chyfarwyddo y Cristion unigol.
4. Duwinyddiaeth ddadleuol yn erbyn heresiau, ymraniadau, a chyfeiliornadau yn yr Eglwys, yn ogystal ag er mwyn amddiffyn y gwirionedd ysbrydoledig yng ngwyneb ymosodiadau rhyfygus a thrahäus anffyddwyr, rhesymolwyr, ac athronwyr paganaidd.

*Brymbo.* MEREDITH JONES HUGHES.

[Llithrodd gwall i'n herthygl flaenorol, tudal. 148. Yn lle "mewn duwinyddiaeth yn gystal ag *athrawiaeth*," darllener "yn gystal ag *athroniaeth*."]

---

Nis gallwn ni ddirnad rhyfeddodau'r greadigaeth, llai o lawer rhyfeddodau'r adgyfodiad. Dros ein cred yn y posiblrwydd o'r dirgelwch ofnadwy, yr ydym yn ymddiried i reswm, am y sicrwydd o hono i ddadguddiad, ac am y cyflawniad o hono i hollalluogrwydd Duw.—*St. Gregory.*

## CYNLLUN YN NHREFN NATUR.

(*Cyfieithad o weithiau y diweddar Archesgob Thomson, gan Bodfach.*)

### CYFRIFOLDEB DYN.

(*Parhâd o dudalen 172.*)

DYWEDAI Kant "fod dau beth yn arswydus ganddo feddwl am dano—yr wybren eang a'r syniad o gyfrifoldeb dyn." Traetha yn un o'i draethodau am y syniad o gyfrifoldeb yn athronyddol iawn. Y mae yn un o'r nodau a wahaniaetha ddyn oddi wrth greaduriaid ereill. Bu yr egwyddor yma yn ddiammheuol yn foddion i ddynion ffurfio penderfyniadau ffol a chyfeiliornus. Cesglir am fod yr anwariad yn bwyta ei gyd-ddyn, ac yn anwybodus o reolau diweirdeb, ond yr hyn a lifa o hawl gwr yn ei wraig fel eiddo, nad oes ganddo syniad moesol o gwbl. Byddai yr un mor deg i ddyn dybio am fod Lloegr wedi bod yn masnachu unwaith mewn caethion, ymladd ceiliogod, baeddu teirw, a gorthrymu y trigolion yn India a'r trefedigaethau, o herwydd hyny nad ydoedd yr un syniad o iawn na chamwedd yn bodoli yn Lloegr. Dadleuwn am fodolaeth y gosodiad yn hytrach na'i oleuni a'i addysgiaeth berffaith. Yr egwyddor ydyw fod rhywbeth yn iawn i ewyllysio a gweithredu, hefyd fod rhywbeth yn gyfeiliornus. Profir bodolaeth yr egwyddor, os ystyria yr anwarddyn fod ei ddynoliaeth yn cael ei gwarthruddo wrth ffoi, hyd yn oed am ei fywyd, o flaen y gelyn, neu oddef un cri ddianc wrth gael ei boenydio gan ei gaethwyr i farwolaeth. Y mae diwylliaeth yr egwyddor yma yn beth gwahanol; nis gall neb ddywedyd hyd yn oed yn bresennol fod ei gydwybod wedi ei chwbl addysgu. Mae y frawddeg ddilynol yn syniad ardderchog—"Felly gweithredwch nes goddef egwyddor eich gweithrediad i'w gwneyd yn ddeddf i'r holl fyd;" ond gofyna y cyfryw wybodaeth a goleuni, yng nghyd ag iawn fwriad. Os edliwiwch y ffaith i ddynion fod yn greulawn, yn aflan, yn anwadol, a ffol yn eu hymddygiadau, atebwn fod ganddynt eto eu hiawn a'u camwri. Gall yr hwn sy'n meddu y syniad o oleuni gael ei orfodi i fyw mewn rhyw agen gul lle nad oes fawr i'w weled, ond erys y syniad yr un o hyd. Nid ydyw yr ymdrochwyr yn Pfeffers, a'r ddaiar bron a gorchuddio eu penau, yn gweled ond ychydig o'r golygfëydd yn Switzerland; ond nid ydyw eu golygon yn llai serch hyny. Nid ydym yn hawlio i ddynion yn bresennol y gynneddf o ragolygon moesol, ond y syniad moesol o weled, ac nid ydyw hyny byth yn eisieu. Arferwyd pob ystrywiaeth at y syniad yma

Digitized by Google

er mwyn iddo ymddangos fel rhywbeth arall, nes y llwyddir i'w drawsffurfio felly; erys yn dyst cadarn am fyd arall heb law hwn. Yr esboniad mwyaf cyffredin ydyw nad ydyw ond egwyddor oleuedig o hunan-feddiant. Efrydwch ef drosoch eich hunain yn yr anwariad, y plentyn bychan, a chewch allan fod y ddwy egwyddor yn rhedeg ar wahanol linellau.

Y nod olaf a wahaniaetha ddyn oddi wrth yr holl anifeiliaid ydyw ei fod yn credu yn Nuw. Y mae gan hanner yr hiliogaeth ddynol y fynyd yma ryw gredo yn yr hon y priodolant Dduw yn achos cyntaf, yn Greawdwr a Rheolwr y byd. Am yr hanner arall, prin y mae neb heb ryw fath o grefydd. "Dywedai M. Quatrefages iddo edrych am anffyddiaeth ym mysg yr iselaf a'r uwchaf, ond ni chyfarfyddodd â hi, oddi eithr mewn unigolion; o'r hyn lleiaf mewn rhyw ddosbarth o ddynion, mwy neu lai yn adnabyddus, fel yn Ewrop yn y ganrif ddiweddaf, ac fel y gwelwn heddyw. Diangodd y mwyafrif rhagddi bob amser, a hyny ym mhob man." Nid ydyw yn angenrheidiol honi er mwyn fy ymresymiad fod crediniaeth yn Nuw yn bodoli. Y mae crediniaeth yn Nuw, yr hon ni allasai ddeilliaw oddi wrth ymarferiaeth neu efrydiaeth o ffeithiau allanol. Gellwch ddarostwng sefyllfa dyn trwy ei gymharu â'r epaod, a dadansoddi yn fferyllol ei ymenydd, eto rhyfeddaf yn y byd ydyw fod creadur yn y fath sefyllfa resynus yn honi cymdeithasu â'r dwyfol. Y mae ei draed mewn clai daiarol, ond y mae ei ben yn dyrchafu tua'r nefoedd. Y mae yn etifedd cant o anhwylderau, ac yn wawd i gant o dymmerau, yn etifedd bywyd yma, mor urddasol yn ei wynebpryd, ac ym mhen ychydig ddyddiau dolefa y creadur yma wrth fyned o afael ei ofid, "Y mae Duw yn bodoli, ac y mae yn fy ngweled ac yn fy nghlywed." Y mae dyn, os profais fy ngosodiad, yn sefyll yn unig uwch ben teyrnasoedd—yn unig o ran gallu i'w llywodraethu, yn unig yn ei edmygedd o'u prydferthwch, yn unig mewn hunan-lywodraethiad cydwybod; ym mlaenaf o'r holl greaduriaid mewn amgyffrediad am yr Hwn a wnaeth bob peth, mewn byd a fu am oesau yn ddall i'w Wneuthurwr, ac yn annïolchgar am ei fod felly.

Y mae wedi dyfod, ac ef allai y parhâ felly, yn ofyniad o'r pwys a'r budd mwyaf i ddynoliaeth, pa fodd y daeth y pedair teyrnas yma i fodolaeth? Tueddir yn bresennol at ddamcaniaeth faterol neu gelfyddydol. Y mae felly yn Germani, gwlad Buchner, Bogt, a Moleschott; ac yn Ffrainc, lle yr ysgrifenodd Comte a Littré; ac felly yn Lloegr, lle nad ydyw yn angenrheidiol dyfynu enwau dysgedigion. Ymdrechaf yn y gweddill o'r sylwadau hyn geisio esbonio y ffeithiau sydd o'n blaenau, yn wahanol i'r syniad yma; hefyd ddangos mor annigonol a drwg o ran egwyddor ydyw ymddangosiad y gyfundrefn faterol. Nid oes digon o amser na gofod mewn ysgrif fel hon i'r cyfryw ddyben; o'r hyn lleiaf, gall sylwadau fel hyn wasgaru blagur myfyriaeth, ond ni all ffurfio cyfundraeth.

Ymddengys oddi wrth yr hanes a rodda y Beibl ac ymchwiliadau gwyddonol mai gwaith graddol oedd creu. Bodolai mater ac ysgogiad cyn ffurfiad y belen ddaiarol; ac fe raid fod y nerthoedd fferyllol mewn llawn chwareu pan wisgodd y gwreiddyn cyntaf y creigiau, a'r pryd y ffurfiwyd y planigyn cyntaf yn y môr. Yr oedd ymddangosiad cyntaf bywyd yn y ddaiar yn gam pwysig mewn creadigaeth, ac y mae y syniad o gynllun yn y fan yma yn awgrymiadol iawn. Mae y byd planigol yn un newydd, ac yn meddu cyfres o ryfeddodau o'i eiddo ei hunan. Nid oes dim yng ngwres yr haul, nac yn symmudiad y ddaiar neu y ffrwd attynol i gynnyrchu unrhyw addewid neu argoel am ryfeddodau y goedwig. Tybier ein bod yn addef fod y rhai hyn yn dadblygu yn unol â deddf, hyny ydyw, fel mater o ffaith, nid ydyw planigion yn ymddangos ond lle y mae cyfran neillduol o oleuni, gwres, a llaithder yn unol yn eu meithrino, a lle bynag y mae yr ammodau hyn yn unol, ni pheidiant ag ymddangos. Y gofyniad nesaf a gyfyd yw, a ddarfu defnydd ac egnïad weithredu yn eu dadblygiant? neu a grewyd defnydd ac yni gyda'r bwriad o'u cynnyrchu, ac felly parotowyd y planigyn pan ddechreuodd y nerthoedd ereill ymsymmud yn y gwagder afluniaidd. A ydyw y byd llysieuol yn gynnyrch damweiniol neu angenrheidiol o'r galluoedd a wnaeth y byd mwnawl? neu a raid addef ei fod yn dwyn arwyddion o gynllun? Rhaid sylwi ei fod yn fyd helaethach a chyfoethocach na'r hwn a'i blaenorai; yn llawnach o lawer o ffurfiau a theleidion prydferth, a phob un o honynt yn cael eu cynnal gan gyfundraeth lestriol (*bascular*) nad oes yn y byd mwnawl un tebyg. Yr ydych yn sefyll o flaen y dderwen gordeddog sy'n ymgodi ym mysg y rhedyn pluog; ni feddyliwch fod y gawres yma, yn meddu gallu neillduol o hunanamddiffyniad yn erbyn ystormydd o ddau can mlynedd, ei bod yn gynnyrch damweiniol. Y mae hi mor ardderchog o gadarn, wedi ei gwisgo mor gyfoethog â miloedd o ddail, lled debyg i'w gilydd, ac eto yn wahanol, os chwilir hwy yn fanwl. Y mae yr anifeiliaid yn hoff o'i chysgod, a'r adar yn gorphwyso yn ei changenau. Ai canlyniad rhyw symmudiad neillduol yn y cread, neu deithi penodol mewn defnydd, ydyw hon, heb ei chynllunio neu ei

Digitized by Google

rhagweled gan un llygad? Ni feddyliai neb am dani yn naturiol fel hyn. Dangosa y byd yn ei nodau cyntaf o drefn ac amcan fwy o'r un nodau yn ei ail a'i ddyrys sefyllfa. Ni ogwyddai y cyfnewidiad a gymmerodd le at ddyryswch yn deilliaw oddi wrth fethiant anweledig yn y peirianwaith, ond o ddadblygiant uwch. Yr oedd yn syndod fod y deyrnas fwnawl yn alluog i wisgo ei hunan â mantell o wyrddlesni, gan fyned i deyrnas arall mwy dyryslyd, yr hyn sydd yn mwyhau y rhyfeddod.

(*I'w barhau.*)

---

## DUWINYDDIAETH: NEU SYLWADAU AT WASANAETH YR YSGOL SUL AR YR EFENGYL YN OL ST. MATTHEW.

GWERS XXX. RHAN. I.

*St. Matthew xi. 1—16. O.C. 28. St. Ioan Fedyddiwr. Darllener St. Matthew xiv. 3—12; Esaiah xl. 1—11; Malachi iii. 1—6. Ei genadwri at yr Arglwydd Iesu.*

EGLURHAD ESBONIADOL.

Adn. 2: "*A Ioan pan glybu yn y carchar,*" &c. Bernir mai ym Machaerus, ar derfynau deheuol talaeth Peraea, yr oedd y carchar hwn.

"*Wedi danfon dau* [Δὺο] *o'i ddysgyblion.*"—Yn y cyfieithad diwygiedig darllenir, "Wedi danfon *drwy* [Δια] ei ddysgyblion." Dyma y darlleniad yn y llawysgrifau henaf o'r efengyl hòno.

Adn. 3: "*Ai tydi yw yr hwn?*" &c. Y mae y gofyniad hwn yr un a phe gofynasai, Ai Ti yw y Crist, sef y Messïah ag yr oedd y genedl yn ei ddysgwyl: gwel St. Ioan vi. 14.

"*Ewch a mynegwch,*" &c. Nid atebodd yn uniongyrchol gwestiwn Ioan Fedyddiwr, ond rhoddes iddo ef agoriad i allu boddloni ei hun pwy oedd.

Adn. 5: "*Y mae'r deillion yn gweled,*" &c.: gwel Esaiah xxix. 18; xxxv. 5, 6.

Sylwer yn fanwl ar y neges a anfonwyd yn ol at Ioan i'r carchar. "Mynegwch y pethau a glywch ac a welwch." Ni lefarai Crist am dano ei hun, ac eto galwai sylw at ei weithredoedd. Gweithredoedd o ostyngedig gariad a thrugaredd oeddynt. Nid llais y gorchfygwr sydd yma; nid honiadau y twyllwr, ond dystaw weithredoedd ymostyngol gariad: gwel Sechariah ix. 9.

Adn. 6: "*A dedwydd yw yr hwn ni rwystrir,*" &c.: gwel Esaiah viii. 14. Ystyr y gair rhwystro yma ydyw "tramgwyddo." Mae y meddwl wrth gael ei siomi yn ei ddysgwyliadau yn tramgwyddo, fel y mae gwr wrth fyned ar draws rhwystr annysgwyliadwy ar ei lwybr, heb ei weled, yn baglu a syrthio. Siomwyd miloedd yn eu dysgwyliadau daiarol uchel am Grist, a thramgwyddasant. Er nad oedd perygl i St. Ioan Fedyddiwr ef allai dramgwyddo, yr oedd yn berygl i'w ddysgyblion.

SYLWADAU.

Y mae yn bwnc o ddadl ym mysg llawer pa ham yr anfonodd Ioan Fedyddiwr y fath genadwri at yr Arglwydd Iesu, pan yr ydoedd efe ei hun wedi siarad a dwyn tystiolaeth mor eglur am yr Iesu ei fod Ef yn Fab Duw: gwel St. Ioan i. 29—42. Mor eglur oedd tystiolaeth Ioan, fel y credodd Andreas am yr Iesu mai Efe oedd y Crist (St. Ioan i. 41).

1. Y mae yn eglur oddi wrth hanes y cyfnod fod lluaws o dwyllwyr yn dyfod yn enw Crist, gan gymmeryd arnynt wneuthur gwyrthiau lawer (gwel Act. v. 36, 37). A gallai Ioan Fedyddiwr, fe dybir, ofni mai hanes gweithredoedd un o'r twyllwyr hyny a ddygid ato i'r carchar.

2. Ond y dyb gyffredin yw, fod ofnau wedi aflonyddu meddwl St. Ioan yn unigolrwydd y carchar drwy fod y gobaith a oeder yn gwanhau y galon. Nid oes genym un lle i gredu fod Ioan Fedyddiwr yn deall gwir nodwedd ysbrydol "teyrnas nefoedd" yn well nag yr ydoedd yr apostolion pan ofynasant y cwestiwn ar ol adgyfodiad Crist, "Ai y pryd hwn y rhoddi y freniniaeth i Israel?" (Actau i. 6). Gallai Ioan Fedyddiwr, fel miloedd ereill, ryfeddu fod Mab Duw yn oedi dial ar bechaduriaid creulawn, llygredig, fel Herod a Herodias odinebus, greulawn. Nid ydyw ofnau ac ammheuon ar adegau yn anghysson â ffydd gref. Nos a dydd y galon ddynol ydyw ofnau a ffydd.

TYSTIOLAETH YR ARGLWYDD IESU AM IOAN.

Adn. 7: "*Ac a hwy yn myned ymaith,*" &c. Ni wyddom a oedd dysgyblion Ioan mewn cyrhaedd clyw ai peidio, ond yr oedd dysgyblion yr Iesu, ac yn eu mysg Andreas, Pedr, Iago, Ioan, Philip, a Nathanael, cyn-ddysgyblion i Ioan (gwel St. Ioan i. 40—47), wedi clywed neges eu hen athraw Ioan Fedyddiwr. Gallent hwy ryfeddu at ei neges.

"*Pa beth yr aethoch allan,*" &c., "*ai corsen?*" Dyma awgrymiad mai nid gwendid ffydd oedd yn blino meddwl Ioan Fedyddiwr. Nid un a blygai dan bob awel oedd, er y gallai ofni. Nid un ydoedd chwaith a ymddibynai am ei ysbrydoliaeth ar awelon y

Digitized by Google

syniad cyhoeddus ac a blygai o'i flaen i ennill poblogrwydd, nodwedd uniongyrchol pob twyll honwr.

"*Ai dyn wedi ei wisgo â dillad esmwyth?*" &c. Nid un a garai esmwythder ac a ofnai galedi oedd chwaith. Nid mewn anialwch y gwelid y fath gymmeriadau ag a ddarlunia yr Iesu yma.

Adn. 9: "*Ai prophwyd?*" &c. "*A mwy na phrophwyd.*" Y mae yma radd esgyneg dlos i gyfarfod â syniadau y bobl: gwel St. Matthew xiv. 5. Nid corsen sigledig oedd; nid gwr moethus, llyfn ei ymadrodd, yn caru esmwythder, ond prophwyd nef eneiniedig, a mwy na phrophwyd, sef y cenad dwyfol a anfonwyd o flaen wyneb yr Arglwydd i'w gyhoeddi i'r byd, a'i gyssegru drwy Fedydd i'w weinidogaeth gyhoeddus.

Adn. 10: "*Wele yr ydwyf,*" &c., Malachi iii. 1.

Adn. 11: "*Yr hwn sydd leiaf,*" &c. Yn y Cyfieithad Diwygiedig darllenir, "Yr hwn nid yw *ond bychan* yn nheyrnas nefoedd," &c.; ac ar ymyl y ddalen, "*Yr hwn sydd lai*" (ὁ μικρότερος). Mae y rhai bychain oddi mewn i deyrnas nefoedd yn fwy na'r prophwyd mawr a chenad enwog oddi allan iddi. Er eu bod yn fychain yr oeddynt ar y ffordd i fwynhau ac amgyffred pethau mawrion. Y mae plentyn bychan yn uwch ei freintiau na gwas uchel ei safle a mawr ei ddysg.

Adn. 12: "*Treiswyr,*" &c. Yr oedd pregethiad Ioan Fedyddiwr wedi deffroi ysbryd ymchwiliad yn y genedl a'i chyffroi drwyddi. Meddiannesid y genedl ag awydd angerddol am weled y Messïah yn dyfod. Collasai y bobl gyffredin eu hamynedd bron yn ei ddysgwyl, ac yr oeddynt yn meithrin syniadau daiarol am y deyrnas. Yr oeddynt yn barod i gipio Crist a'i wneyd yn frenin, St. Ioan vi. 15. Nid y cymmwynaswr a ddarlunir yn adnod 5 a ddysgwylient, ond brenin rhwysgfawr yn dwyn y cleddyf.

Adn. 13: "*Canys yr holl brophwydi,*" &c.: gwel St. Luc xvi. 16. Yr oedd llygaid yr holl genedl ar y prophwydi a'r gyfraith hyd nes y daeth y cenad, Ioan Fedyddiwr, i bregethu—"Edifarhëwch, canys nesaodd teyrnas nefoedd." Cynhyrfodd y pregethiad yma yr holl genedl: gwel pen. iii. 5—7. Ymwthiai y lluaws i mewn yn llawn angerddoldeb a chyda'r fath benderfyniad, fel, pan eu siomwyd yn eu dysgwyliadau anianol am Grist, yr elent ar ol twyllwyr.

Adn. 14: "*Ac os ewyllysiwch ei dderbyn,*" &c. Y mae swn somiant tosturiol a gresyni sanctaidd yn y geiriau. Nid oedd y mwyafrif o'r genedl yn ewyllysio ei dderbyn. Yr oedd yr ewyllys yn llygredig ac yn dallu eu llygaid.

"*Efe yw yr Elïas,*" &c. Efe oedd y cenad dwyfol. Er fod St. Ioan yng ngharchar, nid oedd hyny yn lleihau grym ei neges.

Adn. 15: "*Y neb sydd ganddo glustiau,*" &c. Rhybudd difrifol ydyw hwn i ddyn ystyried tystiolaeth cenad Duw. Efe, sef Ioan, ydyw yr Elïas, y cenad dwyfol, edrychwch pa fodd y derbyniwch ei dystiolaeth: gwel Esaiah vi. 9.

CWESTIYNAU.

Pa le yr oedd Ioan yn y carchar? Pa gwestiwn a ofynodd i Grist? Pa beth a dybir oedd yn peri ddo anfon i ofyn y cwestiwn? Pa fath ateb ai roddes yr Iesu iddo? Pa fath weithredoedd a wnai Crist? Pa beth a barai i rai pobl dramgwyddo wrth ostyngeiddrwydd tawel ac addfwynder Crist? Pa beth a ofynodd yr Iesu am Ioan Fedyddiwr? Pa sut beth ydyw corsen? Pa fath gymmeriadau fydd yn gwisgo dillad esmwyth? Pa beth yw prophwyd? Pa fodd yr oedd Ioan yn fwy na phrophwyd? Adroddwch y brophwydoliaeth o Malachi am Ioan. Pa fodd y mae yr hwn sydd leiaf yn nheyrnas nefoedd yn fwy nag Ioan Fedyddiwr? Pa fodd yr oedd Iuddewon dyddiau Crist yn treisio teyrnas nefoedd?

GWERS XXX. RHAN II.

*St. Matthew xi. 16—19. Y genedlaeth anfoddog Darllener St. Luc vii. 31—35.*

ESBONIAD EGLURHAOL.

Adn. 16: "*Y genedlaeth hon.*"—Holl gorff yr oes hòno o'r genedl Iuddewig o'r uwchaf hyd yr isaf.

"*Plant yn eistedd,*" &c. Plant yn chwareu a dynwared yr hyn a welent yn fynych yn cymmeryd lle yn gyhoeddus.

Adn. 17: "*Canasom bibell,*" &c. Cerddoriaeth lawen priodasau.

"*Canasom alarnad.*"—Cerddoriaeth alarus claddedigaethau. Nid oedd y naill na'r llall yn eu boddhau.

Adn. 18: "*Daeth Ioan heb na bwyta nac yfed,*" &c.: gwel pen. iii. 4. Daeth Ioan yn Nasaread o'r groth (St. Luc i. 15), ac yn bregethwr llym i rybuddio y genedl i ffoi rhag y llid a fydd.

"*Y mae ganddo gythraul.*"—Dyfais hen a diweddar yw priodoli difrifoldeb meddwl a galluoedd anghyffredin dynion mawr a daionus i Satan neu wallgofrwydd: gwel St. Marc iii. 21; 2 Cor. v. 13. Priodolai yr Iuddewon gwargaled hunanymwadiad Ioan a'i fywyd meudwyaidd yn yr anialwch i ddylanwad yr ysbryd drwg.

Digitized by Google

Adn. 19: "*Daeth Mab y Dyn yn bwyta,*" &c. Daeth yr Arglwydd Iesu mewn dull diymhongar, gan ymddwyn yn dawel ac ymgymmysgu â dynion yn hollol naturiol, heb wneyd un arddangosiad o ympryd, na honiad o uwchafiaeth sancteiddrwydd fel y Phariseaid.

"*Wele ddyn glwth ac yfwr gwin,*" &c. Edrychai yr Iuddewon digred, daiarol eu syniad, ar Ioan ac ar yr Arglwydd Iesu gyda llygad cenfigenllyd, a chamddarlunient Ef. Y mae rhagfarn, a chenfigen, a dygasedd yn tywyllu y golwg a gwyrdroi y farn. Dyma yw gwir bla marwol y natur ddynol.

"*A doethineb a gyfiawnhawyd gan ei phlant ei hun.*" Ond er fod corff y genedl yn gwrthnysig gamddarlunio cymmeriad Ioan Fedyddiwr a'r Arglwydd Iesu, eto yr oedd rhai yn alluog i werthfawrogi y ddwy weinidogaeth—gweinidogaeth lem St. Ioan Fedyddiwr a gweinidogaeth dyner Crist. Doethineb Duw a drefnasai y ddwy oruchwyliaeth, ac yr oedd yr oll a dderbyniasant ddoethineb oddi uchod yn eu gwerthfawrogi. "Y mae yr hwn sydd o Dduw yn gwrandaw geiriau Duw," St. Ioan viii. 47.

SYLWADAU YMARFEROL.

Y mae yma wers ddifrifol i'r "treiswyr" a fynant fyned i mewn i deyrnas nefoedd yn eu ffordd eu hunain, a chario allan eu hamcanion yn eu ffordd eu hunain, gan wneuthur teyrnas nefoedd yn deyrnas iddynt eu hunain. Pobl lygadog yn gweled gwallau a beio ydynt. Ni foddhëir hwy gan na llon na lleddf, gan na gwasanaeth addurnol na gwasanaeth syml. Nid oes un weinidogaeth wrth eu bodd. Blinant dan weinidogaeth danllyd Ioan Fedyddiwr ac o dan weinidogaeth dyner, garuaidd yr Arglwydd Iesu. Y ffaith ydyw nas gallant *ymostwng* i rodio gyda Duw.

BARNU YN OL Y BREINTIAU.

Dyma farn y genedlaeth anfoddog gyndyn. Cenedlaeth y gweled beiau a'r condemnio, na fynent wrandaw ar Grist nac ar Ioan: darllener St. Luc x. 13—15.

Adn. 21: "*Chorazin a Bethsaida.*"—Dau bentref pysgota ar lan Môr Galilea oeddynt, a lle genedigaeth Pedr, Andreas, a Philip, a buasai eu manteision yn fawr.

"*Tyrus a Sidon.*"—Dwy ddinas fasnachol flodeuog ar lan Môr y Canoldir yng ngogledd Palestina. Cyhoeddwyd barn arnynt am eu pechodau gan y Prophwyd Esaiah (xxiii. ac Esec. xxvi., xxvii., xxviii.).

Adn. 22: "*Esmwythach fydd,*" &c.: gwel pen. x. 15.

Adn. 23: "*A thydi, Capernäum,*" &c. Buasai yr Arglwydd Iesu ei hun yn aros yn Capernäum, ac wedi cyflawnu llawer iawn o wyrthiau yno. Dyrchafesid y ddinas lwyddiannus hon hyd y nef o ran ei breintiau, ond disgynodd i ddyfnder uffern o ddinodedd a dinystr.

Adn. 24: "*Eithr yr wyf yn dywedyd,*" &c. Rhybudd difrifol ydyw hyn oll o'r perygl ofnadwy o ddiystyru breintiau a doniau Duw, St. Luc xii. 47, 48. Peth ofnadwy ydyw meddwl fod trigolion Capernäum, y rhai y darllenwn am danynt wrth y miloedd, yn myned ar ol yr Arglwydd Iesu i wrandaw ei eiriau a gweled ei wyrthiau, eto yn troi eu cefnau ar ei addysg ysbrydol, gan barhau yn anedifeiriol. Y mae yr un peryglon yn ein hamgylchu ninnau oll; ac o bob perygl, perygl y ddarllenfa, y pwlpud, a'r allor ydyw y mwyaf. Dyrchefir y weinidogaeth hyd y nef gan ei hedmygwyr: gocheler ymfoddloni ar yr allanol.

CWESTIYNAU.

Pa beth a feddylir wrth y genedlaeth hon? Wrth blant yn eistedd? I ba beth y cenid bibell? Pa bryd y cenid galarnad? Pwy oedd y pregethwr llym? Pwy y tyner? Pa beth a ddywedid am Ioan Fedyddiwr? Am Grist? Pa ham? Doethineb pwy a feddylir wrth "doethineb a gyfiawnhawyd"? I ba ddyben y llefarodd yr Iesu yr adnodau hyn? Pwy oedd yn beio? Pa ddinasoedd a rybuddir? Pa le yr oeddynt? Beth oedd eu breintiau neillduol? Pa beth ydyw ein perygl yng ngwyneb breintiau uchel?

GWERS XXX. RHAN III.

*St. Matthew xi. 25—30. Darllener St. Luc x. 21, 22.*

ESBONIAD EGLURHAOL.

Adn. 25: "*Yr amser hwnw.*"—Ar ddychweliad y deg a thrigain o bregethu (St. Luc x. 21) y bu hyn. Felly ystyr y geiriau "yr amser hwnw" ydyw y cyfnod hwnw. Pan ddechreuodd anghrediniaeth y rhai beilchion llawn ysbryd beirniadol ddangos ei hun drwy weled bai, dechreuodd ysbryd tawel y rhai mabol ddangos ei hun. Bydd y gwenith a'r efrau yn cyd-ddangos eu hunain wrth ffrwytho.

"*Atebodd yr Iesu.*"—Ateb i'w syniad mewnol ei hun. Yr oedd tòn o alar wedi myned dros ei enaid wrth feddwl am ysbryd anedifeiriol y lluaws, ond dychwela tòn o lawenydd i'w fynwes yn ol.

"*Yr ydwyf yn diolch,*" &c. (ἐξομολογοῦμαι). Dengys defnyddiad y gair yma fod cydgord cyflawn rhwng mewnol deimlad y Mab ag ewyllys ddwyfol y Tad

Digitized by Google

yn bendithio yr isel a gostyngedig. Mae y teimlad dynol llednais o blaid y rhai diymhongar.

"*Am i Ti guddio,*" &c. Nid y Tad oedd yn pwrpasol guddio gwirioneddau ysbrydol rhag un dosbarth, ond gwirioneddau i'w credu ar dystiolaeth seml ydynt. Balchder hunanol oedd yn dallu yr anghrediniol, 2 Cor. iv. 3, 4; St. Marc x. 15.

"*Y doethion a'r rhai deallus.*"—Deallus a doethion yn eu tyb eu hunain, ac mewn bydol bethau, a feddylir, 1 Cor. i. 19, 20.

"*A'u dadguddio o honot i rai bychain*" (νηπίοις). Rhai rhy ieuanc i siarad, 1 Cor. xiv. 20; Salm. viii. 2.

"*Mewn drygioni byddwch blant.*" "O eneu plant bychain a rhai yn sugno y perffeithiaist foliant."

Adn. 26: "*Felly y rhyngodd bodd i Ti.*"—O ewyllys da y Tad y deillia pob bendith. Ewyllys y Tad yma yw mai drwy feddiannu ysbryd ewyllysgar i ddysgu yr ennilla dyn wybodaeth ysbrydol. Diniweidrwydd ydyw un o nodweddion amlycaf gwir ddysgyblion Crist.

Adn. 27: "*Pob peth a roddwyd,*" &c. Rhoddes Duw bob peth a berthyn i'r ddaiar hon i ddyn yn ei greadigaeth drwy ei dad Adda (Gen. i. 26), a chynnysgaeddodd ef â chynneddfau a galluoedd meddyliol i gymmeryd meddiant o honynt a'u defnyddio; a rhoddes holl drysorau a chyfoeth moesol ac ysbrydol gras i ddyn drwy y Mab. Yn y Mab trysorir y cyfoeth ysbrydol oll, a chyfrenir hwn i ddynion drwy weinidogaeth yr Eglwys. Gall y rhai bychain ei dderbyn oll. Gesyd Duw ei holl gyfoeth at wasanaeth ei rai bychain, St. Matt. xxviii. 18.

"*Nid edwyn neb y Mab,*" &c. Nid adwaenai neb oedd yn edrych ar Grist Ef yn nirgelwch ei Berson a'i gymmeriad dwyfol. Y Tad yn unig a'i hadwaenai fel y Mab, ac Efe a dystiolaethodd am dano: "Hwn yw fy anwyl Fab," &c., St. Matt. iii. 17; xvii. 5. Y Tad hefyd oedd yn ei ddadguddio, St. Matt. xvi. 17; St. Ioan vi. 4, 5.

"*Ac nid edwyn neb y Tad ond y Mab,*" &c. Trwy yr Arglwydd Iesu Grist yn unig y gellir adnabod Duw. Trwy ymgnawdoliad y Person Dwyfol hwn y dadguddiwyd yr hanfod ddwyfol a'r cymmeriad dwyfol, St. Ioan i. 18; vi. 46; x. 15. Rhaid i ddyn gael cymhorth yr Ysbryd Glân i adnabod Crist, a thrwy Grist yr adnabyddir y Tad, 1 Cor. ii. 10.

GWAHODDIAD I'R BLINDEROG.

Adn. 28: "*Deuwch ataf fi,*" &c. Gwedi taflu golwg dros y bendithion a'r cyflawnder o honynt, dyma wahoddiad i'w mwynhau.

"*Blinderog a llwythog.*"—Dyma y rhai a wahoddir. Pa ham? Am mai hwynt-hwy yn unig sydd yn debyg o wrandaw. Nid i'r dosbarth "flinderog a llwythog" y perthyn y rhai hoff o feirniadu a beio. Pobl mewn angen ydynt o'r bendithion a ddyry Crist iddynt: gwel adn. 5. Y mae gan yr Arglwydd Iesu yn nhrysorfa gras falm ar gyfer pob clwyf.

Adn. 29: "*Cymmerwch fy iau arnoch,*" &c. Myned at Grist ydyw myned i ymgymmeryd â gwasanaeth rheolaidd. Y mae yr anifail arferol â'r iau wedi ei ddofi. Mae y pechadur a fyno esmwythder yng Nghrist yn dyfod i ymostwng dan ddysgyblaeth. "Os myn neb ddyfod ar fy ol i, cyfoded ei groes a dilyned fi," xvi. 24. Rhaid "ymwrthod â Diafol a'i holl weithredoedd," &c. (Catecism).

"*Dysgwch genyf,*" &c. Rhaid i ddyn gymmeryd ei ddysgu. "Gwnewch ddysgyblion o'r holl genedloedd gan eu dysgu," &c. "Gan ddysgu iddynt gadw pob peth a orchymmynais i chwi," St. Matt. xxviii. 20.

"*Canys addfwyn ydwyf.*"—Dysgwch chwithau addfwynder.

Adn. 30. "*Canys fy iau,*" &c. Wrth dynu i lawr iau pechod a baich trwm euogrwydd oddi ar war pechadur gesyd, Crist iau esmwyth a phleserus cariad arno yn ei le, a baich ysgafn cymmwynasgarwch a thosturi at ereill.

CWESTIYNAU.

Pa amser a feddylir wrth "yr amser hwnw"? "Atebodd yr Iesu" i ba beth? "Am i ti guddio," pa fodd y gellir dweyd fod Duw yn cuddio gwirioneddau dwyfol oddi wrth rai? Pwy oedd y rhai a elwir doethion a deallus? Pwy y rhai bychain? Pa beth a raid i ddyn gael i allu deall gwirioneddau ysbrydol? Pa fodd y gellir dweyd fod Duw yn rhoddi pob peth ar y ddaiar i ddynion? Profwch hyny. Pa fodd y gall eu meddiannu? Drwy bwy y daw pob bendith ysbrydol? Profwch o'r Beibl nad oedd neb yn adwaen Iesu Grist fel Mab Duw heb i'r Tad ei ddadguddio; ac na ellir adwaen y Tad ond trwy Iesu Grist.

GWERS XXX. RHAN IV.

*St. Matthew xii. 1—13. Darllener St. Marc ii. 23—28; St. Luc vi. 1—5.*

EGWYDDOR CADWEDIGAETH Y SABBATH.

Adn. 1: "*Yr amser hwnw.*"—Yr adeg hòno. Nid yw yr ymadrodd i'w ddeall am amseriad manwl, fel pe cymmerasai y dygwyddiad a nodir nesaf le yn uniongyrchol ar ol y pethau diweddaf.

"*Ar y dydd Sabbath.*"—Sonir yma am yr hyn a

Digitized by Google

wnaed ar ddau Sabbath: gwel adn. 9, 10; a St. Luc vi. 1—5.

"*Ddechreuasant dynu tywys*," &c. Yr oedd hyn yn gyfreithlawn ynddo ei hun," Deut. xxiii. 24, 25.

Adn. 2: "*Nid yw rydd ei wneuthur ar y Sabbath.*" —Cyfyngiad o draddodiad dynion, sef y blaid Pharisеaidd, oedd hyn. Mynent hwy fod tynu y tywys ar y Sabbath yn halogi ei gyssegredigrwydd.

Adn. 3: "*Oni ddarllenasoch pa beth a wnaeth Dafydd?*" Gwel 1 Samuel xxi. 6.

"*Pan oedd chwant bwyd arno.*"—Yr oedd Dafydd a'i gymdeithion dan wasgfa yn newynog ac mewn perygl bywyd.

Adn. 4: "*Aeth efe i dŷ Dduw, ac y bwytaodd y bara gosod,*" &c. Aeth i dŷ Dduw, lle cyssegredig: cymmerodd oddi yno y bara cyssegredig oedd wedi ei neillduo i'r offeiriaid, a bwytaodd hwnw yn groes i drefn y gyfraith, Lefiticus xxiv. 6—8. Dyma enghraifft i ddangos fod angen dyn i wrthbwyso ordinhâd seremonïol.

Adn. 5: "*Oni ddarllenasoch yn y gyfraith?*" &c. Elai yr offeiriaid drwy eu gwasanaeth a'r gwaith o ladd ac aberthu y ddau oen blwydd, a chymmysgu y peilliaid a'r ddiod offrwm bob Sabbath fel diwrnod arall (gwel Numeri xxviii. 9, 10), ac eto nid oeddynt yn pechu. Dyma i ni enghraifft arall o ordinhâd grefyddol yn gwrthbwyso gorchymmyn seremonïol. Yr oedd cyssegredigrwydd y deml, a'r offeiriadaeth, a'r addoliad yn uwch na chyssegredigrwydd y Sabbath.

Adn 6: "*Fod yma un mwy na'r Sabbath.*"—Yn llythyrenol, "Eithr yr wyf yn dywedyd i chwi, fod yma *fwy peth* na'r Sabbath." Mae y cyfeiriad fel hyn yn fwy cuddiedig. Y mae yma *fwy peth*. Pa beth a all hyny fod? (1) Yr egwyddor ysbrydol a ddadguddir yn yr adnod nesaf; (2) Crist ei hun fel cynnrychiolydd yn cario allan ac egluro yr egwyddor.

Adn. 7: "*Trugaredd a ewyllysiaf?*" &c., Hosea vi. 6; St. Matt. ix. 13. Dyma gyfreithloni y weithred ar yr egwyddor o drugaredd. Ar *seiliau* trugaredd y gwneir pob aberth, ac o dan *gymhellion cariad*. Cariad a thrugaredd sydd yn dyrchafu aberth. Nid oes un egwyddor foes-ddyrchafol yng ngweithred yr Hindw a deifl ei hunan o dan olwynion cerbyd ei eilun dduwiau; ond y mae egwyddor foes-ddyrchafol yng ngweithred y merthyr, fel St. Stephan, a saif dros y gwirionedd, ac yng ngwroldeb y morwr a beryglo ei einioes i achub ereill. Gall trugaredd estyn ei llaw i achub rhag trueni yn awr angen hyd yn nod ar draws seremonïau o osodiad dwyfol.

Adn. 8: "*Canys Arglwydd ar y Sabbath,*" &c.: gwel St. Marc ii. 27. "Mab y Dyn" yw ac er mwyn dyn y cyssegrwyd y Sabbath i weinyddu lles uchaf dyn. Yr oedd ei bresennoldeb Ef yn ddigon o awdurdod i gyfreithloni gwaith ei ddysgyblion. Y mae yma honiad personol uchel, ac y mae yma brophwydoliaeth guddiedig. Ar sail adgyfodiad Mab y Dyn o'r bedd fe newidiwyd y Sabbath o'r "seithfed dydd" i'r "dydd cyntaf o'r wythnos," a dyma orphwysfa yr Eglwys Gristionogol. "Dydd yr Arglwydd" ydyw mwyach.

Adn. 9: "*Aeth i'w synagog hwynt.*"—Ar Sabbath arall y bu hyn, fel y gwelir yn eglur yn yr efengyl yn ol St. Luc (vi. 6).

Adn. 10: "*A hwy a ofynasant iddo,*" &c.: gwel St. Luc xiii. 14; xiv. 3. Beirniaid llygad agored y gweled beiau oedd yma. Condemnient iachâu ar y Sabbath dan yr esgus y gallai y cleifion fyned at Grist yn ystod y chwe dydd (St. Luc xiii. 14) i'w hiachâu. Credwn mai yn erbyn cymmeryd golwg ysbrydol a dwyfol ar wyrthiau Crist y chwerwai y Phariseaid. Ceisient ddarostwng gwaith Crist i safle dewin a meddyg dwyreiniol. Lladd ysbrydolrwydd oedd eu nod.

"*Fel y gallent achwyn arno.*"—Drygionus oedd eu hamcan.

Adn. 11: "*Pa ddyn o honoch,*" &c. Dyma appeliad at arferiad yr oes, synwyr cyffredin, gofal am eiddo, a thynerwch at anifail mud. Y mae yn debyg i'r Arglwydd Iesu ei ddefnyddio fwy nag unwaith.

Adn. 12: "*Pa faint gwell,* &c. Os gwneir trugaredd â'r lleiaf, oni wneir â'r mwy?

Adn. 13: "*Estyn dy law,*" &c. Dyma alw am ymdrech ffydd ac ewyllys barod yn y dyoddefydd. Cydredai a chydgordiai ewyllys dyn yn ei angen ag ewyllys Crist yn ei drugaredd, er llwyr iachâd. Dyma drefn gras i ddyn weithio allan ei iachawdwriaeth, Philip. ii. 12, 13.

#### SYLWADAU ADDYSGIADOL.

1. Er mwyn lles dyn y cyssegrwyd y Sabbath. I ysgafnhau baich llafur ei trefnwyd yn benaf, Deut. v. 14, 15. Bu cyssegredigrwydd Dydd yr Arglwydd a'r gwyliau Eglwysig yn esmwythâd dirfawr i gaethweision Ewrop a rhanau o Asia ac Affrica yn yr oesoedd boreu a chanoloesoedd. 2. Y mae troi Dydd yr Arglwydd yn bleser-wyl, fel y gwneir ar y cyfandir, yn amddifadu y gweithiwr caled o'i fudd, ac yn halogi y diwrnod, gan ei droi yn gyfleusderau llygredd. 3. Gweithredoedd o angen a thrugaredd yn unig sydd gyfreithlawn arno; a (4) dyledswyddau crefyddol addoliad y Goruchaf sydd yn ei wir ddyrchafu a'i wneuthur yn ddwbl-gyssegredig.

Digitized by Google

OWESTIYNAU.

A oedd gyfreithlawn i unrhyw rai dynu tywys o gae yd cymmydog i'w bwyta? Am ba ran o'r gwaith y gwelai y Phariseaid fai? Pa beth a wnaeth Dafydd? Pa beth oedd y bara gosod? Pwy oedd i'w fwyta? Pa beth oedd yn gwasgu ar Dafydd? Pa beth oedd yn cyfreithloni y weithred? Pa beth a wnelai yr offeiriaid ar y Sabbath? Ym mha le y gwnaent hyny? Pa sawl oen a aberthent? Beth ydyw y wers i'w dysgu oddi wrth waith yr offeiriaid? Pwy oedd yn y fan hòno yn fwy na'r Sabbath? Pa un fwyaf yng ngolwg Duw, ai trugaredd ai seremoni? Er mwyn pwy y trefnwyd y Sabbath? Pwy sydd yn Arglwydd arno? Pa fodd y dangosodd hyny? Pa beth a wnaeth Efe ar Sabbath arall? Pwy oedd yn ei wylio? Pa fodd y cyfreithlonodd ei waith yn iachäu? Pa beth a orchymmynodd Efe i'r dyn claf? Pa beth felly ydyw ammodau iachâd pawb?

---

## ELLIN HUMPHREYS, NEU "IEUO YN ANGHYMHARUS."

YR oeddwn yn adwaen Ellin Humphreys, Glan yr Afon Fawr, yn dda. Yr oedd wedi gweinidogaethu am bedair blynedd ar ddeg am y terfyn a'n tir ni. Dynes lân, lawen, siriol oedd Ellin Humphreys lawer blwyddyn yn ol. Adwaenwn hi ym mhell cyn i mi briodi fy hun, ac y mae hyny er ys cryn amser. Cyn myned o honi i weinidogaethu i Lan yr Afon Fawr, yr oedd wedi bod amryw o flynyddoedd yng Ngwredog Isaf, ac ystyrid hi y llaethwraig oreu yn y plwyf. Ymfalchïai yn ei buches, èi llaethdy glân, a'r basgedeidiau ymenyn "ffres" a anfonai i farchnad y Ddinas bob Sadwrn. Yr unig beth oedd yn milwrio peth yn erbyn defnyddioldeb Ellin Humphreys a difa llawer o'i chysur oedd ei thymmerau tanllyd. Pan dramgwyddai y peth lleiaf hi elai yn wenfflam o ddigofaint mewn mynyd. Yr oedd yn anhawdd dros ben i'w boddio hefyd mewn pethau mân, dibwys. Mewn gwirionedd, yr oedd yn anghysurus o fanwl mewn rhai pethau. Ond wedi'r cyfan, dynes dda ragorol oedd, ac yr oedd ei hen feistres yng Ngwredog Isaf wrth ei chymmeradwyo yn *housekeeper* a llaethwraig i'w brawd, yr hwn oedd hen lanc, clyd ei amgylchiadau yng Nglan yr Afon, wedi dweyd fod "Ellin Humphreys yn werth gadael iddi gael ei ffordd ei hun." Gadael iddi gael ei ffordd ei hun a wnaeth yr hen lanc, ac ni siomwyd ef yn Ellin. Byddai ei dŷ bob amser yn lân, y bwyd ar y bwrdd yn ei bryd, a gwas a morwyn yn dawel gyda'u gorchwylion o fewn terfynau awdurdod yr *housekeeper* a llaethwraig.

Yr oedd Ellin yn bedair ar hugain oed yn myned i wasanaeth i Lan yr Afon Fawr; yn ddynes dal, luniaidd, gref, a heinif, ac oddi eithr arddangosiad o dra awdurdod ac uchel dybiaeth am dani ei hun, yr oedd yn hardd a denol ei phryd. Bu mwy nag un o ffarm-weision llygadog, ac un mab ffarmwr galluog, yn ymwasgu i geisio ei chwmni a chymdeithas. Ond eu troi draw a wnai Ellin yn lled ddigroesaw.

Yr wyf yn cofio yn dda am un "mab gweddw," ffarmwr o ychydig bellder, a chyfaill mynwesol i Humphrey Owen, Glan yr Afon, iddo fod am flynyddoedd yn stelcian ar ledol Ellin Humphreys, gan geisio "siarad" â hi. Yfodd lawer o dê yn Glan yr Afon dan yr esgus o edrych am Mr. Owen, pan mewn gwirionedd y byddai ei lygaid ar ol pob symmudiad o eiddo Ellin Humphreys, ac arferai yn barhäus ganmol bara ac ymenyn, caws a thê yr *housekeeper*. Gwyddai pawb ond Mr. Owen pa beth oedd prif amcanion ei negesau, ac aeth si a son fod Ellin yn debyg o briodi y "mab gweddw" arianog hwnw. Ac yn wir, yr oedd ganddi gryn feddwl o hono. Yr oedd yn ddyn caredig a chymmwynasgar, ond lled dawedog ac enciliedig, ac arferai ymwisgo yn hen ffasiwn, fel y dywedir. Gwisgai esgidiau heb aswy a deheu arnynt, wedi eu gwneyd ar bren ysgwâr, gan eu newid bob dydd o'r naill droed i'r llall er mwyn eu gwisgo yn wastad, ebai efe. Yr oedd blaen yr esgid felly yn lled lydan, a galwai bechgyn direidus ef William traed llydain. Gwisgai het ffelt a chantel mawr hefyd, a chot las a gwyn o frethyn cartref. Er fod Ellin yn ddigon hoff o'r *dyn* ac yn hysbys o'i werth, nid oedd yn hoffi y dillad, ac awgrymodd hyny iddo fwy nag unwaith. Chwarddai yntau dan ei beirniadaeth.

Ar nawn un o ffeiriau y Ddinas cafodd William, y mab gweddw, gyfleusdra i fyned adref gydag Ellin yr holl ffordd, tua dwy filltir, i Glan yr Afon; a gwasgodd arni am ateb i'w fynych ymgais am ei chwmni, gan awgrymu priodas, a bu bron iddi hithau gydsynio, er gwaethaf y dillad hen ffasiwn a'r duedd dawedog; ond gofynodd am amser i ymgynghori â'i mam. Pa fodd bynag, cyn iddi gael ymgynghori â'i mam, daeth merch Gwredog Isaf i Lan yr Afon i edrych am ei hewythr, ac yr oedd wedi cyfarfod ag Ellin ar ei ffordd adref o'r ffair. Gwnaeth yr eneth gellweirus dipyn o ddifyrwch ysgafn, chwarëus, a difeddwl ar draul y mab gweddw, gan ei alw yr hen dad Adda â'r traed ysgwâr. Er

nad oedd gan yr eneth ddireidus un amcan i ddyrysu amcanion William Llwyd, y mab gweddw, ac nad oedd yn meddwl ei fychanu, parodd i Ellin gywilyddio meddwl ei briodi. Yr oedd yn gwisgo yn rhy *aflêr* iddi hi. Pan aeth adref at ei mam yr oedd William Llwyd wedi bod yno o'i blaen, a chyda'i ffarm lawn a'i ymddygiad bucheddol syml, heb na smocio, cnoi tybaco, na byth yn myned i dafarn, yr oedd hi yn tybio ei merch yn ffodus dros ben ei bod wedi ennill serch y fath ddyn. Ond ofer oedd barn mam. Yr oedd Ellin wedi gwneyd ei meddwl i fyny, ac atebodd yn benderfynol na fynai ymbriodi ag ef.

Gwasanaethodd yn ffyddlawn yng Nglan yr Afon, tra y bu yr hen lanc, Mr. Owen, yn fyw, a chan ei bod yn drefnus a chynnil a'i chyflog yn dda, yr oedd ei chyfrifon yn y banc yn foddhäus dros ben. Pan fu farw Mr. H. Owen ac y darllenwyd ei ewyllys, yr oedd yno gant a deugain punt wedi eu gael i Ellin Humphreys, sef deg punt ar gyfer bob blwyddyn o'i gwasanaeth. Daeth perthynasau i'r hen lanc ymadawedig i fyw i Lan yr Afon Fawr, ac aeth Ellin i wasanaeth boneddwr o *excise officer* yn y gymmydogaeth, ond ni allodd ddygymmod â'i wraig yn hir. Yr oedd wedi arfer llywodraethu, ac ni fynai ufuddhau. Bu yr un mor anffodus mewn dau neu dri o leoedd da ereill.

Ar yr un pryd yr oedd gwr gweddw ac iddo ddau o blant yn gwylio ei chamrau yn barhäus, ac mewn ysbryd gwasaidd a chyda thafod gwenieithus yn gwastad geisio ennill ei hewyllys da a'i serchiadau, ac yr oedd arwyddion ei fod yn llwyddo. Yr unig fai oedd gan Ellin Humphreys yn Edward Evans y *builder* oedd ei fod yn lled hoff o'r dafarn. Ond ymesgusodai yntau yn wastad ei fod yn amddifad ac unig, a'i dŷ yn ddigysur ar ol colli mam ei ddau blentyn ieuainc. Yr oedd gan Ellin Humphreys galon dda, dyner, o dan ymddangosiad allanol lled arw, a thosturiai wrth blant amddifaid Edward Evans o dan amgeledd, neu, a siarad yn gywir, ddiffyg amgeledd morwyn ddifeddwl ac aflêr.

Dywedai hen athronydd fod cariad pur bob amser yn dechreu mewn tosturi. Felly y bu gydag Ellin: tosturiodd wrth y ddau blentyn amddifaid, a thosturiodd wrth eu tad, yr hwn a dywalltodd lawer deigryn wrth son am eu mam wrthi ac adrodd ei golled; a phan yn ei gweled hi yn meddalu, dywedai nad oedd neb ar y ddaiar ond hi a allai lenwi y bwlch yn ei aelwyd ddedwydd gynt. Er fod Ellin yn ofni yr arferai Edward Evans fynychu y dafarn yn rhy aml, eto nid oedd yn feddwyn, a chan ei bod yn gweled ei hun yn ddigartref, ac heb fod ganddi flas i wasanaethu mwy, fe wrandawodd ar eiriau gwastad ac addewidion denol y *builder*.

Felly ymbriododd ag ef, a gwnaeth ef yn gyfoethocach o bum cant o bunnau ar ddydd ei briodas. Ni bu erioed ddedwyddach dyn nag Edward Evans ar ddydd ei briodas. Yr oedd ganddo amryw o dai mewn enw o feddiant eisoes, ond wedi eu hadeiladu gydag arian o Gymdeithas Adeiladu Caer Caledfryn. Er ei fod yn derbyn ardrethoedd y tai, yr oedd yn talu llawn mwy i'r gymdeithas, ac yr oedd rhai o daliadau hon ar ol. Yn lle dweyd fel dyn gonest pa fodd y safai rhyngddo a'r tai, nid ynganasai Edward Evans air am y ddyled arnynt, ac ni chymmerodd drafferth ar ol priodi i egluro i Ellin mai *speculation* oeddynt, a'i fod wrth dalu i'r gymdeithas yn dyfod yn feddiannwr yn araf o'r tai. Yn lle hyny, ceisiodd ganddi godi ei harian o'r banc, a'u hymddiried yn ei alwedigaeth ef fel *builder* i godi tai newyddion. Dechreuodd hithau ei ddrwgdybio. Ar ol iddo ei thwyllo mewn dau neu dri o bethau, ni chredai ef mewn dim. Poenid hi yn ddirfawr wrth weled galwadau am ol-ddyled o'r Gymdeithas Adeiladu, a chododd hanner can punt o'i harian o'r banc, a thalodd yr oll. Dygodd hyn haul-wenau mwynhâd i mewn i'r tŷ dros ennyd, a thybiodd Ellin ei bod wedi dyfod allan o'r siglenydd, a chael ffordd sech dan ei thraed. Trefnodd y tŷ yn gysurus, gwisgodd yn dda am y ddau blentyn; cadwodd hwy yn lanwaith, ac ymddangosai gwrid iechyd ar eu gruddiau a llonder serchoglawn yn eu llygaid. Daeth y ddau blentyn yn fuan i garu eu llysfam; ac ymddangosai Ellin ei hun yn fwy dedwydd nag y buasai er pan adawsai ei gwasanaeth yng Nglan yr Afon. Yr oedd wedi dwyn dodrefn da o'r eiddo ei hun i lenwi parlwr cysurus, a gosod y tŷ allan yn llawn a pharchus.

Yng nghanol yr hawddfyd hwn galwodd gwr o estron, ond o drwsiad trefnus ac ymddygiad moesgar, yn ei thŷ, gan ofyn am Mr. Evans. Hysbyswyd ef nad oedd Mr. Evans yn y tŷ. Atebodd yntau fod Mr. Evans wedi gwneyd ammodau ag ef i'w gyfarfod yno ar *fusnes* neillduol y prydnawn hwnw. Gwahoddwyd y dyeithryn i mewn ar seiliau yr ammodau hyny, ond nid oedd Mr. Evans yn dyfod adref, a gwyddai Ellin nad oedd i'w ddysgwyl am rai oriau yn ol ei addewid wrthi hi. Wrth ei weled yn oedi, tynodd y gwr dyeithr lyfryn ysgrifenu a phensil o'i boced, a dechreuodd gymmeryd i lawr enwau y cloc, *sofa, chest of drawers, pier-glass*, &c., yn yr ystafell, tra yr edrychai Ellin yn syn arno. Yna gofynodd y gwr dyeithr a gai efe weled y gegin ac ystafell wely neu ddwy. Y peth cyntaf a ddaethai

Digitized by Google

i feddwl Ellin oedd fod y gwr dyeithr yn wallgof, ac yr oedd ei llaw ar y drws pan ofynodd efe iddi am y gegin, yn amcanu agor i'w gymhell ef allan. Ond yma troes ac edrychodd yn ddigofus arno gan ofyn, "Pa *fusnes* sydd genych chwi i ddyfod i'm tŷ yn absennoldeb fy ngwr, a chymmeryd i lawr *inventory* o'm dodrefn, a gofyn am weled y gweddill, hyd yn nod dodrefn fy ystafell wely?" "Maddeuwch i mi, wraig dda," atebai y dyeithryn, yn hollol ddigyffro. "Prisiwr trwyddedig (*appraiser*) ydwyf fi, wedi cael fy anfon o Gymdeithas Arianol Caer Caledfryn. Y mae Mr. Evans wedi rhoddi ei enw yn feichiau i Mr. David Griffith, Ty'n Rhos, am hanner can punt i'w talu ar bedwar taliad mewn dwy-flynedd." "Syr," ebai Ellin, â'i dau lygaid yn fflamio, "nid ewch gam ym mlaen, ond allan i'r drws ar unwaith. Fy eiddo fi ydyw y dodrefn yma oll, ac ni chyfyd neb geiniog byth ar eu pwys." Gwenodd y gwr dyeithr, a moesymgrymodd, gan ddweyd mai gwaith annymunol iddo oedd aflonyddu ar heddwch gwr a gwraig, ond y byddai yn rhaid iddo hysbysu Mr. Evans pa fath dderbyniad a gawsai." Ymgrymodd ac aeth ymaith, gan adael Ellin, druan, yn berwi o ddigofaint.

Treuliodd brydnawn hir, blinderus, yn dysgwyl am chwech o'r gloch i Edward Evans ddyfod adref. Daeth chwech o'r gloch o'r diwedd, ond ni ddaeth Edward Evans. Daeth saith o'r gloch, a gofid yn croni o amgylch calon Ellin ond heb un gollyngdod. Rhoddes y ddau blentyn diniwed yn eu gwely. Safodd uwch eu penau yno yn dysgwyl clywed swn troed, cusanodd hwy, a gafaelodd yr eneth ieuengaf am ei gwddf gan ei chusanu yn ol dros ei holl wyneb. Ond gollyngodd ei gafael yn sydyn gan ddweyd, "Mam, beth ydyw'r dwr poeth yma sydd yn rhedeg o'ch llygaid?" Ië, dagrau llosg oedd yn rhedeg o lygaid Ellin, ac eisteddai cwmwl du ar ei holl obeithion. Eto, dechreu-nos ei thrallod oedd. Aeth Ellin i lawr wedi ail-feddiannu ei hunanlywodraeth, a chan na allai fod yn segur cymmerodd ei gwaith gwnïo yn ei llaw, ac ymosododd arno â'i holl egni. Felly treuliodd dair awr ar ol rhoddi y ddau blentyn i orphwys, ac ar ddeg o'r gloch deuai Edward at y drws; a phan ddaeth i mewn ymddangosai yn gynhyrfus ryfedd, ynfyd ei olwg, ac eto â chilwg fygythiol arno, ac edrychiad llechwrus, creulawn yng nghil ei lygaid. Eisteddodd yn swrth ar gadair wrth y tân, a thaflodd ail-edrychiad haerllug, brwnt ar Ellin, nes teimlai ei chalon yn troi o'i mewn. Y gair cyntaf a ddywedodd oedd, "Fi ydyw'r pen; fy nhŷ i ydyw hwn; a fy nodrefn i; ac nid oes yma neb i fod yn feistres tra y byddaf fi byw." "Y mae yn feddw," ebai Ellin wrthi ei hun, "beth a wnaf? ni welais ddyn meddw yn yr un tŷ a mi erioed—beth a wnaf?" Ac yna heb ei ateb, daeth â bwyd o'i flaen. Bwytaodd yntau ychydig; ac yna troes y cwbl heibio, ac edrychodd yn llym arni, gan synu ei bod mor ddystaw, a chan feddwl ei fod wedi ei dychrynu a gorchfygu, aeth i'w wely, a thybiodd hithau ei fod yn cil-wenu yn oruwchafiaethus wrth adael y gegin. Rhoddes hithau glo ar y drws, ac aeth i'r gwely at y ddau blentyn: cymmerodd yr ieuengaf i'w mynwes yn ei gwsg, ac wylodd ei hun i gysgu. Hi a wyddai ei bod ei hun yn debyg o fod yn fam, a theimlai yn rhyfedd, ond ni allai feddwl bod yn yr un gwely â dyn meddw.

Daeth y boreu dranoeth—dranoeth trallodus, cymylog, a du. Cyfododd Edward Evans â gwg bygythiol ar ei ael, a chyfododd Ellin â'i chalon yn ddolurus. Parotôdd ei frecwast yn ddystaw, ond ni chyfeiriodd at ddygwyddiadau annymunol y dydd o'r blaen. Yr unig air a ddywedodd oedd wrth iddo groesi y rhiniog, "Deuwch adref, Edward, ar eich union heno. Os bydd raid i mi fyned drwy yr un brofedigaeth eto ag yr aethym drwyddi ddoe, bydd arnoch eisieu gwraig arall yn fuan." Taflodd yntau gipdrem oruwchafiaethol, galed, arni yn wysg ei ochr, ac atebodd, "Pan fydd genyf wraig wedi dysgu ufudd-dod, a pharchu fy ngorchymmynion yn lle fy narostwng ger bron fy nghyfeillion, mi a wnaf fy nghartref ar fy aelwyd fy hun." Yna aeth ymaith.

Nid hir y bu Ellin heb i gymmydoges, hen gydnabod iddi, ddweyd hanes Edward Evans gyda'i wraig gyntaf; ei hanes yn y tafarnau; ei ynfydrwydd yn myned yn feichiau am arian i ddynion ofer ac anonest. Cafodd ar ddeall mai dyn ystyfnig, trahäus, ac afrywiog ei dymmerau oedd yn ei dŷ ei hun, ond dyn siriol, llawen, yng nghwmni y dafarn. Mewn gair, yr oedd yn "angel penffordd a chythraul cil y pentan." Ar ymweliad nesaf Ellin â'r banc, dywedwyd wrthi fod ei gwr wedi bod yno yn ceisio codi rhan o'r arian, ac y gallai eu codi o dan y gyfraith, fel yr oedd yr amser hwnw, os deuai â phrofion o'i briodas. Gofidiodd hyn Ellin yn waeth fyth. Dechreuodd ymrafaelion gyfodi gartref. Gwedi hir ymgyndynu ac i Edward Evans ddyfod adref lawer gwaith yn feddw a bygwth gosod ei ddyrnau ar Ellin, aeth y ddau i'r banc drwy gytundeb, a chodwyd yr oll o'r arian. Rhoddes Ellin gant a hanner i dynu ei gwr o bob dyled, a chadwodd y gweddill mewn aur a banc nodau yn barod i fyned ymaith o olwg Edward Evans. Ond ni allai deimlo ar ei chalon adael ei ddau blentyn, a gwyddai y byddai hithau yn fam cyn pen hir. Felly cadwodd yr arian yn y tŷ; ond lleihau yr oeddynt,

Digitized by Google

a hithau yn prysur dori ei chalon. Daeth amser ei phrofedigaeth a dysgwyliad o lawenydd ar ol hyny. Bu yn galed, galed arni; ac yr oedd ei baban yn gorff, a hithau heb fod nemawr gwell. Ychydig iawn o haul-wenau gwedd wyneb ei gwr a gawsai yn ei gwendid mawr; ond yr oedd ei eneth leiaf, pedair oed bellach, wedi dringo llawer ar ei gwely, a chusanu ei gwyneb llwyd a gwelw. Hi oedd yr unig flodyn tyner, peraroglus, a dyfai o'i hamgylch. Yn wir, yr oedd y brawd bach yn burion, ond nid oedd mor llawn o anwylderau a'r blwch parablus eneiniedig o chwaer oedd ganddo.

Ar ol chwech wythnos o wendid a gwaeledd, ac unigedd blinderus, dechreuodd Ellin ail ymlwybro o gylch y tŷ, a daeth galwad i dalu bil y cigydd. Aeth fel arfer i'r *drawers*, lle y cedwid yr arian i'w hymofyn, ond nid oedd yno geiniog. Teimlodd saeth yn brathu drwyddi, ond troes y negesydd heibio gan ddweyd y telid pan ddeuai Mr. Evans adref. Teimlai Ellin yn dlawd a gwael yn ei thŷ ei hun, a phan ddaeth Edward Evans adref gofynodd pa le yr oedd yr arian. Yr unig ateb a gafodd oedd, "Y maent dan fy ngofal i." Nid oedd waeth beth a ymholai, yr un ateb trahäus a sarig a dderbyniai, O'r diwedd, wrth iddi hir ofyn cwestiynau dywedodd. "Pan yn eich priodi chwi priodais eich arian hefyd, a myfi a'u piau." Teimlai hyn yn archoll angeuol i'w holl obeithion. Ymollyngodd dano. Aeth dranoeth heb ofalu beth a ddeuai o honi i olchi a thaenu dillad a'r hin yn oer. Cafodd annwyd trwm, yr hwn a droes yn ddarfodedigaeth cyflym. Cyn pen y ddau fis yr oedd Edward Evans yn weddw yr ail waith; ac anaml y gwelwyd gwr yn wylo yn chwerwach wrth fedd gwraig nag y gwnai efe. A sylwodd Evan Dafydd, Gwredog Isaf, wrth fyned adref o'r cynhebrwng fod llawer yn wylo yn chwerw ar ol y wraig farw, heb ddangos nemawr o barch iddi yn fyw.

Saif ei bedd digoffa wrth ystlys canghell Eglwys Llanddinod, ond gwelir arno rosyn gwyn neu pwysi o friallu lawer Sul wedi ei osod gan eneth fechan a'i geilw, "Bedd ei mam."

Yr eiddoch,

MARGARET HUGHES.

---

Ymffrostiai un wrth *Aristippus* faint o lyfrau oedd wedi eu darllen, pan atebodd yr hen athronydd, "Nid y rhai sydd yn bwyta mwyaf yw yr iachaf a'r cryfaf, ond y rhai sydd yn treulio yr hyn a fwytânt."

Gall y galon fod yn glwyfus heb i'r llygaid fod yn wlyb.

## LLAN CWM AWEN: NEU DDEFFROAD EGLWYSIG HANNER CANRIF YN OL.

(*Parhâd o dudalen 178*).

### PENNOD XII.

*Ymweliadau Plwyfol.*

YR wythnos ganlynol caed rhew dystaw, a dechreuodd Llewelyn Llwyd ac Angharad ymweled â'u plwyfolion newyddion, gan ymdrechu ymgydnabyddu â hwy, a chaent dderbyniad siriol a chroesawgar ym mhob man. Derbynid hwy fel boneddigion caredig ym mhob man bron gyda pharch ac ymostyngiad enciliedig, ond ni ellid tynu nemawr un i ryddymddyddan crefyddol ymddiriedol. Ymddangosent yn gochel cyffyrddiadau ysbrydol. Mewn un teulu yn unig y caed rhydd-ymddyddan, ac yr oedd hwnw, os nad yn adeiladol a dyddorol, o leiaf yn newydd iawn. Aethpwyd yn ddamweiniol i dŷ gwëydd o'r enw Thomas Evans, ond a adnabyddid yn gyffredin dan yr enw, "Didymus o'r Cwm," a gwelodd Llewelyn Llwyd ei fod o gymmeriad tra hynod. Ar gyfarchiad moesgar cyntaf yr offeiriad newydd, atebodd Thomas Evans mewn Cymraeg mor gywir, llawn ei eiriad, priodol ei aceniad, a chlasurol, os goddefir yr ymadrodd, nes synu yr ymwelydd. Fel yr elai yr ymddyddan ym mlaen, cadwai y gwëydd at yr arddull glasurol—Cymraeg Beiblaidd, fel y gellir dweyd, yn hollol rwydd a diymdrech, nes braidd yr ofnai Llewelyn Llwyd ei ateb. Ac am Angharad, glynasai ei thafod wrth daflod ei geneu. Ofnai ddyfod â gair o'i llediaith floesg a phlentynaidd allan yng nghyssegr urddasol duwies Awen a Gramadeg. Buasai Mercury ei hun yn ofni agor ei eneu yno. Sylwodd Angharad fod y pen o'r tŷ a gymmerasai y gwëydd yn weithdy yn llawn mân estyll, lle yr oedd llyfrau a phriciau edafedd a phelleni wedi eu gosod yn gymmysg â'u gilydd oddi amgylch. A mentrodd yn Seisoneg gyfeirio sylw ei phriod atynt. Edrychodd Thomas Evans o'i amgylch â'i wyneb yn tewynu o falchder a boddhâd, ac atebodd mewn Seisoneg hynod o gywir, ond beth yn afrwydd, "Y mae genyf *rai* llyfrau yma, ac yr wyf yn dra hoff o honynt."

Estynodd rai llyfrau i lawr, ac yn eu mysg weithiau Shakespeare, Milton, Dryden, Blackstone, Bacon, Jonathan Edwards, Gurnal, Virgil, Cesar, Testament Groeg, &c. Mewn gwirionedd, yr oedd ganddo fath o gymmysgedd o lyfrau ysgolion, llyfrau barddoniaeth, duwinyddiaeth, llyfrau doctoriaid, a llyfrau y gyfraith, Cymraeg, Seisoneg, Lladin, a Groeg, ac nis gwyddai Llewelyn Llwyd pa faint o ieithoedd ereill.

Digitized by Google

Deallodd yr offeiriad newydd yn fuan fod y gwëydd yn ddarllenwr mawr a diwyd iawn—ei fod yn dra gwybodus—yn dra hunanol—yn dra rhagfarnllyd, ac yn barod i fesur a phwyso, condemnio a chollfarnu, a gwrthod pob peth bron ond ei eilunod ei hun. Wedi tori, garw megys yn yr ymddyddan ar faterion addysg a doethineb yr oesau a fu, aeth Llewelyn Llwyd mor bell at bethau personol a dyweyd, "Mi a'ch gwelais yn yr Eglwys y Sul diweddaf, ac yr wyf yn falch o weled gwr o'ch gwybodaeth chwi yn dyfod yno."

"Yr oeddwn yno," atebai Didymus o'r Cwm; "y mae genyf barch i'r Eglwys. Y mae yr offeiriaid yn gyffredin yn foneddigion ac yn ddysgedig. Ond anaml y byddaf yn myned yno."

"Y mae yn ddrwg genyf am hyny," ebai Llewelyn Llwyd, "a gobeithio y cawn eich gweled yn amlach."

"Ef allai y bydd i hyny gymmeryd lle; yr oeddwn braidd yn cael blas ar ranau o'r gwasanaeth y Sul diweddaf," ychwanegai y *bardd*, canys dyna raid galw Didymus o'r Cwm.

"Gan ein bod ar y pwnc, a minnau yn dra dyeithr i deimlad y wlad, byddai yn dda genyf wybod pa beth sydd genych yn erbyn y gwasanaeth? Pa fodd na ellwch gael blas arno?"

Atebai y bardd, "Y mae yn anhawdd cael blas ar yr un peth yn cael ei ddarllen yn oer, undonol, carbwl, ac mewn llediaith fursenaidd, heb na phwyslais nac acen yn ei lle priodol. Dyna y darllen a glywais, ac a glywir, yn barhäus yn yr Eglwysydd. Yr oeddych chwi, syr, yn rhoi teimlad yn y gweddïau. Dechreuodd fy nghalon dwymo atoch pan glywais chwi yn seinio yr 'Eglwys Lân Gathòlig' yn y Credo yn esmwyth a phriodol, yn lle dweyd fel y gwnai Mr. Hughes, 'yr Eglwys Lân Gàtholig.' Troais fy nghefn ar yr Eglwys y Sul cyntaf iddo ddyfod yma, am iddo lurgunio'r iaith fel yna."

Atebai Llewelyn Llwyd, "Ac fe droisoch eich cefn ar yr Eglwys am fod Mr. Hughes yn acenu y gair Catholig yn y dull Seisonig, gan roddi y pwys ar y sill cyntaf yn lle yr olaf ond un?"

"Do," ebai y bardd. "Beth a ddywedech chwi pe byddai i ryw fardd ddarllen llinellau Llewelyn Ddu o Fon i Ffredrig, brenin Prwssia—

'Iechid fyddo i Ffredrig
A theulu'r ffydd gàtholig,'

gan acenu catholig ar y sill gyntaf fel y Seisoneg? Oni byddai yn ddigon a pheri i ddyn roddi ei fysedd yn ei glustiau?"

"Wel," ebai Llewelyn Llwyd, "darllenwr Cymraeg gwan iawn wyf fi, ond yr ydwyf wedi penderfynu dysgu, os gallaf, a byddaf yn falch iawn o gymhorth Cymro profiadol fel chwi."

Atebai y bardd, "Fe'm hystyrir yn Gymro lled dda, a phe gallwn fod o gynnorthwy i unrhyw un byddwn yn falch."

"Y mae yn werth ymdrechu gwelläu gwasanaeth ardderchog yr Eglwys," ychwanegai Llewelyn Llwyd. "Teimlir yn gyffredin fod lle i wella."

"Oes mawr," atebai y bardd, "dylech gael cymhorth i ddarllen y gwasanaeth; y mae yn rhy hir. Dylasai fod tri neu bedwar yn cynnorthwyo myned trwy wasanaeth y Sul diweddaf, a'i gymmeryd ar ddiwrnod gwaith. Yr oeddwn i yn edrych dros hen lyfr yma ar ol dyfod adref, a gwelais mai gwaith yr archddiacon ydyw rhoddi offeiriad mewn meddiant o blwyf. Dylasai yr archddiacon ddyfod yma ar bob cyfrif; ond, gan hyny, Sais ydyw. Beth bynag, dylasai y deon gwladol fod yma yn darllen rhan o'r gwasanaeth, offeiriad arall yn darllen ei ran, chwithau yn darllen eich hunan i mewn, a'r archddiacon yn pregethu mewn Cymraeg lân loew, a buasai genych gyfarfod ardderchog. Ni buasai neb yn blino am y tro."

"Yr ydych wedi fy synu," meddai Llewelyn Llwyd; "bydd yn dda genyf eich gweled yn aml, a gobeithio y gallwn fod o *help* i'r naill y llall."

"O *gymhorth*," ebai y bardd. "Diolch i chwi am alw."

Wedi ysgwyd llaw ymadawyd. Gwr yn tynu at ddeg a deugain oed oedd Didymus o'r Cwm. Ganesid ef yn sir Fon, mam Cymru, a mam ag sydd wedi magu llawer o lenorion llafurus, talentog, a rhai llwyddiannus. Dyn tal, esgyrnog, yn crymu gryn lawer oedd Didymus o'r Cwm. Yr oedd iddo ben mawr tolciog, talcen uchel yn taflu ym mhell allan fel clogwyn dros ei droed, a gwallt hir du yn disgyn fel bwndeli o ganwyllau dros lethrau ei ben. Yr oedd ei wynebpryd yn hir, ei drwyn yn uchel a bachog, fel gilfin eryr, ei lygaid yn ddyfnion yn ei ben, a threiddgraff, a'i fochgernau yn taflu allan yn lled bell. Ymddangosai ar unwaith yn gymmeriad o allu a phenderfyniad, garw a gwresog ei dymmerau. Daethai i Gwm Awen tua phymtheg mlynedd cyn hyny, ac ennillasai gadair eisteddfod fawr Trelleyn, yn y flwyddyn 1824, o dan y ffugenw "Didymus o'r Cwm," a mabwysiadasai yr enw ffodus ac anwyl hwnw fel ei enw barddonol byth ar ol hyny. Yr oedd Didymus o'r Cwm wedi gweled cryn lawer o ranau o Gymru; wedi bod ar *dramp* yn ei ieuenctyd dros rai siroedd o'r Deheudir; wedi sylwi, siarad, ac yn neillduol darllen llawer. Ond ni fuasai yn llwyddiannus iawn mewn dim bron. Nid oedd iddo



Digitized by Google

yr ysbryd o ddyfalbarhâd yn yr un cyfeiriad. Wedi meistroli elfenau unrhyw gangen o wybodaeth, troai at beth arall cyn gallu gwneyd defnydd o'i wybodaeth; a thra y byddai yn dyfal astudio ail gangen o wybodaeth, anghofiai yr hyn a ddysgasai o'r gyntaf. Yr un modd gyda'i waith, collai ormod o'i amser i gasglu a *dangos* ei wybodaeth lyfrol i allu llwyr feistroli ei waith fel gwëydd, ac felly ychydig a roddai trwy ei ddwylaw, ac is-raddol a fyddai y gwneuthuriad.

Buasai i'r aflwyddiant rhanol yma yn ei bethau tymmorol suro ei dymmerau i raddau, a'i wneyd yn farnydd caled ar ei gymmydogion, a buasai i'w ragoriaeth amlwg mewn galluoedd a gwybodaeth, dawn siarad, ysgrifenu, a phrydyddu, ar breswylwyr syml y Cwm ei wneyd yn hunanol dros ben. Byddai ar rai adegau mor bigog a mierïen, ac mor gecrus a daiargi llwynog. Ond cawsai Llewelyn Llwyd ef y dydd y galwodd yn ei dymmer oreu.

## PENNOD XIII.

### *Nid lle i orphwys yw'r Plwyf Gwledig.*

Aeth Llewelyn Llwyd ym mlaen â'i ymweliadau plwyfol, a gwelodd yn dra buan mai nid lle i orphwys oedd ei blwyf gwledig, os mynai geisio y defaid a wasgaresid ar hyd y mynyddoedd ar y dydd niwlog a thywyll. Canfu nas gallai ymweled â mwy na dau deulu neu dri ar yr un diwrnod cyn y byddai i naill ai lludded ai y nos ei orddiwes. Pe yr arosasai gartref drachefn, heb wneyd ymweliadau teuluaidd, buasai yn estron i'w blwyfolion, er teneued oeddynt, dros amser maith, ac ni buasai iddo obaith eu gweled yn yr Eglwys. Dan y teimlad o ddyledswydd aeth ym mlaen, a pha le bynag y byddai afiechyd neu lesgedd henaint yn lluddias neb i'r gwasanaeth cyhoeddus, darllenai a gweddïai gyda'r cyfryw.

Canlynai effaith ddaionus hyn, a dechreuwyd son am *dduwioldeb* y person newydd. Eto, ni welid ond ychydig iawn o lewyrch ar y gwasanaeth yn yr Eglwys y Sul. Y mae yn wir y deuai pobl y capel yn dorf i'r Eglwys yn fuan wedi un ar ddeg, ac yr arosent yno yn amyneddgar a lluddedig hyd y diwedd; ond nid ymddangosent yn addoli yno. Cymmerent ran mewn canu emyn, a gwrandawent y bregeth, a dyna'r cwbl.

Ambell Sul, byddai dau bregethwr yn y capel, a phryd arall ceid yno bregeth anarferol o hir, yna byddai hanner y gwasanaeth drosodd cyn dyfod o'r capelwyr i mewn. Dygwyddodd hyn ar y Sul Cymmun cyntaf wedi dyfodiad Llewelyn Llwyd i'r plwyf. Yr oedd yr enwog John Elias yn pregethu yn y capel. Cawsai Llewelyn Llwyd ei gymdeithas y nos cynt a'r boreu Sul, a mawr oedd ei fwynhâd o'r ychydig oriau a dreuliasant yng nghyd, o herwydd yr oedd John Elias yn foneddwr llednais a Christion addfed, llawn profiad ysbrydol. Cymmerasai ei ran yn yr addoliad teuluaidd a gedwid gan Llewelyn Llwyd yn y Plas ar foreu Sul gyda symlrwydd gwasanaethwr. Synasid Llewelyn Llwyd gan y wybodaeth eang oedd gan John Elias o'r duwinyddion Eglwysig mwyaf enwog, a'r haelfrydedd meddwl a'r teimlad da oedd ganddo tuag at yr Eglwys. Pan siaradasai Llewelyn Llwyd mewn ysbryd isel am gyflwr yr Eglwys yn yr ardaloedd gwledig, atebodd John Elias ef, "Bu i lawr diwygiad dori allan o'r Eglwys erioed, ac o'r Eglwys y daw y diwygiad nesaf. Y mae bywyd eto yn yr hen gyff, ac oddi wrth arogl dyfroedd lawer fe fwria allan gangenau newyddion, a phwy a ŵyr nad yw eisoes yn blaendarddu."

Aeth John Elias i'r capel hanner awr wedi naw, a dechreuwyd yr addoliad yno cyn deg.

Am un ar ddeg, aeth Llewelyn Llwyd i'r Eglwys a Angharad gydag ef. Erbyn amser dechreu y gwasanaeth, ni cheid yno neb ond Ellis Dafydd, y clochydd, a Didymus o'r Cwm. Gyda chalon ddolurus iawn, darllenodd y gwasanaeth, a thybiai Angharad fod rhyw sain mwy pruddglwyfus nag arferol yn llais ei phriod. Ar ddechreu blaen-wasanaeth y Cymmun, daeth cryn nifer o bobl o'r capel i'r Eglwys, ac yn eu mysg Mr. a Mrs. Owen. Aeth y gwasanaeth a'r bregeth drosodd, a dechreuodd Llewelyn Llwyd barotoi at wasanaeth y Cymmun, a mawr oedd ei syndod weled pawb yn prysuro allan o'r Eglwys oddi eithr y clochydd, Angharad, a Miss Phylip y Persondy. Nid oedd gan yr offeiriad torcalonus ddim i'w wneyd ond cofio yr addewid am y "lle y byddo dau neu dri," a thaflu ei holl deimladau drylliog fel offrwm ger bron allor y Goruchaf yng ngeiriau difrifol a dwys-dreiddiol y gwasanaeth, ac ymddiried yn ei Arglwydd. Felly mewn ymdrech meddwl galed, ond nid heb aml gyffyrddiad ffydd ag ymylon gwisg y Gwaredwr yn y Sacrament Sanctaidd, aeth yr offeiriad newydd trwy wasanaeth y Cymmun cyntaf yn ei blwyf.

Pan ar ei ffordd adref, daeth rhyw sirioldeb i'w feddwl nas gwyddai o ba le, a dywedodd wrth Angharad, "Bron na thybiwn fy mod wedi gweled y gwaelod. Y mae yn anhawdd i'r Eglwys fod yn is. Ond yr oedd yno 'ddau neu dri.' Rhaid ymdrechu gosod sylfaen dda yn y gwaelod."

Atebai Angharad, "Y mae yn dda genyf glywed eich bod yn gallu edrych ar bethau fel y maent, a

Digitized by Google

siarad yn obeithiol; yr oeddwn i mewn dyryswch, yn methu gwybod beth i'w ddweyd."

"Gwyddom," atebai Llewelyn Llwyd, "am y Parch. John Elias, ei fod yn bregethwr nad oes ei gyffelyb, ac yn wr duwiol, llawn defosiwn a thân nefolaidd, ac yr oedd yr holl ardaloedd wedi cyrchu yng nghyd i'w wrandaw, gan dynu hyd yn nod y difater a'r esgeulus i'w dilyn. A gallaf dybio ei fod yn gweinyddu y Cymmun Bendigaid yn y capel, ac nid rhyfedd os bu i bob crefyddwr yn y Cwm aros gydag ef." Yna, wedi mynyd o ddystawrwydd, ychwanegai, "Ymddengys fod yr allor wedi ei symmud yma o deml Dduw yn syniadau y bobl, a'i gosod i fyny yng nghysgod poblogrwydd personol, a duwioldeb a thalentau personol y pregethwr. Y mae hyn yn beth difrifol, ond ef allai mai canlyniad esgeulusdra yw, ac y gellir eto adennill hyder ysbrydol y bobl trwy ddiwydrwydd."

Ar ol siomedigaeth y Sul hwn ni laesodd Llewelyn Llwyd ddwylaw o gwbl. Ymdrechai ym mhob modd wneyd daioni—gofalu am y cleifion, ymweled â'r esgeulus, a denu y difater i'r Eglwys; ond fel yr oedd cynnulliad y rhai hyn yn cynnyddu, yr oedd y dyfodiad o'r capel yn lleihau, ac amser eu hymddangosiad yn fynych yn hwyrhau, er fod y dydd bellach yn ymestyn, ac y gallesid dechreuyn gynnarach. Teimlai Llewelyn Llwyd fod dirgel ddylanwad uniongyrchol ar waith yn rhywle yn ei wrthwynebu, ond nis gallai gael allan ym mha le. Nid dylanwad annuwioldeb paganaidd, ac nid dylanwad anfoesoldeb briwedig, ond dylanwad crefyddwyr yn lladd ei ymdrechion trwy ganmoliaeth hannerog. Siaradai lluaws o'r rhai hyn am dano fel dyn *da* yn cynnrychioli achos *drwg*, a gwr *duwiol* yn taflu mantell ei sancteiddrwydd personol dros fedd *llygredd yr Eglwys*. Yr oedd y gwŷr hyn yn foddlawn i wenieitho, ac yn wir i barchu yr offeiriad fel boneddwr cymmwynasgar ac elusengar, ond nis gallent oddef iddo gymmeryd safle athraw ysbrydol, cysurwr galarwyr Sïon, gwrandawydd cwyn y galon ddrylliog, ac offeiriad yn aberthu offrwm ysbrydol yn nheml Dduw. Braidd y gallai Llewelyn Llwyd gredu fod y gwrthwynebiad iddo yn tarddu o'r fath ffynnonell, ac nid oedd dim a ofnai yn fwy na chynnyrchu rhwyg ysbrydol mewn plwyf gwledig, teneu ei boblogaeth, a hawdd cynhyrfu rhagfarn ynddo. Hoffai fod yn offeiriad plwyf ac nid gweinidog plaid.

Llawer gwaith y buasai i Didymus o'r Cwm ei gymhell i ddechreu y gwasanaeth ddeg o'r gloch, a gohirio y gosper o bedwar o'r gloch i chwech yn yr hwyr, ond oedai yntau wneyd unrhyw gyfnewidiad buan, yn enwedig gan ei fod yn prysur barotoi at adgyweirio y Persondy ac adeiladu ysgoldy. Trwy hunanaberth lawer ac ysgrifenu i erfyn am gymhorth ym mhell ac agos, llwyddwyd rhwng Angharad ac yntau i gael digon o arian i adeiladu ysgoldy hardd yn y pentref, a chymmerodd yr amaethwyr arnynt gludo yr holl ddefnyddiau. Cafwyd yno athraw, a dechreuodd Llewelyn Llwyd gymmeryd rhan helaeth ddwywaith neu dair bob wythnos yn addysgu y plant. Cymmerodd Angharad ddosbarth o enethod i addysgu iddynt wnïo ddwywaith yn yr wythnos. Llanwyd yr ysgoldy yn lled fuan, a mawr oedd y canmol ar Llewelyn Llwyd. Teimlai yntau yn falch o'i lwyddiant, ac ymhyfrydai yn y dyb ei fod yn gwneuthur lles. Cymmerodd arno ei hun yr holl wersi darllen, y Testament Newydd a'r Catecism, am ei fod yn fwy cyfarwydd â'r gwaith na'r athraw, a'i fod yn Sais cywir a chaboledig (*polished*), tra na chawsai yr athraw y fath fantais.

Teimlai Angharad bleser mawr hefyd wrth feddwl y gallai lesäu y genethod, a hyrwyddo eu haddysg. Ond yma eto daeth awelon siomiant i groes-chwythu. Cyfodwyd cyfrin-leisiau o gudd-ogofëydd rhagfarn, anwybodaeth, a drwg-dybiaeth i gyhuddo Llewelyn Llwyd o amcanion gau yng nghyfraniad addysg. Daeth heibio genad aflonydd, cynhyrfus o freinllys cynhen a chenfigen yn rhywle i ddrwg-liwio y gwaith da, condemnio Catecism yr Eglwys, yr hwn a ddysgasid yn ysgolion Madam Bevan o'r dechreu, ac hyd yn nod i ddweyd fod yn well i'r plant fod heb ddarllen y Beibl na'i ddarllen dan ofal y person. Parodd hyn gyffro mawr, lleihaodd rhif yr ysgolheigion, a thaflwyd dwfr oer ar achos addysg. Daeth Catecism yr Eglwys yn destyn dadleuaeth. Condemniwyd ef heb ei weled gan y mwyafrif mawr, a rhoddwyd cyfleusdra rhagorol i Didymus o'r Cwm ddangos ei wybodaeth trwy gyferbynu Catecism yr Eglwys ag "Hyfforddwr" y capel; ond yn lle ymdrechu cyfanu y rhwyg, agor yr agendor yn fwy a fynai Didymus o'r Cwm. Nid darbwyllo yr anwybodus a ddymunai, ond curo blaenion ei wrthwynebwyr, a mawr feiai Llewelyn Llwyd am na buasai yn bwrw allan blant y grwgnachwyr oll o'r ysgol, ac yn cyfyngu ei ofal oll at ychydig blant y rhieni tawel a gymmerent eu dysg gyda diolchgarwch. "Pe bawn i offeiriad," meddai Didymus o'r Cwm, "rhoddwn wasanaeth boreu Sul am ddeg, Ysgol Sul am ddau, a gwasanaeth wedyn am chwech yn yr hwyr, a rhoddwn ysgol i blant y bobl a ddeuant i'r Eglwys yn unig. Dangosai hyny ar unwaith pwy sydd Eglwyswr a phwy sydd Ymneillduwr."

Ateb tawel Llewelyn Llwyd oedd, "Nid fy amcan

Digitized by Google

uchaf yw gwneyd Eglwyswyr o'm plwyfolion, ond gwneyd Cristionogion o honynt: byddai yn haws yn aml eu gwneyd yn Eglwyswyr nag yn Gristionogion, planu ynddynt ragfarn na goleuo eu heneidiau."

Ateb byr a garw Didymus o'r Cwm iddo yntau oedd, "Ni wnewch nac Eglwyswyr na Christionogion o honynt, dim ond rhagrithwyr, mewn ryw ffordd hannerog a llwfr, gan ofni eu digio."

Teimlai Llewelyn Llwyd fod "Didymus" yn deall y natur ddynol a'r ffordd i lwyddiant yn llawer gwell nag ef, er ei fod yn ammheu Cristionogaeth y teimlad a'i hysbrydolai, a dywedodd, dan wenu, yn athrist, "Ofnaf eich bod yn dweyd gormod o wir."

(*I'w barhau.*)

---

## GWAITH CENADOL YN EI BERTHYNAS A'R EGLWYS.

PAN ddadleuir hawliau ein cymdeithasau cenadol, clywir yn aml ddynion yn dyweyd, "Cyn anfon allan genadon i efengyleiddio paganiaid tywyll-leoedd y ddaiar, gadëwch i ni yn gyntaf gyflawnu ein dyledswydd tuag at 'baganiaid ein gwlad ein hunain.'" Ymdrechwn ateb yr wrthddadl ymddangosiadol deg hon, gan ddangos ei gwrthuni a'i chymmeriad di-Grist. Seiliau ein hatebiad yw—

1. *Commissiwn Crist i'w Eglwys.*—Commissiwn neu orchymmyn pendant ac olaf Crist i'w apostolion ychydig cyn ei esgyniad ydoedd, "Ewch, gan hyny, a dysgwch yr [neu yn fwy cywir, gwnewch ddysgyblion o'r] holl genedloedd, gan eu bedyddio hwy yn enw y Tad, a'r Mab, a'r Ysbryd Glân; gan ddysgu iddynt gadw pob peth a'r a orchymmynais i chwi. Ac wele, yr ydwyf fi gyda chwi bob amser hyd ddiwedd y byd," St. Matt. xxviii. 19, 20.

Rhoddir yr un gorchymmyn oll-bwysig o eiddo ein Harglwydd gan St. Marc a St. Luc (St. Marc xvi. 15; Actau i. 8), fel y dyfynir isod—"Ewch i'r holl fyd a phregethwch yr efengyl i bob creadur." "Chwi a fyddwch dystion i mi yn Jerusalem ac yn holl Judea a Samaria, ac hyd eithaf y ddaiar." Nid oes yr un ammod yn gyssylltiedig wrth y commissiwn triphlyg ac oll bwysig ei gymmeriad hwn. Hawlia ufudddod oddi ar law pob Cristion. Mae yn orchymmyn mor gaeth a phendant a'r un a ddywed, "Gwnewch hyn er cof am danaf." Ac y mae yr hwn a ymesgusoda rhag cynnorthwyo gwaith cenadol tramor yr Eglwys ar bwys yr wrthddadl gloff a llesg uchod, yn gwneuthur ei hun yn uwch awdurdod na Christ, a lefara heddyw fel ar lethr Mynydd yr Olewwydd dros ddeunaw canrif yn ol, "Ewch i'r holl fyd a phregethwch yr efengyl i bob creadur." Paganiaid gartref ai peidio, rhaid yw i ddeiliaid teyrngarol y Brenin Iesu ufuddhau y commissiwn dwyfol; ac y mae yn werth cofio mai wrth y gorchymmyn hwn y mae wedi ei gyssylltu yr addewid i'r Eglwys o'r Presennoldeb Dwyfol—"Ac wele, yr ydwyf fi gyda

THE PREVAILING RELIGIONS IN THE WORLD

*Missions of the C.M.S. are written thus* Yoruba

chwi bob amser hyd ddiwedd y byd." *Marching orders* milwyr y Groes oddi wrth Grist eu brenin a'u cadlywydd yw, "Ewch i'r holl fyd a phregethwch yr efengyl i bob creadur," ac nis gellir llunio unrhyw esgusawd a gyfiawnhâ anufudd-dod.

2. *Esampl yr apostolion.*—Am rai blynyddau gwedi esgyniad Crist, er wedi derbyn y commissiwn dwyfol a'u gwisgo â nerth o'r uchelder ar wyl y Pentecost i fod yn dystion i Grist nid yn Jerusalem yn unig, ond trwy holl Judea a Samaria ac hyd eithaf y ddaiar, cawn yr apostolion yn aros yng nghyd yn Jerusalem, i'r hon ddinas y perthynai yn naturiol swyn neillduol i'w teimlad a'u deall fel Iuddewon. I ddoeth ddybenion, mewn trefn i gario allan fwriadau yr ewyllys ddwyfol tuag at yr Eglwys Gristionogol ag oedd yn awr yn Jerusalem yn ymsiglo yng nghryd ei babandod, yng nghwrs gweithrediadau Rhagluniaeth ddirgeledig ond oll-ddoeth Duw "ein Tad," cyfyd erlidigaeth mor ffyrnig yn erbyn yr Eglwys nes gorfodi yr apostolion, neu eu cydweithwyr o'r hyn lleiaf, i adael y ddinas sanctaidd, a thrwy hyny ddwyn oddi amgylch ufudd-dod oddi wrth yr Eglwys yn Jerusalem i gommissiwn Crist. Arosodd rhai yn Jerusalem, ymwasgarodd y gweddill ar hyd a lled gwledydd Judea a Samaria: "A'r rhai a wasgarasid a dramwyasant gan bregethu y Gair," Actau viii. 4. Gyrwyd Phylip trwy yr erlidigaeth hon i ddinas Samaria i efengylu i'r Samariaid estronaidd-sismaticaidd, "ac efe a bregethodd Grist iddynt" gyda llwyddiant mawr, mor fawr nes y danfonwyd yr apostolion Pedr ac Ioan o Jerusalem i Samaria i gonffirmio y dychweledigion niferus a lluosog. Amlyga Duw ei ewyllys ym mhellach eto yng nglŷn â Phylip, yr hwn trwy gyfarwyddyd Ysbryd Crist a anfonwyd o Samaria "tua'r deheu, i'r ffordd sydd yn myned i waered o Jerusalem i Gaza, yr hon sydd anghyfannedd," i bregethu ac esbonio y prophwydi am Grist i estron o genedlddyn o hiliogaeth Cam, Ethiop du. Ychydig amser eto yn ddiweddarach yn amseryddiaeth llyfr yr Actau, darllenwn am St. Pedr, apostol yr enwaedied, ym mha un y gweithredai y teimladau Iuddewig yn neillduol gryf, yn derbyn cyfarwyddyd i fyned a phregethu Crist i Cornelius, cenedl-ddyn a swyddog milwrol yn y fyddin Rufeinig. Rhoddwyd hefyd i St. Pedr weledigaeth wyrthiol y llenllian er lladd ei ragfarn a deffroi o'i fewn syniad priodol o'i ddyledswydd fel apostol i Grist tuag at y byd cenedlig. Daeth St. Pedr mewn canlyniad yn gyfaill ac yn bleidiwr gwresog i waith cenadol tramor yr Eglwys. "Chwi a wyddoch," meddai St. Pedr wedi dyfod i mewn i dŷ Cornelius, "mai anghyfreithlawn yw i wr o Iuddew ymwasgu neu ddyfod at alltud; eithr Duw a ddangosodd i mi na alwn neb yn gyffredin neu yn aflan," Actau x. 28. Tra yr oedd St. Pedr yn pregethu Iesu Grist disgynodd yr Ysbryd Glân ar Cornelius a phawb a oedd yn clywed y Gair, a'r rhai o'r enwaedied a ddaethant gyda St. Pedr a synasant "am dywallt dawn yr Ysbryd Glân *ar y Cenedloedd hefyd.*" Parodd gweledigaeth y llenllian a dychweliad Cornelius, yr "ysgub flaenffrwyth" o fysg y Cenedloedd, i St. Pedr ddeall iawn ystyr commissiwn Crist; ac yng nghynghor cyffredinol cyntaf yr Eglwys cawn ef yn siarad yn hyf, heb ammheu dim, mewn iaith bendant a diamwys o berthynas i ddyledswydd yr Eglwys tuag at y rhai nad oeddynt o'r enwaedied (Actau xv. 7). Yn Antioch, tref ag oedd yn llawn o "baganiaid cartref," neillduir gan yr Ysbryd Glân trwy yr Eglwys Saul a Barnabas mewn modd neillduol i waith cenadol tramor (Actau xiii. 1—3). O hyn allan daeth Antioch yn ganolfan gweithrediadau cenadol yr Eglwys Gristionogol tuag at y Cenedloedd. Yn ddiweddarach, cawn St. Ioan yn Ephesus (yr hwn ydoedd hefyd esgob y ddinas enwog), St. Pedr yn Babylon, a St. Paul, apostol y Cenedloedd ac esgob cyffredinol yr Eglwys Gristionogol yn Ewrop, yn trafaelu i bob man, i bob cwr ar hyd a lled yr ymherodraeth Rufeinig yn Ewrop ar ei deithiau cenadol, "o Jerusalem ac o amgylch hyd Illyricum," Rhuf. xv. 19. Darllenwn am dano yn arfaethu talu ymweliad ag Hispaen, gan fyned yno trwy Rhufain. Ac hefyd dywed Clemens Romanus, un o'r tadau apostolaidd, wrthym iddo fyned gan bregethu "i eithafoedd (*utmost bounds*) y gorllewin," wrth yr hyn yn debygol y meddylir yr Ynysoedd Prydeinig. O berthynas i'r apostolion ereill, ychwanegwn ar sail tystiolaeth hanesiaeth Eglwysig y brif Eglwys i St. Andreas fyned ac efengylu yn Scythia, Groeg, a Thrace; St. Bartholomëus yn Arabia, St. Thomas yn India, lle yr hanfoda yr Eglwys a blanodd efe hyd y dydd hwn, ac yr adnewyddwyd llawer arni drwy waith cenadon Prydeinig. Cawn mewn traddodiad boreuol hanes maes llafur y gweddill o'r apostolion, ond y mae yn rhy faith i'w nodi allan yma. Gwelir iddynt, a siarad yn gyffredinol, fyned allan i'r "holl fyd" adnabyddus pryd hwnw, gan lafurio ac ymdrechu yng ngwyneb mil a mwy o anhawsderau a pheryglon annhraethadwy i bregethu Crist yn Iachawdwr y byd. Ac wrth ufuddhau y commissiwn dwyfol a dderbyniasant oddi wrth eu Harglwydd, aberthasant eu bywydau sanctaidd ar allor eu ffydd, seliasant â'u gwaed wirionedd yr Efengyl a bregethent, dyoddefasant oll ferthyrdod (ag eithrio St. Ioan) mewn gwahanol

Digitized by Google

ranbarthau pellenig o'r byd o India'r Dwyrain hyd "eithafoedd y Gorllewin."

Cyn gadael esampl yr apostolion, gellir hefyd sylwi yn y fan yma megys rhwng cromfachau mai o'r holl Eglwysi yr ysgrifenodd St. Paul ei epistolau atynt, yr Eglwys a ganmolir fwyaf ganddo ydyw Eglwys *genadol* Thessalonica. Hi ddwg yr un cerydd i'w herbyn, canmola ei gweithredoedd da, ac am ei chymmeriad cenadol amlwg ysgrifena, "A chwi a aethoch yn ddilynwyr i ni ac i'r Arglwydd . . . hyd onid aethoch yn esamplau i'r rhai oll sydd yn credu ym Macedonia ac yn Achaia; canys oddi wrthych chwi y seiniodd Gair yr Arglwydd nid yn unig ym Macedonia ac yn Achaia, ond ym mhob man hefyd eich ffydd chwi ar Dduw a aeth ar led fel nid rhaid i ni ddywedyd dim." Edrycher ar esampl yr apostolion sanctaidd o unrhyw gyfeiriad, ac ni a gawn esboniad *ymarferol* ar ddyledswydd genadol yr Eglwys tuag at "bob creadur" trwy yr "holl fyd," mewn ufudd-dod i'r commissiwn dwyfol—siarter sylfaenol teyrnas ysbrydol yr Iesu.

J. H. MANLEY.

*Llangïan.*

---

## "ROCK OF AGES."

"Cyfieithad godidog, manwl, a thrylen, yn dilyn llythyren a meddwl y gwreiddiol gyda manyldeb mwy cyflawn nag unrhyw gyfieithad argraffedig ag sydd yn adnabyddus i mi."—*Gwilym Cowlyd.*

GRAIG yr Oesoedd, ynot Ti,
Holltwyd erof, cuddier fi;
Boed i'r dwr, a boed i'r gwaed
O'th glwyfedig ystlys gaed,
Olchi'm henaid oddi wrth rym
Pechod a'i euogrwydd llym.

Llafur oes fy nwylaw i
Ni foddlona'th gyfraith Di;
Boed fy sel o hyd yn dân,
Llifed byth fy nagrau glân:
Ni wnai'r oll am bechod iawn,
Ti, fy Nuw, yw'm Ceidwad llawn.

Dof yn waglaw at y Groes,
Glynaf wrthi drwy fy oes;
Ydwyf noeth, dillada fi;
Dinerth, rho dy ras i mi;
Aflan, at y ffynnon af—
Golch fi'n hon, neu trengu wnaf.

Tra y pery'm hanadl frau,
Pan fy llygaid angeu'n cau,
Yn y dyeithr fyd a ddaw,
Yn y farn ofnadwy draw,
Graig yr Oesoedd, ynot Ti
Holltwyd erof cuddier fi.

ELLDEYRN.

---

## ANIANYDDIAETH.

### Y FALWEN.

Y MAE lle i ofni nad oes dim llawer yn ein plith â'u tueddfryd i ystyried yr anifeiliaid bychain hyny y gallwn eu galw yn "wrthddrychau cyffredin" ein meusydd, gerddi, a thai, gyda'r un dyddordeb ag yr edrychwn ar ffurf ac ymholwn am arferiadau y llew, y cawrfil, neu'r *gorilla* newydd ddyfod o goedwigoedd enfawr Affrica, neu forfarch wedi ei gyrchu o wledydd oer y gogledd. Ac eto, y mae y bwystfilod sydd yn trigo yn ein cloddiau a'n gwrychoedd, yr adar sydd yn llenwi yr awyr â pheroriaeth ar ddyfodiad y gwanwyn, a'r pryfaid sydd yn aml yn dyfetha ein ffrwythau a'n blodau goreu a mwyaf prydferth, wedi eu gwneyd mor rhyfedd ac ofnadwy a'r anifeiliaid mwy o wledydd tramor; ïe, a nyni ein hunain, at wasanaeth bwy neu er bleser, neu hwyrach er cerydd pwy eu crewyd. Y mae pob un wedi ei alw i fodolaeth er rhyw ddyben doeth gan ein Creawdwr, er y gall ein gwybodaeth gyfyngedig fethu darganfod ei ddefnyddioldeb a'r dyben y mae yn gyflawnu yn nhrefn natur.

Yn yr ysbryd yma yr wyf yn dwyn i'ch sylw y falwen, ymlusgiad ag sydd yn cael ond ychydig iawn o ffafr yn gyffredin gan y rhai sydd yn caru eu gerddi. Dychymmygwn ein bod yn rhodio oddi amgylch eich gardd, a'ch bod wedi pigo malwen i fyny. Daliwch hi yn dyner, ond nid yn rhy hir yn eich llaw, neu y gallwch ei gwneyd yn anghysurus iawn. Pa sut felly? Cofiwch fod ei chorff hi yn oer, eich llaw chwi yn boeth, yn agos fel ffwrn iddi hi, a bod y gwres yn ddigon i beri iddi lewygu; felly, o drugaredd, peidiwch â'i chadw yn hir yn eich llaw. Pa sut felly y gallwn noddi ein cyfaill, ac astudio ei chysur hefyd? Rhoddwch hi ar ddarn o wydr glân. Deil yn gadarn yn y gwydr gyda'i throed llydan, sugnol; ac wedyn trwy edrych arni trwy'r gwydr, y gallwch weled y modd y mae yn myned ym mlaen, gan nodi symmudiadau tònawl ei throed; a chofio mai yr enw gwyddonol ar bob creadur meddal-gorff â throed fel y falwen ydyw

Digitized by Google

*gasteropods* o ddau air Groeg, yn meddwl troed a bol unedig.

Wedi sylwi ar ei throed a phrofi y nerth â pha un y mae yn ymlynu wrth y gwydr, gadëwch i ni droi at ben ein malwen. Y pethau cyntaf sydd yn tynu ein sylw ydyw y peth a eilw plant ei chyrn. Edrychwch yn graff arnynt. Beth ydyw'r ysmotyn du, dysglaer yna ar ben pob corn? Llygad y falwen, medd y naturiaethwyr. Llygad rhyfedd, onid e? yr hwn y gall ei ddyrchafu uwch ei phen pa bryd bynag y mae arni eisieu edrych ar y byd o'i chwmpas. Pan y bydd arnom ni eisieu gweled ym mhellach, byddwn yn dringo i le uwch; y mae'r falwen yn trin pethau yn wahanol, ond y mae yn codi y llygad ei hun. Cyffyrddwch â blaen ei gorn; edrychwch mor gywrain y mae yn tynu yr holl offeryn i mewn, yn debyg iawn fel y bydd bys maneg weithiau yn plygu i mewn pan bydd y llaw yn cael ei thynu allan. Pe buasech yn tori y cyrn yma â siswrn, os na fydd yn rhy ddiweddar yn y tymmor, buasai y falwen mewn rhyw bum niwrnod ar hugain yn dechreu tyfu par newydd o gyrn a llygaid. Darfu i Spallanzani, naturiaethwr enwog o'r Eidal, yn y ganrif ddiweddaf wneyd hyn â nifer mawr o falwod. Y mae hyn yn profi fod gan y creadur distadl yma alluoedd bywïol rhyfeddol. Ond aeth y gwr yma ym mhellach, torodd ymaith eu penau yn gyfan-gwbl, ac mewn ychydig o fisoedd cawsant benau newyddion, a phob adran o'r pen yn berffaith fel o'r blaen. Pe buasai dyn â'i holl ddysgeidiaeth yn tori i ffwrdd ond pen ei fys bach, nis gallai ei adnewyddu. Mae y falwen yn ein curo yn lân yn y *gwaith* yna.

Rhaid i ni beidio anghofio *oeg* y falwen. Y mae yn offeryn yn gallu gwneyd gwaith nid ysgafn, fel y gall llawer o berchenogion gerddi dystio. Y mae'r ddwy wefus yn cael eu ffurfio o ddefnydd cornaidd sydd yn gweithio fel *file* ar y dail. Y mae dail gwydn y lili wen yn fynych yn cael eu llwyr ddifodi mewn nos gan y peiriant tori yma. Y mae yn rhaid i'r falwen anadlu. Pa fodd y mae yr awyr yn myned i mewn i'w chyfansoddiad? Y mae trwyn y falwen, os gallwn ddefnyddio yr enw, ar ei chefn neu ochr i'r gwddf; hyny yw, y twll trwy ba un y mae yr awyr yn myned i mewn. A all y falwen arogli? Nid yw y philosophyddion yn cytuno ar y mater. Ond nid oes dim ammheuaeth parthed eu gallu o ddarganfod llysiau sydd wrth eu bodd, fel y gall llawer garddwr addef.

Gadëwch i ni yrŵan edrych ar y gragen. Ym mha agwedd y gallwn sylwi ar hon? Pa un ai tŷ y falwen ydyw, ynte ei hysgerbwd (*skeleton*) ydyw? Gallwn ddal unrhyw syniad. Os fel ei thŷ y cymmerwn ef, gallwn yn hawdd eiddigeddu wrthi am ei gallu, nid yn unig i wneyd ei thŷ ei hun, ond hefyd ei adgyweirio pan y bydd wedi niweidio. Y mae hi nid yn unig yn saer, adeiladydd, ac arch-adeiladydd, ond hefyd yn darparu ei chwarel. Nid oes eisieu i ni ddywedyd hwyrach fod y calch sydd yn gwneyd y gragen yn cael ei gynnyrchu yn chwys-dyllau corff y creadur. Pan y bydd wedi prifio yn rhy fawr i'w dŷ cyntaf y mae yn ychwanegu ato, ac felly mae y trigiannydd â'i thŷ bob amser yn gymhwys i'w gilydd. O herwydd nad yw ei theulu yn trigo gyda hi, nid oes rhaid iddi ystyried ond ei hewyllys da a'i phleser ei hun gyda'r adeilad. Y mae dau beth yn haeddu sylw arbenig. Rhaid fod y darllenydd wedi sylwi ar y gwahaniaeth sydd yn bodoli rhwng lliwiau gwahanol gregin malwod. Y mae gan ei *factory* lliwiau ei hun. Y mae yna gyfres o chwarenau (*glands*) megys nifer o weithfëydd fferyllaidd (*chemical works*) sy'n cynnyrchu y lliwiau sydd yn rhoddi y gwahanol arliwiau yn y gragen. Y mae yn ffaith hynod fod hyd yn oed y falwen ieuanc yn dechreu ei hadeiladwaith cyn y bydd wedi deori. Tra y mae yn yr wy, y mae'r creadur bach wedi ffurfio cragen deneu. Ond y mae yna un peth nas gall y babanod yma wneuthur; hyny yw, lliwio y gragen. Mae y tŷ yn cael ei adeiladu yn gyntaf, ac wedyn ei brydferthu.

Sylwn yn awr ar auafdy y falwen. Pan y bydd bwyd yn dechreu pallu a nosweithiau yr hydref yn oeri, y mae y creadur yn myned yn gysglyd ac yn gwneyd ei feddwl i fyny am gwsg hirfaith y gauaf. Ond sylwch ar ei pharotoadau gogyfer â hyn. Y mae rhai bathau yn ymneillduo yn ddwfn i'w cregin, gan adeiladu pedwar neu bump o furiau teneu ar draws y fynedfa i mewn, fel y mae hi wedi ei chau i fyny yn lân oddi wrth y byd allanol. Wedi gorphen yr adeiladwaith yma, y mae yn ffarwelio â phob poen a gofid ac yn myned i gysgu dros y gauaf.

A ydyw y falwen o ryw ddyben yn y byd? Gall y darllenydd sydd yn archwaethu newidiad bwyd wneuthur potes iachus o'u cyrff. Peidiwch â dychrynu wrth y cynnygiad: bwytawyd y cyfryw o falwen yn y wlad hon yn amser y Frenines Elisabeth, ac y mae nhwy yn dweyd fod yna "wledd falwod" yn cael ei fwynhau ar ddiwrnod neillduol gan amryw o grefftwyr yng ngogledd Lloegr. Y mae llyfr coginiaeth diweddar yn dysgrifio deuddeg o wahanol ffyrdd o barotoi y creaduriaid fel bwyd. Os oes rhyw ddarllenydd yn awyddus i dreio dysglaid, dyma *recipe* iddo: ceisiwch ddigon, yn ol eich archwaeth, o'r falwen bwytadwy (*helix pomata* yw yr enw dysgedig), berwch nhwy mewn dwfr ffynnon,

ac wedi hyny rhowch halen a phubyr arnynt, a chiniawwch. Byddai yr Ymherawdwr Nero yn hoff o honynt wedi eu ffrïo.

Felly, chwi a welwch fod yna lawer o bethau i beri syndod ac i'n hadgofio o'n Creawdwr mawr yn y creaduriaid mwyaf distadl o'r greadigaeth.

*Ynys yr Arch.* AB CERNYW.

---

## "Y WEINIDOGAETH ANSEFYDLOG A CHRWYDRAIDD."

YMDDENGYS fod Cyfundeb y Methodistiaid Calfinaidd yng Nghymru yn prysur ddeffroi i ganfod y gwendid, gwastraff, a pheryglon sydd yng nglŷn â'r weinidogaeth grwydraidd. Galwyd sylw neillduol at hyn mewn papyr rhagorol a ddarllenwyd gan Mr. Peter Roberts, Llanelwy, yng nghymdeithasfa Conwy amser yn ol. Cyhoeddwyd yr anerchiad hwnw yn y *Drysorfa* am Mehefin diweddaf, ac mewn pamphledyn i'w ledaenu ym mysg yr enwad. Gelwir sylw at yr un pwnc hefyd mewn erthygl arweiniol rymus dan y penawd, "Y Pregethu Sabbathol" yn y *Goleuad* am fis Mai 28. Gallwn fel hyn gasglu yn deg mai nid ebwch amserol plaid fechan rwgnachlyd, ond mai teimlad dwys rhan fawr o'r corff Methodistaidd a geir yn y dyfyniadau canlynol o'r *Goleuad* am Mai 28 :—

Mae y *Goleuad* er ys blynyddoedd wedi bod yn galw sylw at weinidogaeth Sabbathol ansefydlog a chrwydraidd. Amcanem ddangos y modd yr oedd y dull o lanw ein pwlpudau ar y Sabbath yn magu ysfa afiach ar glustiau a meddyliau y cynnulleidfaoedd am glywed llais dyeithr yn y pwlpud. Nid creu awydd am wirioneddau newyddion, ond creu chwilfrydedd am weled wyneb dyeithr a chlywed llais dyeithr, a goreu oll os byddai y lleferydd yn cyhuddo ei berchen ei fod yn hanu o ogleddbarth Galilea. Yr oedd swyn bron syfrdanol yn llais deheuwr i glust gogleddwr, ac yr oedd swyn gyffelyb yn y llais gogleddol i'r glust ddeheuol. Yr oedd perygl i'n cynnulleidfaoedd drwy y pregethu teithiol neu grwydraidd fod yn dyfod yng nghyd, nid i addoli Duw nac i wrandaw gwirioneddau syml yr Efengyl, eithr yn hytrach i fwynhau math o *entertainment* yn gogleisio eu clustiau a'u tymmerau yn unig. Ac nid y cynnulleidfaoedd yn unig oedd mewn perygl. Yr oedd y pregethwyr mewn perygl hefyd. Yr oedd y ffaith na byddai ond ychydig o'r pregethwyr yn pregethu i'r un cynnulleidfaoedd ond anfynych iawn yn tueddu i wneyd y pregethwyr yn ddilafur. Cymmerir pob talent oddi wrth ddyn os na bydd iddo ei defnyddio. Llawer pregethwr a welwyd wedi bron lwyr golli ei allu i gyfansoddi pregethau am ei fod wedi esgeuluso defnyddio y gallu hwnw. Buom yn gresynu ac yn tosturio wrth aml i bregethwr, yr hwn a feddai dalentau naturiol pur dda i ymboeni yn y Gair a'r athrawiaeth, ac i ddwyn allan o drysorau yr Efengyl bethau newydd a hen; eithr o herwydd na ddefnyddiodd ei dalentau, neu nad oedd trefn y Methodistiaid yn ei gymhell i'w defnyddio, collodd hwy. Dinystriwyd y pregethwr gan y pregethu ansefydlog. "I ba beth y bu y golled hon?"

Dywedwyd yng nghymdeithasfa Conwy fod y Methodistiaid yn gwario *wyth mil o bunnau* ar y pregethu Sabbathol mewn treuliau teithio bob blwyddyn. Nid ystyriaeth ddibwys yw hon. Yr ydym yn gobeithio y bydd i'r ddirprwyaeth a awgrymwyd, os sefydlir hi fel yr ydym yn gobeithio y gwneir, wneyd ymchwiliad manwl i'r treuliau teithio. Ond y mae yn amlwg oddi wrth y sylwadau a wnaed genym eisoes mai nid arian nac amser yn unig sydd yn cael eu gwastraffu. Mae galluoedd a thalentau dysgawdwyr crefydd yn y cyfundeb yn cael eu colli. Mae y drefn yn gymhelliad i'r gwas i guddio ei dalent yn y ddaiar. Yn lle fod y drefn yn symbyliad i yru y ddwy dalent yn bedair a'r pum talent yn ddeg, mae tuedd yn y ffurf sydd ar wasanaeth Sabbathol amryw gannoedd o bregethwyr y cyfundeb, hyd yn nod y blynyddoedd hyn, i'w hachlesu mewn bywyd segur a dilafur. Mae colli llafur meddyliol o unrhyw gymdeithas, ac yn arbenig felly o gymdeithas grefyddol, yn fwy o golled na cholli arian. Nid ydym yn beio Mr. Roberts am roddi lle amlwg i'r golled arianol. Mae llawer o bobl ag y mae yn anhawdd eu cael i deimlo fod dim colled yn bod, os na ellir dangos iddynt fod arian yn myned ar goll. Mae arnom ofn fod llawer o Fethodistiaid, pe dywedid wrthynt fod y pregethu ansefydlog yn colledu y cyfundeb o lawer o lafur meddyliol na welant ond ychydig ystyr yn y dywediad; ond pe dywedid wrthynt fod y Methodistiaid yn gwario *wyth mil o bunnau* ar rywbeth bob blwyddyn, hwy a ddechreuent glustfeinio ac ystyried.

Yr ydym ni dan yr argraff er ys blynyddoedd ein bod yn cael colled arall, bwysicach na'r un o'r ddwy a nodwyd, drwy fod y pregethu Sabbathol mor ansefydlog ag ydyw yn ein mysg. Mae yn tueddu i filwrio yn erbyn ysbryd defosiynol ac addolgar yn ein cynnulleidfaoedd. Mae y pregethwr dyeithr ar ol teithio hanner cant neu gant o filltiroedd ddydd Sadwrn gyda y bwriad o draddodi dwy bregeth y Sabbath canlynol, yn cael ei hun yn llithro yn ddiarwybod iddo ei hun dan ddylanwad y dybiaeth y dylai lwytho meddwl a deall y gynnulleidfa â swm mawr o fater ysgrythyrol neu dduwinyddol, ac y mae ganddo bregeth drom, feichus iddo ef ac i'r gynnulleidfa. At y deall, a'r cof, a'r rheswm yn benaf o lawer yr appelia. Nid yw y gydwybod, a'r galon, a'r ewyllys yn cael ond ychydig o sylw ganddo. Onid oes tuedd mewn pregethu fel hyn i oleuo y pen yn unig, gan adael y galon i ymlynu wrth ei llygredigaeth? Os cyffyrddir â'r teimlad o gwbl, ni fydd y cyffyrddiad yn is na'r tymmerau. Bydd y cwbl wedi gwisgo ymaith cyn canol yr wythnos ganlynol. Had ar y creigleoedd fydd yr hyn a enwyd. Os buasai gweinidogaeth pregethwr cartrefol yn rhoddi llai i'r deall, a'r cof, a'r rheswm, credwn y rhoddasai fwy i'r gydwybod a'r serchiadau. Ac nid oes neb a ddadleua gwestiwn mor eglur a pha un ai y deallol ynte y moesol a'r ysbrydol yw y pwysicaf. Ond nid ydym o gwbl yn barod i addef fod y pregethu ansefydlog yn goleuo mwy ar ddeall y cynnulleidfaoedd nag a wnelai pregethu mwy sefydlog a chartrefol. Yr ydym yn credu yn gryf i'r gwrthwyneb. Nis gall hanner cant neu fwy o ddynion a ymwelant â chynnulleidfa ond unwaith bob un am ychydig oriau unwaith mewn blwyddyn fod yn arweinwyr meddyliol, heb son am fod yn arweinwyr defosiwn ac addoliad i gynnulleidfa. Y canlyniad yw, nad oes gan luaws mawr o'r cynnulleidfaoedd arweinwyr o gwbl i'w deall mwy nag i'w teimladau addolgar a defosiynol.

Gosodir allan anfanteision a cholledion gweini-

Digitized by Google

dogaeth grwydraidd mor nerthol ac eglur, fel na wnawn ddim yn ychwaneg na chrynoi y rhai hyn yng nghyd fel cynnwysiad o'r ysgrif.

1. Mae y weinidogaeth grwydraidd yn "magu ysfa afiach ar glustiau a meddyliau cynnulleidfaoedd am glywed llais dyeithr yn y pwlpud."

2. Y mae yn "berygl i'r cynnulleidfaoedd ddyfod yng nghyd nid i addoli Duw nac i wrandaw gwirioneddau syml yr Efengyl, eithr yn hytrach i fwynhau math o *entertainment.*"

3. Y mae yn "tueddu i wneuthur y pregethwyr yn ddilafur."

4. Y mae yn wastraff arianol o "*wyth mil o bunnau* yn y flwyddyn ar deithio yn unig."

5. Y mae yn ysgaru rhwng y pregethwr a'r bregeth, ac felly yn dinystrio ei nerth moesol ac ysbrydol.

6. Mae y pregethau oddi ar wefusau estroniaid yn appelio "at y deall, y cof, a'r rheswm;" "ac nid yw y gydwybod, a'r galon, a'r ewyllys yn cael ond ychydig o sylw."

Wrth osod yr ysgrif bwysig—o herwydd pwysig mewn gwirionedd yw—ger bron ein darllenwyr, dymunem ymddiosg o bob Phariseaeth wrth feirniadu y "weinidogaeth grwydraidd." Fe gofia ein darllenwyr hyddysg mewn hanesiaeth am "weinidogaeth grwydraidd" brawdoliaethau lluosog y Canoloesoedd. Dechreuent bob amser yn boblogaidd, ac ymdeneuent yn araf i fod yn *entertainments* gweigion, neu foddion difyrwch yn unig. Ond na thybied neb yn isel am *bregethu* pan ydys yn condemnio y weinidogaeth grwydraidd. Y mae yn annichonadwy pregethu yn rhy dda, ac yn fwy annichonadwy byw a bucheddu yn rhy dda. Gweinidogaeth wresog, oleu, o waelod calon gariadus ac oddi ar wefusau pur, bucheddwr glân, yw yr oreu oll.

---

## PENODIAD DR. CHARLES EDWARDS I ATHROFA Y BALA.

AR ol taer ymbil y mae y Dr. Thomas Charles Edwards, prif-athraw Coleg Aberystwyth, wedi cydsynio â chais cyffredinol ac unfrydol Cyfundeb y Methodistiaid Calfinaidd yng Nghymru i ymgymmeryd â swydd prif-athraw yng Ngholeg Duwinyddol y Bala. Ymddengys y symmudiad o Aberystwyth i'r Bala yn debyg iawn i'r hyn a alwai Mynyddog unwaith yn "ddyrchafiad ar i waered," sef "*promotion downward*" y Gwyddel gynt. Bu llawer o ddadleu ar y pwnc hwn ym mysg y Methodistiaid eu hunain, ac ofnai amryw o honynt eu bod yn lladrata "dyn cenedl at wasanaeth enwad." Ni wiw i neb feio y cyfundeb am hyn. Y mae gan bob person a phlaid hawl i fyned allan a chwilio a chyflogi y dynion goreu a allant gael i'w gwasanaethu, ac nid oes lle i ddadl na chafodd Pwyllgor Coleg Duwinyddol y Bala y dyn goreu a chymhwysaf a ellid gael i'w gwasanaethu fel prif-athraw. Saif Dr. Charles Edwards ar ben ei hun fel ysgolhaig gwych a meddyliwr grymus ym mhlith goreuon y blaid, ac y mae o alluoedd digon eang i fod yn amlwg ym mysg ysgolheigion lluosog y deyrnas, a bydd yn sicr o roddi argraff ddaionus ar weinidogaeth ei gyfundeb. Gwnaeth aberth yn ddiau wrth ymgymmeryd â'r swydd gyfyngach o athraw duwinyddol yn y Bala. Ond efe ei hun sydd i farnu i ba gyfeiriad yr arweinia llwybr ei ddyledswydd. Cawn yma un enghraifft yn ychwaneg o ddoethineb trefniadol y corff Methodistaidd yn gallu cael eu dynion mawr i'r safleoedd mwyaf pwysig a mwyaf amlwg. Ond ymddengys fod dirgel obaith y bydd i benodiad y Dr. C. Edwards

### EANGU CYLCH DEFNYDDIOLDEB COLEG Y BALA.

Dywedir mewn erthygl arweiniol yn y *Goleuad* am Mai 14ydd, "Yn yr atebiad ffafriol hwn i gais y gymdeithasfa, yr ydym yn cael sicrwydd fod Dr. Charles Edwards yn bwriadu troi ei holl nerth i wasanaeth crefyddol y genedl. Dywedwn y genedl o blegid, er mai coleg enwadol ydyw coleg y Bala, gobeithiwn na bydd yn hir cyn cael ei osod ar dir a fydd yn gwneyd yn berffaith rydd i bregethwyr o bob enwad gael perffaith ryddid, ar ammodau priodol, i fanteisio ar yr addysg a gyfrenir ynddo. Buom yn dadleu yn y colofnau hyn nad oedd yr alwad hon yn un ar Dr. Charles Edwards i adael y genedl er mwyn enwad, ond yn hytrach adael addysg fydol er mwyn addysg grefyddol, ac yr ydym yn sicr na bydd y genedl yn ei cholled o herwydd y cyfnewidiad. Dylai trefniadau yr athrofa yn y Bala fod yn gyfryw ag a'i gwnânt yn hollol rydd i bawb o bob enwad fyddai yn dymuno hyny, i fwynhau yr addysg a gyfrenid yno. *Drwy hyn, a thrwy hyn yn unig*, y gellir cyfiawnhau gwaith y cyfundeb yn rhoddi yr alwad, a gwaith Dr. Charles Edwards yn ei derbyn." Nyni sydd wedi Italeiddio rhan gyntaf y frawddeg olaf i bwysleisio y ffaith fod y Cyfundeb Methodistaidd yn bwriadu ymdrechu eangu cylch eu coleg i wasanaethu enwadau ereill, os gellir eu perswadio i dderbyn dysg yno. Dyma brawf ychwanegol o'r awydd cyfanu sydd yn ysbryd y genedl, ac y mae y Cyfundeb Methodistaidd yn ddigon doeth

Digitized by Google

i ymdrechu gosod ei hun yn *ganolbwynt* yr undeb pan y dêl. Y mae ein darllenwyr yn cofio am undeb y pedwar enwad mewn materion gwleidyddol, a gellir gweled yn y newyddiaduron ohebiaethau meithion rhwng cantorion a cherddorion am gael un llyfr hymnau a thonau cyffredinol at wasanaeth yr holl enwadau. Mae y rhan fwyaf meddylgar o'r genedl yn gweled yr anghyfleusdra, gwastraff, a chollediou dirfawr sydd yng nglŷn â mân sectau, yn enwedig ym mhlith poblogaeth deneu plwyfydd gwledig a mân bentrefydd Cymru, ac ymdrechant gael cymmaint o gydweithrediad ag a oddefa yr amgylchiadau. Hiraethus ddyhead am undeb sydd wrth wraidd yr oll; a'r corff trymaf, puraf, a llawnaf o fywyd attyniadol a fydd canolbwynt yr undeb hwn fel y gweithir ef allan.

Yn y *Goleuad* am Mai 28 cawn resymau ereill tra gwahanol dros symmudiad y Dr. Charles Edwards i'r Bala. Dywed gohebydd yn dwyn yr enw W. O. Jones, mewn llythyr a osodir mewn llythyren fras, "Yr ydym wedi ein dysgu drwy y *Goleuad* ac amrywiol ffyrdd ereill fod bywyd (Coleg) y Bala yn dibynu ar ei ddyfodiad ef (Dr. C. Edwards) yno, ond gellir cynnal Coleg Aberystwyth ym mlaen er iddo ef ymadael. Os felly, bydd ei symmudiad yn foddion i gadw y ddau goleg yn fyw, tra y buasai ei arosiad yn Aberystwyth yn farwolaeth i Goleg y Bala."

Ymddengys oddi wrth y dyfyniad uchod fod bywyd Coleg y Bala mewn perygl, pan y taer wasgai y gymdeithasfa ar y Dr. Charles Edwards ei amgeleddu; a dirgel ddysgwylid y byddai i ddylanwad personol y proffeswr poblogaidd ddwyn ychydig o waed newydd o wytheni yr enwadâu ereill i gryfhau cyfansoddiad nychlyd y coleg. Arddengys hyn naill ai cariad brawdol cymmwynasgar at enwadau ereill, neu awydd ymgyfnerthu ar eu traul.

Y DR. CHARLES EDWARDS A'R UNDEB CYNNULLEIDFAOL.

Ofnwn fod y Proffeswr Charles Edwards wedi myned i awyrgylch *sectol* lled heintus pan yn gwrandaw darlith wrth-esgobyddol Dr. Brown yng nghyfarfod diweddar yr Undeb Cynnulleidfaol, o herwydd yn sicr y mae arwyddion poenus o ymgrebychiad o fod "yn ddyn cenedl i fod yn ddyn enwad" ar y dyfyniad canlynol o'i araeth ef yno. Priodolir iddo y geiriau hyn:—"Pwnc y dydd yn Nhywysogaeth Cymru ydyw addysg ail-raddol a rhyddid crefyddol. Brwydr ydyw hon ag y mae llawer o nerth o'r naill ochr a'r llall iddi. Nerth y blaid Eglwysig yw eu harian; genym ninnau y mae yr ymenydd, ac mewn mater o addysg fe ddygwydd yn fynych fod arian yn fwy pwysig nag ymenydd. Byddys weithiau yn dueddol i feddwl ein bod yn gweled arwydd neillduol o ffafr Rhagluniaeth Ddwyfol yn y ffaith fod Anghydffurfwyr tlodion yn medru cynnyrchu dynion o alluoedd pan roddir iddynt faes agored, chwareu teg, a dim ffafriaeth yn y colegau a'r prif-athrofau. . . . Aethym i ac ereill i'r brif-athrofa, a daliasom ein tir; ac nid yn unig gorchfygasom holl demtasiynau elw a dyrchafiad, ond derbyniasom y caredigrwydd mwyaf oedd yn ddichonadwy oddi wrth wŷr blaenaf yr Eglwys. Er esampl, ar adeg pan oeddwn yn ddigon gwan i feddwl nad oedd yr Eglwys wedi'r cwbl ddim mor ddrwg, ac fod llawer o bethau da ynddi heb law bwrdd danteithus, dywedodd prifathraw Coleg Baliol mewn geiriau eglur wrthyf, 'Daliwch eich tir fel Anghydffurfiwr; byddwch ffyddlawn i'ch egwyddorion.' Ac yr wyf yn diolch i'r Nefoedd fy mod wedi dilyn ei gynghor. O'r pryd hwnw hyd yn awr yr wyf wedi gweled o leiaf yng Nghymru, fod yn rhaid i ni ymdrechu cael i oreuon ein gwŷr ieuainc gyfleusderau gyrfa fanteisiol a gwir lwyddiannus, nid yn y weinidogaeth yn unig, ond fel proffeswyr a phrif-athrawon hefyd."

Nid ydym mewn un modd yn beio y Dr. Charles Edwards am gymhwyso ei hun yn ddyn plaid o'r fath fwyaf cymmwynasgar i'w enwad. Nid yw yn gwneuthur dim ond a briodolir i'r esgobion yng Nghymru. Pa fodd bynag, gwna y Cyfundeb Methodistaidd y gwaith yn llawer mwy trwyadl na'r Eglwyswyr. Y maent yn gallu gwneuthur arddangosiad mawr a defnydd helaeth o'r holl dalentau a dysg o fewn i'r Corff. Synem wrth ddarllen llythyr dyddorol, "*A Welsh Parson*," yn y *Liverpool Courier* am Mai 29fed, fod mor ychydig o raddedigion o Gaergrawnt a Rhydychain ym mysg pregethwyr y Methodistaidd yn chwe sir Gogledd Cymru, a chynnifer o ysgolheigion uchel[1] yn yr Eglwys yn

[1] "Ganddynt hwy (yr Eglwyswyr) y mae yr arian; genym ninnau y mae yr ymenydd."

Ymdrecha "*A Welsh Parson*" (offeiriad Cymreig), yn y *Liverpool Mercury*, wrthbrofi yr haeriad uchod o eiddo y Proffeswr Charles Edwards drwy ddangos cyfartaledd safon *mesurol* dysgeidiaeth yng ngweinidogaeth yr Eglwys yn esgobaeth Llanelwy a'r un safon yng ngweinidogaeth y Cyfundeb Methodistaidd dros Gymru oll. Dyfynwn ffugyrau yr offeiriad Cymreig: "Y mae gweinidogion Eglwysig esgobaeth Llanelwy yn rhifo 315. O'r rhai hyn y mae 251 yn raddedigion o ryw brif-athrofa, neu 80 y cant ar gyfartaledd. O'r rhai hyn y mae 88 wedi graddio yn Rhydychain, 38 yng Nghaergrawnt, 13 yn Dublin, 4 yn Durham, a 56 yng Ngholeg Dewi Sant. Allan o'r 126 graddedigion Rhydychain a Chaergrawnt, y mae y mwyafrif naill ai wedi graddio mewn *honours* ai yn ysgolheigion o'u colegau, neu yn bob un o'r

Digitized by Google

esgobaeth Llanelwy yn unig; ond y mae ysgolheigion yr Eglwys yn guddiedig, a graddedigion yr enwadau yn amlwg. Gosodir pob un ar ganwyllbren digon uchel i daflu goleuni dros hanner sir, tra y gwthir yr ysgolhaig a'r dyn o dalent yn yr Eglwys i gonglau dinod.

Y mae yn wir y cwynir yn fynych ym mysg y Methodistiaid fod eu dynion goreu hwy yn tyru i'r trefydd poblog, ac yn cyfyngu eu gwasanaeth i'r cynnulleidfaoedd lluosog, gan adael yr ardaloedd gwledig bron yn anialwch moesol, mor bell ag y mae a wnelont hwy a'u diwyllio. Canlyniad uniongyrchol masnach rydd mewn "ymenydd" ydyw. Mae y cyflog uchaf yn sicrhau gwasanaeth yr ymenydd galluocaf. Fe wel y craff fod y cwrs yma yn tlodi y lleoedd gwledig; ond y mae y cwrs arall o gornelu gormod ar ddysgeidiaeth a thalent Eglwysig yng nghonglau unigol yr ardaloedd gwledig, tra yr ymddiriedir safleoedd o gyfrifoldeb a dylanwad cyhoeddus i ddynion llai eu cymhwysderau, yn sicr yn niweidiol i'r Eglwys. Y mae pob gwir dalent yn ddiymhongar. Y mae fel yr aur: ni fyn ymwthio i'r wyneb, rhaid ei chwilio allan; ond y mae anwybodaeth ac amddifadrwydd profiad yn hyf a beiddgar, a lle nad oes doethineb llednais y mae cyfrwysdra.

Cawsom enghraifft ofidus o'r dalent lednais encilledig yn marw mewn cyflwr o esgeulusdod yn y diweddar Glanmor. Pe rhoddasai efe hanner y llafur a'r dalent a gyssegrodd mor ddyfalbarhäus i wasanaethu yr Eglwys a'i genedl i'r amcan o lesäu ei amgylchiadau tymmorol, buasai yn well ei sefyllfa yn y byd. Y mae ei hanes yn cyfieithu yr esboniad ar Actau yr Apostolion mewn gwendid iechyd a llesgedd corfforol mor fawr, pan yn amddifad o gysuron bywyd, yn ddigon i leitho llygaid y mwyaf difater.

Am dano ei hun fe ddywed y Proffeswr Charles Edwards yn groew iddo ef, er pan ymadawodd o'r coleg, ymdrechu cael i'r gwŷr ieuainc Anghydffurfiol dan ei ofal gyfleusderau a manteision gyrfa wir lwyddiannus; ac y mae y safleoedd anrhydeddus a leinw lluaws mawr o honynt yn yr ysgolion a'r colegau cyhoeddus, ac ym mhwlpudau ein dinasoedd poblog, yn brawf diymwad o'i lwyddiant. Bydded i Eglwyswyr wneuthur yr un peth â'u gwŷr o ddysg a thalent.

ddau, tra y graddiodd 13 mewn *double honours*, 8 mewn *first class honours*, 18 mewn *second class honours*, 4 yn *wranglers*, a 2 yn *fellows*," &c.

"O'r ochr arall, yn chwe sir Deheudir Cymru ceir ar restr gweinidogion a phregethwyr y Methodistiaid Calfinaidd 461 o enwau. O'r rhai hyn y mae 27 neu 6 y cant o raddedigion. Rhif y gweinidogion a phregethwyr yn chwe sir Gogledd Cymru ydyw 461, o ba rai y mae 45 yn raddedigion o ryw fath. Ychydig iawn o'r rhai hyn sydd wedi graddio yn unrhyw rai o'r athrofau Seisonig, tra y mae nifer helaeth yn gwisgo graddau ffugiedig o'r ochr draw i Fôr y Werydd."

Y DR. CHARLES EDWARDS A'R "WELSH PARSON" YN Y "COURIER" AM MAI 29.

Geilw yr offeiriad Cymreig hwn y Proffeswr C. Edwards i gyfrif am ddefnyddio yr ymadrodd canlynol:—"Nerth y blaid Eglwysig yw eu harian. Ganddynt hwy y mae yr arian; genym ninnau y mae yr ymenydd." Brawddeg anffodus yw, ac y mae yn sawru yn gryf o lwydni Tichbornaidd. Oni ddefnyddiodd yr hawlydd twyllodrus Orton yr un geiriau fel esgusawd dros ymdrechu trawsfeddiannu ystâd Tichborne? Ai tybied mai fel esgusawd dros feddiannu hen dreftadaeth yr Eglwys yng Nghymru y gwneir yr haeriad yn bresennol? Neu a ofnir i foddion arianol yr Eglwys ennill "ymenydd" Cymru i'w gwasanaeth. Fe ŵyr y Dr. Charles Edwards fod pob drws addysgol mor agored yn awr i Ymneillduwyr ag ydynt i Eglwyswyr, ac nad yw yr Eglwys yn rhoddi hanner y cynnorthwyon arianol at "godi gweinidogion" ag a roddir gan ei enwad ef. Nid ydym yn beio dim ar yr enwad am fyned i gostau mawrion i gyfodi y dynion goreu a allant gael i'w wasanaeth. Yr unig beth a hawliwn i'n cydgenedl yw perffaith chwareu teg. Pa le bynag y dichon fod yr ymenydd (pwnc o ddamcaniaeth ydyw hyn), yn yr Eglwys hyd eto y mae cyfanswm mawr y dysg. Duwinyddiaeth yr Eglwys ydyw ffynnonell fawr ddifesur gwybodaeth grefyddol, a thua'r Eglwys y mae dysgeidiaeth yn tueddu cyfeiriad ei feddiannwyr. Y mae gwybodaeth yn goleuo y conglau tywyll ac yn lladd rhagfarn, ac y mae caredigrwydd Cristionogol Eglwyswyr yn ennill cydymdeimlad a pharch. Y mae genym yr awdurdod uchaf dros ddywedyd hyn, o herwydd cawn dystiolaeth eglur i brif-athraw Coleg Baliol alw ar un a ymddangosai yn dueddol i eistedd ar garfan y llidiart mewn petrusder pa ochr i ddisgyn—"Daliwch eich tir fel Anghydffurfiwr; byddwch ffyddlawn i'ch egwyddorion." Dyma y llais a fendithiwyd i ddwyn yr eisteddwr pryderus i lawr yr ochr Ymneillduol i'r llidiart; ac nid oes ynom y petrusder lleiaf i ddweyd, pe disgynasai yr ochr Eglwysig i'r llidiart, y buasai yn llawn mor alluog i fendithio Duw am dueddu ei feddwl i'r ochr hòno; o herwydd y mae gwr o alluoedd, egni, gweithgarwch, a bywyd dilychwin y Proffeswr Edwards yn sicr o feddiannu cydwybod ddirwystr, boed ef Eglwyswr neu boed Ymneilldüwr.

Digitized by Google

Y mae egwyddorion dyn yn dilyn ei farn a'i ewyllys, ac y mae y dyn a "egwyddorir" yn ffurfwasanaeth yr Eglwys mor gydwybodol a'r dyn a "egwyddorir" yn yr Hyfforddwr a'r Gyffes Ffydd, ac y mae yn gystal dinesydd, cystal gwladwr, a chystal Cristion hefyd. Trwy "gyfarfodydd egwyddori" y mabwysiadodd mwyafrif y genedl syniadau Ymneillduol, ac nid yw "ymenydd" wedi ei drwytho ag Anghydffurfiaeth yn ddim gwell na'r ymenydd Eglwysyddol. Y mae ein cenedl yn dyhëu am undeb a chydweithrediad i gymmeryd safle anrhydeddus ym mysg cenedloedd y ddaiar, ac i agor drysau gyrfaoedd llwyddiannus o flaen ei meibion a'i merched, a'i doethineb hi ydyw rhoddi gwasanaeth ei "hymenydd" yn y farchnad oreu. Y mae y genedl yn *fwy* na'r pedwar enwad; ac y mae pob rhinwedd, a gwirionedd, ac egwyddor a fedd y pedwar enwad yn yr *un* Eglwys, a'r Eglwys hòno yng Nghymru yn agored i bawb, ac y mae iddi yn ychwanegol gangenau ym mhob gwlad ar wyneb daiar.

---

## Y WASG.

"*Oriau yng Ngwlad Hud a Lledrith,*"[1] *gan y Parch. J. J. Roberts* (*Iolo Caernarfon*), *Porthmadog.*

Yr ydym erys llawer blwyddyn yn dra chydnabyddus â darnau mydryddol o waith Iolo Caernarfon, a bob amser yn eu darllen gyda mwynhâd ac elw moesol a meddyliol. Am y llyfryn ger ein bron y mae ei deitl yn agored i gael ei gamddeall. Nid oes a wnelo â "hud a lledrith" mewn un modd ond yn hytrach â meddyliau athronyddol wedi eu gwisgo mewn iaith glws, ffugyrau ymadrodd denol, a chymhariaethau addurniadol. Dywed rhai fod gwahaniaeth dirfawr rhwng bardd ag athronydd, gan fod y naill yn ymwneyd â'r ddychymmyg a'r llall â ffeithiau. Nid oes ynom ni gymhwysder i farnu; ond am weithiau *barddonol* Iolo Caernarfon, athronyddol ydynt mor sylweddol a chreigiau Berwyn, a chan dlysed a gerddi blodau. Arddengys ei waith lawer o allu i grynoi llawer mewn ychydig, ac i ddadansoddi hanesiaeth, a thynu casgliadau tlysion a gwirebau moesol oddi wrtho. Y mae neillduolion yn null yr awdwr o feddwl yn rhoddi newydd-deb mewn llawer hen wirionedd ag sydd yn dra boddhaol. Y darn mwyaf honiadol yn y llyfryn ydyw arwrgerdd fuddugol eisteddfod Birkenhead ar Josua. Y mae gan y gerdd hon gystal hawl i'r enw anrhydeddus ag unrhyw un yn yr iaith, er nad yw yn faith. Mae y llyfryn bychan hwn yn cynnwys llawer mwy na gwerth swllt o lenyddiaeth chwaethus, flasus, ddyrchafedig, wedi ei hargraffu ar bapyr da mewn llythyren eglur a glân, ond amlen bapyr. Y mae yn werth gwario chwecheiniog ar well amlen iddo.

[1] Dolgellau: argraffwyd gan E. W. Evans, swyddfa'r *Goleuad.*

---

## NEWYDDION.

### ADGOF UWCH ANGHOF.

Y mae enw yr Archddiacon Howell (Llawdden) mor adnabyddus, fel y bydd yn ddrwg gan filoedd na welsant erioed wyneb ei briod glywed am ei marwolaeth. Y mae gwraig y dyn cyhoeddus, llafurus, prysur, ac yn enwedig yr offeiriad poblogaidd, yn llenwi cylch pwysig dros ben. Triga yn ymyl y goleuni, ond yn fynych o'r tu cefn i'r haulwyneb, os priodol yr ymadrodd. Tra y mae ei alwedigaeth yn gorfodi yr offeiriad i droi ei gefn ar ei aelwyd, gan ymgolli yn ei lyfrgell neu ymweled â'r cleifion a myned oddi amgylch i bregethu a chynghori, a llawer Mair yn derbyn boddhâd i'w hysbryd a budd i'w henaid wrth ei draed, bydd yn rhaid i'r wraig gymmeryd arni ran Martha i ofalu am amgylchiadau y teulu. Gwyddom mai dyma a fu rhan gwragedd lluaws o'r pregethwyr a'r offeiriaid goreu a welodd Cymru. Preswyliai eu gwragedd mewn gwirionedd dan gysgod eu gwŷr, ac oni allent sugno eu mwynhâd drwyddynt hwy ac ymgolli mewn cydymdeimlad â'u llafur, ni allent fod yn gysurus. Bu yr Archddiacon Howell yn ffodus yn ei briod. Cafodd ynddi ymgeledd gymhwys i'w alwedigaeth gyssegredig. Ei dystiolaeth ef ei hun ydyw ei bod yn "ammhrisiadwy." "Ni fagodd sir Forganwg erioed well enghraifft o ferch o alluoedd naturiol uwchraddol a chymmeriad difrycheulyd." "Yr oedd yn allu er daioni pa le bynag y dygwyddai fod." Rhoddes y wraig hon ei holl alluoedd meddyliol ar waith i wasanaethu ei gwr, ac ymgollodd yn llwyr yn ei oleuni ef. Yr oedd yn feddiannol ar weithgarwch diorphwys, a duwioldeb gyda boddlonrwydd. Cerid hi yn fawr yn y cylch yr adwaenid hi, a theimlir yno yn chwith ar ei hol; ond i'w phriod bydd y golled yn drom, yn gystal a dattodiad cwlwm undeb mor anwyl a maith yn chwerw. Bu Mrs. Howell yn dyoddef dros amser maith oddi wrth anhwyldeb y galon, a dyna a derfynodd yn angeuol iddi. Arddangosir cydymdeimlad cyffredinol â'r archddiacon yn ei brofedigaeth.

Digitized by Google

MARWOLAETH MRS. TUDNO JONES.

Yr oedd Mrs. Tudno Jones yn farddones yn gystal a gwraig prif-fardd. Un o wragedd llednais tawedog, ond meddylgar y ddaiar oedd. Adwaenem hi yn wraig ieuanc obeithiol, siriol, ymddiriedol, deg ei golwg, ond fel y blodeuyn gwyn yn frau. Ni cheid arni arwyddion hirhoedledd. Daeth y clefyd parod i'w hamgylchu ar ei gwarthaf yn gynt nag y tybiem. Gwelsom hi ar ol ychydig o flynyddoedd, fel y lili gwedi nos o farug, yn gwywo ym mreichiau y darfodedigaeth. Darfodedigaeth ysol, araf, ond gafaelgar ydoedd yn nychu y corff, ac yn analluogi y wraig i roddi ei galluoedd llafurus ar waith, a dangos rhinweddau gweithgar. Ond deuai y rhinweddau dyoddefgar, amyneddgar, diolchus yn fwy i'r amlwg. Dyma y rhinweddau a fu yn heulo ystafell y bardd profedigaethus er ys rhai blynyddoedd, fel adlewyrchiad haul drwy gloeren. Yr oedd gwên ar wyneb gwywder, a gwendid mewn gwisg o anhwyldeb, a hiroddef yn ei aros bob amser yno. Addfedai yr enaid i dawelwch a phurdeb nef. Pan ddiffoddodd fflam wan y bywyd, yr oedd y wisg o gnawd yn ymddangos fel wedi treulio allan; ond ni bu ei bywyd byr yn ofer. Mae y rhinweddau enciliedig dyoddefgar mor werthfawr a'r rhinweddau gweithgar. Rhan Mair oedd yr eiddo hon yn benaf, ac y mae yn rhan dda.

DIWEDDAR ARCHDDIACON MEIRIONYDD.

Y mae yn ofidus genym feddwl cofnodi marwolaeth yr Hybarch Archddiacon John Evans, M.A., rheithor oedranus Aber, er ei fod wedi cyrhaedd yr oedran cymharol hen o 75 oed. Un oedd yr ymadawedig o bobl ddaionus, ddystaw, a dyddan daiar: un a graffai ar ragoriaethau ym mhawb a phobpeth; un a feddyliai yn dda, a lefarai yn dda, ac a obeithiai y goreu bob amser. Yr oedd felly yn gymmeriad siriol, syml, a phoblogaidd, ac yn ddyn galluog i weithio wrth ei bleser. Brodor ydoedd o Leyn, a hanai o deulu hynafol y *Broom Hall* a'r Werglodd Fawr. Derbyniodd ei addysg golegol yn Athrofa y Drindod, Dublin, lle y graddiodd yn B.A. yn 1841 ac yn M.A. yn 1863. Urddwyd ef yn ddiacon yn 1841 ac yn offeiriad yn 1842, gan yr Esgob Bethel. Bu yn gurad Llanbedr y Cenin o'r flwyddyn 1841 i 1844; yna yn ficer Pentrefoelas o 1844 i 1857; ac yn rheithor Machynlleth o 1857 i 1862. Dyrchafwyd ef yn archddiacon Meirionydd yn 1866 ac yn ganon trigiannol yr Eglwys Gadeiriol—*dwy swydd* ac *un cyflog*. Yn 1862 penodwyd ef i reithoriaeth Llanllechid, o'r lle y symmudodd i Aber yn 1888. Bu y diweddar archddiacon yn llafurus ar hyd ei oes, gan wneuthur gwaith parhäus, gwastad, a erys ol ei lafur a'i ddoethineb hyd eto yn y plwyfydd y bu yn gofalu am danynt. Yn ei oriau hamddenol yr oedd yn hoff o droi at hynafiaeth ac achyddiaeth, ac yr oedd yn ysgrifenwr Cymraeg dyddorol ar y pynciau hyn. Nodwedd amlycaf ei gymmeriad oedd didwylledd, symlder, calon agored, a rhydd oddi wrth bob math o rodres. Yr oedd ei dduwioldeb yn rhan o hono ef ei hun. Nid gwisg i'w harddu na chân cariad i'w mwynhau, ond egwyddor hanfodol ei fywyd oedd. Daliodd â'i law megys ar aradr ei alwedigaeth hyd wythnos olaf ei fywyd. Pan yng nghyflawniad ei ddyledswydd ar ymweliad â Meirionydd y tarawodd yr annwydwst ef, a bu farw ym mhen ychydig ddyddiau. Bydd yn chwith i lawer yn esgobaeth Bangor golli eu golwg ar ei wyneb a'i wedd adnabyddus, ac er yn addfed i'r ysgubor nefol, gofidir ar ei ol gan briod afiach a meibion a merched; ond galar ac anwylder â gobaith yn ei lenwi ydyw, ac yn tueddu i buro y galon. Aeth i orphwys wedi gorphen ei waith yn dda a chyflawnu ei ddyledswydd.

ESGOB LLANELWY YN NHY YR ARGLWYDDI.

Y mae esgob Llanelwy yn cymmeryd ei sedd eleni yn Nhŷ yr Arglwyddi. Ystyria rhai hyn yn anrhydedd uchel, ereill yn faich, ac ereill yn fraint a ychwanega gyfrifoldeb. Myn ereill mai un o ragorfreintiau yr "Eglwys wladol" yw, a mynant ddifreinio yr esgobion. Ond "pa ham y rhaid i'r esgobion fyned i Dŷ yr Arglwyddi?" Nid oes un rheswm uwch nag *arferiad* yn y peth. Hwynt-hwy a *wnaethant* y senedd gyntaf yn y deyrnas hon. O synod yr Eglwys y daeth senedd Prydain, ac ar gynllun trefniadau Eglwysig y ffurfiwyd llywodraeth wladol. Y mae yr Eglwys yn yr ynys hon yn hŷn na'r senedd, a'i chynghorau hi a roddasant fod i gynghor y senedd. Mewn materion gwladol cymmerwyd i mewn i gynghor y tywysog, a'r pendefig, a'r esgob. Dyna pa ham y mae esgobion yr oes hon yn cael yr anrhydedd a'r gost o gymmeryd eu heisteddle ym mysg yr arglwyddi. Hwynt-hwy oedd ffurfwyr y senedd dros fil o flynyddoedd yn ol, ac etifeddant eu sedd yno hyd eto.

Ond pan alwyd yng nghyd gynnrychiolwyr i Dŷ y Cyffredin yn y drydedd ganrif ar ddeg, ni alwyd i mewn yr un offeiriad. Ni all offeiriad gymmeryd sedd yno pe yr etholid ef, am na bu yno erioed. Ond am weinidogion y gwahanol enwadau, gallant

Digitized by Google

hwy eistedd yno, a cheir yno amryw. Byddai yn rhyfedd genym feddwl gweled cau yr esgobion o'r tŷ hwn, fel y Beibl o'r ysgolion elfenol. Tra y byddant yno y maent yn cynnrychioli crefydd, ac yn lefeinio llawer ar y tŷ â syniadaeth grefyddol. A gobeithiwn glywed am yr Esgob Edwards yn ei dro yn amddiffyn moes a chrefydd, ac hefyd yn siarad, pe deuai achos, dros Eglwys ei wlad yn y llys uchel hwn. Y mae yn alluog i wneuthur hyn, ac yn ddigon gwrol i gyflawnu pob dyledswydd, bydded hawdd neu galed.

BYDDIN YR EGLWYS.

Y mae esgob Llanelwy wedi cydsynio â chais "Byddin yr Eglwys" i ddyfod yn un o'i llywyddion. Y mae gan Fyddin yr Eglwys lawer i'w wneyd i ddwyn y defaid disberod yn ol at Fugail ac Esgob eu heneidiau; i oleuo canwyll yng nghonglau tywyll ein gwlad, a chwilio am y darnau arian o bechaduriaid anystyriol a'u cyfodi o'r llaid, ac i groesawu plant afradlawn adref at eu Tad.

URDDIADAU EGLWYSIG.

Mewn gwasanaeth arbenig a gynnaliwyd yng Nghapel y Palas, Llandaf, prydnawn ddydd Sadwrn diweddaf, cafodd y Parch. William Lewis, ficer Ystradyfodwg, ei wneyd yn brif-gantor Eglwys Gadeiriol Llandaf, yr hon swydd a waghawyd drwy farwolaeth y diweddar Barch. C. F. B. Wood, gan Arglwydd Esgob Llandaf. Trwyddedwyd y Parch. A. E. Espin, B.A., i guradiaeth St. Woolos, Casnewydd, sir Fynwy, a'r Parch. Williams i guradiaeth Llanfihangel Torymynydd. Hefyd, rhoddwyd trwyddedau darllenwyr lleygol i Mr. John Thomas Dampur dros blwyf Newcastle, a Mr. John William Plant dros blwyf Mynyddislwyn.

*Llandaf.*

Cynnaliodd Arglwydd Esgob Llandaf ei urddiad yn yr Eglwys Gadeiriol ddydd Sul diweddaf, pryd yr urddwyd y boneddigion canlynol:—

*Offeiriaid.*—Thomas Hamilton, B.A., Coleg Exeter, Rhydychain. Warwick Whiteley, B.A., Coleg Clare, Caergrawnt.

*Diaconiaid.*—David Frazer Allen, B.A., Coleg Dewi Sant, Llanbedr. George Herbert Griffiths, Coleg Duwinyddol Gloucester. Harold Barclay Hennell, literate. Richard Jones, Coleg St. Bees, Cumberland. David Edmund Owen, B.A., Coleg Dewi Sant, Llanbedr. Thomas Christopher Phillips, literate. Horace Valentine Titmuss, literate.

Mr. Griffiths oedd yr efengylwr, a'r pregethwr ydoedd yr is-Ganon Downing, M.A. Yna rhoddodd yr esgob drwyddedau i guradiaethau fel y canlyn:—David Frazer Allen, Undy. George Herbert Griffiths, Risca. Harold Barclay Hennell, Canton, Caerdydd. Richard Jones, Nantyglo. David Edmund Owen, Rhymni. Thomas Christopher Phillips, Holl Saint, Caerdydd. Horace Valentine Titmuss, Maindee.

*Bangor.*

Ddydd Sadwrn diweddaf cynnaliodd esgob Bangor (y Dr. Lloyd) ei urddiad y Drindod yn Eglwys Gadeiriol yr esgobaeth, pryd yr urddwyd y boneddigion canlynol:—

*Diaconiaid.*—D. Herbert Lewis, B.A., Coleg Dewi Sant, Llanbedr, trwyddedig i guradiaeth Llanfihangel, sir Gaernarfon. James Evan Williams, B.A., Coleg Crist, Caergrawnt, trwyddedig i guradiaeth Caernarfon. C. Rockford Wall, B.A., Coleg Iesu, Caergrawnt.

*Offeiriaid.*—R. S. Edwards, B.A., Coleg Iesu, Rhydychain, curad Caernarfon. R. W. Owen, L.D., Coleg Dewi Sant, Llanbedr, curad Abermaw. Lewis Jenkins, B.A., Coleg Dewi Sant, Llanbedr, curad Dolwyddelen, sir Gaernarfon. J. Lodwick Davies, B.A., Rhydychain, curad Porthmadog. T. E. Davies, B.A., Coleg Dewi Sant, Llanbedr, curad Llangefni. Pregethwyd y bregeth urddiadol gan y Parch. G. Fairchild, M.A., prif-athraw Coleg Hyfforddiadol Caernarfon.

*Tŷ Ddewi.*

Cynnaliwyd urddiad cyffredinol gan Arglwydd Esgob Tŷ Ddewi, yn Eglwys blwyfol Abergwili, ddydd Sul. Y rhai canlynol a urddwyd:—

*Diacon.*—Evan Davies, L.D., Coleg Dewi Sant, Llanbedr, trwyddedig i guradiaeth Beguildy, sir Faesyfed.

*Offeiriaid.*—Joshua Davies, B.A., Coleg Dewi Sant, Llanbedr, curad Llanllwchaiarn, sir Aberteifi. David Davies, B.A., Coleg Dewi Sant, Llanbedr, curad St. Dogmael's, &c., sir Benfro. Evan William Evans, B.A., Hatfield Hall, prif-ysgol Durham, curad St. Ioan, Clydach, sir Forganwg. John Thomas Jones, Coleg Wadham, Rhydychain, a B.A. o Goleg Dewi Sant, Llanbedr, curad Penarth, sir Forganwg, ar ddymuniad Arglwydd Esgob Llandaf. Mr. Evan Davies oedd yr efengylwr, a thraddodwyd y bregeth gan y prif-athraw Edmondes, o Goleg Dewi Sant, Llanbedr.

Digitized by Google

ADDYSG ELFENOL RAD.

Y mae y mesur addawedig "i wneuthur darpariaeth ychwanegol i gynnorthwyo addysg yn ysgolion elfenol Lloegr a Chymru" yn awr ger bron y Senedd ac o dan sylw a beirniadaeth y wlad. Gan nad beth a all fod ei dynged, y mae ei amcan yn dda a'r ddarpariaeth yn syml. Gallwn sylwi—

1. Nad ydyw yn gwneyd dim gwahaniaeth rhwng ysgolion y byrddau a'r ysgolion gwirfoddol.

2. Nid yw yn ymyryd â llywodraethiad yr ysgolion.

3. Cynnygia ddeg swllt y pen ar gyfer pob plentyn yn yr ysgol rhwng yr oedran o bump a phedair ar ddeg oed.

4. Y mae yr arian hyn i'w talu yn chwarterol.

5. Lle bynag y mae taliadau y plant heb fod dros ddeg swllt yn y flwyddyn, bydd yr ysgolion yn hollol ddi-dâl i'r rhieni; ac y mae 85 y cant o holl ysgolion Lloegr a Chymru â'r taliadau yn ddeg swllt ac isod. Am ysgolion Cymru wyth swllt y pen ar gyfartaledd ydyw y taliadau, a dysgwylir y bydd i'r help ychwanegol wellâu yr ysgolion. Y mae dan addysg yng Nghymru 200,000 o blant. Swm eu taliadau yn bresennol ydyw 80,000p.; darpara mesur y llywodraeth 100,000p. at ysgolion Cymru.

Ymddengys yn debygol mai y prif ymgyrch yn erbyn y mesur o Gymru fydd ar y ddarpariaeth i roddi yr un cynnorthwy i'r ysgolion gwladwriaethol ag i ysgolion y byrddau. Y mae Cymru wedi ei britho ag ysgolion gwladwriaethol. Darparodd yr Eglwys y fendith fawr o addysg elfenol i'r genedl Gymreig, ond myn yr enwadau, neu o leiaf y *sectyddwyr* gwladol a chapelaidd, mai trwy Beelzebub, penaeth y cythreuliaid, y bu ac y mae yn bwrw allan y cythraul o anwybodaeth; rhaid, gan hyny, ymdrechu *dadsefydlu* yr Eglwys o'r adeiladau costus a gyfododd. Ymdrechir gwneuthur hyn o dan yr enw o ddwyn yr ysgolion dan reolaeth gyhoeddus. Bid siwr, y mae pob ysgol gyhoeddus o dan reolaeth ac arolygiaeth gyhoeddus, ac nid ydyw pwyllgorau yr ysgolion gwladwriaethol yn arolygu dim ond y tanysgrifiadau a gasglant. Y mae natur a sylwedd yr addysg oll yn cael ei drefnu gan y llywodraeth. Eto, fe dybiwn, fod gryn lawer ormod o ofnau ymyraeth rhieni a rheolaeth ysgolion. Ni bu ein profiad personol yn eang, ond y mae yn faith. Cyrhaedda dros ddeugain mlynedd, ac ychydig iawn a welsom o awydd ymyryd. Yn yr *enw* o gael rhan yn llywodraethiad ysgolion y mae y swyn i'r lluaws, ac yn eu hanwybodaeth y tybia pobl *sectarol* fod yr Eglwys yn ennill dysgyblion drwy gael y fraint o addysgu y genedl ieuanc. Ni welsom ennill plentyn erioed i'r Eglwys drwy yr ysgol ddyddiol, oddi eithr pan ddeuai rhai yn *pupil teachers* ac athrawon yn yr ysgolion Eglwysig. Am yr addysg grefyddol a roddir yn yr ysgolion gwladwriaethol, yn ei *grefyddoldeb* y mae ei werth. Nid yw y plant yn addfed i ddeall athrawiaethau dansoddol, ond deallant hanes yr Arglwydd Iesu, cofiant Ef, a deuant yn alluog i ddefnyddio yr Ysgrythyr Lân a phynciau ymarferol crefydd. Nid oes modd rhoddi gormod o bwys ar addysg grefyddol yn yr ysgolion dyddiol, ond y mae yn dra dichonadwy dadleu gormod yng nghylch y dull o'i gyfranu. Y mae cynllun y byrddau addysg crefyddol yng Nghymru yn rhagorol ac yn ei sylwedd credwn fod y mwyafrif mawr o'r enwadau crefyddol yn hollol gydolygu ag ef, fel y gwelir yn amlwg yn ymddygiad cyffredinol rhieni yn ei dderbyn a chymmeradwyo. Ond er fod y naw o bob deg, o'r rhieni yn hoffi yr addysg, gall y bydd naw o bob deg o'r *gwleidyddwyr* yn ei erbyn.

CAMWEDDAU MEWN LLEOEDD UCHEL.

Y mae llysoedd y gyfraith yn ddiweddar wedi dynoethi llawer ar gamweddau a llygredd mewn lleoedd uchel. Dadguddiadau gwaradwyddus poenus ydynt, ac nid llai poenus a gofidus i bob Cristion a gwladgarwr na'r gwaethaf o'r dynoethiadau diweddar ydoedd yr achos o dwyllo mewn hapchwareu cardiau (*baccarat case*) a fu ger bron llys y gyfraith y mis diweddaf, lle yr ymddangosodd Tywysog Cymru yn un o'r tystion. Nis gwyddom ddim am yr hapchwareu hwn, ond mai hapchwareu (*gambling*) noeth ydyw, croes i ysbryd cyfraith gwlad, diraddiol i foesoldeb, niweidiol i'r cymmeriad, a hollol anghydweddol ag ysbryd yr Efengyl. Cawn brofion parhäus fod hapchwareu (*betting and gambling*) yn un o felldithion mwyaf cymdeithas, ac yn arwain i dwyll, tlodi, a drygau fil, ac y mae yn ofid enaid i bob Cristion weled Tywysog Cymru ac etifedd coron Prydain Fawr, ymherawdwr India, yn ymostwng a llychwino dysgleirdeb y goron hon wrth fwrdd hapchwareuaeth. Dysgir ni gan Air Duw i edrych ar y pencoronog fel gweinidog Duw (Rhuf. xiii. 4). Pa fodd y mae yn weinidog Duw, onid am ei fod yn gynnrychiolydd cyfraith gwlad, i'w rhoddi mewn grym a'i hanrhydeddu? (Rhuf. xiii. 1). Y mae cyfraith gwlad fel ammodau heddwch â tharian nodded a diogelwch personau a meddiannau yn gyssegredig yng nghydwybod pob gwir wladgarwr, ac y mae y pencoronog yn corffori urddas, mawredd, a chyssegredigrwydd holl ddeiliaid ei deyrnas fel

Digitized by Google

cyfangorff; ac y mae yn nod amlwg i lygaid yr oll edrych i fyny ato a'i fawrygu, a dysgwylir ei weled yn deg, yn ddystain, yn ddysglaer, a *chyssegredig*. Ni fyn y wlad—corff y genedl—ddim ysgaru rhwng moesoldeb ac urddas personol a swydd foesol ac urddasol, ac ni wiw i dywysog feddwl dianc barn gondemniol os rhodia yn rhy agos i derfynau camwedd. Mawr obeithiwn i'r condemniad llym a roddwyd mor gyffredinol i'r camwedd dan ein sylw fod yn attalfa ar wallgofrwydd yr hapchwareu a'r betio sydd wedi dyfod yn gymmaint o bla heintus ar y wlad, ac y trydd y rhai agos i'r orsedd ac uchel eu hurddas eu cefnau ar y bryntwaith cyfareddol. Pan agorir cwterydd llygredd mewn safleoedd uchel, fe lifa yr aflendid o honynt i waered nes cyrhaedd y gwaelodion. Yr un modd y mae arferion drwg a llygredig yr uwchradd yn sicr o dynu llawer o efelychwyr o'r gymdeithas oddi tanodd a'i llygru.

---

## MANION.

Lle y gwelir mwyaf o gariad at Dduw, yno hefyd y gwelir y dyngarwch uchaf.—*Southey*.

Nid yw y gwlaw caletaf ond yn unig yn gwlychu y corff, ond mae gair caled yn briwo'r galon.—*Lover*.

Ofergoeledd yw cred heb reswm, anffyddiaeth yw rheswm heb gred.

Dyn, er mwyn yr hwn y gwnaethpwyd pob peth, a wnaethpwyd ei hun yn olaf o bob peth.—*Esgob Horne*.

Rhyw Roegwr a edliwiai i Anacharsis mai Scythiad ydoedd. "Gwir," ebai yntau, "mae fy ngwlad yn fy nianrhydeddu i, ond yr wyt ti yn dianrhydeddu dy wlad."

Y wers fawr a dŷn Milton drwy yr oll o'i *Goll Gwynfa* yw, mai canlyniad anocheladwy pechod ydyw holl drueni, a gwendid, a phoen yr angylion colledig. —*Thyer*.

Anaml, os byth, y mae dyn yn annedwydd am nad yw yn gwybod meddyliau dynion ereill; ond truenus yw yr hwn na ŵyr ei feddyliau ei hun.—*Marcus Antoninus*.

Ni fu tywysog erioed yn caru heddwch yn fwy na Harri VII. o Loegr. Ei hoff air ydoedd hwn: Pan ddaeth Crist i'r byd, canwyd tangnefedd; pan aeth Crist o'r byd, gadawyd tangnefedd.

Llyfrau yw y cymmyn-roddion a edy athrylith i ddynoliaeth i'w trosglwyddo i lawr o genedlaeth i genedlaeth.—*Addison*.

Yr oedd y Brenin Louis XII. o Ffrainc yn arfer llawer o gynnildeb. Pan edliwiwyd hyny iddo, ebai ef, "Gwell genyf i'm cyfeillion chwerthin am ben fy nghynnildeb nag i'm pobl wylo o herwydd fy afradlonedd."

"O! fy mab," meddai hen wireb Arabaidd, "cymmer ofal na fydd i'th eneu dori dy wddf."

---

## PENODIAD MR. HELM.

Dymunir arnom hysbysu fod Cymdeithas Amddiffyniad yr Eglwys wedi penodi Mr. W. E. Helm fel ei hysgrifenydd yng Nghymru. Gellir ysgrifenu ato yn Granville Street, Shrewsbury.

Bydd yn dda ganddo dderbyn oddi wrth unrhyw un a fyddo cystal a'u hanfon iddo:—

1. Gwybodaeth am waith a chynnydd yr Eglwys.
2. Gwybodaeth am yr ymosodiadau ar yr Eglwys.
3. Pigion allan o newyddiaduron.
4. Ceisiadau am ddarlithiau, cyhoeddiadau, &c.
5. Tanysgrifiadau a chyfraniadau tuag at y Gronfa Gymreig.

---

## Y LLITHIAU PRIODOL, GORPHENAF, 1891.

| Dydd | Suliau a Gwyliau | Boreu | Prydnawn. |
|---|---|---|---|
| 5 Sul | 6 Sul wedi'r Drindod | 2 Sam. i<br>Actau xii. | 2 Sam xii. hyd 24 neu [xviii.<br>Judas |
| 12 Sul | 7 Sul wedi'r Drindod | 1 Cron. xxi.<br>Actau xvii. hyd 16 | 1 Cron. xxii. neu xxviii. hyd 21<br>Mat. v. 33 |
| 19 Sul | 8 Sul wedi'r Drindod | 1 Cron. xxix. 9—29<br>Actau xxi. hyd 17 | 2 Cron. i. neu 1 Bren. [iii.<br>Mat. ix. 18 |
| 25 Sadwrn | St. Iago, Apos. a Mer.* | 2 Bren. i. hyd 16<br>Luc ix. 51—57 | Jer. xxvi. 8—16<br>Mat. xiii. hyd 24 |
| 26 Sul | 9 Sul wedi'r Drindod | 1 Bren. x. hyd 25<br>Actau xxv. | 1 Bren. xi. hyd 15 neu xi. 26<br>Mat. xiii. 24—53 |

* Credo Sant Athanasius.

---

CARMARTHEN:

Printed and published by W. SPURRELL & SON, at their Printing Office, situate and being at No. 37, King-street, in the Parish of Saint Peter, in the County of the Borough of Carmarthen, on Tuesday, the 30th of June, 1891.

Digitized by Google

# YR HAUL.

## Ail Gyfres Caerfyrddin.

"YNG NGWYNEB HAUL A LLYGAD GOLEUNI."
"A GAIR DUW YN UCHAF."

RHIFYN 80. AWST, 1891. CYF. VII.



### ST. GREGORY A'R CAETHION SEISONIG.

YR oedd Gregory Fawr yn un o'r esgobion mwyaf a fu yn llywodraethu yr Eglwys Orllewinol (sef yr Eglwys yng Ngogledd Affrica, a Deheudir a Gorllewin Ewrop), ac yn eistedd yng nghadair Rhufain erioed. Ganwyd ef o deulu urddasol a phendefigaidd yn yr Eidal, ac yr oedd iddo gyfoeth helaeth, a dygwyd ef i fyny yn nysgeidiaeth oreu yr oes ac ar gyfer gwasanaeth a bywyd gwleidyddol. Ond yr oedd ei berthynasau agosaf yn dra chrefyddol; ac er iddo ef ddringo i safle wleidyddol a swydd uchel



Digitized by Google

yn ieuanc bu ei argyhoeddiadau crefyddol mor gryfion fel yr ymadawodd â'r oll ac yr ymwadodd â'r byd, yn fuan gwedi cyrhaedd llawn oedran, gan fabwysiadu bywyd meudwyaidd, a chyssegru ei holl eiddo i adeiladu mynachlogydd ac at gynnal y tlodion.

Fel meudwy treuliodd rai blynyddoedd o ddyddiau goreu ei ieuenctyd o dan y ddysgyblaeth lymaf, mewn ymprydiau a gweddïau parhäus; ond eto teimlai nad oedd bywyd enciliedig a neillduedig y meudwy ddim yn cydweddu â'i syniad o ddefnyddioldeb ymarferol a duwioldeb o'r fath uchaf. Nid oedd y fath fywyd yn gorchfygu y byd. Pan yn y cyflwr meddwl anesmwyth hwn aeth o'i fynachdy ar neges neillduol drwy farchnadfa Rhufain, a thynwyd ei sylw gan dŵr o blant, genethod a bechgyn, yn cael eu gwerthu yn gaethion dan forthwyl yr arwerthwr. Dynesodd St. Gregory at y twr (gwel y darlun), a gofynodd i'r meddiannwr o honynt o ba le y daethai y plant prydferth, gwyn eu crwyn, glas eu llygaid, a goleu eu llaeswallt cudynog. Atebwyd ef mai o Brydain eu dygwyd. Gofynodd drachefn ai Cristionogion oeddynt. Atebwyd ef mai paganiaid. "Och," ebai yntau, "fod gallu y tywyllwch mewn meddiant o bethau mor brydferth." Gofynodd drachefn, "Pa beth oedd enw eu cenedl?" "*Angli*," atebai y perchenog. "A!" ebai yntau, "y maent mewn gwirionedd yn angylion." "Pa beth," ebai drachefn, "ydyw enw eu gwlad?" "Deira" (Deifyr), atebai eu gwerthwr. "Rhaid eu hachub atebai yntau rhag y llid a fydd (*de irâ*)," gan chwareu ar y gair Lladin *de irâ*, rhag llid. O'r amser hwnw allan penderfynodd Gregory Fawr ymdrechu dychwelyd y Seison paganaidd at Grist. Cychwynodd gyda'r amcan o bregethu ei hun ym Mhrydain, ond lluddiwyd ef gan alwadau ereill. Pa fodd bynag, yn fuan ar ol esgyn i gadair esgobol Rhufain, bu yn foddion i anfon Awstin Fynach yn genadwr i Loegr yn y flwyddyn 595, ac ystyrir ef yn brif genadwr y Seison.

Nid ein hamcan yw rhoddi hanes Gregory Fawr nac Awstin Fynach, eithr galw sylw ystyriol at y darlun, a gofyn y cwestiwn pwy oedd y plant a werthid fel ŵyn ym marchnad Rhufain ar ddiwedd y chweched ganrif. Gwaith araf ydyw *Cristioneiddio* y byd. Rhyfedd fyddai gan blant siroedd Caerefrog a Durham feddwl am gael eu gwerthu. Plant o'r ardaloedd hyny oedd y rhai y tynir yr amcan-ddarlun o honynt. Pwy oeddynt? Angliaid, meddir. Ond tybia rhai mai Brythoniaid oeddynt mewn gwirionedd, o fysg y gweddill Brythoniaid a ddarostyngasid i gaethiwed gan yr Angliaid o dan Flamddwyn a'i luoedd. Hwyrach nas gellir byth penderfynu hyn. Yr oedd holl genedloedd Ewrop ar y pryd mewn cyflwr rhanedig, terfysglyd, darniog, digyfraith, a'r barbariaid gogleddol wedi darostwng yr hen genedloedd mwy gwareiddiol dan eu traed, a'u llethu i'r llawr. Yr Eglwys oedd yr unig allu gwareiddiol mewn bod i ail glymu y cenedloedd yng nghyd, a rhwymo eu llwythau ymladdgar a threisiol i fyw yng nghyd wrth gyfraith gwlad a defod gwareiddiad.

Bendith annhraethol i'r byd yr amser hwnw oedd cael dynion o benderfyniad, llwyr-ymroddiad, a galluoedd i *ddyoddef* a threfnu Gregory Fawr i grynoi nerth yr Eglwys yng nghyd, a ffrwyno bâr y cenedloedd anwaraidd. Mae y dynion a siaradant mor isel a gwaradwyddus am waith yr hen oesoedd, mewn gwirionedd, yn siarad yn isel am ffordd Rhagluniaeth Duw. Yr oedd y Llaw Ragluniaethol a'r cariad dwyfol yn gweithio y pryd hwnw, fel yn awr, yn arweiniad St. Gregory i sylwi ar y tŵr plant anwyl yn cael eu gwerthu, ac yn nhynerwch ei gariad yn darparu anfon yr Efengyl i'w gwlad. Yr ydym ni wedi cael ein gwlad mewn cymhariaeth wedi ei diwyllio fel gardd Eden, a'n dyledswydd yw diolch i'r Goruchaf am ei ddaioni, parchu ein hynafiaid am eu gwaith, a phenderfynu ac ymdrechu trosglwyddo pob bendith sydd genym i waered i'n plant a'n disgynyddion.

---

## Y DIWEDDAR CARDINAL NEWMAN.

(*Parhâd o dudalen 132*).

Efe yn ddiau a roddodd y cyffroad mwyaf i'r diwygiad crefyddol hanner can mlynedd yn ol. Ymddangosodd fel diwygiwr y Diwygiad, a naturiol oedd iddo dderbyn aml i sen a gwg oddi wrth yr awdurdodau Eglwysig. Nis gallai yr awdurdodau lai na'i gondemnio a pharhau yn ffyddlawn i'w haddysg a'u hargyhoeddiadau Eglwysig. Pwy bynag a ymeifl mewn gwaith mor bwysig a diwygio corff o bobl, doeth yw iddo gyfrif y draul ac ymbarotoi i wrthwynebiad hir a phenderfynol. Nid oedd neb yn gwybod yn well am frychau Eglwys Rhufain nag Erasmus, ond nid oedd ynddo y defnydd hwnw ag sydd yn gwneyd diwygiwr. Credai nad oedd Rhagluniaeth gwedi ei alw at waith mor galed, ac yn hyn yr oedd yn gywir. Gallai beri i ni chwerthin am ben ffolineb dynion, ond nis gallai ein codi at y gwaith o ddarostwng cestyll o annuwioldeb i'r llawr. Yr oedd yn Newman ddigon o ddewrder moesol i

Digitized by Google

draethu ei farn yn ddirgel, ond nid oedd ynddo ddigon o ras i ddyoddef yn amyneddgar y cawodydd o wawd a dirmyg a ddisgynent arno am draethu ei farn a llefaru yr hyn a gredai. Rhaid i ddyn o wreiddioldeb a gallu meddwl fel oedd ganddo ef dalu y dreth o ddrwgdybiaeth yng nghylch ei amcanion. Collodd ei awdurdod ar ei ganlynwyr a'i ddylanwad ar ei gyfeillion o blegid ei olygiadau eithafol, neu yn hytrach ei ddull agored o fynegu ei farn. Yr oedd ei le fel arweinydd ar ben, ac nid oedd dim i'w wneyd ond ceisio lle a gwaith mwy cydnaws â'i ysbryd, lle yn yr hwn yr oedd yr awdurdodau yn cyd-ddweyd â'i olygiadau newyddion. Gwell ganddo awyrgylch digyffro Eglwys Rhufain na brwydro yng nghanol ystorm a elfenau gwrthdarawiadol. Efe a fethodd ddal yr erlidigaeth, ac a ddiangodd allan o'r frwydr, yr hyn sydd yn dangos mai nid canlyniad naturiol ei olygiadau yn gymmaint a diffyg gallu i ddyoddef gwg a gwawd a barodd iddo fyned allan. Yn wir, dywed wrthym yn ei *Apologia* drosodd a throsodd na theimlodd unrhyw gyfnewidiad meddyliol ac ysbrydol pan aeth trosodd, ond yn unig deimlad o dawelwch ar ol ystorm a gorphwysfa ar ol brwydr galed, yr hyn sydd yn profi naill ai ei fod yn Babydd o'r dechreuad, neu mai amgylchiadau allanol ac nid egwyddorion mewnol a'i cludodd yno. Ond tybied a oedd angen iddo gymmeryd y cam hwn er mwyn cael tawelwch meddwl? Oni buasai gwedi cael yr un orphwysfa pe buasai yn symmud o awyrgylch Rhydychain nid i'r lle dystaw yr aeth, ond i Birmingham neu Manchester, a chymmeryd gofal plwyf yno i roi llawn waith i'w alluoedd moesol ac ysbrydol? Yma gwelwn gallineb y Babaeth mewn gosod dynion yn ei lle priodol. Meddyliodd ei gyfeillion, y rhai a adawodd efe ar ol, mai camsyniad dybryd oedd danfon Newman i'r *oratory* yn Birmingham. Ond ni feddyliodd ef felly, ac ni feddyliodd y Babaeth; ac yn wir, fe brofodd y lle yn hynod addas i roi llonyddwch i'w feddwl diorphwys. Ail-adroddiad o hanes *Faust* ydyw, yr hwn gafodd orphwysfa nid mewn ammheuaeth ac ymchwiliadau deallol, ond yn y cyflawniad o ddyledswyddau ymarferol er llesâd ei gyd-ddynion.

Byddai yn ddoeth i ninnau efelychu y Babaeth yn hyn, sef i astudio nid yn unig angenion y werin bobl, ond hefyd neillduolion ac angenion yr offeiriaid. Da fuasai anfon Gore a'i gyfeillion eto i le tebyg i gael golwg eang ar angenion y werin, ac i gael gorphwysfa mewn gwneyd gwaith ymarferol i gyfarfod â'i angenion gwirioneddol; o blegid nid anhawsderau deallol sydd yn cadw dynion oddi wrth grefydd, ond anhawsderau moesol ac ysbrydol, ac mewn dwyn gwaredigaeth felly iddynt y mae ein gwynfyd a'n llwyddiant. O blegid hyn, llawen ydym wrth weled sefydliadau megys yr *Oxford Mission to Central Affrica* a'r cyffelyb. Da fuasai hefyd sefydlu rhagor o genadaethau o'n prif athrofëydd i'r prif ddinasoedd yn ein gwlad er mwyn dwyn yr *intellectual lights* yma o dan iau cyfaddas a llesol iddynt. Y mae eisieu y bedydd tân o argyhoeddiadau moesol sydd yn tyfu allan o ymdrechion ymarferol dros bechaduriaid ein tir ar y llanciau hyn; ac yna gwelant, fel gwas yr hen brophwyd gynt, eu bod yn cael eu hamgylchu gan luoedd yr Arglwydd, a bod yr arfau yn loew a lluosog i ymladd brwydrau byddinoedd Israel. Nid eisieu arfau newydd sydd, ond eisieu grym ffydd i ddefnyddio y rhai sydd genym i'r amcan uchaf. Cafodd Newman dawelwch meddwl mewn gwaith cenadol a diwydrwydd dyngarol. Ond nid oedd eisieu iddo fyned trosodd i Rufain er mwyn cael hyn yma. A phe buasai gwedi ei anfon i le tebyg pan yn aelod o'n Heglwys, diflanasai ei ammheuaeth deallol a'i anhawsderau am yr athrawiaeth. Gallwn feddwl y carai pan aeth trosodd i weled lluaws yn ei ganlyn. Ond ym mhen blynyddoedd ar ol hyn, ac gwedi gweled nad oedd y gwahaniaeth mor fawr rhwng y ddwy Eglwys, dywed ei bod yn ddyledswydd ar y Babaeth i adael llonydd i'n Heglwys, gan ei bod yn cyflawnu gwaith mawr dros Grist yn ein gwlad, a'i bod yn wrthglawdd yn erbyn cyfeiliornadau mwy peryglus a sylfaenol na'r brychau sydd ynddi. Mewn geiriau ereill, dywed mai ein Heglwys ni sydd gwedi ei bwriadu gan Ragluniaeth i ddysgu a phregethu gwirioneddau crefydd yn y wlad yma, ac hyd y bydd iddi newid ei chymmeriad nid oes angen eglwys arall yn ein plith i gyflawnu yr un gwaith. Ond trueni na buasai gwedi darganfod hyn yn gynt. Gresyn na buasai gwedi gweled elfen ddwyfol yn yr enw *Eglwys genedlaethol* a chyfaddasder neillduol ynddi ar gyfer angenion ein cenedl. Nis gellir dadwneyd gwaith y Diwygiad Protestanaidd yn hyn o leiaf. Rhaid cydnabod neillduolion cenedlaethol, ac unrhyw eglwys ag sydd am daenu dros wahanol wledydd a chenedloedd, rhaid iddi gydnabod amrywiaeth mewn unoliaeth cred. Nid yw yn bosibl i'r Babaeth fod yn gatholig ond mewn enw yn unig, gan ei bod yn methu cydnabod deddf amrywiaeth ym mywyd cenedloedd. Gelwir ein Heglwys yn un genedlaethol am ei bod fel y gwaed yn ein corff yn treiddio trwy bob rhan o'n bywyd—cymdeithasol, gwladol, a chrefyddol; ac nid yw hyn yn ei gwneyd yn llai catholig ond yn fwy felly, gan ei bod yn ysbryd bywiol yn llywodraethu yr holl gorff.

Digitized by Google

Y mae gwahaniaeth pwysig rhwng ansawdd meddwl Newman yn ymdrin â'r athrawiaeth fel Pabydd a'i ddull pan yn Eglwys Lloegr, er fod yr un gallu i ddyfeisio a chyfrwysdra i'w weled yn ei holl weithiau. Cyn troi nid yw yn talu yr un gymmaint o warogaeth i awdurdod a llais yr Eglwys, ond y mae yn gosod ei farn ei hun yn erbyn barn yr Eglwys, a cheisia ddarllen i fewn i erthyglau y y ffydd y pethau yr oedd am eu credu. Y mae am ddadblygu athrawiaeth allan o'i feddwl ei hun pan yn aelod o honom, ond dysgu a derbyn yr athrawiaeth fel ag y mae y gwna fel Pabydd. Gwelir hyn yn amlwg yn ei ymdriniaeth â'r erthyglau. Dywed mai amcan yr erthyglau oedd profi unoliaeth y ddwy Eglwys ac nid canolfur gwahaniaeth. Yn wir, dangosa ddewrder tu hwnt wrth wneyd gosodiad o'r fath, ac i brofi y gosodiad y mae ganddo ddyfais wrth law. Ond cyn son am y ddyfais, dylaswn ddweyd fod ei feddwl dychymmygol yn fwy parod i weled tebygolrwydd na gwahaniaeth rhwng gwrthddrychau. Ni buasai neb arall yn gallu gweled mai rhwymyn undeb rhwng y ddwy Eglwys ydyw ein herthyglau, ond yn hytrach gwrthglawdd newydd i wahanu yn fwy amlwg. Ond i Newman tori i lawr y canolfur ydoedd gwaith hyd yn nod yr erthyglau hyn. Yn sicr, yr oedd yn syrthio i'r un gwendid a llawer o gewri o'i flaen, sef i fod yn hoff o *theory* neu egwyddor ag sydd yn ymgynnyg i'w feddwl, ac nid hir y buasai cyn cael pob prawf bosibl i ddal i fyny ei *theory*, gan anghofio y profion croes ag oedd yn amlwg i'w gweled. Diffyg yn codi oddi ar nerth ei ddychymmyg ydoedd, yr hon oedd yn fwy chwannog i weled unoliaeth a thebygrwydd mewn pethau hollol groes a gwahanol. Felly yr erthyglau, pa rai a ddysgent i ereill fod Eglwys Lloegr yn gwahaniaethu oddi wrth Eglwys Rhufain, a ddysgent iddo ef ei bod yn un ac yn gytûn.

Dyma ei ddull o ddadblygu ei athrawiaeth. Y mae ymadrodd yn y 35 Erthygl yn dweyd fod ail lyfr yr homiliau yn cynnwys athrawiaeth ddwyfol, iachus, ac angenrheidiol i'r amserau. Yna dangosa fod yr ail lyfr yma yn dysgu llawer o athrawiaethau croes i farn a llais Eglwys Lloegr ar y pryd, ac yn unol ag addysg y Babaeth. O ganlyniad, ni chyfansoddwyd yr erthyglau i ddiogelu yr athrawiaeth yn erbyn cyfeiliornadau yr Eglwys Babaeth, ond yn erbyn camarferion a lusgwyd i mewn o dan enw y Babaeth. Yn awr, y mae gosod yr homiliau hyn fel safon y ffydd yn gamarferiad â'r cyfryw, o blegid nid dyna amcan yr homiliau. Mewn gair, pregethau ymarferol ar ddyledswyddau Cristionogol ydyw yr homiliau hyn, ac nid safon yr athrawiaeth. Neu gellir edrych ar yr homiliau fel esboniad anuniongyrchol ar yr erthyglau; ond nis gellir dadblygu athrawiaeth ar sail esboniad pa mor dda bynag y dichon fod. Nid ydym yn rhwymo ein ffydd wrth unrhyw esboniad, hyd yn nod esboniad yr homiliau.

Er enghraifft, y mae Cardinal Newman gwedi ysgrifenu lluaws o weithiau o amrywiol natur. Yn eu plith y mae cyfrol o bregethau plwyfol yn ymdrin â dyledswyddau ymarferol y Cristion. Creda Eglwys Lloegr yn y rhai hyn, ac annoga llawer o offeiriaid ni i'w darllen ac o'n mewn eu mwynhau. Ond ysgrifenodd hefyd llawer yng nghylch athrawiaethau amryw a dyeithr, ac nid oes rhaid i ni dderbyn ei ddywediadau ar y pynciau hyn, serch mwynhau ei bregethau ragorol. Dysgir ni i gydfarnu rhwng pethau ysbrydol. Felly y gwna yr Eglwys gyda'r homiliau. Dywed wrthym am eu defnyddio mor belled ag y maent yn unol ag addysg bendant yr Ysgrythyr a'r erthyglau; ac os oes ynddynt bethau croes i'r safon yma, ein dyledswydd yw eu gwrthod. Y mae dadblygu athrawiaeth ar sail yr homiliau yn unig yn wendid mawr, o blegid nid dysgu athrawiaeth ond pregethu dyledswydd a wna y rhai hyn. Nid yw yn iawn chwaith i ddweyd fod yr erthyglau yn cadarnhau pob athrawiaeth ag y gallai Newman dynu allan o'r homiliau, am eu bod yn cadarnhau y cynghorion ymarferol a geir yno. Ac yn wir, peth cyfeiliornus ydyw adeiladu athrawiaeth *newydd* o barthed i amcan yr erthyglau ar un frawddeg ammhëus mewn un erthygl o'n cred. Nid yn y dull yma y mae dyfod o hyd i eangder addysg yr erthyglau. Pe felly, gorphwysai ein cred, *ar esboniad un* (sef Newman), ar yr homiliau, y rhai ydynt ond *esboniad arall ac henach* mewn perthynas i ystyr ein herthyglau.

Os oedd o bwys i wybod beth oedd barn yr awdurdodau Eglwysig yn amser y Diwygiad, yr oedd yr un mor bwysig i wybod beth ydoedd barn yr awdurdod Eglwysig yn ei oes ef; ac efe a ddylasai dderbyn llais yr Eglwys oedd yn fyw fel esboniad cywir ac awdurdodol o lais Eglwys y Diwygiad. Os oedd am fod yn gysson â dadblygu ffydd gatholig, y mae dyrchafu awdurdod Eglwysig un oes ar draul darostwng awdurdod Eglwysig oes arall yn dinystrio safon barhaol ein ffydd, ac yn gwneyd cred gatholig yn ammhosibl. Diammheu fod ei amcan yn glodwiw, sef dadblygu cyfundraith gyflawn o dduwinyddiaeth a gwneyd yr Eglwys yn gorff byw ac esboniad eglur o wirioneddau mawrion y Testament Newydd. Cafodd ei ddenu gan gyfundraith gyflawn o Babaeth, a meddyliodd mai mewn ei hefelychu yr oedd yn bosibl i ni sylweddoli crefydd y Testament Newydd. Ond

Digitized by Google

undeb dychymmygol ac nid un gwreiddiol a wneir rhwng y ddwy Eglwys cyhyd ag yr erys elfenau mor wrthdarawiadol yn y ddwy athrawiaeth. Sylwn yn ein nesaf ar ei amddiffyniad o'r Babaeth.

*Cymmer, Llantrisant.* LEWIS HUGHES, M.A.

---

## GWIR WROLDEB.

[*Sylwedd Pregeth a draddodwyd o flaen Adran o'r Gwir-foddolwyr (3rd Glamorgan), yn Eglwys Gorseinon, Mai 10fed, 1891.*]

"Byddwch wŷr, ac ymleddwch."—1 SAM. iv. 9.

YN y bennod hon cawn hanes am un o'r ysgarmesoedd hyny a gymmerent le yn fynych rhwng yr Hebreaid a'r Philistiaid yn yr ymdrech am uchafiaeth wladwriaethol. Yn yr amgylchiad dan sylw, gorchfygwyd y blaenaf gyda cholled ddirfawr ym mrwydr Ebenezer. Priodolai Israel hyn i absennoldeb arch Duw o'r gwersyll; ac er mwyn osgoi cyffelyb drychineb mewn ymgyrch ddilynol, penderfynasant ei dwyn hi gyda hwynt i'r gwersyll, ac felly y bu. Parodd yr olwg ar yr arch gryn bryder i'r Philistiaid, o herwydd, er eu bod yn bobl eilunaddolgar, eto credent ei bod yn arwydd allanol a gweledig o bresennoldeb y Jehovah, a'i fod Ef yn fod i'w ofni. "Gwae ni," meddent, "pwy a'n gwared ni o law y duwiau nerthol hyn?" Teimlent fod eu hiachawdwriaeth yn ymddibynu ar ddewrder a ffyddlondeb eu byddin; felly cyn i'r gad ddyfod yng nghyd rhoddwyd y siars yma i'r milwyr—"Ymgryfhëwch, a byddwch wŷr, O Philistiaid, rhag i chwi wasanaethu yr Hebreaid, fel y gwasanaethasant hwy chwi: byddwch wŷr, ac ymleddwch."

"Byddwch wŷr, ac ymleddwch." Mae y cynghor hwn a roddwyd gan y rhyfelwyr paganaidd i'w cydoeswyr yn y cyfnod pellenig yma wedi cael ei roddi mewn sylwedd lawer canwaith wedi hyny yng nghwrs yr oesau—gan ddoethion y byd i'w dysgyblion, gan rieni ac athrawon i'r ieuainc a'r dibrofiad, gan gadfridogion i'w byddinoedd ar faes y gwaed. Ië, rhoddir ef gan ysgrifenydd ysbrydoledig, apostol mawr y Cenedloedd, i aelodau Eglwys Corinth, a thrwyddynt i ninnau oll—"Ymwrolwch ac ymgryfhëwch" (1 Cor. xvi. 13)—gyda hyn o wahaniaeth, gwahaniaeth pwysig iawn: tra y cyfyngai y Philistiaid paganaidd, gyda'u *ideal* isel ac ammherffaith, ystyr a chymhwysiad y cynghor i arddangosiad o wrhydri personol a beiddgarwch anianol pan wyneb yng ngwyneb â chig a gwaed, helaethai yr apostol yr ystyr a'r cymhwysiad, neu, i fod yn fwy cywir, codai hwynt i dir uwch o'r anianol i'r moesol a'r ysbrydol. Deuai y geiriau yng ngeneu Paul y Cristion i feddwl iawn ymarferiad o'r cynneddfau moesol, â pha rai y'n cynnysgaeddwyd gan y Creawdwr, a'r rhai sydd yn ein gwahaniaethu ni oddi wrth y greadigaeth israddol, y rhai hefyd sydd yn gosod y fath urddas ar ddyn a'i wneyd yn fod cyfrifol: mae bod yn "ddyn" yn yr ystyr Gristionogol yn meddu ar ddyfnach a llawnach meddwl nag oedd yn bresennol ym mynwes yr ymladdwyr Philistaidd.

"Byddwch wŷr," ynte, feddylia yn ei ystyr eangaf, gwnewch lawn a phriodol ymarferiad o'r galluoedd moesol, fel y caffont ymddadblygu i'w llawn dwf, ac fel y byddo urddas gynhenid y natur ddynol yn cael ei hardddangos yn ei gogoniant a'i phrydferthwch mwyaf. *Urddas*, meddaf, canys ni ddylem golli golwg ar y ffaith bwysig fod urddasolrwydd arbenig yn perthyn i ddyn ag sydd yn absennol yn yr anifail a ddyfethir, a hyny yn benaf yn rhinwedd ei berthynas â'r Anfeidrol. Dyn yw yr unig fod ag sydd yn dal perthynas ar unwaith â'r tragwyddol a'r amserol, â'r ysbrydol a'r materol. Gwir fod yr urddasolrwydd yma yn cael ei anwybyddu, ac hyd yn oed ei wadu gan rai ysgrifenwyr. Ni wel y dosbarth hwn ddim mewn dyn i'w edmygu a'i fawrhau. Ystyriant ef yn greadur isel a bawaidd, yn *blot* ar greadigaeth deg Duw. Er enghraifft, dywedai Voltaire mai cymmysgedd yw dyn o eirth ac epaod; a'r syniad uchaf a feddai John Ruskin unwaith am dano oedd, nad yw eto wedi ymryddhau o'r clai o ba un y ffurfiwyd ef, a'i fod yn fod gwael a dirmygedig. Ond eglur yw fod y syniadau isel ac annheilwng hyn o'r natur ddynol yn cyfodi oddi ar adnabyddiaeth *ranol* o honi—adnabyddiaeth o honi yn ei gwedd fwyaf isel a darostyngedig, ac ef allai yn effaith hwyl (*humour*) yr ysgrifenwyr ar y pryd. Mai hyn yw'r esboniad mwyaf tebygol sydd amlwg pan ystyriwn fod yr un awdurdodau a ddyfynasom, ar adegau ereill, pan yn ystyried y natur ddynol yn ei sefyllfa mwy dyrchafedig, yn traethu "gogoneddus bethau" am dani. Er enghraifft, dywed Ruskin mewn man arall fod ganddo y gred fwyaf yn *nobility* y natur ddynol, ac yn mawrfrydigrwydd cynneddfau dyn. Ammeuthyn ydyw gwrando beth ddywed athronwyr, ag sydd wedi cymmeryd golwg eang (*comprehensive*) ar y natur ddynol, am dani: "Mae y meddwl o fod yn ddyn," sylwai Rothe, yr athronydd Germanaidd, "yn annrhaethol ddifrifol, ac yn foddion i gynnyrchu teimlad o ofnadwyaeth." Tra y barnai Carlyle ein bod "yn cyffwrdd â'r nefoedd pan ddodwn ein llaw ar gorff dynol."

Ond yng ngoleuni Dadguddiad Dwyfol yn unig y

Digitized by Google

ceir cyflawn olwg ar ddyn; yma y ceir gwir bortreiad o hono. "Pa beth yw dyn?" gofyna y Salmydd yn synfyfyrgar, ac etyb y cwestiwn yn y geiriau hyny, "Canys gwnaethost ef ychydig yn is na'r angylion, ac a'i coronaist â gogoniant ac â harddwch." Cafwyd llawn eglurhâd ar yr "harddwch" a'r "gogoniant" yma yn ymgnawdoliad Crist. Darfu i'r ymgnawdoliad osod urddas arbenig ar ddyn, trwy ei ddwyn i berthynas agos â'r tragwyddol Fod. Darfu i'r Hwn ac Efe yn ffurf Duw, "ac yn wir lun ei Berson Ef," wneyd i'r natur ddynol yr hyn a wnaeth i'r gyfraith. "Efe a'i mawrhaodd hi, ac a'i gwnaeth yn anrhydeddus." Ystyriaeth o sefyllfa uchel dyn trwy uniad ei natur ym Mherson goruchel Mab Duw a barodd i'r dysgybl anwyl ddyweyd (1 Ioan iii. 1), "Gwelwch pa fath gariad a roes y Tad arnom, fel y'n gelwid yn *feibion i Dduw*." Mae "epaod" ac "eirth" Voltaire yr atheist yn swnio yn chwithig yn ymyl "meibion Duw" St. Ioan.

Gwir y dengys hanes dyn ym mhob oes o'r byd y gall syrthio yn ddwfn i bydew diraddiad, a phrofi ei hun yn annheilwng o'r berthynas urddasol hon; ac y mae aml i gymmeriad i'w gael am yr hwn, pe gofynid yng ngeiriau ein Hiachawdwr, "Eiddo pwy yw y ddelw hon a'r argraff?" y byddys yn gorfod ateb, "Ar hyn o bryd eiddo'r Diafol." Y mae dyn yn greadur cyfansawdd, yn berchen ar ddwy elfen—y dda a'r ddrwg, yr elfen ysbrydol a'r anifeilaidd, ac y mae ei gymmeriad yn cael ei benderfynu gan lywodraethiad y naill ar y llall. Weithiau llywodraethir ef gan y cynhyrfiadau iselaf, ac wele y canlyniad—disgyn i lawr i iselder yr anifail a ddyfethir; bryd arall, symbylir ef gan gynhyrfiadau pur a da, ac yna ymddyga fel "gwr" yng ngwir ystyr y gair, ac adlewyrcha gymmeriad yr Hwn a'i prynodd.

Dengys ein profiad a'n sylw ein hunain y gall dyn yng nghyflawniad ei ddyledswyddau beunyddiol yn y pwll glo, ar fwrdd llong, neu ar faes y gwaed, ddangos y fath wroldeb anianol (*physical courage*) fel ag i fod yn wrthddrych edmygedd, ac i haeddu canmoliaeth ei gydgreaduriaid, ac eto droi yn llwfrddyn hollol pan yr ymeflir arno gan ei chwantau pechadurus ei hun. Dyna Dafydd ieuanc unwaith yn ymwroli i wynebu y cawr Golïath o Gath ar faes y frwydr, ac y mae yn ei drechu ef, a dathlwyd yr amgylchiad gyda chân a dawns; a llefai y gwragedd yn Israel y dyddiau hyny, "Saul a laddodd ei filoedd a Dafydd ei fyrddiwn." Ac eto cawn yr un person ar ol hyn, pan y gwynebwyd ef gan gawr arall—"y gwr dyeithr"—ei chwantau a'i nwydau anifeilaidd, yn troi allan yn *anwrol*. Dangosir gwroldeb yn ei ystyr helaethaf, ynte, pan yr arddangosir nid dewrder anianol yn unig ond hefyd y moesol—pan y gwrthsafwn *bob* demtasiwn i ddwyn yr enaid yn *gaeth* i'r un drwg: "O blegid nid yw ein hymdrech ni yn erbyn gwaed a chnawd, ond yn erbyn tywysogaethau, yn erbyn awdurdodau, yn erbyn bydol-lywiawdwyr tywyllwch y byd hwn, yn erbyn drygau ysbrydol yn y nefolion leoedd," Ephes. vi. 12. Pa beth yw ein dyledswydd yng ngwyneb tueddiadau llygredig ein natur a'r gelynion a'n hamgylchant? "Byddwch wŷr, ac ymleddwch." Ymleddwch â'r pechod sydd barod i'ch amgylchu.

Pa arferiad bynag o'r eiddom, pa agweddiad bynag o eiddo y galon a'r meddwl ag sydd yn rhwystr i ni i gynnyddu mewn sancteiddrwydd a daioni, ac yn ein gwneyd yn gymmeriadau eiddilaidd ac anaddas i ryfela yn rhyfel y Groes, dylem ymladd yn eu herbyn â'n holl egni a'u gorchfygu. "Byddwch wŷr, ac ymleddwch." Amser maith yn ol, symbylwyd catrawd o filwyr Ysgotaidd ar fin brwydr bwysig i weithrediad gan yr anerchiad hwn o eiddo eu cadfridog: "Ha, wŷr, cofiwch Ucheldirwyr y dyddiau gynt; ymleddwch fel yr ymladdasant hwy;" ac ar y gair rhuthrasant i'r gad, a gorchfygasant. O'n hamgylch ninnau y mae cwmwl mawr o dystion wedi ei osod, seintiau a merthyron, y rhai "a wnaethpwyd yn gryfion mewn rhyfel," "a yrasant fyddinoedd yr estroniaid i gilio," "a wnaethant gyfiawnder;" mewn gair, a fuant "wŷr" ac a ymladdasant. "Ffydd y rhai dilynwch" ynte, "gan ystyried diwedd eu hymarweddiad hwynt."

*Gorseinon.* W. Headley.

---

## GWAITH CENADOL YN EI BERTHYNAS A'R EGLWYS.

(*Parhâd o dudalen 214.*)

3. *Eglwys genadol ydoedd y brif Eglwys Foreuol.*—Yng ngwyneb erlidigaethau ymherawdwyr paganaidd Rhufain, gelyniaeth ffyrnig yr Iuddewon, yng nghyd â gwrthwynebiad penderfynol philosophyddion Groeg, Alexandria, a Rhufain, daliodd yr Eglwys Foreuol faner y Groes i fyny yn wrol a di-ildio. Bu yn ffyddlawn hyd at waed i'w chommissiwn dwyfol oddi wrth Grist ei phen trwy ei apostolion sanctaidd, nes erbyn *dechreu y bedwaredd ganrif* y gorchfygodd alluoedd cryfion philosophyddiaeth, eilunaddoliaeth, ac ofergoeledd y byd paganaidd, ac y darostyngodd trwy rym ei nerthoedd moesol ac ysbrydol ymherodraeth falch, filwrol, ddysgedig, a *phaganaidd* Rhufain, meistres y byd adnabyddus

Digitized by Google

gwareiddiedig unwaith, i dalu gwarogaeth i ac ymgrymu dan iau llywodraeth teyrnas yr Emmanuel. Gweithiai esgobion a gweinidogion yr Eglwys Foreuol eu ffordd i bob cwr o'r ymherodraeth fawr Rufeinig; cymhellid hwy gan gariad Crist i gario y "newyddion da o lawenydd mawr" yn hyf a dwfn mewn llawn hyder ffydd i balas yr ymherawdwr yn ogystal a bwthyn y caethwas. Mor gryf y gweithredai yr ysbryd cenadol ynddynt, nes peri iddynt ymawyddu am y fraint a'r anrhydedd o gael marw marwolaeth y merthyr wrth ufuddhau y commissiwn a phregethu Crist i'r pagan dysgedig ac annysgedig. Ac er cymmaint o waed goreu plant y brif Eglwys a dywalltwyd pan yn wrol yn cyflawnu ei gwaith cenadol wrth gario lamp Efengyl y bywyd i oleuo yn nhywyll-leoedd y ddaiar, eto cynnysgaeddwyd yr Eglwys â bywyd o'r newydd trwy eu marwolaeth; neu, yn ol brawddeg anfarwol Tertullian, profodd gwaed y merthyron yn had sanctaidd yr Eglwys. Methodd pob math o erlidigaethau creulawn ac ofnadwy â lladd yr ysbryd cenadol yn y brif Eglwys. Mae ei holl hanes am y pedair canrif cyntaf o oed Crist yn cadarnhau ac egluro gwirionedd y gosodiad hwn. Eglwys *genadol* ei chymmeriad ydoedd y prif Eglwys Foreuol, a chredwn y dylai y brif Eglwys yn ei chymmeriad *cenadol*, fel mewn pethau ereill pwysig, fod yn esampl neu batrwn i Eglwys y bedwaredd ganrif ar bymtheg.

4. *Angenion mawrion y byd paganaidd anghristionogol.*—Ym mhob plwyf trwy Loegr a Chymru mae yr Eglwys blwyfol i'w chael, oddi mewn muriau yr hon yn rheolaidd y gweinyddir y sacramentau, y darllenir pur Air Duw, ac y pregethir yr Efengyl; ond nid Prydain yn unig yw maes llafur ac ymdrechion daionus Eglwys Crist; na, "tir yr addewid" iddi yw "yr *holl* fyd." Ond y mae saith cenedl Canaan ar ffurf gau grefyddau ac eilunaddoliaeth mewn meddiant o'r rhan fwyaf o'r byd hyd heddyw. Er eglurhau y gosodiad olaf hwn, crybwyllwn yr ychydig ffeithiau enghreifftiol canlynol.

Mae rhanbarthau eang a phoblog yn China yn unig yn mesur mwy o arwynebedd, ac yn rhifo mwy o boblogaeth na holl Brydain ac eto *heb gymmaint ag un gweinidog i Grist ynddynt.* Chwe cenadwr a anfonwyd allan yn ddiweddar yw yr oll a lafuria ym mhlith miliynau trigolion y Soudan Orllewinol. Ym Multan, Punjab, *un* cenadwr a lafuria mewn rhanbarth (*province*) a rifo 1,700,000 o boblogaeth. Llefarodd ficer Pwllheli wrth anerch cyfarfod cenadol cyhoeddus ym Mhenygroes, ychydig wythnosau yn ol (gwel adroddiad y *Llan*), eiriau gwirionedd a sobrwydd pan y dywedodd, Oddi ar ben mynydd yn Affrica gellir edrych am gannoedd o filltiroedd ar gan miliwn o bobl yn baganiaid. Yn esgobaethau Mackenzie River ac Athabasca, yng ngogleddorllewin America, ni cheir ond deuddeg o genadon i lafurio maes a fesura arwynebedd o 1,000,000 o *square miles.*

Mae India a'i miliynau trigolion wedi bod ym meddiant Lloegr "Gristionogol" er ys dros gan mlynedd bellach; ac eto, er ymdrechion neillduol, nid oes ond *un* cenadwr neu weinidog i Grist i'w gael yn India heddyw ar gyfer pob 480,000 o bobl. Er fod yr Efengyl wedi bod yn cael ei phregethu yn ein byd er ys dros ddeunaw canrif, dysgir ni yn ol cyfrif yr awdurdodau goreu (gwel pregeth y Deon Freemantle, D.D., ar agoriad cyfarfodydd blynyddol y C.M.S. y llynedd) fod eto 856,000,000 o baganiaid, 170,000,000 o Fahometaniaid, ac 8,000,000 o Iuddewon, yn gwneyd cyfanswm o boblogaeth anghristionogol o 1,034,000,000. Ni ychwanegwn ychwaneg o ffeithiau y tro hwn. Edryched y darllenydd ar y darlun ag sydd wedi ei ddodi uwch ben yr ysgrif hon, er ei alluogi ym mhellach i sylweddoli angenion y byd paganaidd anghristionogol.

Nis gellir o'r bron fesur a chyfrif angenion y byd paganaidd, ac ammhosibl yw dysgrifio y tywyllwch moesol, y "fagddu fawr" a orchuddia breswylwyr trigfanau trawsder y ddaiar. Ni bydd i ni geisio gwneyd hyny. Yn unig dywedwn fod Rhufeiniaid i. 22—32; Ephesiaid ii. 12; Salmau lxxiv. 20; Isaiah xliv. 16—20, a rhanau ereill o'r Ysgrythyrau Sanctaidd yn wirioneddau byw a phoenus heddyw. Pa ddyn a ymgyfenwa ar yr enw Cristion na chaethiwir ei feddwl â'r syniad o'i ddyledswydd tuag at y byd paganaidd wrth *ddifrifol* ac *ystyriol* edrych ar gyflwr barbaraidd paganiaid duon Affrica, eilunaddoliaeth China, cannibaliaeth Ynysoedd Môr y De, gau grefyddau poblogaeth frodorol India gyda'u harferion ofergoelus llawn creulonderau a llofruddiaethau crefyddol? Ym mha le y mae y dyn hwnw i'w gael a fedr edrych yn ddigyffro a difater yn nrych y darlun enaid-gynhyrfiol a roddwyd o flaen darllenwyr yr *Haul* yn rhifyn mis Mai o frodorion Tierra del Fuego gan W. M. R., heb gael ei feddiannu â'r ysbryd cenadol, ei galon ei thanio â sel sanctaidd, ei feddyliau eu deffroi gan deimladau dyngarol, a bara iddo wneuthur *rhywbeth* er cynnorthwyo Eglwys Crist i anfon allan "genadau dros Grist i wareiddio, i "ddwyn i'w pwyll," i godi i fyny y trueiniaid o bydewau dyfnion eu llygredigaeth a'u barbareidd-dra paganaidd? Dengys yr hyn a ysgrifenwyd fod "gallu y tywyllwch" yn fawr, ond er cryfed galluoedd y tywyllwch fe'u gorchfygir

Digitized by Google

DIAGRAM YN DANGOS POBLOGAETH Y BYD.

*Golyga pob un o'r squares bychain hyn filiwn o eneidiau.*



| HEATHEN | MOHAMMEDANS | JEWS | ROMAN CATHOLICS | GREEKS &c | PROTESTANTS |
|---|---|---|---|---|---|
| 874 o filiynau. | 173 o filiynau. | 8 o filiynau. | 195 o filiynau. | 85 o filiynau. | 135 o filiynau. |

yn raddol trwy offerynoliaeth ddynol a ddefnyddir gan allu yr Hollalluog, yr hwn sydd gryfach na'r cryf arfog. I Eglwys Dduw, ym mha un y preswylia Ysbryd Crist yn wastadol, y mae y gwaith o efengyleiddio y byd wedi ei ymddiried. A phan feddyliom am angenion mawrion y byd paganaidd, ac wrth adgofio gwaith cenadol gogoneddus yr hen Eglwys Brydeinig yng nghanrifoedd cyntaf oes Cristionogaeth, pan yr anfonodd allan genadau apostolaidd i'r Iwerddon a rhanau helaeth o Loegr, gan gyflawnu gwrhydri ar y maes cenadol cyn i St. Augustine a'i gwmni erioed dirio ar lanau Kent, cyfyd i'r meddwl y cwestiwn a ofyna, A ydyw Eglwys y Cymry yn gwisgo ei hen gymmeriad cenadol yn y *presennol?* a "ydyw yn yr amseroedd diweddaf hyn" yn gwneyd yr hyn a *ddylai* ac a *allai* er cario allan gommissiwn Crist? Ofnwn nad ydyw pan gofiwn fod 500 o blwyfi i'w cael trwy y Dywysogaeth na thaflant yr un hatling y naill flwyddyn ar ol y llall i drysorfa y C.M.S. na'r S.P.G. Eglwyswyr a Christionogion clauar, esmwyth, a difater Cymru, deffröwch at eich gwaith, rhoddwch help llaw, profwch eich bod yn wir ddysgyblion Mab Duw trwy hunanymwadu â chwi eich hunain, er cynnorthwyo Eglwys Crist i "bregethu yr Efengyl" i baganiaid ein byd ag sydd yn marw o newyn a syched ysbrydol. Nac ymesgusodwch yn hwy trwy mewn effaith ofyn gyda Chain annuwiol, Ai ceidwad fy mrawd ydwyf fi? Gwna commissiwn Crist, esampl yr apostolion

sanctaidd, a'r brif Eglwys Foreuol, yng nghyd ag angenion mawrion y byd paganaidd, yn ammhosibl i'r un Cristion wneyd "dinas noddfa" o'r wrthddadl *hunanol di-Grist*, "Gadëwch i ni yn gyntaf gyflawnu ein dyledswydd at baganiaid gartref cyn anfon allan genadon at baganiaid rhanau pellenig ein byd." Pe na buasai gwahaniaeth yng nghyflwr paganiaid "cartref ac oddi cartref," ni buasai genym hawl i ymryddhau oddi wrth gyfrifoldeb ein dyledswydd genadol tuag at "bob creadur" trwy yr "holl fyd" yng ngwyneb commissiwn Crist i'w Eglwys. Ond gobeithiwn ein bod i raddau wedi ysgrifenu digon i ddangos y gagendor o wahaniaeth a ysgara cydrhwng cyflwr a breintiau pagan "Affrica dywyllaf" a "Lloegr dywyllaf." Y Parch. S. A. Selwyn, wrth ysgrifenu o Orllewin Affrica i Loegr ychydig amser yn ol, a ddywed, "Never, never speak again of the heathen at home in the same breath with the heathen as they are here." Boreu diwrnod brwydr Trafalgar llefarodd Nelson y frawddeg fyth-gofiadwy, "England expects every man to do his duty." Dywedwn ninnau y dysgwylia Crist i bob un o filwyr y Groes wneuthur eu dyledswydd yn y frwydr â galluoedd yr un drwg yn nhywyll-leoedd y ddaiar trwy wneuthur rhywbeth i gynnorthwyo Eglwys Dduw i ufuddhau a chario allan ei chommissiwn dwyfol. Credwn y dylai angenion y byd paganaidd greu ynom dosturi a chydymdeimlad a esgora ar

Digitized by Google

weithredoedd da o gariad hunanymwadol o gynnorthwy sylweddol tuag at ein brodyr yn rhanau pellenig ein byd a wnânt i fyny deulu mawr y ddynoliaeth. Dylai calon pob Cristion losgi gan awydd i wneuthur rhywbeth i ddwyn y pagan tlawd i adnabyddiaeth o Grist. Un diwrnod pan ddaeth Crist ei hun i bresennoldeb y dyrfa gymmysg, Efe a dosturiodd wrthynt am eu bod fel defaid heb arnynt fugail (St. Marc vi. 34). Pe byddai i Gristionogion "mawr eu breintiau" Prydain gael eu meddiannu ag Ysbryd Crist, buan y byddai iddynt sylweddoli eu dyledswydd tuag at baganiaid ein byd ag sydd yn crwydro, gan gyfeiliorni yn fwy o hyd fel defaid heb ganddynt fugail. Wrth daflu cipdrem dros gyflwr truenus y byd paganaidd a gau grefyddol, a gweled mor eang yw y meusydd ag sydd eisoes yn wynion i'r cynauaf, ac mor anaml y gweithwyr, dywedwn wrth ddarllenwyr yr *Haul* yn enw Crist ein Meistr, "Am hyny, atolygwch i Arglwydd y cynauaf anfon gweithwyr i'w gynauaf." Yn sicr, fe ddylai rhoddi ystyriaeth *ddifrifol* o angenion y byd paganaidd anghristionogol gloi geneu pob gwrthddadl a ddaw i wrthdarawiad â chommissiwn Crist i'w Eglwys, gan weithio ynom argyhoeddiad o'n dyledswyddau cenadol tuag at ein cydgreaduriaid ag sydd nid yn *wirfoddol* yn gwrthod gwrandaw ar lais yr Iesu, ond na chawsant y *fraint* na'r *cyfleusdra* erioed i glywed gair am Grist a'i Groes, pa rai o ganlyniad sydd yn eu dellni yn addoli pren a maen, heb Dduw ac heb obaith yn y byd ganddynt.

5. *Profa gwaith cenadol tramor yn ennill ac nid yn golled i'r Eglwys.*—"Rhywun a wasgar ei dda, ac efe a chwanegir iddo; a rhywun arall a arbed fwy nag a weddai, ac a syrth i dlodi" (*Gwr Doeth*). Mae gweled a chlywed am waith cenadol yr Eglwys oddi cartref yn symbylydd cryf i gymhell yr Eglwys gartref i weithgarwch, i ymegnïo fwyfwy yng nghyflawniad ei dyledswyddau amrywiol tuag at ei phlant. Wrth anfon allan fendithion yr Efengyl i'r holl fyd, sicrhâ yr Eglwys gartref fendithion yr Efengyl yn eu llawnder a'u cyfoeth. Yn wir, oddi ar yr egwyddor o hunan-gadwraeth daw gwaith cenadol tramor yn angenrhaid ar ran yr Eglwys, o herwydd mae yr addewid i'r Eglwys o'r Presennoldeb Dwyfol wedi ei gyplysu wrth ufudd-dod i'r gorchymmyn, "Ewch i'r holl fyd," &c. Darllener y commissiwn a'r addewid yn St. Matt. xxviii. 18—20. Os esgeulusa yr Eglwys Gatholig ufuddhau i'r commissiwn, cyll ei hawl yn yr addewid (gwel erthygl arweiniol yn y *Llan* o ddeutu tair blynedd yn ol). Mae natur yn ogystal a Dadguddiad yn sefydlu y gwirionedd hwn. Os na chaiff y dwfr naturiol le i redeg, buan y try yn llygredig ac afiach. Mae y dwfr a gronir yn y llyn am hir amser yn casglu budreddi, yn bwrw allan ddrygsawr, ac yn gwenwyno yr awyrgylch o'i amgylch. Yr Eglwys yw dwfr gronfa fawr dwfr y bywyd. I gadw y dwfr hwn yn bur ac iach rhaid iddo gael digon o le i redeg. Os bydd unrhyw ran o Eglwys Crist yn ei groni, yn ei gadw oddi mewn ei chronfëydd ei hun, gan esgeuluso gwneuthur sianelau iddo redeg allan i'r holl fyd, ä ei hawyrgylch yn afiach, a hithau ei hun yn glaf, nychlyd, a llygredig. Mae Eglwys y ddeunawfed ganrif yn esboniad ymarferol ar hyn. Y diwrnod y peidia yr Eglwys yn gyfangwbl a bod yn Eglwys *genadol*, daw hadau darfodedigaeth ag elfenau ymddadfeiliad i'w chyfansoddiad, nes o'r diwedd y derfydd am dani yn raddol a dystaw trwy ymddirywiad ysbrydol. Bu agos i hyn gymmeryd lle yng nglŷn ag Eglwys ein gwlad yn y ddeunawfed ganrif, ond (yn un o'r pethau pwysicaf) trwy ymadfywiad yr ysbryd cenadol ynddi yn nechreu y ganrif bresennol adennillodd ei hen safle o awdurdod, a daeth yn fuan yn allu ysbrydol trwy ein gwlad. Mae cyflwr blodeuog, cryf, iachus, llwyddiant anarferol fawr, a gwaith gorchestol yr Eglwys Brydeinig agos ym mhob rhan o'r byd ar derfyn y bedwaredd ganrif ar bymtheg yn esampl neu enghraifft nodedig o gyflawniad yr addewid am bresennoldeb y Gwaredwr gyda'i Eglwys yn cydfyned ag ufudd-dod yr Eglwys i'r commissiwn dwyfol i fyned allan i'r holl fyd gan bregethu'r Efengyl i bob creadur. Mae bywyd dwyfol neu ysbrydol yr Eglwys yn gyssylltedig wrth ufudd-dod i gommissiwn Crist. Yng ngwyneb y gwirionedd pwysig hwn, pa fodd y gall yr un Cristion ymesgusodi rhag helpu yr Eglwys i gario allan ei gwaith cenadol dros wyneb y byd, ar sail yr un wrthddadl hunanol sieryd am "baganiaid cartref"? Yn wir, y rhai a wnânt fwyaf o'r bron yn ddieithriad dros "baganiaid cartref" yw y rhai a wnânt fwyaf dros waith cenadol tramor Eglwys Crist. O herwydd meithder ein hysgrif y tro hwn, ymattaliwn gydag yn unig ddywedyd drachefn wrth sychu ein hysgrifbin, fod anufudd-dod ar ran yr Eglwys i'r commissiwn dwyfol yn meddwl colli ei hawl yn yr addewid; ac hefyd nad oes gan yr Eglwys Gatholig hawl yn ol ei siarter sylfaenol i roddi i fyny ei gwaith cenadol tuag at yr holl fyd hyd nes y gwawria y diwrnod pan yr udgana y seithfed angel, "Aeth teyrnasoedd y byd yn eiddo ein Harglwydd ni a'i Grist ef ac efe a deyrnasa yn oes oesoedd," Dad. xi. 15.

J. H. Manley.

*Llangïan.*

Digitized by Google

## DUWINYDDIAETH: NEU SYLWADAU AT WASANAETH YR YSGOL SUL AR YR EFENGYL YN OL ST. MATTHEW.

### GWERS XXXI.

*St. Matt. xii. 14—22. Darllener St. Marc iii. 6—12; St. Luc vi. 11, 12; ac Esaiah xlii. 1—6. Cydfradwriaeth y Phariseaid a'r Herodianiaid yn erbyn yr Iesu.*

### ESBONIAD EGLURHAOL.

Adn. 14: "*Yna yr aeth y Phariseaid,*" &c. Ymgynghorasant gyda'r Herodianiaid yn ei erbyn Ef, St. Marc iii. 6. Llanwasid hwy ag "ynfydrwydd" (St. Luc vi. 11); hyny yw, llidiasant wrth yr Iesu am na allent ei orchfygu mewn dadl ar gadwraeth y Sabbath.

"*Fel y dyfethent ef.*"—Rhesymeg olaf y drygionus ydyw cynddaredd a thrais. Pan gollir y rheswm cynhyrfir y nwyd a'r dymmer anifeilaidd.

Adn. 15: "*A'r Iesu gan wybod a giliodd,*" &c. Rhoddes ei gynghor i'w ddysgyblion (St. Matt. x. 23) mewn ymarferiad. Pan elo dynion i ymryson gydag arfau yr anifail—*nwyd* a *thrais*—doeth ydyw cilio o'u cymdeithas. Canlynodd y torfëydd Ef, ac iachaodd yntau eu cleifion; ond Efe—

Adn. 16: "*A orchymmynodd na wnaent ef yn gyhoedd.*"—Canlyniad gwneuthur ei waith gogoneddus yn gyhoeddus oedd ennyn cenfigen a chyfodi erlidigaeth. Nid ai yr Arglwydd Iesu i ymddadleu â'r cenfigenwyr, ac ymdrechai na byddai i'w ddaioni Ef gynhyrfu llid y drygionus.

Adn. 17: "*Fel y cyflawnid,*" &c. Nid gyda'r amcan o gyflawnu prophwydoliaeth Esaias y gwnaeth hyn, ond wrth wneuthur hyny yr oedd yn ei chyflawnu. Daw i'r golwg yma

### ADDFWYNDER CRIST YNG NGWYNEB NWYD A THAIS Y DRYGIONUS.

Adn. 18: "*Wele fy ngwasanaethwr,*" &c. Dyma gymmeriad gwasanaethwr Duw, mewn gwrthgyferbyniad i'r gwŷr traws a thrahäus oeddynt yn ei erlid. Dyma y cymmeriad a wna wir wasanaeth i Dduw.

"*Fy anwylyd, yn yr hwn,*" &c.: gwel St. Matt. iii. 17 ac xi. 26.

"*Gosodaf fy ysbryd arno,*" &c. Ar y cymmeriad addfwyn, tyner, uniawn, pur, a thrugarog y disgyna Ysbryd Duw, neu dyma ydyw cymmeriad y rhai a feddiannant yr Ysbryd.

"*Efe a draetha farn i'r Cenedloedd.*"—"Barn" yn y lle cyntaf ydyw y gallu i wahaniaethu rhwng da a drwg. Ei ail ystyr ydyw awdurdod i roddi dedfryd. Canlyniad meddiant o'r gallu i wahaniaethu rhwng da a drwg ydyw ffurfiad barn, ac o'r ffurfiad barn y dadgenir penderfyniad. Nid wrth *farn* y gweithredai erlidwyr Crist ar bwnc cadwraeth y Sabbath ac iachâd y cleifion, ond oddi ar nwyd.

Adn. 19: "*Nid ymryson ac ni lefain.*"—Dystawrwydd, llonyddwch, tawelwch, hunanfeddiant, a phwyll sydd i amgylchu gorsedd *barn*. Mewn goleuni ac mewn ysbryd rhydd oddi wrth bob math o gynhyrfiad y mae ffurfio barn gywir.

Adn. 20: "*Corsen ysig,*" &c. Mae y gwir Farnydd yn dyner wrth y gwanaf. Ni chymmer fantais ar un gwendid, ond meddyginiaetha y rhai mwyaf anobeithiol. 1. Corsen ysig. Y wraig a ddaliwyd mewn pechod (gwel St. Ioan viii. 11), ac y dywedodd yr Iesu wrthi, "Nid wyf finnau yn dy gondemnio chwaith: dos, ac na phecha mwyach." 2. Llin yn mygu. Y gwr ieuanc nad "oedd bell o deyrnas nefoedd," St. Marc xii. 34.

"*Hyd oni ddygo efe allan farn i fuddugoliaeth.*"—Y gwirionedd goleu, eglur, tawel, siriol, a pharhäus a orchfyga yn y diwedd. Rhaid yw gorchfygu drygioni trwy ddaioni, neu drais drwy farn. Y rhai addfwyn a etifeddant y ddaiar yn y diwedd, St. Matt. v. 5.

### SYLWADAU YMARFEROL. CRIST YN DWYN ALLAN FARN.

1. Dyn sydd i farnu dyn; nid oes un bod arall ond ei Greawdwr yn gymhwys i'w farnu. Crist Iesu ydyw y perffaith ddyn. Efe yw gwasanaethwr Duw. Efe a ŵyr beth sydd mewn dyn. "Nid wrth olwg ei lygaid," &c., "y barna efe" (Esaiah xi. 3); a rhoddes Duw bob barn i'r Mab, St. Ioan v. 22, 23. Bywyd Crist ydyw safon barn, canys Efe yw goleuni y byd, ac yng ngoleuni ei Efengyl Ef y bernir pob peth. Dyma glorian gau a gwir. Efe a draetha farn i'r Cenedloedd oll. Moesoldeb yr Efengyl sanctaidd ydyw safon barn a bywyd. 2. Nid yw amynedd a thawelwch Crist fel Barnwr ond gwyneb ddalen arall o'i dynerwch at y gwan a'r llesg. Efe a dosturia wrth bob gwendid ffydd fel "llin yn mygu," neu wic y lamp yn mygu pan fyddo yr olew bron â darfod.

### CWESTIYNAU.

Pwy oedd yn cydfwriadu gyda'r Phariseaid yn erbyn yr Iesu? Beth oedd yn peri iddynt lidio y pryd hwnw? Pa beth y mae St. Luc yn galw digofaint llidiog o'r fath (vi. 11)? Pa beth sydd yn naturiol i ddyn wneuthur wrth golli mewn dadl? Pa beth a wnaeth Crist pan geisiwyd ei ddyfetha Ef? Pa beth ydyw y cynghor a roddes ar y pwnc hwn? Pa orchymmyn a roddes Efe i'r bobl wrth

Digitized by Google

iachäu y cleifion? Pa ham ei rhoddes? "Fel y cyflawnid," pa beth ydyw ystyr y fath eiriau yn St. Matthew? Pwy a ddywedodd, "Wele fy ngwasanaethwr"? Adroddwch yr adnod allan. Pa le arall y gelwir Crist Fy Anwylyd neu Anwyl Fab? Pa fath gymmeriad a roddir iddo? Pa beth ydyw ystyron y gair *barn?* Pa fath ymddygiad sydd yn gweddu i orsedd barn? Pa beth a feddylir wrth "gorsen ysig"? wrth "lin yn mygu"? Bywyd pwy sydd yn safon barn i ni?

GWERS XXXII.

*St. Matthew xii. 22—37. Darllener St. Luc xi. 14, 15: gwel St. Matthew ix. 32.*

ESBONIAD EGLURHAOL.

Adn. 22: "*Un cythreulig, dall a mud.*"—Dyma greadur mewn cyflwr truenus i'r eithaf. Anaml y cyfarfyddir â mudan yn gallu clywed. Gwir achos mudandod ydyw anallu i glywed. Felly y mae yn dra sicr fod y dyn truenus hwn wedi cael ei ymddifadu gan Satan o'i olwg, ei glyw, a'i leferydd. Cauasid prif byrth y synwyr a dorau yr ymadrodd, fel na allai ddal cymmundeb â'r byd nac â neb o'i fewn. Dyma waith yr ysbryd aflan.

"*Ac efe a'i hiachaodd.*"—Cawn hanes yn adnodau 10—13 o'r bennod hon am Grist yn adnewyddu nerth corfforol dyn; ac yma yn adferu gallu ymadrodd, ac agor pyrth y golwg a'r clyw, gan fwrw allan yr ysbryd aflan o'i drawsfeddiant o'r dyn. Dyma adnewyddiad corff, rheswm, a barn iddo.

Adn. 23: "*A'r holl dorfëydd a synasant,*" &c. Cynnwysa y syndod yma edmygedd a thuedd i fawrygu Crist, ac felly ychwanega genfigen y drygionus.

"*Mab Dafydd.*"—Yr oedd y gair Mab Dafydd o eneu y lluaws yn gyfystyr â Messïas. Parai hyn fwy o genfigen.

DYFAIS ERCHYLL RHAGFARN.

Adn. 24: "*Trwy Beelzebub penaeth y cythreuliaid,*" &c. Gan na allai y Phariseaid wadu y ffaith o iachâd y cythreulig, hwy a ymdrechent ddrwgliwio yr Awdwr. Cydnabyddir dau allu goruwchnaturiol, sef gallu Satanaidd a gallu Duw. Felly priodolai y Phariseaid allu goruwchnaturiol yr Arglwydd Iesu i'r Diafol, gan gyfrif gweithredoedd da i offeryn a gallu drwg.

Adn. 25: "*Yn gwybod eu meddyliau.*"—Gallai mai yn y cynghor y sonir am dano yn adnod 14 y penderfynodd y bobl ddrwg yma pa peth a ddywedent. Gwyddai yr Iesu pa fodd yr amcanent fychanu a lladd ei ddylanwad da.

Adn. 25: "*Pob teyrnas,*" &c. Ymresymiad i ddangos mor groes i'r doethineb a briodolir i Satan oedd chwedl anwireddus y Phariseaid ydyw hyn. Bod cyfrwys a dichellgar yn rhyfela yn erbyn teyrnas Dduw ydyw Satan, ac ni wna penaeth y deyrnas hon osod y naill ddeiliad o honi i fwrw y llall o'i feddiant. Defnyddia y Bardd Milton y syniad yma yn glws i ddangos gwrthuni ymrysonau crefyddol a gwladol.

Adn. 27: "*Trwy bwy y mae eich plant chwi yn eu bwrw?*" &c. Nid oes ammheuaeth na chymmerai dysgyblion y Phariseaid arnynt o leiaf allu bwrw allan gythreuliaid, a thybia rhai fod y gallu ganddynt i raddau. Digon i ymresymiad Crist oedd eu bod yn credu yn eu gallu ac yn honi gwneyd.

"*Byddant hwy yn farnwyr arnoch chwi.*"—Wrth briodoli y gallu oedd gan Grist i fwrw allan gythreuliaid i Beelzebub, yr oedd y Phariseaid yn taflu gwaradwydd ar eu "plant" neu ddysgyblion eu hunain. Y mae yn anhawdd ffurfio cynllun drwg dichellgar heb berygl iddo droi yn erbyn y dyfeiswyr.

Adn. 28: "*Trwy Ysbryd Duw.*"—Trwy yr Ysbryd Glân yr ymgnawdolodd Crist; yr Ysbryd Glân a'i cyssegrodd i'w weinidogaeth; trwy yr Ysbryd Glân y cyflawnodd ei holl waith ar y ddaiar; trwy yr Ysbryd tragwyddol yr offrymodd ei Hun drosom ac yr adgyfododd; a thrwy ei Ysbryd yr erys gyda'i Eglwys ac y cyflawna ei waith grasol eto. Ysbryd Duw sydd yn parhau i fwrw allan yr ysbryd aflan o ddynoliaeth yn barhäus. Dyma yr Ysbryd sydd yn agor llygaid y dall, yn digloi y glust fyddar, yn dattod clymau y tafod dileferydd, ac yn bwrw allan ysbrydion pob aflendid o blant Adda dan weinidogaeth yr Efengyl sanctaidd. Eglwys Crist ydyw yr offeryn, Ysbryd Duw y gallu.

"*Yna y daeth teyrnas Dduw atoch.*"—Dyma daflu yr ymresymiad yn ol yn erbyn y cyhuddwyr. Nid mewn cydweithrediad â Beelzebub y gweithredai yr Iesu, ond yn erbyn ei deyrnas i'w bwrw i lawr. Nid offeryn yn llaw yr ysbryd drwg oedd Crist, ond ei orchfygwr.

CRIST YN ORCHFYGWR Y CRYF ARFOG.

Adn. 29: "*Neu pa fodd y dichon,*" &c. Dyma gymhariaeth darawiadol. Cymharir dyn yma i dŷ, a'i holl gynneddfau a galluoedd i ddodrefn. Yn ei greadigaeth yr oedd y tŷ hwn yn deml Dduw, a phob cynneddf iddo yn sanctaidd. Ond yn y cwymp meddiannodd yr un cadarn ef, Esaiah xlix. 24. Daeth Crist i osod i fyny deyrnas Dduw ynddo (St. Luc xvii. 21); a'i wneuthur yn deml yr Ysbryd Glân,

Digitized by Google

(1 Cor. vi. 19, 20); a phob aelod yn arfau cyfiawnder, Rhuf. vi. 12—14. Drwy nerth ac awdurdod ei ymgnawdoliad a'i iawn prynedigol yr oedd yr Arglwydd Iesu yn gryfach na'r gelyn Diafol ac yn ei fwrw allan o ddynion, ac fe wna hyn drwy weinidogaeth ei Eglwys neu yr Efengyl hyd byth. Y mae yr Efengyl sanctaidd yn iachäu, ac oddi wrth Dduw y mae pob gallu i iachäu, a bwrw allan ddrygioni.

Adn. 30: "*Y neb nid yw gyda mi,*" &c. Y mae o bwys mawr cymharu y geiriau hyn â St. Marc ix. 40 a St. Luc ix. 50. Dyma y tair brawddeg: 1. "Y neb nid yw gyda mi sydd yn fy erbyn." Rhoddi anair i Grist yr oedd y Phariseaid, gan briodoli ei weithredoedd da i broffes dwyllodrus a gallu Satanaidd. Y mae pob un a wna hyn yn *erbyn Crist* a'i deyrnas. 2. "Y neb nid yw i'n herbyn, o'n tu ni y mae." 3. "Y neb nid yw i'n herbyn, trosom ni y mae." Bwrw allan gythreuliaid yn enw Crist, tra yn aros ar wahân oddi wrth ei ddysgyblion oedd yn ei ganlyn Ef, a wnai y rhai y cyfeirir atynt yn yr adnodau olaf. Cydweithredent â'r dysgyblion i ogoneddu Crist, er bod ar wahân, tra yr oedd y Phariseaid yn priodoli ei ddwyfol allu i Satan. Gallwn sylwi y defnyddia llawer o bobl y ddwy adnod o St. Marc a St. Luc i gyfiawnhau Ymneillduaeth, drwy ddweyd eu bod hwy, er yn gweithredu ar wahân oddi wrth yr Eglwys, yn cydweithredu â hi yn iachawdwriaeth eneidiau a gogoneddiad Mab Duw. Y mae y pwnc hwn yn rhy ddwfn i ni ei fesur, ond y mae y nesaf yn eglur. Pan elo yr Ymneillduaeth yn elyniaeth, ac i briodoli amcanion twyllodrus a dybenion drwg i weithredoedd da yr Eglwys, y mae yn ei herbyn—yn erbyn Crist.

### CWESTIYNAU.

Pa beth ydyw achos mudandod yn gyffredin? Heb law bod yn fudan beth arall oedd anwyldeb yr un cythreulig? Am ba wyrth y mynegir yn nechreu y bennod? Pa effaith a gafodd iachâd y cythreulig ar y torfëydd? Pa effaith ar y Phariseaid? Pa beth a feddyliai yr Iuddewon wrth Fab Dafydd? Pa ddyfais a luniodd y Phariseaid i iselhau a lladd dylanwad gwyrthiau yr Iesu? Pa fodd y daeth Efe i wybod am eu hanwiredd? Pa beth a ddywedodd am eu gwaith drygionus? Beth oedd yn feddwl wrth ofyn, "Trwy bwy y mae eich plant chwi yn eu bwrw hwynt allan"? "Byddent hwy yn farnwyr," pwy ydyw yr hwy yma? Daeth teyrnas Dduw atoch chwi, beth ydyw y deyrnas yma? Pa fodd y dangosodd Crist mai nid gwas i'r Diafol ond ei orchfygwr oedd? Pwy a feddylir wrth yr un cadarn? Beth wrth y tŷ? Beth wrth y dodrefn? Pa bryd yr aeth dyn yn gaethwas Satan? Trwy bwy y gwaredir Ef? Pa beth ydyw corff dyn i fod? Trwy bwy neu ba beth yr oedd Crist yn gwneuthur gwyrthiau?

### GWERS XXXIII.

*St. Matt. xii. 31—38. Darllener hefyd St. Marc iii. 28—30; St. Luc xii. 10. Cabledd yn erbyn yr Ysbryd Glân.*

### ESBONIAD EGLURHAOL.

Adn. 31: "*Am hyny.*"—Am fod pethau fel y dywedwyd yn yr adnodau diweddaf, y canlyniad yw fod y Phariseaid yn cablu. Dyma y casgliad anwrthwynebol.

"*Cabledd.*"—"Cabledd" ydyw priodoli gwaith daionus Duw i Satan, neu lefaru yn erbyn Duw a'i ordinhadau (Act. vi. 13, 14), neu gymmeryd o ddyn arno ei hun briodoleddau Duw, St. Matt. xxvi. 64, 65.

"*Yn erbyn yr Ysbryd Glân.*"—Trwy "Ysbryd Duw" (adn. 28) yr oedd yr Iesu yn bwrw allan gythreuliaid. Yr oedd y Phariseaid yn cablu yn erbyn yr Ysbryd Glân wrth briodoli y gwaith da hwn i benaeth y cythreuliaid.

"*Ni faddeuir i ddynion.*"—Yr oedd y cabledd yn erbyn yr Ysbryd Glân yn wirfoddol. Dyfais faleisus oedd priodoli i Ddiafol waith amlwg yr Ysbryd.

Adn. 32: "*Yn erbyn Mab y Dyn,*" &c. Dan orchudd llên ac yn "agwedd cnawd pechadurus," ac yng ngwisg tlodi, yr oedd yn hawdd methu canfod perffaith ddwyfoldeb Mab Duw. Dywedwyd llawer yn ei erbyn "yn ddiarwybod drwy anghrediniaeth" (1 Tim. i. 13), a chaed maddeuant.

"*Ond pwy bynag a ddywedo yn erbyn yr Ysbryd Glân nis maddeuir iddo, nac yn y byd hwn, nac yn y byd a ddaw.*"—Nis gall geiriau fod yn fwy difrifol nag yn fwy penderfynol na hyn. Pan feddianno rhagfarn, cenfigen, a malais holl gynneddfau enaid dyn nes cau ei lygaid i bob tystiolaeth eglur, ac nes dywedyd o hono am y da drwg yw (Esaiah v. 20, 21), ac ymollwng o hono i "galon ddrwg anghrediniaeth" (Heb. iii. 12), ni chaiff le i edifeirwch, a bydd drws trugaredd yn glöedig rhagddo. Trwy gloi dorau argyhoeddiad y mae dyn yn cau pyrth maddeuant.

Adn. 33: "*Naill ai gwnewch y pren yn dda.*"—Dyma gymhariaeth glws. Y pren oedd Crist; ei ffrwyth oedd ei weithredoedd, neu ei waith yn iachäu y cleifion a bwrw allan gythreuliaid. Gwaith da neu ffrwyth da ydoedd. Dylasai y Phariseaid felly gyfaddef fod Crist a'i waith yn dda. Nid Crist yn ddrwg mewn cynghrair â Diafol a'r gwaith yn dda.

Digitized by Google

Onid oes yma wers ddifrifol i'r bobl luosog a briodolant holl waith da yr Eglwys i amcanion drwg? Priodolir ei llafur o blaid addysg, ei hymweled â'r cleifion, ei helusengarwch, a'i gofal am y tlodion oll, i amcan drwg. Pan ddelo dynion i'w pwyll, hwy a farnant y naill y llall wrth eu ffrwythau.

GWIR ACHOS CABLEDD Y PHARISEAID.

Adn. 34: "O epil gwiberod," &c. Dyma eiriau cryfion yn dynodi nodwedd y bobl ddrwg. Llygredd eu calonau oedd yn dallu eu llygaid a drwgliwio pob daioni iddynt, St. Iago iii. 2—12.

"*O helaethrwydd y galon,*" &c. Gorlifiant calon ddrwg llawn cenfigen a malais oedd y cabledd.

Adn. 35: "*Y dyn da o drysor da y galon,*" &c. Y mae y dyn da yn cario meddyliau da, a dylifa ymadroddion da allan o'i eneu mor naturiol ag y dyga pren da ffrwythau da. Yr un modd y gwna y drwg. Y llawnder da neu ddrwg oddi mewn a ddaw allan ar bob achlysur.

Adn. 36: "*Gair segur.*"—Gair gwag, diamcan, a feddylir.

"*Rhaid rhoddi cyfrif.*"—Y mae dyn yn gyfrifol am ei eiriau gweigion diamcan, didda, a diddrwg, pa faint mwy am eiriau cableddus?

Adn. 37: "*Canys wrth dy eiriau,*" &c. Gan fod geiriau dynion yn cynnwys meddyliau eu calonau, ac yn dyfod allan o drysordy llawn y galon wrth y rhai hyn eu bernir. Y mae geiriau dynion nid yn unig yn dangos eu cymmeriad, ond hefyd yn myned i ffurfio rhan o'u cymmeriad yn gystal a dylanwadu ar ereill, a rhaid rhoddi cyfrif am danynt.

"PECHOD ANFADDEUOL."

Gofynir yn aml pa beth ydyw y pechod anfaddeuol, ac ofnodd llawer un erioed eu bod yn euog o hono. Gellir ateb yn gyffredinol nad yw y neb a ofno ei fod yn euog yn gorwedd dano. Y pechod y dywedir nad oes maddeuant iddo yma ydyw gwrthnysig gau y llygaid yn erbyn tystiolaeth eglur Ysbryd Duw, ac ystyfnig haiarneiddio y gydwybod yn erbyn argyhoeddiad y meddwl. Gwyddai y Phariseaid mai dichell o'u dyfais hwy eu hunain oedd priodoli gweithredoedd da Crist i Satan. Amcan *drwg* oedd ganddynt yn llunio yr anwiredd. Tra yr erys dyn yn y cyflwr hwn, nid oes maddeuant iddo.

CWESTIYNAU.

Pa beth ydyw cabledd? Pa sawl math o gabledd a enwir yn y Beibl? Pa fodd yr oedd y Phariseaid yn cablu yn erbyn yr Ysbryd Glân? Pa beth a feddylir wrth alw yr Iesu yn Fab y Dyn? Pa fodd yr oedd siarad yn erbyn Mab y Dyn yn llai pechod na llefaru yn erbyn gwaith yr Ysbryd Glân? Pa beth oedd yn cau y rhai a gablent yn erbyn gwaith yr Ysbryd Glân allan oddi wrth faddeuant? Beth a feddylir wrth y pren yn dda a'i ffrwyth yn dda? y pren yn ddrwg a'i ffrwyth yn ddrwg? Pa fodd y bernir ansawdd prenau? Pa fodd y bernir dynion? Pa beth y geilw yr Iesu y Phariseaid cableddus? Pa beth a feddylir wrth drysor y galon? Pa beth wrth y gair segur? Pa beth oedd y pechod anfaddeuol y sonir am dano yma?

GWERS XXXIV.

*St. Matt. xii. 38—50. Darllener St. Luc xi. 29—32; St. Luc xii. 24—26.*

ESBONIAD EGLURHAOL.

Adn. 38: "*Yna yr atebodd rhai o'r Ysgrifenyddion,*" &c. Athrawon duwinyddol y genedl oedd yr Ysgrifenyddion. Atebasant i eiriau diweddaf yr Iesu mai trwy Ysbryd Duw y bwriai allan gythreuliaid.

"*Athraw, ni a chwennychem weled arwydd genyt.*"—Yn St. Luc (xi. 16) ychwanegir "arwydd o'r nef." Credwn fod yr Ysgrifenyddion yn defnyddio y geiriau mewn math o wawd, gan awgrymu nad oedd bwrw allan gythreuliaid ddim yn arwydd digonol mai trwy Ysbryd Duw y gwnelid y gwaith. Esgus dros eu hanghrediniaeth oedd yr oll, ac y mae yn gwbl gydweddol â nodwedd y genedl, 1 Cor. i. 22.

Adn. 39: "*Cenedlaeth ddrwg a godinebus,*" &c. Ystyr y gair godinebus yma ydyw anffyddlondeb i'w chyfammod â Duw: gwel Hosea i. 3. Defnyddir y gymhariaeth yn llawn yno. Y mae priodas hefyd yn arwyddocäu y "dirgel undeb sydd rhwng Crist a'r Eglwys" (Gwasanaeth Priodas ac Ephes. v. 32). Yr oedd y genedlaeth hòno o Iuddewon yn anffyddlawn ysbrydol i Dduw, gan lunio anwiredd i lethu argyhoeddiad y gwirionedd.

"*Arwydd nis rhoddir iddi.*"—Ni wnaeth yr Arglwydd Iesu un wyrth erioed i foddloni chwilfrydedd dynion. Yr oedd holl wyrthiau yr Arglwydd Iesu yn weithredoedd naturiol iddo Ef, a'r oll yn arddangosion eglur o'r trysor mawr o gariad dwyfol a gallu dwyfol o'i fewn. Ffrwyth naturiol ei ddaioni dwyfol oeddynt.

"*Arwydd y Prophwyd Jonas.*"—Adferiad o ddyfrllyd fedd oedd gwyrth fawr y Prophwyd Jonas. Yr oedd y wyrth hon yn ddigonol gan yr Iuddewon i gredu yn nwyfoldeb ei genadwri fel prophwyd. Cymmer Crist ef yma i gysgodi ei adgyfodiad ei

Digitized by Google

hun. Cai yr Iuddewon hyny weled a chlywed am adgyfodiad yr Iesu o'r bedd. Yr oedd y wyrth fawr hon megys i ddyfod yng ngyrfa y Gwaredwr ar draws eu llwybr hwy; ond a gredent? gwel St. Luc xvi. 31.

Adn. 40: "*Tridiau a theirnos.*"—Dull Iuddewig o lefaru am amser sydd yma. Nid yw yn meddwl dim mwy nag hyd y trydydd dydd.

"*Yng nghalon y ddaiar.*"—Enwir calon y ddaiar yma mewn gwrthgyferbyniad i "fol y morfil" lle y buasai Jonas. Yr oedd adgyfodiad o "galon y ddaiar" i gorff marw yr Iesu yn gymmaint o "arwydd" ag adferiad Jonas o fol y morfil neu "bysgodyn mawr," Jonas i. 17.

Adn. 41: "*Gwŷr Ninefeh,*" &c. Credasant hwy genadwri un wedi dianc o safn marwolaeth mewn dull gwyrthiol; gwrthododd yr Iuddewon dystiolaeth un wedi adgyfodi o feirw.

Adn. 42: "*Brenines y Deheu,*" &c., 1 Bren x. 1. Pan glywodd brenines Sheba am ddoethineb Solomon, aeth yr holl ffordd i glywed y doethineb hwnw. Mawrhaodd gwŷr Ninefeh allu Duw drwy edifarhau wrth bregeth Jonas, a mawrhaodd brenines y Deheu ddoethineb Duw drwy fyned i wrandaw doethineb Solomon, ond dirmygai y Phariseaid allu a doethineb Duw yng Nghrist Iesu. Y mae yr Efengyl sanctaidd yn allu a doethineb Duw yn ei Eglwys eto.

"*A gyfyd yn y farn.*"—Bernir ni oll yn ol ein cyfleusderau, ac y mae defnyddiad rhai o gyfleusderau bychain yn condemnio yr oll a esgeulusant gyfleusderau mwy.

DYCHWELIAD YR YSBRYD AFLAN.

Adn. 43: "*A phan êl yr ysbryd aflan,*" &c. Awgrymir y gymhariaeth ddifrifol hon gan iachâd y cythreulig y soniwyd am dano yn rhan flaenorol y bennod (adn. 22), a chan yr ymddyddan dilynol. Mae y cyssylltiad yn llawer mwy eglur yn St. Luc (xi. 22—26). Yr oedd yr Arglwydd Iesu newydd fwrw allan y cythraul o druan ddyn, gan adferu iddo ei leferydd a golwg ei lygaid—gwyrth arwyddocaol o'i allu i agor llygaid y genedl ac adferu iddi leferydd uniawn. Ond ni fynent hwy gydnabod yr iachâd yn waith Ysbryd Duw. Ni fynent gredu Crist a chydweithredu ag Ef, ond gwahoddent i mewn ysbryd anwiredd, malais, llid, a dygasedd i'w wrthwynebu. Yn lle casglu gydag Ef, aethant i wasgaru, St. Luc xi. 23.

"*Allan o ddyn.*"—Cymmerir dyn yma i gysgodi cenedlaeth. "*Y genedlaeth ddrwg hon* (adn. 45). Yr oedd y diwygiad Phariseaidd, yr hwn a ddechreuasai yn dda, wedi bwrw allan ysbryd aflan eilunaddoliaeth o'r genedl Iuddewig er ys rhai oesoedd.

"*Efe a rodia mewn lleoedd sychion,*" &c. Dull dwyreiniol ydyw hyn o siarad am gynllwyn drigfanau yr ysbrydion aflan mewn *erchyll fanau* amhygyrch.

Adn. 44: "*Mi a ddychwelaf,*" &c. Mae y gelyn Diafol fel llew rhuadwy yn rhodio o amgylch cenedl fel o amgylch personau unigol, gan geisio hudo i bechod.

"*Wedi y delo, y mae yn ei gael yn wag, wedi ei ysgubo a'i drwsio.*"—Dyma ddarluniad byw, cywir, tarawiadol o gyflwr crefyddol yr Iuddewon yn nyddiau Crist. Yr oedd eu crefydd yn wag o bob ysbrydolrwydd. Mantell deneu o broffes allanol oedd bron yr oll. Ond yr oedd y tŷ wedi ei ysgubo a thrwsio. Yr oedd y deml wedi ei hadeiladu yn ardderchog a'i haddurno yn odidog, ond gorweddai difaterwch ysbrydol wrth ei drws.

Adn. 45: "*Y mae efe yn myned,*" &c., "*saith ysbryd ereill,*" &c. Dyma ddychweliad yr ysbryd aflan i mewn i'r genedl yn ysbryd cabledd, godineb ysbrydol ac anianol, rhagfarn, cenfigen, ysbryd erlidigaethus, creulondeb, ac ymryson o bob math, yn terfynu yng nghroeshoeliad y Gwaredwr ac yn y creulonderau a arweiniasant i ddinystr y genedl. Yr hyn oedd wir am y genedl a bery yn wirionedd am bob enaid yn unigol. Nid oes un diwygiad ond preswyliad Ysbryd Duw yn y galon a geidw allan yr ysbryd aflan.

EGWYDDOR Y BERTHYNAS YSBRYDOL.

*St. Luc iii. 31—35; St. Luc viii. 19—21.*

Adn. 46: "*Ei fam a'i frodyr,*" &c. Deallwn oddi wrth St. Marc (iii. 21) fod ei berthynasau yn ol y cnawd yn ofni am dano fod ei frwdfrydedd yn ei waith sanctaidd yn peryglu ei bwyll. Diau y poenid hwy hefyd gan ffug gyfeillion yn taenu chwedlau am dano, gan awgrymu ammhwylledd, canys nid oedd ei frodyr yn credu ynddo ar y dechreu, St. Ioan vii 5.

Adn. 48: "*Pwy yw fy mam?*" &c. Pa le bynag y sonir yn y Gair Sanctaidd am fam yr Iesu ar ol dechreuad ei weinidogaeth gyhoeddus, fel un yn ufuddhau ac nid yn llywodraethu y siaredir am dani.

Adn 49: "*Efe a estynodd ei law at ei ddysgyblion,*" &c. Awgrymodd Crist yma mai y safle o ddysgybl oedd yn dangos y berthynas agosaf.

Adn. 50: "*Pwy bynag a wna ewyllys fy Nhad,*" &c. Prawf mawr y berthynas ysbrydol ydyw cyflawniad o ewyllys Duw.

Digitized by Google

SYLW.

Pan ddaeth Iesu Grist i'r byd priodolir iddo y geiriau, "Da genyf wneuthur dy ewyllys, O Dduw." Bwyd a diod Crist oedd gwneuthur ewyllys ei Dad. Terfyn ei weddi yn yr ardd oedd Dy ewyllys di a wneler. Prawf mawr ein perthynas ninnau â Christ yw ein bod yn caru gwneuthur ei ewyllys Ef; a dyma ein gweddi fel plant Duw, "Gwneler" neu "Bydded dy ewyllys ar y ddaiar megys y mae yn y nefoedd."

CWESTIYNAU.

Pwy oedd yr Ysgrifenyddion? Arwydd o ba le oeddynt yn dweyd fod bwrw allan y cythraul? Pa beth a ddywedodd Crist am y genedlaeth hòno? Pa arwydd oedd yr unig un a addawai yr Iesu i'r Iuddewon? Pa fodd yr oedd Jonas yn cysgodi yr Arglwydd Iesu? Pa arwydd oedd ei arwydd Ef? Pa le y bu dridiau? Pa le y bu yr Iesu? Beth a wnaeth Jonas ar ol ei waredigaeth? Pa beth a wnaeth yr Iesu drwy ei apostolion ar ol adgyfodi? Pa effaith a gafodd pregeth Jonas yn Ninefeh? Pwy a ddaeth i wrandaw doethineb Solomon? Pa le y cyfyd gwŷr Ninefeh â brenines Sheba i gondemnio yr Iuddewon? Pa ysbryd aflan a fwriwyd allan gan y diwygiad Phariseaidd o'r genedl Iuddewig? Pa beth a wnaethant i'r deml? Pa ddiffyg oedd yn eu crefydd? O ba beth y cyhuddir hwy? Pa ddrygioni a ddangosasant yn eu hymddygiad at Grist? Beth fu eu diwedd?

---

## CYNLLUN YN NHREFN NATUR.

(*Cyfieithad o weithiau y diweddar Archesgob Thomson, gan Bodfach.*)

CYFADDASRWYDD POB HANFOD I'W SEFYLLFA.

(*Parhâd o dudalen 200.*)

Wedyn deua y cyfnewidiad, sef dylifiad y bywyd anifeilaidd ar y ddaiar. A ydoedd hyn hefyd yn ganlyniad anocheladwy o nerthoedd anianyddol? Y mae yr holl greadigaeth anifeilaidd yn llawn o nodau cynlluniol. Ystyrier rhai o ddyfeisiau trwy y rhai yr addaswyd adar y nefoedd i'w bywyd neillduol. Wrth ddysgrifio noson oerllyd iawn dywed y bardd,

"Y mae y ddylluan er ei phlu yn oer."

Fe raid i orchudd yr aderyn fod yn foddion iddo ehedeg, ac yn ysgafn yn ogystal a chynhes: fe bwysa ef allai wns a hanner. Buasai gorchudd yr adar yn ddifudd iddynt pe buasai y cawodau, i'r rhai y maent yn agored, yn sugno y gwlybaniaeth iddynt, nes y buasent yn un cruglwyth trymaidd. Y mae ynddynt naws olewwaidd i gadw y gwlybaniaeth allan, fel y gwelir pan yr ysgydwa yr hwyaden ei hunan wrth ddyfod i'r wyneb ar ol suddo yn yr afon. Buasai ffurf drymaidd creaduriaid troediog yn analluogi yr aderyn i ehedeg, felly parotowyd iddo bibellau o esgyrn teneu, yn cynnwys gwagder yn eu canol, a hwnw yn llawn awyr. Rhaid i'w esgyll fod yn ysgafn yn ogystal a chryf. Sylwch, y mae gan y bluen finion garw, ac ymffurfia yn un arwyneb cadarn ac anwahanol wrth fyned wrth ehedeg drwy yr awyr, yr hwn a darawa ar ei hymdaith. Cyfrana yr awyr sydd yn esgyrn adar, a phibellau ereill y corff, y rhai a gynhesir gan wres mewnol yn llawer mwy nag mewn dyn, rywbeth at eu bywiogrwydd. Y mae eu cyflymder a'u diflinder yn ddirfawr. Dywedir fod cyflymder y wennol yn bedwar ugain a deg o filltiroedd yr awr. Ar un ehedfa hirfaith dros y môr gogleddol daw y môraderyn o Norway i Ben Flamborough; gorphwysa ychydig ar ol y daith, ac wedyn ä i'r wlad heb fod nemawr gwaeth ar ol yr anturiaeth. Gallwch gasglu oddi wrth big yr aderyn beth ydyw ei arferion a'i ymborth. Y mae pig coblyn y coed yn flaenllym wedi ei ymylu â'r corn caletaf er mwyn tori rhysgl y coed i ddyfod o hyd i bryfaid. Y mae min pig yr hwyaden wedi ei amdoi â chorn, ac yn offeryn hwylus i ddyhidlo dwfr a chadw y lluniaeth; hefyd y mae pig yr ysneipen yn hir a theimladol er mwyn treiddio i'r fawnog laith i chwilota am ei chynnaliaeth. Gallwn ddyfynu lluaws o enghreifftiau tebyg o faes torieithog natur.

Y mae pob meddwl yn ei gyflwr naturiol yn wybyddus nad all y cyfryw addasder mewn gweithiau dynol ddeilliaw ond oddi wrth fwriad, ac y mae yn foddlawn i'w hystyried fel profion o gynllun mewn natur. Rhaid i'r anianydd addysgu golygiad gwahanol iddo ei hunan. Y mae yr holl bethau yma yn ddadblygiadau o dan bwysau amgylchiadau nerthoedd gwreiddiol y greadigaeth. Er enghraifft, y mae gan rai adar sy'n byw mewn corsydd gwlybion bigau hirion, a rhodda hyny fantais iddynt i dyllu y ddaiar am ymborth, a thrwy hyny bydd eu cyfran o ymborth yn helaethach, a'u cryfder a'u gwroldeb yn llawer mwy, ac y mae ganddynt fwy o ryddid i ddewis cymdeithion. Hefyd, tyfa y pig yn hwy erbyn y genedlaeth ddilynol, nes y bydd pig yr ŵyr yn hwy nag un y mab, ac fel hyn y gweithreda y ddeddf nes ym mhen amser y bydd rhywogaeth wahanol, sef ysneipen berffaith. A ydyw y dam-

Digitized by Google

caniad gwyddonawl yn well yn yr achos yma na'r un poblogaidd? Nac ydyw, ac nid ydyw yn rhoddi cyfrif am y ffeithiau mor dda. Ai nid ein crediniaeth, ac nid tybiaeth, ydyw i Dduw greu adar yr awyr gydag offerynau cymhwys i fyw bywyd neillduol am ei fod yn gweled ei fod yn dda, ac yn ewyllysio i bob rhan o'r ddaiar amrywiol i fod yn olygfa o lawenydd ac ymdrechiad i'w phreswylyddion priodol? Y mae addoliad Duw yn gyffredinol, ac yn bodoli heb amlygiant o farn neillduol ei fod Ef yn Greawdwr ac yn achos cyntaf. Am eich bod yn alluog i amgyffred am dano, ac yn foddlawn i'w dderbyn fel rheolwr eich cydwybod a'ch ewyllys, fe raid ei fod yn bodoli. A ydyw hyn yn honiad rhy eithafol? Ystyriwch y cyferbyniad, os nad ydyw yn bodoli, aeth swn addoli o bob parth o'r gwledydd yn ofer, a chyssegrodd dynion da eu bywydau yn ofer mewn ufudd-dod i ddeddfau dyledswydd. Pe teimlid fod y fath dwyll yn ddichonadwy, arosai tywyllwch y gellid ei deimlo ar ein hysbrydoedd, llaesai ein dwylaw, a pharlysai ein gliniau gweinion, a buasai dystawrwydd caeth ar bob peth moesol yn gweddu i ni yn llawer gwell. Ond rhaid i ni weled gyda'r llygaid a roddodd Duw i ni; ac y mae ammheuaeth am ffydd a chydwybod mor aflesol ag ammheuaeth am weilediad a chyffyrddiad. Y mae Duw yn bodoli; sicrhëir hyny gan ffydd gyffredinol dynoliaeth, a'r ddeddf uchaf ynom ein hunain. A chan ei fod yn bodoli, iddo Ef ac nid i neb arall y rhaid i ni roddi lle y Creawdwr. Nis gall fod dau Dduw. Ni fedraf gyflwyno fy nghydwybod i un fel ei harweinydd, ac addoli y llall am ddoethineb y greadigaeth. Y mae Duw yn bodoli, ac nid ydyw yn bodoli er mwyn rhoddi cyfrif am olion y cynlluniau mewn natur; ac yr ydym yn honi mai y dybiaeth hawddaf ydyw yr un benaf. Y mae olion dybenion yr hyn a ddylent fod, sef ffeithiau o ddoethineb Duw. "Ti a wnaethost y nefoedd, nef y nefoedd, a'u holl luoedd hwynt, y ddaiar a'r hyn oll sydd arni, y moroedd a'r hyn oll sydd ynddynt; a Thi sydd yn eu cynnal hwynt oll."

Pe amlygwn mewn ychwaneg o frawddegau grediniaeth dyn o addysgiaeth gyffredin ar y pwnc yma, dywedwn mai Duw yn unig ydyw achos cyntaf y greadigaeth, achosydd ei symmudiad, a rhoddwr ei bywyd. Yr oedd y dyben doeth sy'n pelydru arnom mewn natur yn meddwl Duw yn y weithred gyntaf o'r greadigaeth. Wrth ddywedyd ei fod yn gweithredu yn unol â deddfau, nid ydym yn lleihau dim ar ei allu; yr ydym yn hytrach yn ei fwyhau yn ein meddyliau wrth briodoli iddo ddiysgogrwydd yn ogystal a doethineb. Nid ydyw deddf yn rhwystr, ond dull penodol o weithredu. Nid ydyw dywedyd fod arlunydd yn cynnyrchu dim ond gweithiau coeth, yn gwireddu ei fod yn rhyddach na chelfyddydwr gwaelach; am nad ydyw cynnyrchu gwaith gwael yn allu neu fraint, ond methiant. Ac felly, pan addefwn fod Duw yn gweithredu trwy ddeddf, gan ddysgwyl cael yr un tremlun oddi wrth belydrau yr haul a gawswn unwaith wrth edrych trwy ein gwydr ym mhob man ac amser lle y llewyrcha yr haul, nid ydym felly yn cyfyngu gallu y Celfyddydwr mawr os nad ellir dangos fod ansefydlogrwydd yn ragorfraint ac yn ddaioni. Ni sylwn ar y pwnc o wyrthiau mwy na'i fod yn cael ei bresennoli i ni fel rhan o un dyben mawreddog er lles dyn, ac i'r Arglwydd wrthod pan demtiwyd Ef i gyflawnu y cyfryw er mwyn hunanamcaniaeth, neu i beri syndod. Y mae drwgdybiaeth eithafol gwyddonwyr wrth gyfeirio at dduwinyddiaeth mewn cyssylltiad â chwrs natur yn deilliaw oddi wrth amgyffredion cyfeiliornus am Dduw. Addefa Mr. Wallace, yr hwn a ddyfynwyd eisoes, fod y Creawdwr yn gweithredu yn y dechreu fel achosydd y deddfau ar y rhai y gweithreda y byd, ond ofna addef fod yna ymyraeth parhäus ac ail-drefnu manylion. A phriodola y naturiaethydd yma i ni ryw amgyffredion o'r Goruchaf nad ydyw yn ei honi, ond yn ei wrthod yn gadarn. Os ydoedd y deddfau yn ddoeth a da, o ba le y deillia yr angenrheidrwydd am ymyriad ac ad-drefniad? Pwy ydym ni i erchi i Dduw siarad unwaith, a'i wahardd i siarad ddwywaith! Deddfau natur ydynt ddeddfau Duw, a deddfau Duw ydynt ei fynegiadau am dano ei Hunan trwy leferydd natur. Y mae Duw yr un ddoe, heddyw, ac yn dragywydd, ac felly y parhâ ei ddeddfau. Y maent, os beiddir dywedyd felly heb ammharchu, yn orchudd ac yn wisg am ffurf Duw, yr hwn sy'n rhy ddysglaer ynddo ei hunan i ni allu edrych arno; a chymmerant eu brasluniad oddi wrtho Ef, yr hwn sydd o danynt. Gellwch barhau yn eich ymchwiliadau mewn llawn ymddiried y safa y deddfau yn sicr, nid am fod genych y sicrwydd lleiaf fel dyn o wyddor nad ymyrir byth â'r deddfau hyn, ond nid oes genych hawl i ofyn y cyfryw yn unol â'ch egwyddorion. Rhaid i chwi sylwi fod y ffeithiau felly; a byddant yn dragwyddol felly, yr hyn ni pherthyn i chwi, o herwydd y mae hyny y tu hwnt i brofiad. Nid ydyw yn angenrheidiol i'r ddoethineb a wnaeth y deddfau i adrefnu ei waith, dilëu, ychwanegu, a gwelläu ei ddeddflyfr. Gwelodd Duw ei fod yn dda yn nyddiau y greadigaeth; ac ni chyfnewidia y llygaid a gymmeradwyai y cyfryw byth, a safa y deddfau yn sicr, nes cyfiawnir y dybenion a drosglwyddir trwy yr oesau. Cyflwynai bob teyrnas

Digitized by Google

newydd mewn natur gyfnewidiad yn cyrhaedd i chwyldroad, yr hyn nid ystyriai y duwinydd na'r naturiaethwr yn ymyriad neu ansefydlogrwydd. Pan ddygwyd egwyddor y bywyd planigol, y byd mwnawl ydoedd y defnydd y gweithredai y bywyd yma arno; casglai iddo ei hunan yr elfenau iselaf, megys *carbon*, callestr, a *nitrogen*, gan eu harferyd fel moddion ei fywyd organaidd. Cymmerodd y planigyn anianawd y dosbarth is law iddo, pryd y rheolai a defnyddiai y cyfryw ddosbarth. Cymmerodd hyn le pan ddygwyd i fodolaeth y bywyd anifeilaidd. Daeth y blodau prydferth yn ddefnydd ar yr hwn y gweithredai y bywyd anifeilaidd, a'r ymborth y cynnaliai ei hunan. Yr un ydoedd pan ychwanegwyd dyn, yn yr hwn y gosodwyd rheswm yn lle greddf, a gweithrediad moesol uwch ben damwain drwy gyffroad ac archwaethiad. Y mae gan bob un o'r teyrnasoedd hyn gan gymmaint yn gyffredin a'r hyn sydd is law iddo.

(*I'w barhau.*)

---

## LLAN CWM AWEN: NEU DDEFFROAD EGLWYSIG HANNER CANRIF YN OL.

(*Parhâd o dudal. 212.*)

### PENNOD XIV.

*Ymweliad y Deon Cottwm â'r Cwm.*

AETHAI blwyddyn o lafur diflino, o drallod ac o siomedigaeth yn gymmysg, a pheth mwynhâd a gobaith heibio pan ymwelodd y Deon Cottwm â'r ysgol ddyddiol yn y Cwm. Y mae enw y deon llafurus, cariadus, dysgedig, a duwiol, synwyrlawn a ffraeth ei ymadrodd, mor hysbys trwy holl Gymru, fel nad oes angen yma ymhelaethu am ei waith na'i gymmeriad. Yr ydoedd yr ymweliad hwn yn amserol a boddhaol iawn i Llewelyn Llwyd ac Angharad.

Gwedi arholi yr ysgol a chyfranogi o'r croesaw syml, ond llednais a gwir foneddigaidd, ym mhersondy adgyweiriedig a chwaethus Cwm Awen, dechreuwyd ymddyddan ar bwnc yr ymweliad.

Ebai y deon, gan gyfeirio ei anerchiad yn foesgar at Angharad, "Rhaid i mi longyfarch eich priod ar waith yr ysgol ddyddiol. Yr ydych yn adeiladu yma ar sail dda, ac yn gwneyd cymmwynas i'r oes a ddêl."

Atebai Angharad, "Y mae yn dda genyf, Mr. Deon, glywed genych fod llafur dinod fy mhriod yn cael y fath gymmeradwyaeth gan foneddwr o'ch profiad chwi. Yr ydym ni yn y Cwm tawel hwn wedi ein cau mor gyflawn oddi wrth y byd gan gylchedd y mynyddoedd, heb genym ond un ffenestr gul at y môr, fel y mae yn berygl i ni fyned i gysgu."

"Maddeuwch i mi, madam, am eich cywiro," atebai y deon yn ei ddull parod, "y mae nengloeren (*skylight*), y ffenestr uwch ben y Cwm, bob amser yn agored; ac os nad wyf yn mawr gamgymmeryd, bydd Mr. Llwyd a chwithau yn edrych yn fynych drwy hòno, a gellwch benderfynu fod 'eu hangylion hwy'—y plant—yn myned â llawer neges foddhäus i fyny drwyddi, ac Un yn edrych i lawr gyda chymmeradwyaeth ar eich cariad waith."

Yr oedd y cyffyrddiad caredig yma â thant tyner yn ei theimlad, yn ormod i natur doddiadol Angharad. Rhedodd deigryn bychan gloyw fel y grisial i'w llygaid, ond ymdrechodd groni y teimlad, a dywedodd, "Yr ydych yn garedig iawn, Mr. Deon."

Gwelodd y deon ar amnaid effaith ei ymadrodd, a throes ei gyfeiriad at Llewelyn Llwyd, gan ychwanegu, "Nis gall gwaith daionus fyned ym mlaen yn y Cwm pellenig, a thu draw i grib y mynydd uchel, na chanfyddir ei effaith. Lle byddo tân bydd yno oleuni a mwg, a'r mwg bob amser a ymddengys gyntaf, ac a esgyna uchaf. Y mae mwg y gwaith da yng Nghwm Awen i'w weled o bell, ac wedi dyfod yn nes: cefais olwg ar y goleuni hefyd."

"Yr wyf yn ofni," meddai Llewelyn Llwyd, "mai ychydig iawn yw y gwaith da a ellais i, ac a allaf, ei wneyd yn yr ardal hon. Yr wyf yn teimlo o'r dechreu fel un wedi glynu yn y llaid, ac nid oedd genyf y meddwl lleiaf fod fy ychydig lafur yn codi yr ysgol ddyddiol yn hysbys i chwi na neb arall tu allan i'r Cwm."

Atebai y deon, "Cawsoch adeiladu yr ysgoldy heb i neb o honom glywed swn morthwyl o'r tu arall i'r mynydd, ond pan ddechreuasoch gynneu y tân sanctaidd o gyfranu addysg fuddiol a chrefyddol ar allor eich hunangyssegriad, daeth yr ymyrwr o duedd ein *dinas*, a bwriodd ffagodau irlas a gwlybion ei ragfarn a'i genfigen ar y tân, nes peri i'r mwg esgyn uwch y mynyddoedd, a dangos eich gwaith daionus i bawb."

"Y mae," atebai Llewelyn Llwyd, "yn ofidus iawn meddwl na ellir ymdrechu yn dawel i wneyd daioni i'r holl blwyf heb greu ymryson. Yr wyf yn ofni y bydd cyfodiad yr ysgol hon, a'r rhan ag y teimlaf fi hi yn ddyledswydd arnaf ei chymmeryd yn addysgiad y genedl ieuanc yn achos o anghydfod, os nad ymraniad, yn y plwyf teneu ei boblogaeth yma. Y mae hyn yn peri gofid mawr i mi, ac yn gwrthbwyso yr holl ddaioni a allaf wneyd."



Digitized by Google

"Y mae ein Meistr daionus a doeth wedi rhagddywedyd," ebai y deon, "mai angenrhaid yw dyfod rhwystrau. Nis gall angel ddisgyn i'r dwfr heb ei gynhyrfu, ac wrth gynhyrfu y dwfr, fe gynhyrfir y llaid. Y mae eich gwaith da wedi cynhyrfu dyfroedd cysglyd Bethesda yma. Caiff rhai feddyginiaeth yn sicr; ond y mae y llaid wedi codi yn y cynhwrf. Gwaeloda hwnw yn ol ryw amser. Rhaid yw i chwi a minnau weithio tra parhao ein dydd. Os aroswch nes gallu cael llafurio yn dawel, ac adgyweirio muriau Jerusalem mewn heddwch, ni chawn y fraint o roddi llaw ar y gwaith. Na, yn hytrach na llwfr segura, daliwn gleddyf y milwr yn un llaw, a morthwyl y gweithiwr yn y llall: y mae genym warant Ysgrythyrol i hyn. Peidiwn â disgyn oddi ar y mur i herio un gwrthwynebwr, a pheidiwn â gadael y gwaith da i fyned i ymgynghori ag un Sanbalat, ond os ymosodir arnom nis gallwn fradychu ein hymddiried a throi gwar yn nydd y frwydr."

"Yr ydych chwi, syr," dywedai Llewelyn Llwyd, "yn brofiadol iawn ac yn ddoeth hefyd. Beth a fuasech chwi yn gynghori i mi wneyd yng ngwyneb y rhagfarn a gyfodwyd yma yn erbyn dysgu y catecism, a darllen ac esbonio y Testament Newydd yn yr ysgol ddyddiol? Yr wyf yn dwyn yr ysgol ym mlaen o dan nodded ymddiriedolwyr Madam Bevan. Yn siarter yr ymddiriedolwyr dywedir fod yr athraw i ddysgu y plant, yn fechgyn a genethod, o deuluoedd tlodion i ddarllen, gan beri iddynt ddysgu ar gof y Credo, Gweddi yr Arglwydd, y Deg Gorchymmyn, a Chatecism yr Eglwys. Nis gallaf fi dderbyn y fraint o gael athraw gan ymddiriedolwyr Madam Bevan heb gyflawnu fy rhwymedigaethau; ac yr wyf mewn cyfyng-gynghor mawr beth i'w wneyd. Y mae yma amryw deuluoedd goreu yr ardal, cyfeillion personol i mi, Ymneillduwyr o hen arferiad, yn cadw a bygwth cadw eu plant o'r ysgol, drwy gymhellion estroniaid, os rhaid i'r plant ddysgu y catecism."

"Y mae hyny yn beth gofidus," atebai y deon. "Y maent hwy o gydwybod, yn cael eu camarwain gan ragfarn allanolion, yn tueddu i gadw eu plant draw. Nid oes genych chwi hawl i *orfodi* eu plant i'r ysgol. Rhaid parchu cydwybod y camarweiniedig. Yr ydych chwithau o gydwybod, yng ngwyneb llythyren eglur ammodau cyfraniad addysg, yn rhwym o ddysgu pob plentyn a roddir dan eich gofal yr hyn yr ydych yn gredu sydd er eu lles tymmorol ac ysbrydol. Arweinir eich cydwybod chwi gan lythyren y ddeddf ac ysbryd y ddeddf hefyd, ac y mae eich cydwybod chwithau yn haeddu parch. Nis gall neb eich gorfodi i dderbyn plentyn i'r ysgol ar delerau croes i'ch cydwybod. Digon i chwi yw cadw drws yr ysgol yn agored, cyfranu yr addysg i'r rhai a ddeuant yn dawel, a gadael y canlyniad yn llaw y Goruchaf. Y mae rhagfarn ym mynwesau dynion fel rhwd ar arfau. Rhodder digon o waith iddynt a deuant yn loew. Goddefer i gydwybod gyfarfod â chydwybod yn ddigon aml ac mewn digon o waith, ac fe loewir llawer o rwd y rhagfarn. Gwell bob amser yw treulio allan na rhydu."

"Yr wyf yn dra diolchgar i chwi, syr," ychwanegai Llewelyn Llwyd, "am y cynghorion caredig a gwerthfawr a gawsom genych, a gobeithio yn fawr y cawn weled eich gwyneb yma eto, pan fyddo mwy o lewyrch ar ein gwaith."

Atebai y deon, "Bûm ar ymweliad â bron yr oll o Eglwysydd yr esgobaeth hon yn 1812. Cefais olwg salw iawn ar bob rhai o honynt. Bu gwelliant mawr yn y trefydd er yr amser hwnw, ac y mae y deffroad yn bresennol yn dangos ei hun mewn llawer ardal wledig."

Wedi mwynhau croesaw caredig ond diymhongar a didrwst persondy dystaw y Cwm, cyfeiriodd y deon i'w bleserwaith o wneuthur daioni yn foreu dranoeth i ardal arall. Un oedd y Deon Cottwm yn gallu gwneyd gwaith mawr a defnyddiol mewn hoenusrwydd ysbryd, tymmerau rhywiog, rhadlawn, sirioldeb llon, chwareugar, a dull digyffro, diarddangosiad, o ymdrech, fel un ar bleser-deithiau yn treulio gwyliau. Pa le bynag yr elai, adlewyrchai oleuni sirioldeb boddhäus o'i amgylch, a gadawai arogl peraidd, adgofion pleserus, a ffraethebion cariadus o'i ol. Y mae rhai dynion o ddawn ymadrodd parod a ffraeth yn hoff o wasgaru drain-bigau llymion, a'u planu ym mynwesau y gwyddfodolion. Ond am y deon, gwasgaru rhosynau peraroglus ffraeth-eiriau cariadus a Christionogol a wnai efe, i swyno clust, coethi calon, a boddhau y teimlad. Planodd lawer rhosyn wrth ddrws y tlawd ac yng nghyntedd y boneddwr, ac ni chafodd ei ymdrechion daionus well effaith yn un man nag ym mhersondy coethedig a chyfeillgar Llan Cwm Awen.

## PENNOD XV.

*Ymweliad y Parch. Phylip Jones â Llan Cwm Awen.*

Aethai ychydig o fisoedd heibio yn lled dawel yn Llan Cwm Awen ar ol ymweliad y Deon Cottwm. Dilynai Llewelyn Llwyd ei orchwyl yn ddystaw, yn ddiwyd, ac yn amyneddgar. Deuai plant yr ardal i ysgol Madam Bevan yn lled gyffredin, ond grwgnachai yr Ymneillduwyr mwyaf eithafol iddynt

fyned i'r Eglwys ar y Sul. Ymdrechai Llewelyn Llwyd gyfarfod hyd yn nod â rhagfarn ei blwyfolion mor bell ag y gallai. Gwyddai yn dda fod tramgwyddo *rhagfarn* yn clwyfo teimlad yn llawer mwy nag hyd yn nod tramgwyddo egwyddor sylfaenedig ar y gwirionedd. Pan dramgwyddir gwr mewn meddiant o'r gwirionedd, gellir gwneyd ymddiheurad a chymmodi yn fuan. Ond pan dramgwyddir *rhagfarn*, nis gellir cymmodi ar dir gonest a theg. Mae y clwyf tybiol yn llawer mwy briwedig na'r clwyf gwirioneddol. Felly, gochelai Llewelyn Llwyd hyd y gallai ymddadleu â rhagfarn rhag briwio ei meddiannwyr. Parai hyn i lawer o'r cymmeriadau mwyaf haerllug dybio nad oedd ganddo olygiadau eglur a phenderfynol iawn ar faterion Eglwysig pur. Haerent mai ennill ei swydd a'i cadwai yn yr Eglwys, a chymmerent fantais ar ei dynerwch i roddi mwy o flinder iddo. Gwrthwynebent ei waith yn fwy penderfynol, ond eto yn fwy dirgel. Yr oedd ei natur dda o'r fath fel na fynent ei dramgwyddo trwy ei wrthwynebu yn ei wyneb.

Ym mysg ei brif ddirgel wrthwynebwyr yr oedd y *vestry clerk*, Mr. Hugh Cadwaladr. Un o'r cymmeriadau y cyfarfyddid â hwy yn dra mynych yn yr ardaloedd gwledig oedd Mr. H. Cadwaladr. Yr oedd yn ddyn o alluoedd diammheuol; gwr call, synwyrol, cofus, a thra gwybodus mewn materion plwyfol. Yr ydoedd hefyd yn llygadgraff hynod, yn llawn treiddgarwch i adwaen dynion a chymmeriadau; a rhaid ychwanegu, yn gyfrwys, ystrywgar, a dichellgar. Nid oedd yn agos gymmaint ei dalent naturiol a'i wybodaeth lyfrol a Didymus o'r Cwm, ond gallai droi bob gronyn o'i wybodaeth i'w hunanfantais. Tra yr oedd Didymus o'r Cwm yn gaethwas i'w dalentau, yr oedd Mr. H. Cadwaladr yn gwneyd caethweision o'i holl alluoedd. Rhoddai hwy oll ar waith. Yn rhinwedd ei alluoedd a'i daerineb, a pheth haerllugrwydd, ymwthiasai i lenwi pob swydd yn y plwyf yn amser henaint y diweddar reithor, Mr. Edwards. Llanwai y swydd o gofiadur y festri, postfeistr, cofiadur y trethi, a *grocer* a *draper* y pentref; a chyda hyny, neu ef allai yn rhinwedd hyny, aethai yn flaenor capel y Cwm. Efe oedd oracl swyddogol a chyhoeddus y Cwm.

Nid oedd ond Didymus y bardd yn unig na thalai warogaeth ddiwrthddadl i'r doethawr hwn. Ond gan fod Didymus yn dlawd a'r doethawr yn lled arianog, nid oedd ymddangosiad pensyth y Mordegai garw ac amddifad o foesgarwch ambell dro yn peri nemawr o boen iddo. Nid balchder bydol oedd pechod mwyaf Mr. H. Cadwaladr, eithr yn hytrach balchder ysbrydol—awydd am fod yn fwyaf yn y cylch crefyddol, a throi y cylch crefyddol yn fanteisiol i ychwanegu enw ac elw bydol.

Teimlai Mr. H. Cadwaladr fod y "person newydd" yn ennill safle ysbrydol yn araf yn y plwyf. Gan fod y rhan fwyaf o'r plwyfolion yn arfer siopydda yn ei fasnachdy, a galw am eu llythyrau yno, yr oedd mewn mantais fawr i ddeall eu teimladau. Cai brawf amlwg yn fynych fod ymweliadau Llewelyn Llwyd â'r cleifion yn neillduol, a charedigrwydd cymmwynasgar a llednais Angharad i bawb dan afiechyd a thrallod, yn araf feirioli rhagfarn yn erbyn addysg ysbrydol yr offeiriad Eglwysig, ac yn cynhesu teimlad yr ardalwyr at eu cymmwynaswyr. Ar y dechreu canmolai y doethawr y gwaith, a mawr gymhellai ei gydgapelwyr i fwy o ddiwydrwydd yn eu hymweliadau eu hunain â'r cleifion. Ymwelai yn llawer mwy mynych ei hun. Gwasgai yn y seiat ar i holl aelodau y capel ofalu yn neillduol am eu cleifion eu hunain. Dywedai fod yn warth iddynt esgeuluso y fath ddyledswydd, a gadael i'r "person" eu disodli o'r claf-ystafelloedd.

Gan fod dylanwad Llewelyn Llwyd yn cynnyddu gyda'r plant hefyd, sefydlodd Mr. H. Cadwaladr ysgol nos yn y capel, ac ychwanegwyd "cyfarfod egwyddori" at gynnulliadau ereill yn yr un lle.

Tra yr elid ym mlaen yn y dull yma o'r tu allan i'r Eglwys, elai Llewelyn Llwyd oddi amgylch i barotoi at adgyweirio Eglwys y plwyf. Gwaith mawr ydoedd ar y pryd. Nid oedd cyfranu at adeiladau Eglwysig yn beth cyffredin o gwbl. Ymddibynasai yr Eglwys ar lythyrau cymmeradwyol y Pen Coronog; ac heb y rhai hyny, nid oedd llwybr i boced y gwŷr mawr, ac nid oedd gan Llewelyn Llwyd nemawr o wŷr bychain i appelio atynt. Pa fodd bynag, er fod gwleidyddiaeth sectol wedi amddifadu yr Eglwys o'r *brief* breninol, gallasai Llewelyn Llwyd appelio yn gryf ac yn groew yn enw ei Arglwydd Crist at fawr a bychan am gymhorth i adgyweirio muriau Sïon. Yr oedd cyssylltiadau lluosog Angharad â theuluoedd lled gyfoethog, er nad yn arianog, yn y Dywysogaeth yn fantais fawr i gasglu ym mhell ac agos.

Pan oedd y pwnc o adgyweirio yr Eglwys ar gael ei roddi o flaen y festri blwyfol, daeth y Parch. Phylip Jones i bregethu i'r capel. Yr oedd y gwr hwn yn un o ddynion ieuainc mwyaf talentog y Gogledd. Mab oedd i fasnachwr. Cawsai addysg dda gan belled ag yr elai, o dan athrawon Ymneillduol. Yr oedd yn Gymreigwr medrus, ac ymadroddwr hynod o swynol a pherswadiol. Gan mai y Methodistiaid Calfinaidd oedd y corff mwyaf parchus, lluosog, a dylanwadol yn yr ardal y magesid y gwr

Digitized by Google

ieuanc, yn eu mysg hwy y bwriodd ei goelbren gweinidogaethol, a chafodd yn eu mysg, a thrwy beirianwaith (*organization*) eu cymmundeb, le manteisiol i wneyd ei hun, ei alluoedd, a'i gyssylltiadau masnachol yn hysbys trwy y Gogledd.

Gellid dweyd felly fod cydgyfarfyddiad y Parch. Phylip Jones a Mr. H. Cadwaladr yng Nghwm Awen yn amserol a dymunol gan y naill a'r llall. Gallent gydymdeimlo â'u gilydd a myned i mewn i gynlluniau eu gilydd. Yr oedd y ddau yn Ymneillduwyr o ddygiad i fyny, a gwnaent bwnc o gydwybod o beidio â chwilio dim i egwyddorion yr Eglwys, nac edrych dim ar unrhyw ran o'i thegwch, ond ei chollfarnu ar sail traddodiad, a'i phardduo am y gallai fod ar ffordd eu llwyddiant. Yr oedd niweidio yr Eglwys yn gymmaint o fater cydwybod ganddynt ag ydoedd llesäu Methodistiaeth. Yr oedd pob cymmysgedd cymhelliad o ragfarn, hunan, penboethni, ac ennilliad poblogrwydd yn eu cymhell i'r un cyfeiriad.

Ar ol ymddyddan personol, un o'r pethau cyntaf a ddaeth dan sylw y Parch. Phylip Jones oedd yr ysgol newydd yn y Cwm a gwaith yr offeiriad newydd.

Ebai y Parch. Phylip Jones, "Y mae Mr. Lloyd, eich person newydd, yn ystod ei ddwy neu dair blynedd yn eich mysg, wedi gwneyd gwaith mawr."

"Ydyw," atebai Mr. H. Cadwaladr, "dyn llafurus a diwyd ydyw."

Gofynai yntau, "A ydyw yr Eglwys yn ennill tir o dan ei ofal?"

Ebai y llall, "Nis gallaf ddweyd yn iawn. Nid ydyw wedi ennill neb o'r capel eto; ond y mae Mr. a Mrs. Owen, y Plas, yn myned i'r Eglwys yn wastad, ac eto heb dori eu cyssylltiad â ni. Yr wyf yn gwybod fod Mrs. Owen ambell dro yn cymmuno yn yr Eglwys, ond y mae yn dal i ddyfod i'r seiat atom ni, ac i'w Chymmun hefyd. Y mae Mrs. Owen a Mrs. Lloyd yn gyfeillesau mawrion, a byddant yn aros gyda'u gilydd yn y Cymmun. Y mae Miss Edwards hefyd, merch yr hen berson, gyda'i mam, yn aros yn y Plas, ac y mae gan hòno ddylanwad ar Mrs. Owen. Felly, bydd arnom ofn ei cholli hi yn fwy na neb. Mae y ferch, Gwenafwy fach, hefyd yn hoff iawn o fyned i'r Eglwys. Gan mai yn y Plas yr ydych chwi i aros dros y Sul, chwi a gewch gyfleusdra i gynghori Mrs. Owen ef allai rhag ofn i ni ei cholli."

"Nis gwn yn iawn," atebai Mr. Jones, "pa fodd y gallaf wneyd hyny rhag ofn gwneuthur drwg."

Atebai Mr. Cadwaladr, "Y mae yma festri i fod yr wythnos nesaf, i gymmeryd dan ystyriaeth gais y person am ryddid i adgyweirio yr Eglwys. Y mae yn amcanu ei hail doi, gosod ffenestri newyddion, a gwneyd yr eisteddleoedd a'r llawr oll yn newydd. Amcana hefyd i'r holl seti fod o'r un maint, defnydd, a gwaith; ac ewyllysia gael y ddesc a'r pwlpud i'r ganghell, neu i ymyl y ganghell, yn lle yr ochr allan i Lofft y Grog. Y mae yma rai yn lled anfoddlawn i golli eu seti teuluaidd, ond nid wyf yn meddwl y bydd i neb siarad yn erbyn y person yn y festri. Nid oes dim ond mainc yno yn perthyn i'r tŷ yma, neu cawsai beth trafferth i'w symmud."

"Pwy," gofynai Mrs. Jones, "biau y prif seti yn yr Eglwys?"

"Perthyn i'r Plas," ebai Mr. Cadwaladr, "y mae y sêt fawr o flaen y pwlpud, ac y mae Mrs. Owen wedi rhoddi clustogau cochion newyddion ynddi. Y mae hòno yn set bedair conglog fawr, o dderw da, gwaith yr hen Vychan gynt. Y mae yno sêt yr ochr arall go debyg, yn perthyn i deulu y Rhiw gynt, ond teulu y person newydd sydd yno. Y mae yno ddwy o seti mawrion ereill ag enw Vychan arnynt, ond yn perthyn i Gerddinen Fawr a'r Henblas. Y mae enw Vychan hefyd ar lawer iawn o'r meinciau croesion, wedi i'r hen Vychan, amser maith yn ol, eu rhoddi i fyny yn yr Eglwys ar ol priodi aeres y Plas."

"Wel," meddai y Parch. Phylip Jones, "y mae yn dra rhyfedd genyf fi eich bod yn y Cwm yma yn myned i adael i estron fel y person dynu yr hen Eglwys i lawr, a'i hadeiladu fel y myn ei hun ar gynllun Eglwys Babaidd, gan belled ag y gallaf fi ddeall. Chwi piau eich Eglwys, a beth a wyddoch chwi na chafodd yr hen Vychan ac ereill, wrth ei hadgyweirio yr amser a nodasoch, fraint (*faculty*) i osod i fyny y seti a'r meinciau hefyd. O'm rhan fy hun, pe buaswn i yn ffermwr yma, buaswn yn ei hystyried yn gymmaint sarhâd i'r person ddwyn fy sêt oddi arnaf ag a fuasai iddo fyned â'm fferm. Os byddwch chwi yn gall ac unfryd, gallwch roi llawer clo o flaen olwyn eich offeiriad newydd, ymyrgar, ac ef allai y gellir tori y cyssylltiad rhwng Mrs. Owen â'r newydd-ddyfodiaid hyn. O leiaf, mi a wnaf fy ngoreu."

Ar hyn aeth y ddau ymaith at y Plas, ac ni flinwn y darllenydd â'u hymgom ar y ffordd.

(*I'w barhau.*)

---

Trwy ddarllen yr ydym yn cymdeithasu â'r marw, trwy ymddyddan â'r byw, a thrwy feddwl â ni ein hunain.

Cyfeiliorni a ddengys y dynol, ond maddeu y dwyfol.

Digitized by Google

## SIAN FACH AMDDIFAD.

Gan eich bod mor garedig a gadael i mi adrodd mân hanesion am drallodion, profedigaethau, poen a gofid, camwri a thrais, ffolineb a chamgymmeriadau, yng nghyd â rhinweddau a mwyniant, difyrwch a llawenydd fy nghydryw ar lwybrau isel, ond aml eu teithwyr bywyd, cymmeraf fy hyfder i helaethu ychydig ar faes fy adroddiadau. Wrth wneuthur hyn dymunwn i'ch darllenwyr oll ddeall mai hanesion gwirioneddol sydd genyf ac nid ffugchwedlau.

Nid oeddwn yn adwaen Sian Fach Amddifad fy hun, ond yr wyf yn cofio ei chynhebrwng yn dda, o herwydd yr oedd yn pasio godreu ein caeau ni, ac yr oeddwn innau gydag un o'r morwynion yn eneth ddeg oed yn edrych arno, a dyna y tro cyntaf i mi weled *hearse* erioed. Adwaenai mam Sian Fach Amddifad yn dda, ac adwaenai ei mam hi hefyd, a chlywais ei hanes lawer gwaith, ac yr wyf yn gwybod i'r fodfedd pa le y mae ei bedd, er nad oes na llythyren na chareg arno. Y mae yng nghongl uchaf mynwent Llanddinod rhwng y goeden ywen fwyaf a'r wal, ar ben ei hun, ac nid nes i'r ficer diweddar lanhau y fynwent yr oedd y tŵr o geryg, esgyrn, a rwbel o bob math arno, yn waeth na bedd ci. Ond pa sut y daeth Sian Fach Amddifad i feddu yr enw yma a chael ei chladdu yn y gongl ddirgel, ddiystyrllyd? Y mae ei hanes yn faith ac yn boenus, ond rhaid i mi ei dori yn fyr.

Unig blentyn cychwr yn byw yn y Borth, pentref bychan tua thair milltir o fy nghartref i ac ar lân y môr oedd Sian Fach Amddifad. Ganwyd hi bedwar ugain mlynedd yn ol yng nghanol y rhyfel ofnadwy rhwng Lloegr a Ffrainc. Amser blinderus dros ben oedd hwnw. Yr oedd yr holl wlad yn griddfan dan galedi, a phob dyn mewn oed yn gorfod gwasanaethu fel milwr neu forwr, un ai yn y Gwirfoddolwyr, y *Militia*, neu longau. Cychwr yn cario dros y borth, ac yn arfer pysgota penwaig ar adegau, oedd William Jones, tad Sian Fach. Yr oedd wedi priodi er ys tua deng mis pan gyhoeddodd Unol Daleithiau America y rhyfel wallgof rhyngddynt a Lloegr, gan feddwl taro y deyrnas hon i lawr â dyrnod neu ei llwgu. Stopiwyd pob masnach â'r America, ac anfonodd yr Americaniaid longau rhyfel cyflym i ddinystrio llongau masnachol ac attal i'r trigolion gael ymborth. Daeth un o honynt a elwid y *Saucy Jack* i mewn i Siannel Sior a Môr Iwerddon, a dechreuodd ddinystrio y llongau bychain oedd yn hwylio o forlanau Cymru i'r Iwerddon. Byddai yn hwylio dan fanerau Lloegr, ac arferai ei chadben newid ei phaent ar ol pob difrod, fel yr ymddangosai un diwrnod yn wen, yna yn ddu neu lwyd, yn debyg i wahanol liwiau llongau Prydain, ac felly diangodd dros gryn amser o afael llongau mawr Lloegr. Gan fod yr alwad am longwyr mor fawr, arferai y *press gang* â myned drwy y pentrefydd ar lân y moroedd, a lladrata ymaith bob llongwr a allent, a'u cymmeryd i'r llongau rhyfel, na wyddai neb yn aml am fisoedd a blynyddoedd beth a ddaethai o honynt.

Un noswaith yr oedd William Jones yn lled hwyr yn dychwelyd o osod rhwydi i lawr, yn dra blinedig, pan ddaeth pedwar o'r *press gang* ar ei warthaf. Daliasant ef yn ddiseremoni, ac er gwaethaf ei holl ymbiliadau am gael golwg ar ei wraig ieuanc, a rhoddi gwybodaeth iddi pa beth a ddaethai o hono, aethant ag ef ymaith i'r llong rhyfel, y *Royal Prince*, oedd yn gorwedd yn y morgilfach (*bay*), yn gwylio am y *Saucy Jack*. Gyda'r glasddydd hwyliodd hon ymaith am Gaergybi. Yno yr oedd *orders* yn ei haros i fyned i Ogledd America, a throsglwyddwyd ef i'r *frigate Shannon*, dan ofal Cadben Broke.

Mawr oedd pryder Mary Williams drwy y nos hòno am ei phriod William Jones. Gan na allai gysgu aeth yn oriau byrion y plygain at y porthladd bychan, lle y gorweddai y cychod pysgota. Er ei bod yn lled dywyll teimlodd o'i hamgylch, a llwyr foddlonodd ei hun fod cwch ei phriod yno yn ddiogel, yn barod i'w wthio i'r dwfr. Wedi esgyn i fyny i ben gallt y môr taflodd ei golwg dros y forgilfach (*bay*), a gwelai dri goleuni—un coch, un glas, ac un gwyn, fel tair seren yn y pellder, a gwyddai mai goleuni y *Royal Prince* oeddynt. Yna cyfeiriodd ei thraed trwy dywyllwch ac oerni fferllyd y nos tua thyddyn bychan tua thri chwarter milltir o'r porthladd, ond ar fin y dwfr, lle yr oedd dau gychwr, partneriaid ei gwr, yn byw. Nis gallai ar bob cam bron beidio â throi ac edrych ar oleuni y *Royal Prince*, a theimlai fraw yn rhedeg drwyddi bob edrychiad. Cyrhaeddodd y tŷ ar ganiad y ceiliog, a churodd wrth y drws. Gan dybio fod William Jones yn galw am ei brodyr i fyned allan, cododd Elizabeth Evans eu chwaer, a galwodd drwy y ffenestr ei bod yn effro; ond erbyn agor o honi y drws, Mary Williams oedd yno yn ymofyn am ei gwr. Amlygodd y brodyr iddi eu bod hwy wedi ymadael â'u gilydd yng ngwaelod y Borth; ac wedi sylwi fod *long boat* y *man-of-war* yn gorwedd ychydig allan â dau longwr ynddo, eu bod wedi gochel myned drwy y pentref a chymmeryd eu llwybr adref dros allt y môr, ac i William Jones fyned ffordd arall, gan osgoi tai y Borth goreu y gallai. Ofnent y *press*

Digitized by Google

*gang*, ac yn neillduol gan fod y *long boat* yn ymyl y porthladd.

Nis gallai Mary Williams orphwys, er i'w chymmydoges garedig wneuthur a allai i'w chysuro. Yr oedd goleuni y llong ryfel erbyn hyn yn pylu o flaen goleuni y dydd, a gwelid yr hwyliau yn ymledu, a phan droes y brodyr eu gwynebau tua'r Borth, aeth eu chwaer i ddanfon Mary Williams yr un ffordd tua'i chartref unig. Cyn croesi o honynt y cae olaf rhyngddi a'r tŷ, gwelent yn eglur fod y *Royal Prince* yn hwylio ymaith, a theimlodd Mary Williams ryw symmudiad dyeithr dan ei gwregys, collodd ei hymwybodolrwydd, ac yn ei gwely y deffröes yn sal a dyryslyd ei meddwl. Sal a fu drwy y dydd, sal drwy y nos ddilynol, ac ar wawr yr ail ddydd ganwyd Sian Fach Amddifad yn faban seithmis, a chyn ei bod yn bum niwrnod oed yr oedd ei mam yn ei harch.

Gadawyd y baban seithmis gwan i ofal nain dlawd, ond galon dyner, a chymmydogion caredig. Galwyd allan deimladau goreu y galon ddynol dan yr amgylchiadau torgalonus, ond yr oedd yr amser yn galed a'r Borth yn bentref pysgota tlawd. Y ffermwr mawr yn unig a allai fyw yn llawen tra yn gwerthu ei haidd am ddau swllt y phiol, a'r blawd ceirch yn dri phwys am swllt, tra nad oedd cyflog labrwr ond pedwar swllt yn yr wythnos a'i fwyd. Llawer o fara haidd a fwytawyd y flwyddyn hòno o flawd *drwy ei eisin* heb ei roddi drwy beilliwr o gwbl.

Ym mysg pobl garedig y Borth yr oedd offeiriad y plwyf. Fel llawer hen offeiriad a gamgymmerodd faes ei ddefnyddioldeb, yr oedd "Hughes," Llanddunawd, ail fab y *Squire* Hughes o'r Cilfechydd. Ni bu caredicach na duwiolach dyn mewn Eglwys erioed; ond yr oedd yn ddiniwed fel colomen a dibrofiad fel oen, a siaradai Gymraeg fel plentyn. Yr oedd yn ysgolhaig a hynafiaethydd gwych, ac yn ustus heddwch da, ond braidd y deallai Gymraeg y Llyfr Gweddi a'r Homiliau, er y gwnai ddefnydd mynych o'r naill a'r llall. Pa fodd bynag, yr oedd ei Bersondy yn elusendy, a gwelwyd am Hughes lawer cot ddigotwm tra y rhoddai ei waddol Eglwysig bychan bob ceiniog i ddilladu y tlawd. Efe oedd un o'r rhai cyntaf i ofalu am Sian Fach Amddifad; ac efe, ar ol darllen y Gwasanaeth Claddu, a dywalltodd y deigryn olaf ar fedd ei mam.

Ysgrifenodd at Cadben Herbert, meistr y *Royal Prince*, i Halifax, America, i holi am William Jones y cychwr; a phan oedd Sian Fach yn chwe mis oed, cafodd lythyr yn dweyd fod William Jones wedi ei drosglwyddo fel *able seaman* ar fwrdd y *Shannon*. Pan oedd Sian Fach yn naw mis oed daeth y newydd i Loegr fod y Cadben James Broke o'r *Shannon* wedi curo a chymmeryd y *frigate* nodedig *Chessapeake*, a myned â hi yn fuddugoliaethus fel *prize* i Halifax. Dri mis ar ol hyny daeth llythyr wedi ei gyfarwyddo at Mary Williams, y Borth, o'r *hospital* yn Halifax, ond nid oedd Mary Williams i'w dderbyn. Aed ag ef i "Hughes y person," a darllenodd yntau ef i Catherine Williams, nain Sian Fach. Yr oedd William Jones yn gwella yn dda o'i glwyfau yn yr *hospital*, ac yn dysgwyl cael dychwelyd i Gymru cyn pen hir. Hefyd awdurdodid Mary Williams i dderbyn ychydig dâl misol o'r Morlys, ond nid oedd Mary Williams i'w dderbyn.

Pan oedd Sian Fach yn dair mlwydd oed, daeth morwr i'r Borth wedi colli bysedd ei law chwith ac â chraith fawr ar draws rhan uchaf ei dalcen, a chusanodd Sian Fach, a gadawodd ddeigryn ar ei grudd. William Jones oedd hwn. Pan edrychodd Hughes y person ar ei law aswy ddarniog a'i dalcen creithiog, cofiodd iddo weled enw "*Syr* James Broke o'r *Shannon*" yn y *Gazette*, a gwelai William Jones anafus dlawd o'r *Shannon* ger ei fron; y ddau yn wir yn ddewrion, ond y naill yn ffodus a'r llall yn anffodus. Gwaith y Cadben Broke oedd rheoli, a gwnaeth hyny yn orchestol ar fwrdd ei long; gwaith William Jones oedd rhwymo y *Shannon* yn dŷn wrth ochr y *Chessapeake* tra y byddai y *marines* ac ereill yn ei byrddio. Wrth iddo wneuthur hyny ceisiodd un o'r Americaniaid yn gyntaf dori ei law oedd yn gafael yn eu llong, ac yna dori ei ben, ond tynodd William Jones ef â'i law ddeheu dros y *bulwarks* i'r môr, a gorphenodd ei waith cyn teimlo colli ei fysedd ac archolli ei ben.

Amser caled oedd un mil wyth cant ac un ar bymtheg. Dychwelai ein milwyr a'n morwyr adref, ar ol yr heddwch cyffredinol, yn dlodion a digartref i wlad dlawd, yn cael ei beichio â threthi trymion ar ol costau ugain mlynedd o ryfel. Bu dda gan William Jones ail ymgymmeryd â'i waith fel cychwr, er gyda llaw anafus.

Mawr oedd ei ofal a'i dynerwch am Sian Fach. Yn ei fynwes ef y cysgai bob nos, ac efe a'i porthai bob nos, ac efe a'i porthai bob amser pan yn y tŷ. Byddai hithau yn wastad yn ei ddysgwyl adref tua'r feisdon yn yr haf, ac nid oedd dim a'i boddiai yn fwy nag eistedd ar ei ysgwydd wrth fyned adref. Pan oedd yn chwech oed bu farw ei nain, ond gofalai ei thad am dani gyda gofal mam, a byddai Hughes y person a Mrs. Hughes yn parhäus ymweled â hwy a darparu rhywbeth er ei chysur. Aeth dwy flynedd heibio, ac un boreu tymmestlog daeth y si drwy y Borth fod cwch William Jones a'r brodyr o Dy'n y

Digitized by Google

Borth wedi colli. Yr oedd galar mawr yn y pentref bychan ar ol pump o ddynion, ac yr oedd Sian Fach yn llwyr amddifad.

(*I'w barhau.*)

---

## Y GLOYN BYW.

Gallwn fentro dweyd nad oes nemawr neb yng Nghymru heb weled y creadur prydferth yma. Mor enfawr ydyw'r gwahaniaeth rhwng y gwybedyn bychan fydd yn ein poeni yn ystod yr haf a'r glöyn byw yn ei wisg amryliw ardderchog, ac eto y maent yn gefndyr agos i'w gilydd. Os oes gan y glöyn byw ryw fath o gof am yr amser a aeth heibio, gall roddi hanes rhyfeddol o'r cyfnewidiadau byd a aeth dros ei ben. Y mae wedi myned trwy ddwy ystâd hollol wahanol o fywyd cyn cael ei gynnysgaeddu â'r adenydd mawr hardd yna sydd ganddo yn awr. Yn gyntaf, yr oedd yn llindysyn yn ymlusgo hyd ddail y gwahanol lysiau a choed; wedyn wedi ei wasgu mewn rhwymau a phlygiadau yn y ffurf a elwir eilir (*chrysalis*); yn olaf, yn ehedeg yn yr awyr yn ei ffurf bresennol. Gadëwch i ni olrhain hanes un o honynt er mwyn deall y cyfnewidiadau hyn yn well.

Yn nechreu mis Mai y llynedd yr oedd nain hon yn eilir rhwym, a chyn pen y mis yr oedd yn löyn byw asgellog. Yr oedd ei wyau wedi eu dodi yn ofalus ar yr ochr isaf i ryw ddeilen ag yr oedd wedi ei dewis yn ofalus, heb ofyn caniatâd y garddwr. Mawr oedd ei gynddaredd pan mewn ychydig ddyddiau y canfyddodd fod ei wyrdd-lysiau wedi ei llifio yn dyllau i gyd gan dylwyth o lindys newynog. Nid oedd modd yn y byd i'w difodi. Ni fuasai holl fagnelau Napoleon yn gallu lladd y cwbl. Trengodd llawer o honynt o herwydd fod yr adar yn hoffi y fath flasusfwyd yn fawr. Modd bynag, diangodd un am ei fod yn ddigon cyfrwys i aros o olwg yr adar. Wedi ffurfio eilir y mae yn sicrhau y gwaith megys cryd i wal heulog gyda rhwymyn sidanaidd. Allan o hwn tuag Awst daeth glöyn byw, mam yr un y mae'r darllenydd yn astudio. O'i wyau hi daeth tylwyth eto o lindys, y rhai a newidiwyd yn eilirau tua mis Medi diweddaf. Yn awr, sylwch ar y canlyniad. Ni ddaeth yr un glöyn byw allan o'r rhai hyn fel arferol. Buont feirw o newyn, canys nid oes yn y gauaf ddim bwyd iddynt i'w gael. Felly, yr oedd yr ail gyfres o'r eilir yma wedi ei penodi i gadw y trychfilod ammharod yma yn glyd trwy ystormydd y gauaf yn eu rhwymau. Ym Mai eleni rhoddodd pob cryd bychan ei phlentyn dysglaer i fyny i chwareu yn nwyfus gyda'r awelon perarogliaidd. Fel mewn cylch blwyddyn y mae'r glöyn byw yn myned trwy gyfres ddyblyg o'r cyfnewidiadau mwyaf rhyfeddol.

Y mae gofyniad yn codi yn y fan yma yn naturiol. Pa fodd y mae'r glöyn byw yn gwybod ar ba ddail i ddodi ei wyau er mwyn cael bwyd priodol i'r lindys? Canys nid ydyw hi yn gallu byw ar yr un bwyd a'r rhai olaf, ac felly nis gall hi wybod am y bwyd y mae ei theulu o lindys yn eisieu ei gael. Dyma un arall o'r gofyniadau anatebadwy yr ydym yn arfer eu dystewi â'r ateb, "O, greddf ydyw." A ydym ni rywfaint yn ddoethach ar ol cael yr atebiad yna? Waeth i ni gyfaddef ar unwaith na wyddom ni ddim pa ham y mae yn dewis y naill ddeilen ac yn gwrthod y llall.

Y mae gan bob glöyn byw felly bedwar cyfnod ar ei fywyd: y mae yn wy, yn lindys, yn eilir, ac wedyn yn löyn byw. Peth dyddorol dros ben ydyw chwilio rhai o'r eilyron yma. Gellwch weled weithiau trwy y gorchudd teneu gorff, adenydd, a choesau y creadur wedi eu *pacio* yn rhyfeddol yn y cloer. Mae y cyrn, neu, a rhoddi enw mwy priodol, y teimlyddion, wedi eu gosod yn uniawn gyda'r coesau. Mae y tafod hir, fel mae'n rhyfeddaf, wedi ei osod yn syth rhwng y coesau, ac mae yr adenydd yn gwneyd sypyn bychan yn hollol ar wahân. A welsoch chwi erioed glöyn byw yn dyfod allan o'r eilir? Os na welsoch, cymmerwch y cyfle cyntaf i sylwi arno. Y mae'r cryd yn ymagor, y rhwymau wedi eu dattod, a'r creadur yn sefyll yn druenus dros ben. Nid oes mam na thad yn agos i'w dderbyn i'r byd. Y mae ei adenydd yn bethau egwan dros ben, a'i goesau fel pe buasai cryd cymmalau ynddynt. Beth pe na fyddai ei adenydd yn agor yn iawn, a phe byddai plygiad yn y rhan bwysig o'i wisg? Ni fyddai i un glöyn byw arall gymdeithasu ag ef. Ond ym mhen rhyw awr y mae pob peth yn iawn, ac y mae yn hwylio ymaith gan lawenychu yn holl brydferthion bywyd.

Yn awr am fynyd gadëwch i ni sylwi ar adenydd ein cyfaill. Peidiwch â chyffwrdd â hwynt, mae rhugliad y bys meddalaf fel *file* arw ar yr adenydd amryliw yna. Yr ydym i gyd yn gwybod fel y mae y "plu" yn cael eu rhwbio ymaith gan y cyffyrddiad mwyaf esmwyth. Ond beth ydyw y pethau yr ydym ni yn alw "plu"? Mewn gwirionedd crach ydynt, wedi eu gosod fel llechi ar dô, neu y crach ar gefn pysgodyn. Rhaid cael chwyddwydr er mwyn eu gweled; mae y llygad dynol yn rhy wan i'w gweled. Y mae tua 100,000 o honynt ar bob modfedd ysgwâr o adenydd y glöyn byw.

Gadëwch i ni droi at ben y creadur. Y mae dau

Digitized by Google

gorn neu deimlydd yn tynu ein sylw. Wrth ffurf y pethau hyn gellir yn hawdd gweled gwahaniaeth rhwng y glöyn byw a'i gefnder y gwyfyn. Y mae lwmp ar ben cyrn y glöyn byw, a phen corn y gwyfyn yn fain. Pa beth ydyw gwaith y cyrn yma? Yr wyf am ofyn cymmwynas oddi ar law y darllenydd: a fyddwch chwi mor gymmwynasgar a gofyn i'r naturiaethwr mwyaf enwog o'ch cydnabod? os rydd efe ateb penderfynol ar y mater, anfonwch ataf fi gyda'i *brofion*. Y mae yn ddrwg genyf ddywedyd fod y cyrn yma yn achosi y penbleth mwyaf i naturiaethwyr. Ni allant ddyfalu pa un ai gweled, teimlo, clywed, neu ynte arogli mae y glöyn byw efo nhwy. Cyfaddefiad go ryfedd i ddynion sydd wedi pwyso y ddaiar a phrofi y mwnau (*minerals*) sydd yn yr haul. Y mae rhai yn meddwl eu bod yn ffurfio rhyw fath o chweched cynneddf iddo, ond amcan ydyw hyn. Edrychwn yn nesaf ar ei lygaid.

Y mae bron pawb yn gwybod erbyn y flwyddyn 1891 fod llygaid bob trychfilyn yn cael eu ffurfio o filoedd o lygaid bychain. Y mae yn llygad y glöyn byw tua 17,000 llygedyn, ac felly y mae y creadur wedi ei gynnysgaeddu â thua 34,000 o lygaid. Y mae pob llygedyn yn berffaith ynddo ei hun, yn chwe-ochrog o ran ffurf, ac felly y mae yr holl gasgliad fel dil mêl wedi eu *pacio* yn daclus ac uniawn y naill wrth y llall.

Gadëwch i ni yn awr gyda'i ganiatâd edrych i mewn i'w geg. Y mae yn ymborthi ar fwyd mor buredig fel y mae dannedd a gên gref yn beth diwerth iddo. Beth felly sydd ganddo yn ei geg? Fe wel y darllenydd bibell hir, yn debyg i dduryn cawrfil, a sylwa ei fod wedi ei blygu i fyny fel *main spring* oriawr allan o'r ffordd, pan na fydd y glöyn byw yn ei ddefnyddio i sugno mêl allan o flodau yr haf. Fe wel hefyd wrth graffu ddernyn rhyfedd o beirianwaith anifeilaidd. Y mae'r tafod yma yn gynnwysedig o dair pibell sugnol wedi eu diogelu mewn gwain ddestlus. Nid ydyw y cwbl ddim ffyrfach na blewyn, a thrwy hwn y rhaid i holl ymborth y glöyn byw fyned. Weithiau bydd y bibell yn cael ei thagu gan y sug tew o'r blodau, canys er na fydd byth yn dyoddef y ddannodd, y mae yn ddarostyngedig i anffodion ereill. Pan y bydd y bibell yma wedi tagu, bydd y glöyn byw yn ei hagor ac yn ei glanhau allan. Onid ydyw hyn yn ddarpariad prydferth, yn galluogi y glöyn byw i fod yn feddyg iddo ei hun yn y fath amgylchiad difrifol? "A ydyw Duw yn gofalu am yr ychain?" sydd yn ofyniad mewn hen lyfr. Y mae hefyd yn eglur ei fod yn gofalu am ofynion y glöyn byw. Nid oes genyf ond ychydig o linellau i ddywedyd fod gïau a chyfundrefn treulbair y glöyn byw wedi eu chwilio yn ddyfal gan naturiaethwyr, a buasai yn gofyn cyfrol gyfan o'r *Haul* er mwyn eu dysgrifio yn llawn. Gallwch yn hawdd feddwl fod y gïau (*nerves*) sydd yn gyssylltedig â llygad amrywiog rhyfeddol y glöyn byw yn ffurfio cyfundrefn orchestol. Pan yn son am ymenydd y glöyn byw, yr ydym yn hytrach yn meddwl am yr holl bentwr gïeulyd, ac nid un offeryn fel sydd gan anifeiliaid mwy. Gallwn yn wir alw ymenydd trychfil yn llawer. Gallwn hefyd ddweyd yr un peth am y galon, yr hwn sydd yn cael ei chyfansoddi o lawer o lestri cylchrediad y gwaed. Y mae yn anadlu trwy naw o dyllau ar bob ochr, deunaw i gyd. Felly chwi a welwch mor gyfoethog ydyw ei gyfansoddiad—34,000 o lygaid, amrywiol ymenyddion a chalonau, a 18 ffroen, heb law, yn ol rhai pobl, chwech o gynneddfau yn lle pump. Y mae tua 3000 mathau o honynt yn y byd, a gellir cael 70 gwahanol deuluoedd ym Mhrydain.

Mae beirdd, philosophyddion, a duwinyddion wedi defnyddio y glöyn byw er egluro eu gwersi. Yr oedd y Groegiaid yn gweled ynddo ddarlun o'r enaid dynol yn ei berffeithrwydd. Yr ydym i gyd yn gwybod fod Cristionogion yn gweled yn adgyfodiad ffurf mor ddysglaer o'i fedd eilirol ddarlun o'r adgyfodiad mawr. Felly, gall hyd yn oed löyn byw wedi ei dori ar gareg fedd sibrwd cyfrol o feddyliau cyfoethog ac ardderchog am yr Hwn a ddywedodd, "Myfi yw'r adgyfodiad a'r bywyd."

"Onid oes mewn lindysyn—a'i fer oes
Wrth farw yn ei blisgyn,
A chodi mor wych wedyn,
Eglurhâd goleu ar hyn?"
*Caledfryn* (*Awdl yr Adgyfodiad*).

*Ynys yr Arch.* AB CERNYW.

---

## RHESYMAU DROS DDADGYSSYLLTIAD YNG NGHYMRU.

[*Ymddangosodd yr erthygl ganlynol yn y* "*Geninen*" *mis Gorphenaf.*]

GAN fod Dadgyssylltiad ar hyn o bryd yn bwnc y dydd yn ein plith, nid ammhriodol i Eglwyswr fwrw bras olwg yn ein cylchgrawn cenedlaethol ar rai o'r prif resymau a ddygir ym mlaen ger bron y Seison dros ddadgyssylltu yr Eglwys yng Nghymru. Yng Nghymru dadleuir yn fynych dros Ddadgyssylltiad neillduol ar dir cyffredinol. Ond yn y Senedd ac ym mysg y Seison cenfydd dadgyssylltwyr fod yn rhaid cael rhesymau neillduol dros ddadgyssylltu yr Eglwys yng Nghymru ar wahân i'r Eglwys yn Lloegr. Amlwg yw na wnaiff rhesymau cyffredinol

Digitized by Google

yn unig dros Ddadgyssylltiad ym mhob man mo'r tro. Dengys araeth Mr. Gladstone yn y Senedd, fis Chwefror diweddaf, linellau yr ymresymiad ar hyd pa rai yn unig y gellir dysgwyl sicrhau mwyafrif yn Lloegr dros Ddadgyssylltiad yng Nghymru. Delir y fantol ar y cwestiwn gan Eglwyswyr Rhyddfrydol yn Lloegr. Ni wneir ond pelläu Eglwyswyr Rhyddfrydol oddi wrth Ddadgyssylltiad wrth ledaenu haeriadau diraddiol, dibrawf, am gymmeriad Eglwyswyr Cymru.

Yn Nhŷ y Cyffredin y ddau brif reswm a ddygid ym mlaen oedd fod Cymru yn unllais dros Ddadgyssylltiad, a bod y Cymry yn genedl o Ymneillduwyr. Ceisiaf ddangos nad oes sail i'r naill haeriad na'r llall. Yn lle bod Cymru yn unllais dros Ddadgyssylltiad, nis gellir profi fod mwy o fwyafrif na thri ym mhen dau yng Nghymru o'i du. Yn lle bod y Cymry yn genedl o Ymneillduwyr, nis gellir profi fod mwy na hanner poblogaeth Cymry yn perthyn mewn modd yn y byd i enwadau Ymneillduol. Dadleuid gan bleidwyr Dadgyssylltiad yn y Senedd, fis Chwefror diweddaf, fod etholiadau 1885 ac 1886 yn profi fod Cymru yn ymarferol yn unllais dros Ddadgyssylltiad. Nid wyf yn barod i addef mai ar Ddadgyssylltiad yn unig y penderfynwyd y ddwy etholiad ddiweddaf yng Nghymru. Ond er mwyn ymresymiad, cyfarfyddaf y dadgyssylltwyr ar eu tir eu hunain; a chan fod etholiad 1885 yn fwy ffafriol iddynt nag etholiad 1886, edrychaf pa mor bell yr oedd Cymru yn unllais dros Ddadgyssylltiad yn 1885. Yn 1885 bu ymdrechfa mewn 30 allan o 34 o etholaethau yng Nghymru, a chynnwys Mynwy. Etholwyd 30 o aelodau Rhyddfrydol a 4 o aelodau Ceidwadol. Ond, os ydys am farnu yn gywir lais y wlad ar bwnc mewn etholiad, rhaid cyfrif nid yn unig nifer aelodau Seneddol ond hefyd nifer y pleidleiswyr ar bob ochr. Yn 1885 pleidleisiodd yng Nghymru o ddeutu 120,000 dros Ddadgyssylltiad—pe dyna faen prawf yr etholiad—ac o ddeutu 80,000 yn ei erbyn. Hyny yw, am bob tri a bleidleisiodd drosto, pleidleisiodd dau yn ei erbyn. Nis gall neb ddywedyd fod mwyafrif o dri ym mhen dau yn ddigon o reswm dros haeru fod Cymru agos yn unllais dros Ddadgyssylltiad. Dylid cofio hefyd fod Cymru yn ystod hanner olaf y ganrif bresennol wedi cyfnewid ei barn ar bwnc lled gyffelyb i Ddadgyssylltiad. Cydolygai Ymneillduwyr Cymru unwaith â'r diweddar Mr. Henry Richard, A.S., na ddylid derbyn arian o'r Llywodraeth at addysg, ond y dylid cynnal addysg yn hollol ar yr egwyddor wirfoddol. Ond erbyn hyn y mae y rhod wedi troi gymmaint yn ein plith, fel nad oes genedl yn y byd yn fwy unfryd a chadarn na ni yn ei chred yn nyledswydd y Llywodraeth i dalu yn hael at gynnal addysg elfenol, ganolraddol, a cholegol. Gwanhëir nerth y ddadl oddi wrth y mwyafrif o dri ym mhen dau yng Nghymru dros Ddadgyssylltiad yn 1885 gan y ffaith fod y Cymry wedi dangos, yng nglŷn â chynnaliaeth addysg gan y Llywodraeth, eu bod yn bobl ddeallus, ddiragfarn, agored i newid eu barn yn raddol, os canfyddant resymau digonol dros newid. Nis gwn a ydyw dadgyssylltwyr Cymru wedi ystyried yn ddigonol pa mor bell yr arweinir hwynt os rhoddant lawer o bwys yn eu cais am Ddadgyssylltiad ar y mwyafrif o dri ym mhen dau drosto yng Nghymru yn 1885. Os yw mwyafrif yng Nghymru i benderfynu cyssylltiad yr Eglwys â'r wladwriaeth un ffordd, byddai, yn ol athrawiaeth mwyafrif lleol, gystal hawl gan fwyafrif lleol cyffelyb mewn gwlad arall i'w benderfynu, os mynant, ffordd arall. Ni synwn nad oera athrawiaeth mwyafrif lleol sel rhai o ddadgyssylltwyr Lloegr, gan nad oes obaith yn y golwg am fwyafrif lleol dros Ddadgyssylltiad yn Lloegr heb gymhorth aelodau o Ysgotland, Iwerddon, a Chymru yn y Senedd. Ond try athrawiaeth y mwyafrif allan yn llawer mwy chwithig yn yr Iwerddon. Y mae y mwyafrif mawr yno yn Babyddion; a dangoswyd yn ddiweddar eu bod ym mhell o dan ddylanwad esgobion ac offeiriaid Pabaidd. Ni fu erioed, ac nid oes yn awr, gan y Pabyddion ddim gwrthwynebiad i gymmeryd gwaddoliadau nac i weled eu Heglwys yn Eglwys Sefydledig mewn gwlad. A yw dadgyssylltwyr Cymru yn foddlawn cario athrawiaeth mwyafrif lleol allan i'w chanlyniadau naturiol yn yr Iwerddon, a chydsynio i sefydlu a gwaddoli yr Eglwys Babaidd yno, os gofynir am hyny gan fwyafrif o'r Gwyddelod? Ofer dyweyd na ofynant hwyrach byth am hyn. Byddant yn bur wahanol i hanes eu Heglwys os na ofynant am hyn pan ddêl cyfle. Ond nid pa un a ofynant am hyn ai peidio yw y cwestiwn; ond a yw athrawiaeth mwyafrif lleol dadgyssylltwyr Cymru yn cynnwys egwyddor yn ol yr hon y byddai raid caniatäu i'r Pabyddion eu cais pan ofynant. Os dywedir y byddai caniatäu hyn yn groes i gred y blaid Ryddfrydol mewn Dadgyssylltiad, atebaf felly nad yw y ddadl dros ryddid i fwyafrif lleol ond dadl iddynt gael rhyddid unochrog, rhyddid yn unig i foddio dadgyssylltwyr, rhyddid i fwyafrif lleol wneyd fel y mynont yng Nghymru, ond nid fel y mynont yn yr Iwerddon. Nid ydyw rhoddi rhyddid i A foddio B, a gwrthod iddo ryddid i groesi B, yn deilwng o'r enw rhyddid. Os oes grym yn y ddadl dros ryddid i fwyafrif lleol, cynnwys o angenrheidrwydd ryddid

Digitized by Google

i'r Pabyddion gael eu ffordd eu hun yn yr Iwerddon. Nid rhyfedd i'r *British Weekly*—organ graff Ymneillduwyr Lloegr—gwyno fod Mr. Gladstone ac ereill yn y Senedd, fis Chwefror, yn sangu ar dir peryglus ac ammhëus wrth roddi cymmaint o bwys ar y mwyafrif a bleidleisiodd dros Dadgyssylltiad yng Nghymru yn 1885.

Hysbyswyd Mr. Gladstone gan ryw rai fod y Cymry yn genedl o Ymneillduwyr. Ni ddengys ystadegau Ymneillduol fod mwy na hanner poblogaeth Cymru yn Ymneillduwyr o gwbl. Bydd nifer Ymneillduwyr Cymru yn fater o bwys mawr yn y ddadl o flaen y Seison; a da fyddai ceisio dyfod mor agos i'r gwir ar y pwnc ag y gellir. Ni wyddys yn sicr, hyd nes y cyhoeddir canlyniad y cofgyfrif diweddar, nifer presennol trigolion Cymru. Ond ni chamgymmerir llawer os cyfrifir cynnydd y boblogaeth mewn rhai siroedd, a'i lleihâd mewn ereill, rhwng 1881 ac 1891, yn ol cyfartaledd y cynnydd a'r lleihâd ym mhob sir rhwng 1871 ac 1881. Yn ol Mr. Dillwyn, A.S., o ddeutu 30,000 yw nifer y Pabyddion yng Nghymru, ac o ddeutu 26,000 yw nifer y rhai a berthynent i fân enwadau Protestanaidd yng Nghymru. Nid yw y ddau ddosbarth hyn gyda'u gilydd ond rhwng 3 a 4 y cant o boblogaeth Cymru. Cynnrychiolir Ymneillduaeth gan bedwar enwad—yr Annibynwyr, y Methodistiaid, y Bedyddwyr, a'r Wesleyaid. Cyhoedda y pedwar enwad ystadegau o'u haelodau. Yn ol yr ystadegau hyn nid yw eu haelodau oll gyda'u gilydd yng Nghymru ond 21 y cant o'r boblogaeth. Cymmeraf yn ganiataol nad yw y nifer a roddir yn yr ystadegau lawer llai nag y dylent fod. Cyhoeddir ystadegau swyddogol o wrandawyr y Methodistiaid; a chyhoeddwyd eleni gan Dr. John Thomas, Lerpwl, yng nghyf. V. o'i waith llafurus a dyddorol ar *Hanes Eglwysi Annibynol Cymru*, ystadegau gwrandawyr yr Annibynwyr yng Nghymru. Eglura Dr. J. Thomas, yn nhudal. 487, ystyr y term "gwrandawyr." Dywed, "Mae gradd o anhawsder hefyd gyda gwrandawyr afreolaidd. Yr ydym yn tybied fod gan gynnulleidfa hawl deg i gyfrif y rhai hyn fel eu heiddo. Os daw cystudd neu angeu i'r teulu, at weinidog, neu rywrai o'r eglwys hòno, yr anfonant. Ond y mae ym mhob lle poblog nid ychydig o wibiaid a chrwydriaid y rhai nas gall neb eu hawlio. Rhag ychwanegu colofn arall, rhoddasom y plant yn nheuluoedd yr eglwys a'r gynnulleidfa gyda'r gwrandawyr. Yn sicr, y maent hwy i dd'od i'r cyfrif. Wrth gymmeryd cyfrifiad gwlad, rhifir pawb, o'r baban a anwyd y boreu hwnw hyd yr henaf yn fyw; ac heb gyfrif y plant yn y teuluoedd nad ydynt wedi eu derbyn yn gyflawn aelodau, nis gellir cael allan y nifer o'r poblogaeth sydd yn perthyn i bob enwad." Y mae yn fantais derbyn hysbysrwydd mor eglur gan wr o awdurdod Dr. J. Thomas, fod pawb a alwant am weinidog, neu rywrai o eglwys neillduol, i'w cyfrif yn wrandawyr—serch eu bod yn wrandawyr "afreolaidd"—yn yr eglwys hòno, ac y cynnwysir ym mhlith gwrandawyr blant o dan bum mlwydd oed. Yr ydym yn deall yn awr beth a olygir wrth "wrandawyr" gan Dr. J. Thomas. Goddefer i mi, er mwyn eglurdeb, arfer y gair "ymlynwyr" i ddynodi gwrandawyr ac aelodau gyda'u gilydd. Yn ol ystadegau Dr. J. Thomas, os lluosogir nifer aelodau yr Annibynwyr 2.2 waith, ceir yn bur agos nifer eu hymlynwyr neu holl nerth yr enwad. Mae y cyfartaledd rhwng ymlynwyr ac aelodau ym mysg y Methodistiaid agos yr un faint yn hollol ag ym mhlith yr Annibynwyr. Tuedda ychydig at fod yn llai. Gan hyny, credaf ei fod yn deg lluosogi nifer aelodau y Bedyddwyr a'r Wesleyaid 2.2 waith yr un modd er cael cyfrif o nifer ymlynwyr y ddau enwad hyn. Yn ol hyn gwelir mai 46 y cant o boblogaeth Cymru yw cyfanswm ymlynwyr y pedwar enwad yng Nghymru. Ychwaneger at hyn rhwng 3 neu 4 y cant, yn ol amcangyfrif Mr. Dillwyn am y Pabyddion a'r mân enwadau, a chanfyddir fod hanner poblogaeth Cymru na pherthynant o gwbl i enwadau Ymneillduol. Tra y tystia ystadegau Ymneillduol fod hanner poblogaeth Cymru tu allan yn hollol i gylch Ymneillduaeth, oferedd haeru bod y Cymry yn genedl o Ymneillduwyr. Yng ngwyneb yr ystadegau nis gellir gwadu y ffaith bwysig fod hanner poblogaeth Cymru naill ai yn Eglwyswyr neu yn faes agored i'r Eglwys weithio yn eu plith, gan nad oes a wnelent ag un enwad Ymneillduol. Anhawdd perswadio y Sais ymarferol i dlodi a gwanhau yr Eglwys yng Nghymru, tra na phroffesa yr enwadau Ymneillduol, yn ol eu hystadegau, fod wedi cyrhaedd ond prin hanner y boblogaeth, ac yr addefir, heb law hyny, fod eu gafael yn llac ar y dosbarth o Ymneillduwyr mewn enw a eilw Dr. J. Thomas yn "wrandawyr afreolaidd." Ni ddymunwn o gwbl fychanu dim ar glod Ymneillduwyr Cymru am eu gwaith. Gwnaethant waith mawr. Ond ni wnaiff les i neb feddwl fod cylch eu gwaith yn eangach nag ydyw mewn gwirionedd, neu haeru, yn groes i'r ystadegau Ymneillduol, fod y Cymry yn genedl o Ymneillduwyr. Beth am hanner y boblogaeth sydd tu allan i gylch Ymneillduaeth? Er mwyn bychanu nifer Eglwyswyr Cymru, haera dadgyssylltwyr fod y rhan fwyaf o honynt mor berffaith baganaidd fel na wahoddant

Digitized by Google

weinidog nac aelod o'r Eglwys, na neb arall, i'w tai pan ddêl cystudd neu angeu i'r teulu. Yn ol Dr. J. Thomas—ac ni thybia neb ei fod ef yn rhy ffafriol i'r Eglwys—dylid cyfrif yn wrandawyr Eglwysig bawb a anfonant am Eglwyswyr i'w tai pan ddêl cystudd neu angeu i'r teulu. Y ffordd oreu i ddyfod i wybod nifer Eglwyswyr Cymru fyddai cydsynio i'r Llywodraeth ofyn i hanner trigolion Cymru na pherthynant i Ymneillduaeth pa beth ydyw eu safle grefyddol. Y mae ganddynt hawl, fel pawb arall, i broffesu y grefydd a fynant. Gwell gan y dadgyssylltwyr benderfynu crefydd hanner eu cydwladwyr drostynt na goddef iddynt ddysgrifio eu hunain, yng nghofgyfrif swyddogol y Llywodraeth, fel y mynont. Dannodir yn fynych i Eglwyswyr eu diffyg sel dros anrhydedd eu cenedl, ac eto ni phetrusa eu dannodwyr alw y drydedd ran o'u cydgenedl yn baganiaid perffaith. Er enghraifft, gwelodd Dr. J. Thomas yn dda yn ddiweddar hysbysu esgob Llandaf nad yw yr Eglwys yng Nghymru can gryfed a'r Bedyddwyr—er y dylasai wybod ei fod, trwy hyny, yn gyfrifol am gondemnio mwy na'r drydedd ran o drigolion Cymru fel gwibiaid a chrwydriaid a pherffaith baganiaid. Cerydda Dr. J. Thomas yr Eglwys am esgeuluso cyhoeddi ystadegau. Y mae gan Eglwyswyr hawl i ateb mai trwy gofgyfrif swyddogol gan y Llywodraeth yn unig y gellir cael ystadegaeth grefyddol gywir, ac mai digon ar hyn o bryd o waith i ddadgyssylltwyr ydyw myfyrio uwch ben y ffaith, a ddangosir yn amlwg gan yr ystadegau Ymneillduol, nad yw Ymneillduwyr Cymru ond hanner y boblogaeth. Dengys yr ystadegau na ddosbarthir nerth Ymneillduaeth yn gyfartal rhwng siroedd Cymru. Y mae Ymneillduaeth yn wanaf, mewn cymhariaeth i'r boblogaeth, yn saith sir y dwyrain lle y mae dwy ran o dair o boblogaeth Cymru. Yn nwyrain Cymru—sef siroedd Dinbych, Fflint, Maldwyn, Maesyfed, Brycheiniog, Morganwg, a Mynwy—nid yw aelodau y pedwar enwad yng nghyd—yn ol yr ystadegau—ond 17 y cant o'r boblogaeth. Ar y llaw arall, hawlia ystadegau y pedwar enwad 31 y cant o aelodau yng ngorllewin Cymru, sef chwe sir Mon, Arfon, Meirion, Ceredigion, Myrddin, a Phenfro, lle na cheir ond y drydedd ran o boblogaeth Cymru. Os rhoddir pwys ar nifer Ymneillduwyr Cymru fel rheswm dros Ddadgyssylltiad, nis gwiw son ar y tir hwn am ddadgyssylltu yr Eglwys yn saith sir y dwyrain, gan fod nifer yr Ymneillduwyr yn y siroedd hyn, yn ol eu hystadegau eu hunain, ym mhell iawn is law hanner y boblogaeth.

Cyn penderfynu cefnogi dadgyssylltu yr Eglwys yng Nghymru, gofyna y Sais ymarferol pa fodd y mae yr Eglwys yng Nghymru yn gweithio yn awr o'i chymharu â'r Eglwys yn Lloegr. Hysbysa y Parch. Aaron Davies, Pontlottyn, etholwyr Lloegr fod Eglwyswyr Cymru yn waeth o lawer na'r cyffredin o ddynolryw ac yn sorod pob dim—eu bod yn anwladgarol, yn wleidyddol, yn gwerylgar, yn ormesol, yn greulawn, yn ddichellgar, ac yn llygredig. Dyna sylwedd barn Mr. Davies am Eglwyswyr Cymru fel corff crefyddol. O'r tu arall, tystiolaethai Mr. Gladstone yn y Senedd, fis Chwefror, fod yr Eglwys Sefydledig yng Nghymru yn ddiddadl yn Eglwys gynnyddol, weithgar, fyw; a theimlai yn hyderus ei bod yn ymddyrchafu o uchder i uchder. Canmolai yni a hunanaberth a phurdeb amcanion Eglwyswyr Cymru, yn glerigwyr a lleygwyr, yn awr ac er ys llawer o flynyddoedd yn ol. Dywedai ei fod yn dyst personol o gynnydd a diwygiad arbenig yr Eglwys yng Nghymru yr hanner canrif diweddaf. Nis gellir cael dwy dystiolaeth fwy croes i'w gilydd na thystiolaeth y Parch. Aaron Davies a Mr. Gladstone yng nghylch cyflwr presennol yr Eglwys yng Nghymru a chymmeriad Eglwyswyr. Ni raid ammheu pa un o'r ddau wr hyn—y naill a'r llall yn enwog yn ei gylch ac yn ei ddull ei hun—a gredir gan y Seison. Y mae nid yn unig farn Mr. Gladstone yn erbyn Mr. Davies, ond hefyd nifer o ffeithiau ag y deall Eglwyswyr Lloegr eu hystyr yn dda. Yn Nyddlyfr yr Eglwys am 1890 dangosir i Eglwyswyr Cymru gyfranu at adeiladu Eglwysi ac amcanion cyffelyb fwy ddwy waith, yn ol cyfartaledd poblogaeth y ddwy wlad, a mwy dair gwaith yn ol cyfartaledd eu cyfoeth nag Eglwyswyr Lloegr. Dyblwyd nifer clerigwyr yr Eglwys yng Nghymru mewn hanner can mlynedd. Cynnyddodd y nifer a gonffirmiwyd yng Nghymru yn ystod y pedair blynedd diweddaf, o'u cymharu â'r pedair blynedd blaenorol, 13 y cant, ar gyfer cynnydd o 6 y cant yn Lloegr. Saif tair esgobaeth Gymreig ar ben y rhestr o flaen holl esgobaethau Lloegr mewn cynnydd yn nifer y rhai a gonffirmir, yn ol yr adroddiad swyddogol a gyhoeddwyd eleni. Wrth nifer y rhai a gonffirmir yr arfera Eglwyswyr yn benaf gymharu gwaith a chynnydd gwahanol esgobaethau. Os cymherir nifer y rhai a gonffirmir yn yr Eglwys â nifer y rhai a dderbynir yn aelodau ym mysg Ymneillduwyr, gwelir i 32,873 gael eu conffirmio yn yr Eglwys ar gyfer 20,925 a dderbyniwyd i aelodaeth gyda'r Methodistiaid yng Nghymru yn ystod y tair blynedd olaf y cyhoeddwyd ystadegau, sef o 1887 i 1889. Gan mai y Methodistiaid a ystyrid yr enwad Ymneillduol cryfaf yng Nghymru hyd gyhoeddiad ystadegau Dr. J. Thomas, dengys y ffugyrau hyn

Digitized by Google

fod yr Eglwys y corff crefyddol mwyaf cynnyddol y blynyddoedd diweddaf yng Nghymru. Mae y cynnydd yn nifer y rhai a gonffirmir yn fwy arwyddocaol pan gofir yr arferir llawer iawn mwy o ofal a manyldeb yng nghylch conffirmasiwn yn awr na chynt. Gellid nodi lluaws o ffeithiau yn dangos cynnydd cyflym yr Eglwys ym mhob un o esgobaethau Cymru. Pe byddai Eglwyswyr mor isel a gwrthun eu cymmeriad ag y myn y Parch. Aaron Davies, buasai y cynnydd hwn yn ammhosibl, os nad yw y Cymry yn hollol ddiofal yng nghylch cymmeriad crefyddwyr. Rhaid cael rhesymau neillduol o gadarn i berswadio Eglwyswyr Lloegr i roddi i fyny i drugaredd dadgyssylltwyr bedair esgobaeth ag y gwyddant eu bod yn sefyll, yn ol tystiolaeth ffeithiau diymwad, yn uchel o ran gwaith a chynnydd ym mysg esgobaethau Lloegr. Bydd yn rhaid i ddadgyssylltwyr gasglu digon o nerth i ddadgyssylltu yr Eglwys yn Lloegr cyn y gallant ddadgyssylltu yr Eglwys yng Nghymru. Y mae adfywiad yr Eglwys yng Nghymru wedi sicrhau wrth ei chefn holl nerth yr Eglwys yn Lloegr. Awgrymodd Mr. Gladstone nad gwaith hawdd fyddai dadgyssylltu yr Eglwys yng Nghymru. Nododd amryw anhawsderau; ond y ddau brif anhawsder ydyw gwendid y rhesymau neillduol a arferir dros Ddadgyssylltiad yng Nghymru, a ffyddlondeb penderfynol Eglwyswyr Lloegr i'w brodyr Cymreig am y credant eu bod yn gweithio yn ffyddlawn a llwyddiannus.

Ymddengys i mi fod dadgyssylltwyr yn gosod y drol o flaen y ceffyl wrth geisio dadwaddoli yr Eglwys yng Nghymru tra y byddo deddfau tir a threthiant fel y maent. Y mae yn eu mysg amryw o ysgolheigion cyfarwydd â *political economy*. Gwahoddaf rai o honynt i ddangos pa fodd y gellir dadwaddoli yr Eglwys yng Nghymru ar hyn o bryd heb i gorff y gwaddol fyned i'r tirfeddiannwyr. Adroddir i Mr. Thomas Ellis, A.S., ddyweyd ym Mangor eleni yr ennillid 300,000p. o ddegwm yn flynyddol at ddybenion cenedlaethol pe dadwaddolid yr Eglwys yng Nghymru. Ond i Mr. Ellis astudio y Llyfr Glas ar ddegwm Cymru, gwel nad yw cyfran yr Eglwys o hono ond 166,296p., yn lle 300,000p., yn y flwyddyn, ac nad yw gwerth cyfran yr Eglwys o hono eleni ond 126,363p. Nis gwn pa les a ddysgwylir trwy addaw i'r bobl gymmaint ddwy waith o ddegwm ag a fedd yr Eglwys. Os na wastreffid y degwm ar oferedd hollol na wnelai les i neb, defnyddid ef, ar ol dadwaddoliad, at ryw amcanion y byddai raid talu am danynt hebddo o'r trethi lleol (*rates*). Hyny yw, defnyddid y degwm naill ai i ostwng y trethi lleol neu i rwystro iddynt godi rhaglaw. Nid llawer yng Nghymru, ef allai, sydd yn deall ar ysgwydd pwy yn y pen draw y gorphwys y trethi lleol. Nid oes awdurdod uwch ar drethi na Mr. Gladstone. Dangosodd yn eglur yn y Senedd eleni mai y tirfeddiannwyr yn y pen draw sydd yn talu trethi lleol ar dir amaethyddol. Hyny yw, os gostyngir y trethi lleol, codir y rhent; ac os codir y trethi lleol, gostyngir y rhent. Nid oedd gan Mr. Goschen air i'w ddyweyd yn ei erbyn, er mai i feirniadu trefniant cyllidol y Llywodraeth yr arferai Mr. Gladstone y ffaith. Y mae yn ffaith adnabyddus i bawb cyfarwydd ag elfenau *political economy*. Os defnyddir y degwm i ysgafnhau y trethi lleol neu rwystro iddynt godi, y tirfeddiannwyr yn unig, ac nid amaethwyr na'r genedl, a dderbyniai yr holl les arianol oddi wrth ddadwaddoliad yr Eglwys. Gwaddolid y tirfeddiannwyr yn lle yr Eglwys. Hawdd siarad am droi yr arian at ddybenion cenedlaethol. Haws siarad yn hwyliog ar lwyfan na llunio cynllun ymarferol i ochel canlyniadau anocheladwy deddfau masnach yng nglŷn â rhent tir. Byddai yn dda genyf weled un o arweinwyr dadgyssylltwyr Cymru yn ceisio cnoi y gneuen hon, a dangos pa fodd y mae yn bosibl cyflawnu yr addewidion hael a wnânt yng nghylch rhoi y degwm i'r genedl heb wneuthur chwyldroad yn gyntaf yn neddfau tir a phenu rhent fferm trwy gyfraith, neu ynte ail-drefnu trethiant lleol ac ymherodrol. Rhoddant y drol o flaen y ceffyl.

Nid yw galw yr Eglwys yng Nghymru yn "Eglwys estronol" yn rheswm y rhaid ei ateb ar ol araeth Mr. Gladstone fis Chwefror. Gwnaeth Mr. Gladstone fwy o les i'r Eglwys trwy y rhan gyntaf o'i araeth ef allai nag a roddodd o gymhorth i'r dadgyssylltwyr trwy fawr ddylanwad ei gefnogaeth yn y diwedd. Dywedai ei bod yn llawn mor gywir son am Eglwys Cymru yn Lloegr ag am Eglwys Lloegr yng Nghymru. Olrheiniodd hanes yr Eglwys yng Nghymru yn ol i'r chweched ganrif, pan ddysgodd Eglwys y Cymry y grefydd Gristionogol i Sacsoniaid y Gogledd, a dangosodd fod yr Eglwys yng Nghymru yr un yn ddidor a difwlch o'r dyddiau hyny hyd heddyw. Sylwodd i'r Eglwys un adeg achub yr iaith Gymraeg rhag dinystr, ac i'r genedl Gymreig o dan ei haddysg sefyll ar hyd y canrifoedd yn enwog ym mysg cenedloedd am ei chrefydd a'i moesau. Wrth wrando ar Mr. Gladstone, synwn fod Cymry i'w cael a ymhyfrydant mewn pardduo eu hynafiaid ar gam fel paganiaid digrefydd ac anfoesol er mwyn cael cyfle i roi sen i'r Eglwys. Y mae yn llawn bryd claddu y sothach anwybodus a rhagfarnllyd fod Eglwys y Cymry yn "estrones" ar

ol mil a hanner o flynyddoedd o hanes yng Nghymru. Ni ddylai yr Eglwys wrthod breintiau ysbrydol i ddyn am na fedr Gymraeg. Os gweinyddu i Seison yng Nghymru sydd yn gwneyd yr Eglwys yn estronol, beth am yr achosion Seisonig y clywir cymmaint yn eu cylch ym mhlith Ymneillduwyr? Ymddengys pob enwad ar ei eithaf i fyned yn "estronol" gynted ag y gellir, yn ol yr ystyr newydd i'r gair.

Gresyn nad allwn, o bob ochr, gario ym mlaen y ddadl yng nghylch Dadgyssylltiad heb ddirmygu a difrïo ein gilydd. Nis gellir dysgwyl i'r naill ochr na'r llall fradychu eu hegwyddorion; ond dylem ymdrechu cofio fod mater llawer mwy pwysig na safle yr Eglwys neu ddegwm yn troi i raddau mawr ar yr ysbryd y dadleuir yng nghylch Dadgyssylltiad, sef dyfodol crefydd Cymru. Darostyngir y ddadl i lawr at fanylion ystadegau ac arian, o angenrheidrwydd, pan ofynir am Ddadgyssylltiad yng Nghymru ar wahân. Gwanhëir nerth egwyddorion cyffredinol y dadgyssylltwyr wrth eu cyfyngu i Gymru. Ar resymau neillduol cyfyngedig i Gymru, ac nid ar egwyddorion cyffredinol, y rhoddir pwys wrth ofyn am Ddadgyssylltiad yr Eglwys yng Nghymru ar wahân i'r Eglwys yn Lloegr. Yn yr ysgrif hon ni chyffyrddais, am hyny, ond â'r rhesymau neillduol hyn. Ef allai y dêl cyfle eto cyn hir i drafod ochr grefyddol a chyffredinol y cwestiwn yn ei berthynas â natur Eglwys, cyfiawnder, ac effaith gwaddoliadau ar grefydd. Cytuna pob Eglwyswr ac Ymneillduwr difrifol mai lles crefydd ysbrydol yw y pwnc mawr i gadw golwg sefydlog arno yn ystod y ddadl ar Ddadgyssylltiad. Gwaith diflas, ar y goreu, a pheryglus i grefydd yw dadleu. Angenrhaid a osodwyd arnom ar hyn o bryd, gan wrthdarawiad argyhoeddiadau, i ddadleu. Nis gŵyr neb pa hyd y pery y ddadl, na pha fodd ychwaith y terfyna. Ond tynid colyn chwerwedd y ddadl pe cytunai holl grefyddwyr Cymru, o herwydd fod yn rhaid dadleu i geisio meithrin gyda mwy o egni a difrifwch nag erioed ysbryd cyfiawnder, amynedd, a chariad. Ni fyddai colli yn yr ysbryd hwn yn golled anadferadwy; ni fyddai, ar y llaw arall, ennill mewn drwg ysbryd yn lles i neb. Y mae ysbryd y ddadl o fwy o bwys i ni ar y ddwy ochr na'r modd y terfyna.

*Y Deondy, Llanelwy.* J. Owen.

---

Gall y galon fod yn glwyfus heb i'r llygad fod yn wlyb.

Trwy ddiffygion ereill y mae dynion doeth yn gwella yr eiddynt eu hunain.

## Y WASG.

*Y "Geninen" am Gorphenaf, 1891.*

Dyma y *Geninen* eto ger ein bron mor iraidd ag erioed, ac yn llawn amrywiaeth. Y mae rywbeth yn debyg i fwrdd cyhoeddus y gwesttai mawrion gwedi ei hulio â phob math o flasusfwyd. Tueddir ni yn aml i synu pa fodd y mae y golygydd llafurus yn gallu tynu "careiau mor hirion" o gefnau cynnifer o lenorion goreu y genedl. Ceir yn y rhifyn presennol y fath enwau a'r eiddo Tra Pharchedig Ddeon Llanelwy, Dr. Emrys-Jones, Mr. T. Evan Jacob, M.A., Parch. D. Richards, M.A., Parch. Owen Davies, Mr W. Lewis Jones, B.A., Mr. J. Young Evans, M.A., Llew Llwyfo, Dr. Llugwy Owen, Parch. J. Morgan Jones, Parch. D. Owen Jones; ac enwau y fath feirdd a Chlwydfardd, Gwalchmai, Hwfa Mon, Dyfed, Penfro, Erfyl, Alafon, Dewi Glan Teifi, Gwilym Berw, Meiriadog," &c.

Ym mysg yr ysgrifau gellir nodi Rhesymau dros Ddadgyssylltiad yng Nghymru, gan Dra Pharchedig Ddeon Llanelwy, fel un a dŷn sylw neillduol ac a ddeil feirniadaeth. Rhaid i ni basio heibio ysgrifau rhagorol ar lawer pwnc dyddorol at ysgrif neillduol o amserol ar "Anghydffurfiaeth a'r Dyfodol yng Nghymru," gan Mr. W. Lewis Jones, B.A., Coleg y Gogledd. Oddi ar safle Ymneillduol yr ysgrifena Mr. W. L. Jones, ond ysgrifena yn deg, yn foneddigaidd, yn feirniadol, a chynnwysfawr. Cyffyrdda â llawer gwirionedd ag y mae yn werth i Ymneillduwyr ac Eglwyswyr dalu sylw neillduol iddynt. Y mae yn annichonadwy i un dyn fod yn ysgrifenydd nac adolygydd llwyr ddiduedd, felly nis gallwn ninnau gydweled ag awdwr yr ysgrif hon am yr angenrheidrwydd o "barhâd Ymneillduaeth" oddi ar "egwyddorion gwleidyddol a chrefyddol." Ar yr un pryd, cyfaddefwn fod yn rhaid dysgu y gwirioneddau neu egwyddorion arbenig, a gymmerwyd i fyny mewn modd neillduol gan wahanol enwadau yn yr Eglwys, a chredwn fod hyny yn cael ei wneyd ac yn dyfod yn fwy amlwg bob dydd, fel y mae yr Eglwys yn dyfod yn fwy gwerinaidd a chenedlaethol. Er fod ysgrif Mr. W. L. Jones yn ymgymmeryd â phrofi yr angenrheidrwydd am barhâd Ymneillduaeth, y mae yn gweithio yn uniongyrchol at undeb—undeb mewn amrywiaeth a rhyddid mewn rhwymau. Darparir rhifyn arbenig o'r *Geninen*, sef rhifyn canol Awst, yn cynnwys cynnyrchion gwobrwyedig y prif eisteddfodau. Gwelir enwau prif feirdd Cymru ym mysg yr awdwyr.

Digitized by Google

*Y "Traethodydd" am Gorphenaf, 1891. Cyfrol XLVII.*

Hen gydnabod i ni ydyw y *Traethodydd*, a bu yn sefyll ar ben ei hun lawer gwaith a thros lawer blwyddyn fel prif gyfnodolyn llenyddol y genedl, a da genym weled ei fod yn dal i fyny ei nodwedd goethedig. Cynnwysa y rhifyn presennol Gerdd Goffa i'r diweddar Ddoctor Edwards, gan Glan Collen. Teimlem fod rhai darnau o hon yn lled rigymol, ond y mae darnau ereill yn dda iawn. "Athrawon yr Ysgol Sabbathol," gan yr Hybarch Archddiacon Howell, B.D., F.R.S. Dywedai gwalch direidus wrthym fod ymddangosiad yr ysgrif hon yn y *Traethodydd* yn edrych fel "diffyg ar yr haul." Gan nad ydym yn seryddwr nis gallwn olrhain y "diffyg," ond y mae yr ysgrif yn dda, fel pob rhan o gynnyrchion Llawdden, ac yn deilwng o'r *Traethodydd*. "Patagonia," gan William Roberts, ac "Abergele," &c., gan y Parch. Francis Jones: dwy ysgrif ddarllenadwy a dyddorol dros ben. "Dosbarthiadau Cymmysg mewn Ysgolion Canolraddol," gan Miss E. Carpenter, a "Gwaith yr Ysbryd a phrif Alluoedd yr Enaid," gan y Parch. Robert Vaughan Griffith, dwy ysgrif lafurfawr a sylweddol. Cynnwysa y *Traethodydd* ddeg o ysgrifau da heb law "Nodiadau Llenyddol," ac y mae y rhifyn yn wir dda ac o nodwedd genedlaethol, fel y profa enwau awdwyr fel yr Hybarch Archddiacon Howell, Miss E. Carpenter, y Parch. H. Cernyw Williams, a'r Parch. E. Cynffig Davies, M.A., &c., wrth yr ysgrifau.

---

*"Ceinion y Cwm, sef Cyfansoddiadau Barddonol,"*[1] *gan Carneddog.*

Nid ydym yn cofio mwynhau darllen unrhyw ganeuon yn fwy na rhan fawr iawn o'r cyfansoddiadau diymhongar yn y gyfrol fechan hon. Gallwn eu galw yn ganiadau moesol, gwladgarol, a chrefyddol, a'r oll yn ddifyrus. Rhed drwyddynt oll ryw swyn cartrefol, Cymreig, hynafiaethol, ac Eglwysig. Y maent yn llawn o anian a llawn cenedlgarwch; aroglant arogl peraidd y grug ar greigiau Eryri ac eneiniad amseroedd a fu. Dengys y pennillion oll fod yr awdwr mewn cydymdeimlad llwyr â'i destynau. Y mae "Gelert, Ci Llywelyn" (lled-gyfieithad); "Dros y Mynydd;" Teulu Cwm Dyli;" "Cathl y Gweithiwr;" "Y Llanerch lle gorwedd fy Nhad;" "Bedd y Milwr;" "Hen Ywen Werdd y Llan;" "Hen Glychau'r Llan" ("*Those Evening Bells*"); "Dafydd Gareg Wen;" "Hen Hymnau y Cymry;" "Cathl y Crythor Du," a rhifedi mawr o ganeuon ereill, heb son am englynion a marwnadau, yn dda iawn. Cynnwysa y gyfrol swllt 128 tudalen a thua 120 o ddarnau barddonol, ac nid oes genym ammheuaeth na wertha yn rhwydd lle bynag y ceir chwaeth at ganiadau gwir Gymreig mewn iaith goethedig.

[1] Tremadog: argraffwyd gan I. R. Jones, swyddfa'r *Madog*.

---

*"Marwnad y Parch. Thomas Jerman Jones, cenadwr ar Fryniau Khasia,"*[1] *gan y Parch. J. E. Davies, M.A., Llundain.* (*Cyfansoddiad gwobrwyedig.*)

Hanes-gerdd neu fywgraffiad manwl ar fesur cerdd ydyw y farwnad hon, ac y mae o ansawdd cyffredin marwnadau yr oes. Y mae Undeb Ysgol Sul y Methodistiaid yn deilwng o bob canmoliaeth am osod cerdd goffa i'w cenadwr ffyddlawn yn destyn cystadleuaeth. Wrth fawrhau ac edmygu eu dynion llafurus a gwasanaethwyr ffyddlawn, gwnânt les i achos da eu cenadaeth. Bu y Parch. T. Jerman Jones yn genadwr rhagorol, a gwna y farwnad hon gyflawn gyfiawnder ag ef heb orliwiad, a dilys genym y bydd yn bleser gan gannoedd ei darllen.

[Drwg genym orfod gohirio amryw adolygiadau hyd y rhifyn nesaf.]

---

## NEWYDDION.

### MARWOLAETH W. H. GLADSTONE, YSW.

Arddangosir cydymdeimlad cyffredinol drwy y deyrnas â Mr. Gladstone ar farwolaeth ei fab henaf, yswain tawel, diymhongar, a charedig Penarlag. Yn ychwanegol at ei safle wleidyddol anrhydeddus ag sydd yn ei osod yn nod amlwg i'r byd, y mae yn perthyn i Mr. Gladstone gynnifer o rinweddau moesol, crefyddol, cymdeithasol, a theuluaidd, fel ag y teimlir agosrwydd ato, yng nghyd â chydymdeimlad ag ef yn holl amgylchiadau bywyd. Bu bob amser yn ddedwydd yn ei deulu, a'i deulu yn ddedwydd ynddo yntau. Nid oes neb a greda ynddo ac a'i edmyga yn fwy na'i wraig a'i blant, ac y mae colli cyntafanedig o'r fath deulu cysurus yn agor bwlch a chreu archoll ofidus iawn. Mae y diweddar W. H. Gladstone yn deilwng o'r coffâd cynhesaf, a chydymdeimla pawb a'i hadnebydd â'i weddw alarus a'i theulu.

[1] Newport, Mon.: argraffwyd a chyhoeddwyd gan W. Jones, Commercial Street.

DYRCHAFIADAU EGLWYSIG.

*Ficer newydd Croesoswallt.*

Y mae yn wybyddus bellach er ys peth amser mai y Parch. Cecil Hook, ficer Eglwys yr Holl Saint, Leeds, a mab i'r diweddar enwog Deon Hook, ydyw ficer newydd Croesoswallt. Y mae y Parch. Cecil Hook wedi gwasanaethu er ys pymtheg mlynedd fel ficer Eglwys yr Holl Saint, yr hon a adeiladwyd yn Leeds yn Eglwys goffadwriaethol am y diweddar Ddeon Hook. Pan glywodd plwyfolion Mr. Cecil Hook ei fod ar ymgymmeryd â ficeriaeth Croesoswallt, cyflwynwyd iddo ddeiseb yn cynnwys 2000 o enwau drwy y wardeniaid, lle y dywedir:—

"Tra yr ydym yn cyflawn gydnabod pwysigrwydd y dyledswyddau y gelwir arnoch i ymgymmeryd â hwy ac yn hysbys o'r dylanwad a ddygwyd i wasgu arnoch, nid yn unig gan eich esgob eich hun, ond hefyd gan esgobion Wakefield, Caer, a Llanelwy, nis gallwn lai na meddwl y gwasanaethid yn llawn cystal i lesiant goreu yr Eglwys fel cyfangorff drwy eich arosiad yn ein mysg ni, i ddwyn ym mlaen y gwaith mawr ag a fu bellach yn eich llaw er ys pymtheg mlynedd, a'r hwn, dan fendith ddwyfol, a fu eisoes mor gynnyrchiol o ddaioni."

Atebodd y ficer y ddeiseb hon, a dywedodd ei fod yn teimlo yr alwad i roddi ei wasanaeth i'r Eglwys yng Nghymru mor rymus ac eglur, fel, ar ol derbyn annogaeth oddi wrth bedwar o esgobion ac urddasolion Eglwysig ereill, y penderfynodd dderbyn gofal ficeriaeth Croesoswallt. Gofidiai yn fawr dori ei gyssylltiadau gweinidogaethol â chynnifer o blwyfolion mor garedig ar ol gwasanaeth mor hir a llawn o gydymdeimlad, cydgord, a chydweithrediad. Yr ydym yn deall fod y Parch. Cecil Hook yn gwneuthur aberth arianol yn gystal ag ymgymmeryd â chyfrifoldeb mwy wrth fyned i Groesoswallt.—O'r *Guardian*.

ARCHDDIACON MEIRIONYDD.

Deallwn mai y Parch. Thomas Williams, M.A., canon trigiannol yn Eglwys Gadeiriol Bangor, ac athraw duwinyddol yr *hostel* Eglwysig yn y lle, sydd wedi ei benodi yn archddiacon Meirionydd. Mae y Parch. Ganon Thomas Williams yn ysgolhaig o Goleg Magdalen, Rhydychain, wedi graddio yn yr ail ddosbarth yn *Moderation*, ac ail mewn duwinyddiaeth ysgolheigiol. Bu yn gwasanaethu fel curad yn Llandudno, ail athraw yng Ngholeg Stratford-on-Avon gwedi hyny o 1876 i 1878, ficer Llanidloes o 1878 i 1885, ac o'r pryd hyny hyd yn awr yn ganon trigiannol yn Eglwys Gadeiriol Bangor. Credwn y bydd penodiad y Canon Thomas Williams yn gymmeradwy yng ngolwg offeiriaid hen archddiaconiaeth enwog Meirionydd, lle gynt y blodeuodd cymmaint o ddysg, ac yr ymddadblygodd cymmaint o dalentau dysglaer ym mhob cylch ag sydd anrhydeddus i'r genedl a'r Eglwys mewn cywyddau doniol, rhamantau ardderchog fel y *Bardd Cwsg*, ac yn benaf oll Salmau Cân godidog Edmwnt Prys. Mae y Canon Thomas Williams yn foneddwr llednais, ysgolhaig chwaethus, ac yn weithiwr trefnus diflino, a diymhongar ag na "thra arglwyddiaetha" un amser ar "etifeddiaeth Duw."

CANON TRIGIANNOL BANGOR.

Clywsom mai y canon trigiannol sydd i olynu y Parchedig Thomas Williams yn Eglwys Gadeiriol Bangor ydyw y Parch. D. Walter Thomas, M.A., canon mygedol o'r Eglwys hòno a ficer St. Anne's, Bethesda. Y mae enw y Canon D. Walter Thomas yn rhy hysbys drwy Gymry benbaladr, fel llenor, awdwr, ysgrifenwr cyhoeddus, ac offeiriad llafurus, i alw am air o hanes ei yrfa.

DEONIAETH UCHAF LLANDAF.

*Adran Ogleddol.*

Cynnaliwyd cyfarfod chwarterol y ddeoniaeth uchod ym Mhontypridd ar y 14ydd cyfisol, dan lywyddiaeth y Prifgantor Lewis, D.G., Ystradyfodwg. Gweinyddwyd y Cymmun Bendigaid yn Eglwys St. Catherine; darllenwyd rhan o'r Testament Groeg, sef 1 Timothëus v. 17—25; darllenwyd papyr gan y Parch. H. R. Roberts, St. Ffagan, Aberdar, testyn yr hwn ydoedd, "Priodas gweinidogion." Etholwyd yr offeiriaid canlynol yn gynnrychiolwyr dros y ddeoniaeth yn y gynnadledd esgobaethol:—Parchedigion Richard David, Treharris; Ll. Ll. Davies, Llanwono; D. Evans, Pendarran; H. R. Johnson, Aberdar; D. Jones, Troedyrhiw; S. R. Jones, Glantaf; D. Lewis, Merthyr; B. Lloyd, Mountain Ash; J. Rees, Ferndale; J. Rees, Ton; R. E. Rowlands, Pontypridd; H. J. Williams, Pontypridd; Ll. M. Williams, Dowlais; T. H. Williams, Ystrad Rhondda; W. Coleman Williams, Aberdar. Y boneddigion canlynol yn gynnrychiolwyr lleygol:—y Meistri T. H. Bailey, Pentrebach; J. J. Carr, Penrhiwceibr; E. J. Coombes, Tonypandy; P. R. Cresswell, Dowlais; R. R. S. Frost, Merthyr; W. Glass, Treherbert; H. L. Grorer; Pontypridd; J. R. Hosbons, Pentre; L. G. Lennox, Ynysangharad; W. Lintern, Dowlais; T. Lloyd, Aberdar; F. Mathews, Mardy; M. Morgan, Mountain Ash; W. R. Protheroe, Aberdar; W. Rees, Parliament Lock, Merthyr; W. Thomas, Gadlys, Aberdar.

Digitized by Google

DEON LLANELWY A'R AELOD-ANRHYDEDDUS DROS FEIRIONYDD.

Mewn gair wrth fyned heibio megys wrth son am waddol yr Eglwys yn y *Geninen* am Gorphenaf, dywed deon Llanelwy, "Adroddir i Mr. Thomas (Edward) Ellis, A.S., ddweyd ym Mangor eleni yr ennillid 300,000p. o ddegwm yn flynyddol at ddybenion cenedlaethol pe dadwaddolid yr Eglwys yng Nghymru. Ond i Mr. Ellis astudio y Llyfr Glas ar ddegwm Cymru, fe wel nad yw cyfran yr Eglwys o hono ond 166,296p., yn lle 300,000p., yn y flwyddyn, ac nad yw gwerth cyfran yr Eglwys o hono eleni ond 126,363p." Gresyn fod boneddwyr a ymgymmerant â threfnu deddfau y wlad a gwneuthur cyfiawnder rhwng gwr a gwr mor esgeulus o'r gwirionedd. Gofynwn yn sobr, a ydyw ddim yn weddus i wleidyddwr fod yn ddigon gonest i *chwilio* am y gwirionedd ac yn ddigon hunanymwadol i'w ddweyd? Gorliwiad, drwgliwiad, a gormodiaith yn cynnwys anwiredd a glywir yn wastad o'r llwyfan gwleidyddol.

---

## GEMAU Y BEIRDD.

UDGORN YR ADGYFODIAD.

CORWYNT o fanllef yn cario
Ymaith yr haul â grym ei thro—
Chwythu allan ei ganwyll,
Dilëu hon â'i hanadl wyll;
Rhoi'r huan ar geulan goch
I ddwl losgi'n ddu lasgoch;
Geilw'n ol y goleu wnaeth,
Myfyria haul am farwolaeth.

*Cynfaen.*

LLYFR DA.

O bydd llon hinon ddydd ha'—neu wybren
Yn obrudd y gaua',
Y cyfaill goreu cofia
A lleufer dyn yw llyfr da.

*Ieuan Brydydd Hir.*

"HEB DDUW, HEB DDIM."

Er bod yn berlog a gemog yma,
Er meddu cysur a'r modd a'i ceisia,
Draw llawnder golud a'r llonder gilia
O wydd yr adyn di-Dduw a rodia:
"Heb Dduw, heb ddim" gwyneba—farn lidiog
Yn enaid halog y diwrnod ola'.—*Elfyn.*

ANADL.

Anadl wan, ei doleni—yw'm cadwen,
Yn fyw'm cedwir drwyddi;
A'i ddyrnod ryw ddydd arni,
Tyr angeu fwlch—trengaf fi.

*Gwilym Eryri.*

---

## PENODIAD MR. HELM.

Dymunir arnom hysbysu fod Cymdeithas Amddiffyniad yr Eglwys wedi penodi Mr. W. E. Helm fel ei hysgrifenydd yng Nghymru. Gellir ysgrifenu ato yn Granville Street, Shrewsbury.

Bydd yn dda ganddo dderbyn oddi wrth unrhyw un a fyddo cystal a'u hanfon iddo:—

1. Gwybodaeth am waith a chynnydd yr Eglwys.
2. Gwybodaeth am yr ymosodiadau ar yr Eglwys.
3. Pigion allan o newyddiaduron.
4. Ceisiadau am ddarlithiau, cyhoeddiadau, &c.
5. Tanysgrifiadau a chyfraniadau tuag at y Gronfa Gymreig.

---

Y LLITHIAU PRIODOL, AWST, 1891.

| Dydd | Suliau a Gwyliau | Boreu | Prydnawn. |
|---|---|---|---|
| 2 Sul | 10 Sul gwedi'r Drindod | 1 Bren. xii. Rhuf. ii. 17 | 1 Bren. xiii. neu xvii. Mat. xvii. 14 |
| 9 Su | 11 Sul gwedi'r Drindod | 1 Bren. xviii. Rhuf. viii. 18 | 1 Bren. xix. neu xxi. Mat. xxi. 23 |
| 16 Sul | 12 Sul gwedi'r Drindod | 1 Bren. xxii. hyd 41 Rhuf. xiii. | 2 Bren. ii. hyd 16, neu iv. 8 - 38 Mat. xxv. hyd 31 |
| 23 Sul | 13 Sul gwedi'r Drindod | 2 Bren. v. 1 Cor. iv. hyd 18 | 2 Bren. vi. hyd 24 neu vii. Mat. xxvii. 57 |
| 24 Llun | St. Bartholomëus. Ap. a Mer.* | Gen. xxviii. 10—18 1 Cor. iv. 18 a v. | Deut. xviii. 15 Mat. xxviii. |
| 30 Sul | 14 Sul gwedi'r Drindod | 2 Bren ix. 1 Cor. x. a xi. 1 | 2 Bren. x. hyd 32 neu xiii. Marc iv. hyd 35 |

* Credo Sant Athanasius.

---

CARMARTHEN:
Printed and published by W. SPURRELL & SON, at their Printing Office, situate and being at No. 37, King-street, in the Parish of Saint Peter, in the County of the Borough of Carmarthen, on Friday, the 31st of July, 1891.

Digitized by Google

# YR HAUL.

**Ail Gyfres Caerfyrddin.**

"YNG NGWYNEB HAUL A LLYGAD GOLEUNI."
"A GAIR DUW YN UCHAF."

RHIFYN 81. MEDI, 1891. CYF. VII.



EGLWYS MENGNANAPURAM, TINNEVELLY, INDIA.

## NODIADAU CENADOL.

YR ydym yn anrhegu y darllenydd â darlun o Eglwys ardderchog Mengnanapuram, Tinnevelly, India, yr hon a adeiladwyd yn y flwyddyn 1847 gan y cenadwr llwyddiannus a'n *cydwladwr* rhagorol, y Parch. J. Thomas, genedigol o sir Gaerfyrddin. Aeth Mr. Thomas i'r maes cenadol dan nawdd y Gymdeithas Genadol Eglwysig yn y flwyddyn 1837, ac a fu farw yn yr India yn y flwyddyn 1870. Saif yr Eglwys hon fel cofgolofn o lwyddiant anarferol y cenadwr Cymreig, a chynnwysa 2000 o eisteddleoedd.



Digitized by Google

Am ragor o'i hanes gweler y *Cyfaill Eglwysig* am Gorphenaf.

Yn ystod y mis diweddaf bu y Parch. M. Roberts, ysgrifenydd y Gymdeithas Genadol Eglwysig, ar ymweliad ag amryw o brif Eglwysi y Deheudir, megys Caerfyrddin, Ystrad Dyfodwg, &c., a chafodd dderbyniad tra chroesawus. Dywedir nad ydyw Caerfyrddin yn dref gyfoethog, ond anfonodd y flwyddyn ddiweddaf o ddeutu 70p. i'r C.M.S. Mae clod mawr yn ddyledus i Mr. W. J. Williams, Cambray House, am ei lafur di-ildio o blaid y gymdeithas.

Yn Ystrad dywedodd Mr. Lewis, y ficer, ar y boreu Sul dan sylw, ei fod ef yn hyderu na wnai yr Eglwys Gymraeg yno fod yn foddlawn ar lai na 3p. y Sul hwnw. Dealler mai cynnulleidfa o lowyr i gyd yw. Erbyn diwedd y cyfarfodydd caed mai 4p. 7s. ydoedd y casgliad—yr oll gan *un* gynnulleidfa. Da iawn y glöwr.

Dywedodd Mr. Hugh Mason, A.S., y Dadgyssylltwr (*Liberationist*), fod yr Eglwys y blynyddau hyn yn batrwn o ran ei *gwirfoddoliaeth* i'r holl enwadau Ymneillduol. Gwariodd yr Eglwys er y flwyddyn 1870 ar addysg yn unig y swm aruthrol fawr o 16,725,775p. o bunnau—casgl agos i 700,000p. bob blwyddyn i gario ym mlaen a chynnal ei hysgolion elfenol gwirfoddol. Cyfrana bob blwyddyn i drysorfëydd ei gwahanol gymdeithasau cenadol dros 600,000p. Casglodd yr Eglwys yn Llundain o'r flwyddyn 1873 i 1890 420,505p. tuag at yr *Hospital Sunday Fund*, tra na chyfranodd Ymneillduwyr ond prin 130,000p. Yn ystod yr ychydig flynyddau diweddaf casglodd yr Eglwys tuag at Helaethiad yr Esgobaethau Cartrefol 458,909p. Gellid llenwi rhifyn cyfan o'r *Haul* â ffugyrau o'r fath yma a ddangosa y gwaith mawr a gyflawna yr Eglwys yn gartrefol a thramor. *Ond nid da lle gellir gwell.* Eleni yw blwyddyn jubili y *Colonial Bishoprics Fund.* Ar yr 19ydd o Fehefin cynnaliwyd cyfarfod dylanwadol a brwdfrydig yn St. James's Hall, Llundain, i ddathlu jubili y gymdeithas. Un o'r prif siaradwyr ydoedd William Ewart Gladstone, A.S. Gwedi sylwi yn fanwl ar rif mawr yr esgobaethau a waddolwyd a sefydlwyd yn y trefedigaethau Prydeinig trwy offerynoliaeth y gymdeithas, llefarodd y cyn-brifweinidog eiriau o rybudd ac o gynghor yng nglŷn â diffyg rhoddiad cynnorthwy sylweddol gan yr Eglwys gartref i'r gwaith cenadol tramor. Mewn cyfeiriad at hyn darllenwn mewn erthygl arweiniol alluog yn y *Church Times* am Mehefin 26fed:

Nid ydoedd y geiriau o rybudd oddi wrth Mr. Gladstone yn ddiystyr nac heb reswm digonol drostynt, cyn belled ag y mae a wnelont â rhai Eglwysi. Dywedwyd wrthym ar awdurdod dda fod un ran o dair o blwyfi yn nhalaeth Canterbury na chyfranant yr un geiniog fyth tuag at genadaethau tramor. Clerigwyr y plwyfi hyny sydd gyfrifol am y ffaith waradwyddus hon, a hwynt-hwy yw goruchwylwyr goreu cymdeithas ysbail a lladrad eidlo yr Eglwys . . . I'r math yma o ddynion dylai y dadganiad urddasol a wnaed yn St. James's Hall wasanaethu fel rhybudd difrifol i ymadael i roddi eu lle i ereill. Yr offeiriaid a ymddygent tuag y cenadaethau cartrefol a thramor fel *negligible quantities*, yr offeiriaid diog hyn nad ymdrechent fyth ddysgu y ddyledswydd gyssegredig o drosglwyddo i ereill y gwirionedd a ymddiriedwyd i'w gofal i'w gyfranu i'r ddynoliaeth oll, yw y pwysau marw (*dead weights*) wrth odrau yr Eglwys.

Mae appêl wedi myned allan oddi wrth y C.M.S. am *fil o genadon* newyddion yn ychwaneg i fyned allan ar fyrder i dywyll-leoedd y ddaiar. Deallwn fod y cenadon a'r arian i'w cynnal (o symiau o filoedd o bunnau i lawr hyd y sylltau a'r ceiniogau) yn dylifo i mewn. Diammheu y sylweddolir y gobaith euraidd a ddadganodd yr archesgob yng nghyfarfodydd Mai y gymdeithas. Cawn sylwi yn fanylach ar yr appêl neillduol bwysig hon ar ran paganiaid ein byd yn y rhifyn nesaf o'r *Haul.*

Casglodd yr Eglwys trwy ei gwahanol gymdeithasau cenadol mewn un flwyddyn (1888–89) tuag at waith y genadaeth dramor y swm ardderchog o 646,000p., tra na chasglodd yr holl enwadau Ymneillduol yn Lloegr a Chymru ond 392,272p.; y Presbyteriaid Ysgotaidd a Gwyddelig, 183,219p.; a'r Pabyddion, 8755p. Mewn geiriau ereill, casglodd yr Eglwys fwy o 62,000p. na'r holl enwadau Ymneillduol gyda'u gilydd trwy y deyrnas. Dengys *reports* gwahanol gymdeithasau cenadol tramor yr Eglwys fod eu derbyniadau wedi chwyddo yn fawr yn ystod y "flwyddyn genadol ddiweddaf." Cyfanswm casgliadau y Gymdeithas Genadol Eglwysig (C.M.S.) y llynedd ydoedd 223,626p.—cynnydd o bymtheg mil o bunnau ar y flwyddyn flaenorol. Tystia adroddiadau y cymdeithasau cenadol Eglwysig ereill i gynnydd mawr o filoedd lawer o bunnau yn eu derbyniadau. Yn ychwanegol at y C.M.S. ni chyfeiriwn y waith hon at yr un o honynt mewn modd arbenig oddi gerth yn unig y Gymdeithas er Lledaenu yr Efengyl mewn Gwledydd Tramor (S.P.G.) o berthynas i gynnydd derbyniadau arianol, yr hon y darllenwn yn y *Cyfaill* am Ebrill—"Dywedir fod derbyniadau y S.P.G. yn agos i ddeugain mil o bunnau yn fwy eleni nag oeddynt y llynedd."

Wrth anerch cyfarfod dylanwadol yn Exeter Hall, Mehefin, 2 1891, cyfarfod mawr o "*welcome home*" i'r Esgob Tucker, dywedai yr esgob mewn cyfeiriad at y meddyliau a ddeffrowyd ynddo wrth ymddangosiad cyntaf Victoria Nyanza i'w lygaid, "Ar yr 17fed

o Dachwedd gwelais gyntaf Victoria Nyanza. Ymddangosai dyfroedd y llyn mawr megys yn ferwedig gan dân eiriasboeth o dan belydrau tanbaid yr haul Affricanaidd. Golygfa ydoedd nas gellir byth ei hanghofio: ymestynai o'r dwyrain i'r gorllewin cyn belled ag y gallai y llygad ganfod megys tarian ddysglaer o arian perffaith. Fel y safwn yn edrych, meddyliwn yn ddifrifol am fy rhagflaenoriaid. Cynhyrfid fy nheimladau wrth gofio am y merthyr gwrol, y llewaidd-galon Esgob Hannington; yr addfwyn a'r gostyngedig Parker. Yno y gorweddent un wrth ochr Mackay, a'r llall yn isel yn ei fedd yn y dwyrain. Ac ar unwaith gyda grym anorchfygol rhedai trwy fy meddwl y syniad a ofynai, a gaf fi y fraint o groesi y gwyneb mawr acw o ddwfr i orphen y gwaith yr hiraethent hwy gymmaint am ei gyflawnu? Yna, pan yn y dwys-fyfyrdod hwn, daeth y llinell hon o emyn anfarwol Newman hyd ataf i'm cysuro—

'Keep Thou my feet; I do not ask to see
The distant scene, one step enough for me.'"

Ychydig amser yn ol dychwelodd yr esgob i Loegr, ac mewn cyfeiriad at ei ddychweliad adref buan, dywedodd yng nghwrs ei anerchiad enaid-gynhyrfiol, "Dywedir wrthyf fod rhyw feirniaid yn gofyn pa ham y dychwelais adref. Gallaswn bledio, 'rwy'n tybied, llafur a phoen corfforol, ac yn neillduol *strain* neu ddirdyniad meddwl yng nghalon Affrica dywyll am y deuddeg mis diweddaf—llafur corff a meddwl o'r fath ag y gweddïaf na chaiff fy meirniaid fyned trwyddo byth. Ond nid wyf am bledio hyn fel rheswm dros fy nyfodiad yn ol i Loegr. Diolch i Dduw, ni raid i mi bledio hyn! Yr wyf wedi d'od i'ch plith ac yn ymddangos ger eich bron i bledio dros y rhai hyny na allant bledio drostynt eu hunain. Dychwelais i Loegr am ychydig amser i bledio dros y miliynau eneidiau yn nwyrain Affrica ag sydd wedi eu hymddiried i'm gofal, a pha rai sydd yn byw heb Dduw ac heb obaith yn y byd. Nid wyf wedi dyfod i bledio fel y gallaswn gyda phob gweddeidd-dra am fil o genadon ychwanegol; ïe, ni ofynaf am gant, dim ond *deugain* y waith hon, ac yr wyf yn rhoddi fy ngair i'r gwŷr hyny a ofynant pa ham y deuais i Loegr. Os y rhoddant hwy i mi *heno* ddim ond *deugain* o genadon newydd, bydd i mi fyned *adref* i Mombasa y fory." Pa fodd yr atebwyd appêl yr Esgob Tucker? Mae chwech o'r "deugain" wedi hwylio allan yn barod. Ychydig ddyddiau yn ol neillduwyd pump o genadon profedig i chwyddo a nerthu *staff* yr esgob yn nwyreinbarth Affrica. Mewn atebiad uniongyrchol i appêl yr esgob cynygiodd deg ar hugain o wŷr nerthol a dysgedig eu gwasanaeth ar unwaith: credir y bydd i'r mwyafrif o'r deg ar hugain hyn eu cael yn gymhwys i'w hanfon allan i fod yn dystion i Grist yn Affrica dan nawdd y C.M.S.

Yr oedd Rhagfyr 28fed, Ionawr 19ydd, ac Ionawr 20fed yn ddiwrnodau mawr yn Uganda. Ar y cyntaf o'r dyddiau hyn pregethodd yr Esgob Tucker i gynnulleidfa o dros fil o Gristionogion yn Baganda mewn Eglwys fawr a adeiladwyd gan yr Affricaniaid brodorol Cristionogol hyn eu hunain; ar yr ail ddiwrnod cynnaliodd Wasanaeth Ordeiniad a Chonffirmasiwn; ar y trydydd neillduodd chwech o ddychweledigion i fod yn efengylwyr lleygol awdurdodedig. Mae hanes planiad a llwyddiant yr Efengyl yn Uganda yn enghraifft darawiadol o wirionedd brawddeg anfarwol Tertullian—gwaed y merthyron yw had yr Eglwys.

Y mis diweddaf cyrhaeddodd ein gwlad y newydd galarus am farwolaeth yr Esgob French, yr hwn, gwedi deugain mlynedd o wasanaeth cenadol yn India, a aeth i Muscat, porthladd yn Arabia, yng ngeneu y Persian Gulf, gyda'r bwriad o lafurio yn galed am weddill ei oes ym mhlith y dosbarth dysgedig o'r Mahometaniaid. Yn y flwyddyn 1887 ymddiswyddodd o esgobaeth Lahore, fel y gallai drafaelu dros ranau helaeth o Asia Orllewinol i bregethu Crist i'r Mahometaniaid. Siaradai ac ysgrifenai yn rhwydd mewn saith o wahanol ieithoedd. Bu farw o'r *sun-stroke*. Hyderwn pan gawn hamdden roddi ger bron darllenwyr yr *Haul* ychydig o hanes bywyd rhyfeddol y dysgedig, yr hunanaberthol, a'r llafurus Esgob French.

Derbyniodd y C.M.S. bedwar ugain o genadon tramor newydd i'w gwasanaeth y flwyddyn ddiweddaf yn unig. Gweddïwn drostynt, a thaflwn ein hatling i drysorfa y gymdeithas fel ag y byddo genym ni oll ran yn eu hanfoniad allan i gario yr Efengyl i'r pagan a'r gau grefyddwr.

*Llangïan.* J. H. Manley.

---

## DUWINYDDIAETH: NEU SYLWADAU AT WASANAETH YR YSGOL SUL AR YR EFENGYL YN OL ST. MATTHEW.

### GWERS XXXV.

*St. Matt. xiii. 1—9. O.C. 28. Darllener St. Marc vi. 1—9; St. Luc viii. 4—8. Dammeg yr hauwr.*

Cynnwysa y benod hon saith dammeg. Llefarodd yr Arglwydd Iesu y pedair cyntaf wrth y dyrfa

gymmysg, a'r tair olaf wrth ei ddysgyblion o'r neilldu. Nid oes o fewn i holl gylch llenyddiaeth addysg wedi ei gyflëu mewn dull mor ddeniadol, goleu, syml, cyflawn, ac urddasol a dammegion yr Arglwydd Iesu. Y mae eu hamrywiaeth godidog, eu llawnder meddwl, a'u heglurder goleu â swyn deniadol uwch law dim a welir mewn un man arall. Y maent yr enghraifft uchaf, enghraifft ddwyfol o ddysgu drwy gymhariaethau ac arwyddluniau. Darluniau dwyfol ydynt o bethau nefol.

ESBONIAD EGLURHAOL.

Adn. 1: "*Y dydd hwnw.*"—Y dydd y daethai ei fam a'i frodyr i'w geisio gan dybied ei fod allan o'i bwyll, St. Marc iii. 21, 30, 31.

"*Eisteddodd ar lan y môr.*"—Aeth megys i orphwys dros ennyd yn neillduedd tawel swynol glan y môr, y lle mwyaf dymunol ar hin deg i ymadnewyddu o ludded meddwl a chorff.

Adn. 2: "*A thorfëydd lawer,*" &c. Ychydig o orphwysdra a allai gael. Dylifai y lluaws o'i ol, tyrent o'i amgylch, a gwasgent arno.

"*Fel yr aeth efe i'r llong.*"—Aeth i'r llong am fod y dyrfa yn gwasgu o'i amgylch. Llong ydoedd ag yr arferai fyned iddi.

"*Ac yr eisteddodd; a'r holl dyrfa a safodd ar y lan.*"—Dyma y darlun tarawiadol yn gyflawn. Mewn cilfach fechan ym mhen dwyreiniol Môr Galilea safai y cwch yn rhwym ychydig o latheni oddi wrth y lan. Mewn hanner cylch o'i flaen ac ar bob ochr iddo eisteddai neu safai y dorf ar fân geryg y feisdon, fel ar oriel yn ymddyrchafu res uwch rhes tua'r lan uchaf.

Adn. 3: "*Ac efe a lefarodd,*" &c., "*trwy ddammegion.*"—Mae y dull hwn yn un hynod o gyflëus i osod allan wirionedd croes i chwaeth y gwrandawyr, fel y gwna Nathan gyda Dafydd, 2 Sam. xii. 1—6. Amcan a nod y dammegion hyn ydyw gosod allan ddechreuad, cynnydd, a natur teyrnas gras neu Eglwys Crist ar y ddaiar, gydag ambell gipdrem o honi yn y nefoedd.

"*Wele yr hauwr.*"—Tybia rhai fod yr Arglwydd Iesu yn galw sylw ar y pryd at ryw hauwr yn hau ar un o'r meusydd llechweddog uwch ben y llyn. (Gwel Esboniad yr Esgob Howe.) Yr hauwr yma ydyw Crist ei Hun.

Adn. 4: "*Peth a syrthiodd ar fin y ffordd.*"—Rhedai llwybr drwy y maes, yr hwn a galedid gan draed fforddolion, y rhai yn barhäus dramwyent heibio.

Adn. 5: "*Creigleoedd.*"—Tir teneu oedd yma heb ond ychydig bridd ar wyneb y graig galed, Jer. xxxiii. 29.

Adn. 6: "*Wedi codi haul,*" &c. Yn union ar ol y gwlaw tarddai yr yd allan yn egin drwy y pridd teneu, ond buan ei sychid gan y gwres.

Adn. 7: "*Ym mysg y drain.*"—Ceid ambell ran o'r maes heb ei lanhau oddi wrth wreiddiau y drain, a thyfai y rhai hyny yn gryfach na'r gwenith gan ei fygu.

Adn. 8: "*Tir da.*" "*Ddygasant ffrwyth.*"—Yr oeddynt yn parhau i ddwyn ffrwyth (ἐδίδου).

"*Peth ar ei ganfed, peth ar ei driugeinfed, a pheth ar ei ddegfed ar hugain.*"

EGLURHAD Y DDAMMEG.

Pwynt mawr y ddammeg hon ydyw fod ffrwythlondeb yr had yn ymddibynu ar ansawdd a chyflwr y tir. Felly y mae effeithioldeb Gair Duw yn ymddibynu ar gyflwr a thueddfryd y galon yn ei dderbyn a'i drysori.

Adn. 19: "*Y rhai ar fin y ffordd.*"—Gwrandawyr difater, llawn meddyliau gwibiog ydynt, ag nad yw y Gair yn gwneyd dim argraff arnynt.

Adn. 20: "*Yn ebrwydd drwy lawenydd yn ei dderbyn.*"—Gwrandawyr arwynebol, ansefydlog, hawdd dylanwadu arnynt gan bob peth o'u hamgylch.

Adn. 21: "*Nid oes ganddynt wreiddyn.*"—Nid oes iddynt nerth moesol ac argyhoeddiad mewnol fod y gwirionedd o Dduw ac i barhau yn dragwyddol.

Adn. 22: "*Drain*" ydyw "gofal y byd," "meluswedd pechod," "twyll golud." Wedi i'r gwirionedd gael derbyniad i'r galon, y mae y pethau a berthyn i'r byd hwn yn cydymgeisio ag ef am ein meddyliau. Cymharer yr hyn a ddywed yr Arglwydd Iesu yn St. Luc xvii. 26—30.

Adn. 23: "*Tir da.*" "*Y galon dda hawddgar,*" &c. Yn gwrandaw, yn deall, yn dwyn ffrwyth drwy amynedd.

PA HAM Y LLEFARAI YR ARGLWYDD IESU MEWN DAMMEGION.

Adn. 10: "*A daeth y dysgyblion ato,*" &c. Gwnaethant hyn y mae yn debyg ar ol gwasanaeth y dydd. Ni ddyry St. Matthew ei gofnodion i lawr mewn olyniad hanesiol, ond yn eu perthynas addysgol â'r naill y llall.

Adn. 11: "*Am roddi i chwi wybod dirgelion,*" &c. Nid oedd y dorf gymmysg yn barod i dderbyn gwybodaeth o ddirgelion teyrnas nefoedd. Gwrandawyr min y ffordd oeddynt. Yr oedd hen lwybrau rhagfarn oesoedd wedi caledu dan eu traed.

"*Dirgelion.*"—Yr ymgnawdoliad, sef dwyfoldeb yr Iesu. Mawr yw dirgelwch duwioldeb, 1 Tim. iii. 16.

Adn. 12: "*O blegid pwy bynag sydd ganddo,*" &c.

Digitized by Google

Cymharer St. Matt. xxv. 29. Dyma ddeddf dragwyddol pob gwir wybodaeth. Y neb a gais ac a werthfawroga y gwirionedd sydd yn ei gael.

Adn. 13: "*Yn gweled nid ydynt yn gweled.*"—Y fath oedd rhagfarn y Phariseaid fel na allent weled. Yr oedd eu dallineb yn wirfoddol, am fod eu hewyllys yn groes i'r gwirionedd.

Adn. 14: Defnyddir ymadroddion Esaias (pen. vi. 9) bedair gwaith yn y Testament Newydd. Priodolir caledu y galon yn Esaias i'r prophwyd: "Brasâ galon y bobl hyn" (vi. 10); yn yr Efengyl yn ol St. Ioan priodolir hyn i Dduw: "Efe a galedodd eu calon" (St. Ioan xii. 40); ac yn Actau yr Apostolion priodolir y caledu i'r bobl eu hunain, Act. xxviii. 26.

Adn. 15: Ac yma dywedir, "*Hwy a gauasant eu llygaid.*" Y gwirionedd pwysig a galarus yw fod y dynion a hir ymgaledant dan y gwirionedd yn colli pob syniad o'r gwirionedd.

Adn. 16: "*Dedwydd yw eich llygaid chwi,*" &c. Yr oedd y dysgyblion yn caru y gwirionedd, ac felly yn alluog i'w dderbyn.

Adn. 17: Nid oedd manteision y prophwydi ond bychain mewn cymhariaeth i fanteision y dysgyblion, ac y mae ein manteision ni yn fwy na'r oll.

### GWERS XXXVI.

*St. Matt. xiii. 24—30 a 36—43.*

Adn. 24: "*Teyrnas nefoedd.*"—Eglwys Crist yn ei chyflwr ammherffaith ar y ddaiar a feddylir ym mlaenaf yma. Llywodraethir hi gan ddeddfau nefol. Yr *Ail Ddyn*, yr Arglwydd o'r nef, ydyw ei brenin, 1 Cor. xv. 47. Dinasyddion y nefoedd ydyw y saint, Philip. iii. 20.

"*Dyn a hauodd.*"—"Yr hwn sydd yn hau yr had yw Mab y Dyn," adn. 37.

"*Ei faes.*"—"A'r maes yw y byd," adn. 38.

"*Yr had da.*"—"Hwynt-hwy yw plant y deyrnas." Yn eglurhâd dammeg yr hauwr gan St. Luc (viii. 11) dywedir, "Yr had yw Gair Duw." Dyma yr hyn oedd "had" yn nammeg yr hauwr wedi dyfod yn "blant y deyrnas" yn y ddammeg hon. Y mae y Gair wedi ymgnawdoli mewn personau: gwel 1 St. Pedr i. 23.

Adn. 25: "*Tra yr oedd y dynion yn cysgu.*"—Y mae yn deilwng o'n sylw nad ydyw yr Arglwydd Iesu wrth eglurhau y ddammeg yn rhoddi dim ystyr i'r geiriau hyn. Nid ydyw yn gosod y bai ar y dynion. Ni ellir cadw gwyliadwriaeth mor fanwl byth fel ag i rwystro i'r gelyn ddyn hau ei efrau, St. Matt. xviii. 7.

"*Daeth ei elyn ef.*"—Gelyn Mab y Dyn oedd hwn. "A'r gelyn yr hwn a'u hauodd yw'r Diafol," adn. 39.

"*Efrau.*"—Math o wenith bastardaidd oedd hwn. Y mae yn dra anhawdd gwahaniaethu rhwng y bastardd wenith neu efrau yma tra yn egin a'r gwir wenith. Dyma sydd yn rhoddi pwynt i'r ddammeg.

"*A aeth ymaith.*"—Gwaith cuddiedig oddi wrth lygad dyn oedd *hau yr efrau*, a *chuddiedig* oedd eu twf. Dyma eto bwynt pwysig yn y ddammeg. Peth cuddiedig iawn ac araf ei ddadblygiad ydyw dechreuad a chynnydd cyfeiliornad neu lygredd yn yr Eglwys. Mewn gwirionedd, y mae yr hyn a ymddengys yn dda yn y dechreu yn troi yn ddrwg mewn amser.

Adn. 26: "*Ac wedi i'r egin dyfu a dwyn ffrwyth.*"—Wrth eu ffrwythau yr adnabyddir cymmeriadau a chyfeiliornadau, St. Matt. vii. 20.

"*Ymddangosodd yr efrau.*"—"Yr efrau yw plant y drwg," adn. 38. Y mae plant y drwg ar y dechreu yn ymrithio fel engyl goleuni, ond dynoetha amser bob peth.

Adn. 27: "*A gweision gwr y tŷ.*"—Gedy yr Arglwydd Iesu i'r geiriau hyn esbonio eu hunain. Dysgyblion ac athrawon crefydd Crist ydyw y gweision.

Adn. 28: "*A fyni di, gan hyny, i ni fyned a'u casglu hwy.*"—Dadguddir yma yr awydd dwfn sydd yn y galon ddynol am gadw i fyny burdeb moes ac uniondeb cred yn yr Eglwys. Llenwir mynwesau dynion heb fod eu hunain yn bur a difrychau ag awydd gweled pob aelod arall o'r Eglwys yn bur. Y mae awydd ym mhawb i ddysgyblu ac addysgu.

Adn. 29: "*Na fynaf,*" &c., "*rhag diwreiddio y gwenith.*"—Y mae gwreiddiau y drwg a'r da mor gyd-blethedig, a'r terfynau rhwng uniongrededd a chyfeiliornad mor aneglur, fel y mae yn anhawdd symmud y naill heb niweidio y llall. Mae y rhagrithiwr mor debyg i un o blant y deyrnas fel ag y mae perygl camgymmeryd y naill am y llall.

Gellir rhoddi dau ystyr i'r diwreiddio yma. Un ystyr yw bwrw allan o'r Eglwys. Caniatëir y ddysgyblaeth hon yn yr Eglwys, St. Matt. xviii. 17; 1 Cor. v. 5. Ystyr arall y diwreiddio ydyw dysgyblaeth y tân a'r ffagodau, sef rhoddi cyfeiliornwyr i farwolaeth. Dyma fu gwaith bron bob cangen o Eglwys Crist ar ryw gyfnod neu gilydd. Diwreiddiwyd gwenith goreu yr Eglwys yn y modd yma.

Adn. 30: "*Gadëwch i'r ddau gyd-dyfu.*"—Amser ydyw y dysgyblydd mawr.

"*Amser y cynauaf.*"—"Y cynauaf yw diwedd y byd," adn. 39. Y *medelwyr* yw yr angylion, adn.

39. Mae y gweddill o'r eglurhâd yn rhy eglur i ofyn am esboniad.

SYLWADAU YMARFEROL A CHASGLIADAU.

1. Yr had ydyw y prif beth yn nammeg yr efrau. Yr oedd yr had da wedi cynnyrchu plant y deyrnas, neu bregethiad Crist wedi ennill dysgyblion. Ceir yn y deuddeg apostol enghraifft o'r gwenith a'r efrau. Yr oedd un o'r deuddeg yn blentyn Diafol. Pan addfedodd aeth Satan iddo, St. Ioan xiii. 27. Satan a hauodd hadau cybydd-dod, anonestrwydd, a thwyll yn ei galon gyntaf, a ffrwyth y rhai hyn oedd bradychu Mab Duw. 2. Yr ail wirionedd mawr yn y ddammeg yw, mai cymmysg fydd cyflwr Eglwys Crist ar y ddaiar byth. Dyma y gwirionedd a ddysgir yn nammeg y rhwyd a fwriwyd i'r môr, dammeg y swper mawr, dammeg y punnoedd, dammeg y talentau, a dammeg y deng morwyn. 3. Y wers fawr arall yw yr angenrheidrwydd am amynedd wrth ddysgyblu a'r pwysigrwydd o beidio *diwreiddio*, sef dinystrio y gwenith. 4. Duw ydyw y barnwr mawr. Efe a ddwg bob gwerthred i farn. 5. Cyflwr gogoneddus yr Eglwys orfoleddus, sef y rhai cyfiawn, adn. 43. 6. Gallwn sylwi fod "teyrnas y Tad," yn adn. 43, yn arwyddocäu y nefoedd: cymharer Philip. iii. 21 a 1 Cor. xv. 24.

CWESTIYNAU.

Beth a olygir wrth deyrnas nefoedd yn y ddammeg hon? Gan ba ddeddfau y llywodraethir hi? Pwy yw ei phen? Pwy yw yr hauwr? Pa beth yw y maes? Pwy yw yr had da? Pwy a hauodd yr efrau? Gelyn pwy yw y Diafol? Beth yw efrau yn naturiol? Beth a olygir wrth efrau yma? Pa fodd yr oedd yr efrau yn tyfu yn y dechreu? Pa bryd y daethant i'r golwg? Pa fodd y mae adwaen dynion? Beth a fynai y gweision wneuthur? Beth a atebodd eu Harglwydd? Pa ham y gwaharddodd gasglu yr efrau? Pa beth a olygir wrth ddiwreiddio y gwenith? Pa bryd y bydd Duw yn chwynu y drwg o blith y da? Pwy fydd yn gwneuthur? I ba le y bwrir y rhai drwg? Ar ba beth y rhoddir y pwys mwyaf yn y ddammeg hon?

GWERS XXXVII.

*St. Matt. xiii. 31, 32; St. Marc iv. 30—32; St. Luc xiii. 18, 19. O.C. 28. Dammeg yr had mwstard.*

ESBONIAD EGLURHAOL.

Nid ymddengys i'r Arglwydd Iesu lefaru yr oll o'r dammegion hyn ar yr un adeg, fel y gallwn gasglu oddi wrth yr Efengyl yn ol St. Luc (xiii. 6—10; 11—17 a'r 18), ond gosodir hwy i lawr yma mewn cyd-ddilyniad perthynas. (1) Dengys dammeg yr hauwr blaniad yr Eglwys ac ansawdd y tir megys lle y gwreiddia; (2) dengys dammeg yr efrau ansawdd yr had a chyflwr cymmysglyd yr Eglwys; (3) dengys y ddammeg hon gynnydd ac undeb yr Eglwys yn tardda o'r un hedyn; a (4) dengys dammeg y surdoes ddylanwad dystaw mewnol yr Efengyl ar gyflwr moesol ac ysbrydol dynion a chymdeithas.

Adn. 31: "*Had mwstard.*"—Dywedir i ni fod y pren mwstard yn y gwledydd poethion yn un o'r prenau mwyaf a dyfant o hedyn. "Gronyn o had mwstard:" cymharer y dywediad am y "gronyn gwenith," St. Ioan xii. 24. Y mae yn eglur mai Crist yw y "gronyn o had mwstard."

"*Hauodd yn ei faes.*"—Dywed St. Luc, "Hauodd yn ei *ardd.*" Dywed St. Marc, "Pan hauer yn y ddaiar." Gallai i'r Arglwydd Iesu lefaru y ddammeg fwy nag unwaith; ond y mae yn amlwg fod llygaid St. Matthew yn fwy ar eangder maes tyfiant y pren. "Y maes yw y byd" (adn. 38), a llygaid y ddau efengylydd arall ar Grist fel yr hedyn yn cael ei gladdu yn y "ddaiar," yn y bedd, "yn yr ardd." Y gronyn yn syrthio i'r ddaiar sydd yma.

Adn. 32: "*Leiaf o'r hadau,*" St. Matt. ii. 6.

"*Myned yn bren.*"—Hen gyffelybiaeth i ddangos allan yr Eglwys ydyw pren, Salm. lxxx. 8; Ezeciel xvii. 22—24.

"*Adar y nef yn dyfod ac yn nythu,*" &c. I ddangos maintioli mawr y pren mewn cymhariaeth â'i ddechreuad bychan y dygir y geiriau hyn i mewn. Nid yn unig yr oedd yr had i ffrwytho, cynnyddu, a rhoddi maeth a rhinwedd i'r rhai a ymborthent arno, ond yr oedd i roddi cysgod, diogelwch, nawdd, a gorphwysdra i'r creaduriaid mwyaf digartref. Y mae Eglwys Crist

"Yn gysgod rhag y 'stormydd,
Yn lloches rhag y gwres."

Y mae yn annichonadwy traethu maint y bendithion tymmorol a ddug i drueiniaid digartref daiar yn ei helusendai, yspyttai o bob math, a'i darpariaethau elusengar a chymmwynasgar.

DAMMEG Y SURDOES.

*St. Matt. xiii. 33; St. Luc xiii. 20, 21.*

Adn. 33: Defnyddir y gair surdoes bron bob amser yn Testament Newydd i ddangos mewnol weithrediad drygioni megys rhagrith (St. Luc. xii. 1: gwel hefyd Gal. v. 9; 1 Cor. v. 6, 7); eto ym mhob man cymmerir y surdoes i egluro dylanwad dystaw, cuddiedig, a graddol. Gesyd y ddammeg

Digitized by Google

hon o'n blaen ddarlun teg (1) o gynnydd dystaw egwyddorion Cristionogol drwy ddosbarth isaf cymdeithas i ddechreu; (2) o ymledaeniad dirgel a dystaw y brawdoliaethau crefyddol yn nechreuad Cristionogaeth; (3) o'r adnewyddiad meddwl a buchedd a ddygir oddi amgylch gan ras Duw ym mhob calon grediniol; (4) ac o effaith barhäus yr Efengyl ar fywyd mewnol cymdeithas. Nid anfuddiol cymharu y ddammeg hon â "dammeg yr had yn tyfu yn ddiarwybod," St. Marc iv. 26—29. Gosodir allan ddylanwad dystaw a dirgel ond effeithiol yr Efengyl yn y ddwy.

Cawn yn y ddwy ddammeg uchod ddarlun byw o gynnydd Eglwys Crist fel cymdeithas weledig oddi allan yn darparu ar gyfer diogelwch a dedwyddwch dynoliaeth, gan daflu ei chysgod dros ei chrwydriaid a'u hanwesu yn ei mynwes; ac O'r dylanwad a chwyldroad mewnol ag y mae wedi ei ddwyn i fywyd moesol cymdeithas, fel ag y mae anffyddwyr yr oes hon wedi mabwysiadu moesoldeb yr Efengyl.

#### CWESTIYNAU.

Pa beth y gelwir y ddammeg olaf? Pa agwedd neu nod ar Eglwys Crist y mae yn ddangos? Pa beth a ddywedir am yr had mwstard? Ym mha le y dywed St. Luc iddo gael ei hau? Beth a ddywed St. Marc? Beth a ddywed St. Luc? Pwy a feddylir wrth y gronyn o had mwstard? Beth a ddywedir am y pren? Pa greaduriaid a gânt gysgod yno? Pa bethau yn yr Eglwys sydd yn ateb i hyn? Pa beth y gelwir y ddammeg nesaf? Dangos pa beth fel rheol a wna y gair surdoes yn y Testament Newydd? Pa beth yw ei swydd yn y ddammeg hon? Pa sut gynnydd sydd iddo? Ar ba ran o'r Eglwys y gweithreda, ai oddi mewn ai oddi allan? Cymharwch y ddwy ddammeg a fu dan sylw yma.

#### GWERS XXXVIII.

*St. Matt. xiii. 44—46. Darllener Philip. iii. 7, 8; Esai lv. 1; Dad. iii. 18. Dammegion y trysor cuddiedig a'r perlau teg.*

Sylwer mai wrth y dysgyblion o'r neilldu y llefarwyd y dammegion canlynol: St. Matthew yn unig sydd wedi cofnodi y ddwy ddammeg dan sylw yn awr.

Adn. 44: "*Trysor wedi ei guddio.*"—Mewn amseroedd terfysglyd cawn hanes dynion yn arfer cuddio trysorau o arian ac aur a llestri gwerthfawr yn y ddaiar, Jer. xli. 8; Job iii. 21; Diareb. ii. 4.

"*Yn y maes.*"—Beth a olygir wrth y maes? Crist yw y trysor ym maes yr Efengyl, medd rhai; bywyd tragwyddol ym maes yr enaid yn bresennol, medd ereill: ond nyni a gymmerwn i mewn y ddau. Y trysor yw iachawdwriaeth dragwyddol drwy Grist. Daw hyn â dyn i deimlo fod ei enaid yn fwy o werth na'r byd, ac i ofyn y cwestiwn, "Pa lesâd," &c., St. Marc viii. 36.

"*Wedi i ddyn ei gaffael.*"—Awgrymir yma i'r dyn ei ddarganfod yn ddamweiniol, fel St. Paul ar y ffordd i Damascus (Act. ix. 5), a cheidwad y carchar yn Philippi, Act. xvi. 27—34.

"*A'u cuddiodd.*"—Ni chyfiawnhëir gwaith y canfyddwr yn cuddio y trysor. Defnyddir y gymhariaeth i ddangos mawr awydd y canfyddwr na chollai ef.

"*Gwerthu yr oll,*" &c. Gwnaeth yr hyn na allodd y gwr cyfoethog ieuanc, St. Luc xviii. 24, 25. Rhoddes St. Paul addysg y ddammeg mewn grym drwy droi ei gefn ar bob peth fel yr ennillai Grist; troes St. Matthew yntau ei gefn ar y dollfa a St. Barnabas ar ei diroedd.

"*Ac yn prynu y maes hwnw.*"—Prisiodd y trysor uwch law pob peth daiarol a maes Eglwys Crist oedd ei hyfrydwch mwy. Dyma oedd maes ei arddwriaeth ysbrydol.

Ergyd y ddammeg hon ydyw gwerthfawrogrwydd yr iachawdwriaeth sydd yng Nghrist, yr hwn a ddaeth i'r golwg hyd yn nod i ddysgyblion Crist megys yn ddamweiniol. Cawsant hwy yn y Messïas fwy nag oeddynt yn ddysgwyl. Dysgwylient am fab Dafydd, cawsant Fab Duw; dysgwylient frenin daiarol, cawsant un nefol; dysgwylient am orseddfainc ar y ddaiar, cawsant orseddfeinciau yn y nefoedd; dysgwylient am fawredd daiarol, a chawsant ogoniant dragwyddol. Dyma drysor annysgwyliadwy i filoedd ym maes yr Eglwys Iuddewig.

#### DAMMEG Y PERL GWERTHFAWR.

Adn. 45: "*Marchnatäwr.*"—Cyfeirir yma at wr yn myned oddi amgylch i geisio nwyddau neillduol. Yr oedd yn nyddiau Crist ddynion o ddifrif yn *ceisio* cael gafael ar Dduw. Sonia St. Paul am y fath bobl yn Athens yn addoli y duw na adwaenid, Act. xvii. 22—31. Hen ymholiad ydyw, "Pwy a ddengys i ni ddaioni?" a "pha beth yw y gwir brydferth a daionus (*summum bonum*)?" Yng Nghrist fe gaiff yr enaid yr oll a ddymuna.

Ergyd fawr y ddammeg hon i'w gwahaniaethu oddi wrth y llall ydyw fod y rhai sydd yn ceisio yn cael. Bu llawer o ddysgwyl ac o geisio am y Messïas a chafwyd ef. Felly y bu gyda Simeon; felly y bu gyda Thimothëus. Cymmer dygwyddiadau cyffelyb

Digitized by Google

le eto. Daw rhai i afael â'r iachawdwriaeth bron heb geisio ac ereill wedi llafur mawr.

DAMMEG Y RHWYD A FWRIWYD I'R MÔR.

*Darllener St. Luc v. 4—7 a St. Ioan xxi. 6—8.*

Adn. 47: "*Rhwyd.*"—Rhwyd hir fawr i'w llusgo tua'r lan a olygir (σαγήνη). Deil hon bob math o bysg a fyddant yn nofio yn y lle.

Adn. 48: "*Dynasant i'r lan.*"—Crynöir holl hanes yr Eglwys yma i un darlun o un dynfa rhwyd am helfa o bysgod. Tynir megys rwyd yr Efengyl i'r lan yn niwedd y byd pan na "bydd amser mwyach."

Mae y ddammeg hon o'r un addysg a nodwedd yn ei diwedd a dammeg yr efrau. Teifl oleuni ar gyflwr cymmysgedig yr Eglwys yma a detholiad mawr dydd y farn.

CWESTIYNAU.

Wrth bwy y llefarwyd y dammegion hyn? Pa sawl un o'r efengylwyr sydd yn eu cofnodi? Pa beth a arferid ei wneyd â thrysorau gwerthfawr mewn amseroedd enbyd? Beth a olygir wrth y maes? Pwy yw y trysor? Pa fodd yr awgrymir i'r dyn ei gael? Beth a wnaeth er mwyn ei gael? Pwy a ymddygodd fel hyn? Rhoddwch dair esampl o'r Testament Newydd. Pa beth yw nod fawr y ddammeg? Pa fodd y mae yn gwahaniaethu oddi wrth ddammeg y perl. Pwy yw y perl? Pa fodd y cafodd y marchnatäwr ef? Pa beth a ddysgir i ni yn nammeg y rhwyd? Pa beth a olygir wrth rwyd? Pa fath bysgod a ddeil? Pa bryd y tynir hi i'r lan? Pa beth a wneir â'r pysgod? Pa ddammeg sydd yn debyg iddi, gan ddysgu yr un gwirionedd?

---

## CYNLLUN YN NHREFN NATUR.

(*Cyfieithad o weithiau y diweddar Archesgob Thomson, gan Bodfach.*)

PROFA HYN FODOLAETH DUW.

(*Parhâd o dudal. 241.*)

Y MAE yr anifail mewn amryw ystyr yn blanigyn, o herwydd ni wyddys ym mha ddosbarth i osod y creaduriaid gronynawl. Y mae dyn yn anifail mewn llawer ystyr, ac ef allai fod ei dueddiadau anifeilaidd yn chwareu rhan helaethach yn hanes y byd a'i hunanddadblygiad nag yr ydym yn foddloni ganiatäu. Ond dyga pob ysgogiad uwch rywbeth newydd. Dywedai Hegel "fod anifail yn wyrth i'r byd llysieuog." Y mae pob cam yn chwyldroad mewn ryw olygiad; a pharotôdd y sefyllfa isaf ei hunan i'r uwchaf, gan brophwydo a siarad felly am ei dyfodiad, ac eisteddodd yr uwchaf yn esmwyth ar yr orsedd a drefnwyd iddi, fel nad ydyw yn rhyfeddu ei chael yno. Gelwch chwi ef yn ddadblygiad ond galwn ni ef yn weithred greadigol. Yr ydym yn meddwl fod Duw yn bodoli, ac os ydyw yn gweithredu yn rhywle, fe raid ei fod yn hyn, sef creadigaeth pethau. Gellwch chwi a ninnau weithio yn unol ar un cyfrif â rheolau efrydiaeth. Mae y ffeithiau yr un, ond y mae yr esboniad o'r hyn sydd y tu ol iddynt yn wahanol. Ac nid ydyw yn angenrheidiol gwadu fod yr egwyddor y siarada Mr. Wallace am dani fel yn oruchaf yn y byd yn meddu ei gwirionedd a'i dyben i egluro ffeithiau y greadigaeth. Ni chododd erioed bentwr llonydd o fewn yr organiaeth lysieuol, na phlanigyn yn anifail. Ni ddyrchafodd erioed epa yn ddyn. Ni ddygwyd ffeithiau eto i brofi y fath gamrau, ac os ydyw ein rhesymeg i'w gwelläu mewn unrhyw beth trwy oleuni arferiaeth, y mae yn hyn—fod ffeithiau i gael eu cofnodi a'u trefnu, ac nid trwy ymhoni. Addefwn i ammodau hinsoddawl ac ymdrechion am fywyd dymmeru rhywogaethau, gweithio allan amrywiaethau newyddion, yr hyn sy'n brawf arall ef allai fod y gair yn ysgol addas ac yn dir dysgybliaeth i'r creaduriaid a osodwyd ynddo er diwylliant. Nid ydyw deddf yn dduw, ni lywodraethodd erioed yn unbenaethol, ac ni fu erioed ond rhyw un reol o blith llawer yn neddflyfr dwyfol y byd.

Arfera rhai naturiaethwyr siarad am Dduw fel yr "Anadnabyddus." Dywed Mr. Martineau yn rhywle fod hyny yn wrthddywediad; honwn wrth ei arferyd ein bod yn gwybod gan gymmaint, fel nas gall Ef fod yn wybyddus. Af lawer ym mhellach. Y mae yn honi bodolaeth Duw, ac ar yr un anadl yn ein gwahanu am byth oddi wrtho. Addefa duwinyddion yn rhwydd nad ellir adnabod Duw yn ei hanfod gan greaduriaid fel nyni. "Wele, dyma ranau ei ffyrdd ef; ond mor fychan ydyw y peth yr ydym ni yn ei glywed am dano ef! ond pwy a ddeall daranau ei gadernid ef?" Siarada ysgrifenydd ysbrydoledig yr un iaith a'r anysbrydoledig. Y mae i ni, y rhai ydym ddynion, siarad am bethau dwyfol yn debyg i rai anwybodus yn traethu am beroriaeth, neu fel gwŷr gwledig yn siarad am gyfrwysdra. Ond a gawn ni eistedd i lawr mewn anobaith, a pheidio edrych fry at Dduw yn rhagor? Buasem felly yn anffyddlawn i'n tueddiadau goraf, ac ni fuasem yn arferyd ein holl alluoedd i eangu ein gwybodaeth. Yr wyf yn caniatäu nad ydyw myfyr-

Digitized by Google

dod ar Dduw mewn natur yn unig yn ddigonol. Y mae fel y golofn dân gynt yn oleu a thywyll yr un amser; yn oleuni i ymchwilio llyfr natur, ond yn dywyllwch i'n calonau sy'n gauedig gan ein pechodau a'n gofidiau. Ni wnaeth gwyddonwyr, ymddengys i mi, erioed gyfiawnder â'r ffeithiau pwysicaf yn natur dyn. Nid yn unig medra efrydu natur, ond medra gweithredu ynddi ac arni. Mae y gallu yma yn sicrhau ei ryddid. Serch ei fod yn feddiannol o'r fraint a'i gosoda ychydig yn is na'r angylion, y mae yn eglur y gall ei defnyddio unrhyw ffordd. Gall ddilyn ei ynfydrwydd, ei ddymuniadau drygionus, gosod ei gyfraith ei hunan, a bod yn dduw iddo ei hunan; neu gall droi at yr Hwn y deilliodd o hono, ac aberthu i Dduw ufudddod ei ewyllys a'i gariad. Nid ydyw Duw yn "Anwybyddol" mwy i'r hwn a gyflawnodd y weithred fawr yma. Yng nghyfranogiad masnachaeth y ddwy ewyllys, y ddau ysbryd, y terfynol a'r annherfynol, cyfoda y terfynol fwy na mwy, a chanfydda ragor o'r Hwn a amlygodd ei Hunan i ni yng nghreadigaeth y byd o'i haelfrydol gariad yn ei wneuthuriad o fod rhydd i lywodraethu yn yr un byd, wedi ei goroni â gogoniant ac anrhydedd, yn ei roddiad o gyfraith dyledswydd iddo lywodraethu ei hunan, hefyd ym mhlaniad gobeithion ynddo ac awyddfryd nad ellir eu digoni ond yn nhragwyddoldeb.

Y mae dyn yn ostyngedig ac isel. Hefyd y mae wedi ei gydieuo gan bob organ ac edefyn â rhyw greadur cyfatebol yn y byd anifeilaidd. Rhagora arnynt yn amrywiaeth ei anhwylderau ac angerddolrwydd ei boenau. Y mae yn gyfran o gyfundrefn y dywed gwyddonwyr ei bod yn prysuro tua'r nos a marwolaeth, am fod ysgogiad natur yn tueddu yn eglur at orphwysfa gyffredinol. Y mae ynddo yr hyn sydd yn ei uno â sefyllfa arall. Y mae bod yn alluog i amgyffred Duw a meddu ewyllys a gallu o'i fewn yn ei wneyd yn un â Duw, gan ei sicrhau yn erbyn marwolaeth a thywyllwch. Nid ydyw ond ffug ddysgeidiaeth, am yr hyn y dyoddefwn eto, i wrthod edrych ar y ddaiar yn ei chyssylltiad â Duw, a'i gau Ef allan yn annaturiol o'r cylch lle y mae y deall yn ei ganfod yn wastadol, a hyny yn ddigynnorthwy. Bydd Duw yn sicr o'n canfod. Y mae rhyw anfoddineb neillduol yn fynych yn y rhai sydd am ei fwrw ymaith o'u cylch o feddwl. Collant eu tawelwch athronyddol pan lefarant am bethau crefyddol. Nid ydyw y rhai hyn ond argoelion o ymdrechion ac ymrysonau darfodedig enaid a allasai wybod mwy am Dduw pe buasai heb wrthod hyny. Canfyddir adlewyrchiad Duw yn y byd yng ngwybodaeth dyn, ei gydwybod, a'i ewyllys. Ymddangoswn fel yn dywedyd, "I ba le yr awn o'i bresennoldeb?" Ond gwell ydyw bod yn alluog i ddywedyd, "Pwy sy genym yn y nefoedd ac ar y ddaiar ond Tydi?"

---

## SIAN FACH AMDDIFAD.

(*Parhâd o dudalen 247.*)

Yr oedd Jane Jones yn Sian fach amddifad mewn gwirionedd ar ol claddedigaeth ei thad, er ei bod yn rhy ieuanc i sylweddoli yr oll o'i cholled ar unwaith, gan nad oedd ond wyth oed. Y cyntaf i feddwl am golled Sian Fach oedd "Mr. Hughes y ficer." Pan ddechreuodd ymholi beth oedd i'w wneyd â hi, fe ganfu nad oedd yno nemawr ddim ar ei chyfer. Ychydig o hen ddodrefn ei fam oedd gan William Jones yn yn ei dŷ, a'r rhai hyny yn hen a diwerth. Yr oedd ei gwch a'i rwydau wedi cael eu llwyr ddinystrio yn y dymmestl a fuasai yn angeuol iddo ef a'i bartneriaid.

Canlyniad yr ymgynghori a fu i *overseers* y plwyf, yn ol arferiad yr amser, *osod* Sian Fach Amddifad i'w chadw mewn ffermdy cysurus yn agos i'r pentref, a threfnodd y person fod iddi gael myned i ysgol Madam Bevan am flwyddyn. Ysgol Madam Bevan y gelwid yr ysgol rad a gedwid mewn ysgoldy bychan yn y Borth, er mai "Mr. Hughes y ficer" mewn gwirionedd oedd yn talu cyflog bychan yr athraw er ys llawer iawn o flynyddoedd, gan fod rhai o deulu yr hen Madam Bevan wedi taflu yr eiddo i'r *Chancery*.

Hen wr wedi bod yn anffodus i golli ei goes yn bur ieuanc oedd Griffith Jones, yr athraw, ac wedi llwyrymroddi at gasglu gwybodaeth grefyddol a rhifyddol. Yr oedd "Mr. Hughes y ficer" yn feidronydd neu rifyddwr ardderchog, a rhoddasai lawer iawn o gynnorthwy i Griffith Jones ddyfod yn athraw da mewn *navigation*. Byddai gan Griffith Jones yn y gauaf dri neu bedwar ac ar adegau hanner dwsin o forwyr yn dysgu *navigation* yn ei ysgol, heb law mân blantos y pentref, a rhwng pob peth ennillai fywoliaeth lled gysurus.

Teimlai Sian Fach Amddifad yn falch o gael bod yn yr ysgol. Cadwai Griffith Jones, a nifer o wŷr o gyffelyb ysbryd ag ef, Ysgol Sul yno hefyd am naw o'r gloch neu hanner awr wedi naw, ac yna elent i'r gwasanaeth am un ar ddeg i'r Eglwys. Dechreuodd Sian fyned i'r Ysgol Sul yn bur ieuanc. Un gwasanaeth am un ar ddeg a gedwid yn yr Eglwys, a gosper heb ddim pregeth am dri o'r gloch; ond pre-

Digitized by Google

gethid neu gedwid cyfarfod gweddi yn yr ysgoldy bychan bob nos Sul, ac arferai Griffith Jones bregethu yno neu fyned i fân gapelydd amgylchynol i bregethu yn feunyddiol. Dyma fel y dechreuodd Sian ei gyrfa grefyddol. Yr oedd dan addysg lled dda Sul, gwyl, a gwaith, hyd onid oedd yn ddeg oed, pryd y collodd ei hysgol ddyddiol; ond parhäi i fyned i'r Ysgol Sul ac i'r Eglwys, ac i'r seiat a gedwid yn yr ysgoldy, bob wythnos tra y bu y "Ficer Hughes" a Griffith Jones, yr ysgolfeistr, yn fyw. Yr oedd y ddau yn wir dduwiolion a gwir Israeliaid, yn y rhai nid oedd gysgod o rith na thwyll. Bu y ddau feirw yn agos i'w gilydd cyn bod Sian yn llawn deunaw mlwydd oed. Ond yr oedd hi erbyn hyn wedi tyfu i fyny yn ferch ieuanc gref, iach, hardd ei golwg, a medrus ei gwaith, ac aeth yn lled fuan ar ol cyrhaedd deunaw oed yn forwyn weini i Gefn Cilen, fferm yn godro deunaw o fuchod, tua thri chwarter milltir o'r Borth. Yr oedd yn lle iach difyrus, bywiog, gan fod yno amryw wasanaethyddion dan ofal gwraig weddw lygadog, weithgar, ond lled fydol, ac unig fab ddeng mlwydd yn hŷn na Sian.

Yr oedd teulu Cefn Cilen yn bobl gefnog yn y byd, a balch o'u safle gymdeithasol fel prif amaethwyr yr ardal; ac er nad oedd cyflog morwyn weini y pryd hwnw ond bychan, eto yr oedd yn ddigon i Sian ymwisgo yn drwsiadus, ac ymddangos mor drefnus ag unrhyw ferch fferm yn y gymmydogaeth. Yr oedd hefyd o ran ei dysg a moesgarwch ar y blaen i'r rhan fwyaf o'r merched yn ei hardal. Genethig brydweddol, groenwen, ysgafn-droed, siriol ei gwynebpryd, a lluniaidd o gorff ydoedd, ond lled enciliedig a gwylaidd. Un ydoedd anhawdd i wr ieuanc fel William Llwyd, Cefn Cilen, beidio â'i dystaw a dirgel hoffi ac ymserchu ynddi. A dyna fu ei ffawd cyn pen llawer o fisoedd.

Daeth heb yn wybod iddo ei hun i hoffi bod mor agos ati ag y gallai heb dynu sylw ei fam, a thynu sylw Sian hefyd, ond ymladdodd yn hir yn erbyn ei serchiadau neu nwyd. Nid hir y bu Sian, modd bynag, heb deimlo yn anghysurus wrth ganfod cysgod William Llwyd yn myned ar draws ei llwybr bron ym mhob man, yn neillduol yn absennoldeb ei meistres. Ystyriai Sian William Llwyd, nid fel ei chyfoed a chydradd, ond fel ei meistr, ac edrychai i fyny ato gydag ofnus barch. Felly bob tro yr ymdrechai efe ddilëu y pellder rhyngddynt, ac y dechreuai unrhyw ymddyddan cyfrinachol neu chwarëus, yswiliai hithai, gwridai, ac enciliai o'i gyrhaedd. Nid oedd hyn ond ychwanegu swyn y ferch a serch a nwyd y gwr ieuanc, yr hwn a gadwai fath o wyliadwriaeth o bell arni. Daeth sefyllfa Sian yn debyg i dynged yr ewig o flaen yr heliwr—mwyaf a ddiangai hi, mwyaf oedd awydd yr heliwr i'w dal.

Yr oedd William Llwyd yn bobpeth bron ag a fuasai merch ieuanc o gymmeriad a thueddiadau Sian yn ei hoffi. Yr oedd yn wr lluniaidd, corfforol, glandeg, o rodiad urddasol, a bywyd glân bucheddol, ac yn aelod dichlynaidd o'r capel yn y Borth, lle yr oedd Sian bellach yn aelod ffyddlawn. Yr unig fai a fuasai ambell i ferch ieuanc yn ganfod ynddo oedd ei ariangarwch. Yr oedd hyn yn nod mor amlwg yn ei gymmeriad fel ag i fod yn destyn siarad ym mysg y cymmydogion. Yr oedd hefyd yn eilun llygad a chalon ei fam. Mewn gwirionedd, ynfydai y fam yn ei meddwl uchel o hono, a'i gofal am dano ef a'i gysuron ym mhob dim. Nid oedd wedi *arfer* ei groesi, nac yn wir gael achos i'w groesi mewn nemawr ddim. Ar yr un pryd, ni feddyliodd erioed i'r mab ei chroesi hithau, a pheidio ymostwng ar unwaith i'w chynghorion. Gwnelsai hi ei meddwl i fyny fod ei mab ryw amser neu gilydd, ar ol iddi hi gyrhaedd henaint teg a bod yn analluog i edrych ar ol Cefn Cilen, ymbriodi i deulu da, arianog, ond ni feddyliodd iddo ymserchu yn neb cyn iddi hi lwyr adfeilio. Fel hyn lluniasai iddi ei hun ac yntau lwybr bywyd celfyddydol, ac ef allai digon doeth, ond y mae natur yn aml yn drech na chelfyddyd, yn enwedig os ä celfyddyd yn rhy bell yn ei darpariaethau.

Yn ei hawydd mawr am bethau byd a chysuron tybiedig a diogelwch ei mab, cadwai Mrs. Llwyd ef gymmaint a allai adref o amgylch y tŷ, a'r fferm a'r capel. Ni oddefai iddo fynychu cwmnïon difyrus meibion a merched ieuainc o'i gyfoed a safle os gallai mewn un modd ei gadw gartref, ac yr oedd ei duedd gynnil gybyddlyd yntau yn ffafriol i'w hamcanion. Felly ychydig o ferched ieuainc o'i safle ef ei hun ac o swyn a thegwch glân Sian a ddaethai ar draws ei lwybr. Daeth i'w charu mor wirioneddol ag y gallai ei ariangarwch a'i hunangariad oddef iddo. Mewn gwirionedd, yr oedd math o gyfaredd yn ei ymlyniad wrthi. Edrychai i lawr arni, tosturiai wrth ei chyflwr isel, hoffai hi, a theimlai ei hun yn ddedwydd yn ei chwmni, lle y dirgel dybiai, ar seiliau ei uwchafiaeth, fod ganddo *hawl* i fod. Daeth i *ymwthio* i'w chwmni a mynu ei chwmni adref yn yr hwyr o'r capel, er mai am bethau crefyddol yr ymddyddenid.

Nid oedd yn bosibl i Jane Jones, fel y gelwid Sian Fach Amddifad bellach, beidio â dirgel hoffi William Llwyd, ac wedi dechreu hoffi nid hir y bu cyn

Digitized by Google

llwyr hoffi, llwyr ymserchu, a chyflawn edmygu. Eto cadwai ei gwyleidd-dra hi ef draw; a chymmaint oedd ei ofal yntau i guddio llygaid ei fam, fel na thalai un sylw iddi yn y tŷ. Mewn gwirionedd, ar ol iddo ddeall fod calon Sian yn gyflawn eiddo iddo ef ymddangosai yn llawer llai awyddus am ei chwmni; ond daeth i wneyd addewidion priodi—priodi ar ol marw ei fam, neu briodi heb yn wybod i'w fam. Daeth yn gyfyng ar Sian yma. Nis gwyddai beth i'w ateb, ac nid oedd ganddi un berthynas i ymgynghori â hi ond hen ferch o wnïad-wraig yn y Borth. Dynes ddibrofiad oedd hon, ac ni allai ond gwrandaw ar Sian a dweyd ei bod yn lwcus dros ben.

Dallwyd Sian, druan, gan ei serch. Daeth i gredu yn llwyr yn William Llwyd a'i addewidion; a gwaeth fyth, i gredu ei *athrawiaeth* ar bwnc priodas—*dysgeidiaeth* ofnadwy ag sydd wedi dwyn trueni i filoedd o deuluoedd. Dyma y ddysgeidiaeth felltigedig a ddygodd William Llwyd i ddallu Sian Fach Amddifad. Gwasgodd ei llaw ugeiniau o weithiau, gan ddywedyd yn y geiriau mwyaf cyssegredig ei bod yng ngolwg y nefoedd ac ym mhob ystyr foesol a chrefyddol yn wraig iddo, a pherswadiai hi nad oedd "gwasanaeth y Llan" yn ddim byd ond ffurf i fyned drwyddo. "Priodas calonau cywir ffyddlawn," ebai lawer gwaith, "ydyw y wir briodas." Arswydai Sian wrth wrando eto credai yn ei ffyddlondeb, ac ofnai ei ddigio; a chan eu bod yn aros o dan yr un tô, nid rhyfedd iddi ar awr anwyliadwrus oddef iddo ei hysbeilio o'i morwyndod. Dechreuodd dywyllu arni ar unwaith. Collodd ei holl nerth moesol, collodd ei sirioldeb, ac ofnai ei bod wedi colli parch a hoffder William Llwyd. Pwy a all ddirnad dyfnder trueni teimlad merch ieuanc wylaidd, ymserchiadol, wedi cael ei hysbeilio o swynion ei morwyndod heb dderbyn *urddas* a *chartref* gwraig. "Wyf wraig heb fod yn briod" oedd galarnad calon Sian, a dyma y pryd yr ail deimlodd ei hun yn ddwbl amddifad. Nid oedd mwy ond tegan yn llaw William Llwyd, a thegan wedi ei dryllio—tegan yn colli ei harddwch. Brawychai William Llwyd wrth ei chyfarfod a sylwi ar ei gwynebpryd gwelw. Yr oedd yn amlwg nad oedd yn eilun iddo mwy. Fel plentyn wedi dryllio ei degan, ymdrechai ei thaflu oddi wrtho, heb ymddangos yn gwneuthur hyny. Cadwai hi draw ag addewidion gau.

Nid hir y bu gwedd a chyflwr Sian Fach Amddifad heb dynu sylw Mrs. Llwyd, ei meistres, a chan ei bod yn bur agos i ben tymmor mynegwyd iddi na allai wasanaethu hanner blwyddyn arall yng Nghefn Cilen. Gallodd William Llwyd ei pherswadio ag addewidion a'i dychrynu â bygythion mor bell nes gadael o honi Gefn Cilen heb amlygu i'w meistres pwy a'i denasai o lwybrau rhinwedd. Pan gyhuddwyd hi o'i chyflwr ni wnaeth ond gwyro pen a thywallt dagrau. Aeth ymaith i aros ac *ymguddio* gyda'r wnïad-wraig dlawd yn y Borth, unig geidwad ychydig o'i chyfrinach. Ymdrechai y druan hon ei chysuro, ond nis mynai hi un cysur.

Daeth ei hachos i'w drafod yn seiat y capel, a mynegodd Mrs. Llwyd, Cefn Cilen, yr oll a ofnai am gyflwr Sian a'i hanner cyffes—cyffes y tewi o dan y cyhuddiad. Rhoddwyd yr achos i bleidlais yr aelodau, a chyfododd William Llwyd ei law o blaid ei diarddel o'r capel yn ei habsennoldeb, a'i diarddel a gafodd. Clywodd y wnïad-wraig am hyn oll, ac ni allodd gadw y newydd o glustiau Sian. Aeth i lewyg, ond perswadiodd y wnïad-wraig hi mai dyfais i guddio llygaid ei fam oedd gwaith William Llwyd yn ymuno i'w diarddel.

Am fis ar ol ymadael o'i lle anaml yr elai Sian Fach Amddifad allan o dŷ y wnïad-wraig, a pha bryd bynag y galwai cymmydog yno ymguddiai yn ei hystafell wely. Elai allan ar noson seiat y capel yn achlysurol, a gwelodd cymmydoges hi yn dychwelyd at y Borth o gyfeiriad Cefn Cilen dros allt y môr un hwyr. Dywedodd hithau wrth y wnïadwraig fod William Llwyd wedi cynnyg deg punt iddi os ai yn ddystaw i dref Pant Heli hyd nes yr elai y ddryghin drosodd. Ymdrechodd y wnïad-wraig ei pherswadio i fyned. Wythnos ar ol hyny aeth Sian Fach Amddifad allan yn lled hwyr gan edrych yn hynod o drallodus, ac ni ddychwelodd. Yr oedd y wnïad-wraig bellach yn drallodus, a dechreuodd ymholi am dani. Aeth y si drwy y Borth, ond nid oedd y wnïad-wraig yn anobeithiol am dani, o herwydd credai yn ddirgel ei bod wedi derbyn y deg punt a myned ymaith yn ddystaw yn y nos, a bu rai dyddiau yn dysgwyl gair oddi wrthi yng nghylch ei dillad. Ond ni ddaeth un gair oddi wrthi.

Un boreu ym mhen tua naw neu ddeng niwrnod gwedi noswaith ystormus, cafwyd corff merch ar y traeth yn agos i Abercroesau, yng ngodrau y plwyf nesaf, tua phum milltir o'r Borth. Gwelwyd yn fuan corff pwy ydoedd, o herwydd yr oedd dwy lythyren J. J. wedi eu marcio mewn gwnïadwaith glân ar ei dillad isaf. Bu cynhwrf mawr dros ennyd. Galwyd am feddyg a chynnaliwyd trengholiad. Amlygodd hwnw ei chyflwr, a mynegodd mai wedi boddi mewn llewyg yr oedd, a barnai oddi wrth archoll lled fawr ar ochr ei phen ei bod wedi syrthio i'r môr dros graig, a syrthio i'r dwfr, gan nad oedd ol codwm mawr iawn arni. Aed i chwilio

gallt y môr, a chafodd bachgen ieuanc o gychwr ol gwaed ac ychydig o wallt ar y graig o ddeutu hanner y ffordd rhwng y Borth a Chefn Cilen, a thybiodd fod yno ol llithro ar dop yr allt, ac ol tywyrch yn ymdreiglo i waered. Yr oedd y llwybr i Gefn Cilen lawer o latheni o'r fan hon, ac yr oedd math o reiliau yn amgylchu y dibyn hwnw, fel nad oedd modd i neb yn ddiarwybod syrthio drosodd.

Dechreuodd y si ymledu mai William Llwyd oedd achosydd cyflwr Sian Fach Amddifad, a galwodd y trengholydd am dano. Aeth yntau ger bron gyda thwrnai galluog i'w amddiffyn; ac ni oddefai hwnw i neb ofyn cwestiwn yng nghylch ei chyflwr, ond *pa fodd* y daethai i'w hangeu. Gwedi holi ym mhell ac agos ni chaed neb i dystio ei fod wedi ei gweled y nos yr aeth o dŷ y wnïad-wraig. Nid oedd neb wedi ei gweled yn agos i Gefn Cilen; ac yr oedd William Llwyd yn lled wael y noson hòno a thranoeth, ac wedi myned i'w wely am wyth o'r gloch y nos, ac ni chododd hyd naw dranoeth, ac edrychai yn wael yn y trengholiad. Rheithfarn y llys hwnw oedd, "Cafwyd hi wedi boddi drwy syrthio dros allt y môr," a sisialai y lluaws mai wedi cyflawnu hunanladdiad yr oedd.

Yr oedd offeiriad Llanddinod yn hen wr duwiol, da, tyner ei gydwybod, heb fod yn gryf iawn ei farn. Dyn ofnus oedd, ac un a ofnai farn a chondemniad y lluaws, a thrallodwyd ef yn ddirfawr pan dderbyniodd drwydded y trengholydd i gladdu Sian Fach Amddifad. Rheithfarn agored oedd dedfryd llys y trengholydd. Nid oedd ynddi un awgrymiad am hunanladdiad; ond eto y si a'r son pell ac agos—rheithfarn y lluaws parod i ddadgan barn heb brawf—oedd "hunanladdiad." A gwyliai llawer crefyddwr culfarn, hunangyfiawn, a ddarllenid y Gwasanaeth Claddu uwch ei bedd. Aeth amryw o'r plwyfolion i edrych na agorid bedd iddi yn agos i'w claddfa hwy, a dewisodd y clochydd gongl neillduedig iddi, fel lluest gwahanglwyfus ar ben ei hun. Darllenwyd rhan o'r gwasanaeth gydag ofnau a thosturi gan yr hen offeiriad methiannus uwch ei phen, a brysiwyd i anghofio Sian Fach Amddifad.

Aethai heibio ddeuddeng mlynedd, a bwriasai clochydd annhrefnus Llanddinod lawer llonaid berfa o geryg ac esgyrn-ddrylliau yn y gongl ar fedd Sian Fach Amddifad, pan ymwelodd clefyd heintus y *typhus fever* â'r ardaloedd o gylch y Borth. Ym mysg ereill tarawyd William Llwyd, Cefn Cilen, i lawr. Yr oedd William Llwyd bellach yn wr priod a dau o blant iddo, ac yr oedd ei fam yn hen a gorweiddiog.

Collai William Llwyd arno ei hun dan y dwymyn, a llefai yn wastad, "Sian Fach. Dos ymaith, Sian. Paid ag edrych mor dorcalonus. Aiff y ddryghin drosodd, Sian." Pryd arall edrychai yn ddychrynedig a llefai, "Dos ymaith, Sian Fach. Paid ag ofni. Paid â dychrynu." "Ni wnaf fi ddim niwed i ti." "O Sian, nid oeddyt ti ddim ond fel pluen yn fy mreichiau pan deflais di dros y clogwyn du i'r môr." "O Sian Fach Amddifad, yr wyt yn well dy le na mi. Nid oeddwn erioed wedi meddwl am dy daflu i'r môr nes i wall yr ysbryd drwg ddyfod drosof ar unwaith. Teflais di dros y dibyn â chusan ar dy foch lwyd di," &c. "Gwaith Satan oedd y cwbl oll, a dyma fo yrŵan yn dyfod i fy mhoeni." "A! ni fedrai i ddim marw; ni feiddiai ddim marw heb ddweyd—heb dynu y gwaradwydd oddi ar dy fedd," &c.

Pan yn agos iawn i angeu galwodd am ei fam, ond yr oedd hòno yn rhy lesg i godi. Yna perodd i'w wraig fyned allan o'i ystafell wely, a dywedodd wrth flaenor y capel oedd yn yr ystafell, "Ewch â'r neges hon i fy mam. Myfi a daflodd Jane Jones i'r môr. Aethym allan drwy y ffenestr yna ddeg o'r gloch â deg punt yn fy mhoced i'w chyfarfod yn ol addewid i Gae y Clogwyn Du, gan feddwl rhoddi yr arian iddi i fyned i dref Pant Heli. Ond wedi myned i'r lle, a'r môr yn rhuo yn ymyl, a'r llanw yn uchel dros droed y graig, daeth rhyw gymhelliad drosof o rywle, ac ymaflais ynddi fel i'w chusanu, a chyn i mi na hithau sylweddoli beth oeddwn yn ei wneyd, teflais hi yn goflaid dros reiliau y Clogwyn Du: ni roddes ond un waedd wrth ddisgyn dros ymyl y dorlan, ond y mae y waedd hòno byth yn fy nghlustiau—'O! meistr ydoedd.'" Edrychodd yn synedig am fynyd, a llefodd, "O Sian Fach:" suddodd ar ei obenydd, ac ni anadlodd mwy.

Claddwyd William Llwyd a'i fam yr un diwrnod. Cyn pen ychydig yr oedd teulu newydd yn Cefn Cilen, a'r wraig a dau blentyn torcalonus wedi croesi'r Werydd i America gyda brawd i ymdrechu anghofio am a fu nas gallent hwy oddi wrtho, ond y goddefent o'i herwydd.

MARGARET HUGHES.

---

## YR IESU YN EI FEDD.

Rhifwyd dyddiau y Rhyfedd—i ffwrdd aeth
Y Ffordd a'r Gwirionedd;
Rhoi BYWYD bywyd mewn bedd
Ar y myr i ymorwedd.

G. H. HUMPHREY.

Digitized by Google

## LLAN CWM AWEN: NEU DDEFFROAD EGLWYSIG HANNER CANRIF YN OL.

(*Parhâd o dudalen 244*).

### PENNOD XVI.

*Y Parch. Phylip Jones yn y Plas.*

AR Sul gweinyddiad y Parch. Phylip Jones yng nghapel y Cwm, yr oedd yr Eglwys eto yn wag iawn mewn cymhariaeth, ond nid mor wag ag y buasai ar ymweliad John Elias gynt. Yr oedd Didymus o'r Cwm yn ei le yn gadarn, a daethai Gwenafwy gyda Miss Phylip o'r Plas, sef Miss Phylip merch y diweddar reithor, i'r eglwys heb fyned i'r capel. Ymddangosai Didymus o'r Cwm yn anesmwyth yn nechreu y gwasanaeth, fel un yn dysgwyl i rywbeth anarferol gymmeryd lle. Aethai bron yr oll o'r gwasanaeth drosodd cyn dyfod o neb o'r capel i'r Eglwys, fel yr arferid dyfod. A phan ddaethant, ychydig iawn oedd eu nifer. Ymddengys i'r Parch. Phylip Jones bregethu yn hir iawn ac yn hynod o effeithiol. Byddai yn ddrwg genym awgrymu ddarfod i'r parchedig foneddwr gadw y gynnulleidfa yn hir yn y capel gyda'r amcan o'u hattal rhag myned i'r Eglwys; ond y mae yn wir y gwnaethai ymdrech anghyffredin i wrthweithio pob dylanwad Eglwysig a allai fod yn dechreu lefeinio yr ardal, a thybiai wrth wneyd hyny ei fod yn gwneyd gwasanaeth da i ddynion a chymmeradwy ger bron y Goruchaf.

Daeth Mr. Owen, y Plas, i'r Eglwys; ond fel boneddiges yn dewis dangos parch priodol i'r ymwelydd yn ei thŷ, aethai Mrs. Owen gyda'r pregethwr adref. Edrychai Didymus o'r Cwm rywfodd yn fuddugoliaethus ar y gynnulleidfa deneu yn yr Eglwys. Bron na allesid deongli ei deimlad yn rhywbeth tebyg i hyn: "Dyma ni yn bresennol yn ychydig wenith pur. Y mae yr hanner rhagrithwyr—y bobl ddau-wynebog—y cloffwyr rhwng dau feddwl—wedi myned ymaith oll." Yr oedd yn amlwg ddigon fod y bardd mewn tymmer tra gwahanol i ysbryd addoli, ac yn meddwl llawer mwy pa fodd y buddugoliaethai ar yr hyn a alwai "llywod-drefn hannerog" yr offeiriad. Yr oedd Didymus o'r Cwm yn caru yr offeiriad o galon, ac yn barod i ymladd drosto hyd at waed; ond nid oedd yn barod i *oddef* erlidigaeth na sarhâd gydag ef, llawer llai drosto. Nid oedd yn credu mewn dyoddef amyneddgar a gorchfygu drygioni trwy ddaioni. Dyn y dant am ddant ydoedd, a hiraethai am ryddid i ranu y lluaws rhwng Eglwys a chapel.

Arosodd y Parch. Phylip Jones yng Nghwm Awen dros yr holl Sul, yr hyn oedd beth tra anghyffredin, a holodd Ysgol Sul y capel yn ofalus, a rhoddes lawer o gynghorion i'r bobl ieuainc i fod yn ffyddlawn a dal at ddysgu y Beibl, a'r Beibl *yn unig*. Ychydig iawn o sylw a wnaeth hyd yn nod o'r *Hyfforddwr*, a chondemniodd bob math o "gredoau dynol" fel pethau llwyr beryglus ac annheilwng o'r oes. Yr oedd yr awyrgylch yn y capel yn brudd-glwyfus ac anesmwyth. Teimlid fod pethau yn arwain tuag argyfwng, ac fod cyfeiriadau yr ymwelydd yn anneledig tuag at yr Eglwys. Ofnai y rhan fwyaf o lawer o'r bobl wledig ddwyn dim anghydfod i fewn. Ond yr oedd yr adar dyfrol—yr adar dryghin, y *gwylanod* cymdeithasol—yn fwy cynhyrfus a thrystiog nag arferol, ac yr oedd Mr. H. Cadwaladr yn fwy difrifol a thaer na chyffredin.

Wrth fyned allan o'r fynwent ar ol y gosper, methodd Didymus o'r Cwm a pheidio dweyd wrth Llewelyn Llwyd, "Gobeithio y bydd sarhâd y dydd hwn yn ddigon i beri i chwi beidio dysgwyl mwy am gadw cyssylltiad â'r capel. Gwelsoch beth ydyw eu gwaelod. Capel yn gyntaf, Eglwys fel peth i fyned iddi neu beidio, yn ol y cyfleusdra."

Atebai Llewelyn Llwyd, "Wel, Thomas, y mae tuedd ym mhawb i fyned ar ol y newydd. Fe ddaw y bobl yn ol eto."

"Na ddeuant," ebai Didymus, "os gall Phylip Jones a Hugh Cadwaladr eu rhwystro. Ond cewch weled, syr, cewch weled; a gweled yw gwybod."

Ar ol gwasanaeth y dydd hwnw, yr oedd y Parch. Phylip Jones yn eistedd gyda Mr. a Mrs. Owen yn eu parlwr cefn ar ol swpera, a dechreuodd y pregethwr dyner gyfeirio at waith yr offeiriad newydd, yr ysgol, ac Eglwys y plwyf. Gan gyfeirio at Eglwys y plwyf, dywedai, "Deallaf fod yr offeiriad newydd yn amcanu adgyweirio neu ailadeiladu yr Eglwys yn lled fuan."

"Ydyw," atebai Mrs. Owen. "Bu yma gyda Mr. Owen yn gofyn ei ewyllys da, yn neillduol at gario y coed a'r llechi ati hi. Ac yr wyf yn meddwl fod Mr. Owen wedi addaw help."

"Do," atebai Mr. Owen. "Y mae Mr. Lloyd am ddechreu yn gynnar yn yr haf, ac y mae *notice* am festri y Pasc, yr hon sydd i gymmeryd lle yr wythnos nesaf—fod eisieu caniatâd i ail-drefnu y seti."

"Yr wyf yn deall," atebai y Parch. Phylip Jones, "fod bron yr oll o'r seti yn perthyn i'r ffermydd oddi amgylch, ac felly yn gymmaint eiddo y meistr tir a'r ffermwyr ag ydyw y ffermydd eu hunain; ac a ydyw yr offeiriad yn meddwl cael caniatâd i symmud yr oll, a gwneyd yr Eglwys yn Eglwys iddo ei hun,

Digitized by Google

fel na bydd gan neb hawl i'w hen eisteddle? Y mae enw Syr R. Vychan ar y rhan fwyaf o'r seti, onid oes?" ychwanegai.

Teimlai Mr. a Mrs. Owen eu hunain mewn math o benbleth pan glywsant hyn. Nid oeddynt erioed wedi meddwl am un anhawsder ar ffordd yr adgyweirio, a buasai i'r syniad am hawliau eiddo yn y seti eu llwyr ddyrysu.

Gwelodd y parchedig foneddwr ei fantais, a daeth yn nes i'w bwnc personol trwy ofyn, "Onid oes yn y Llan sêt yn perthyn i'r Plas ac enw y Plas arni?"

"Oes," meddai Mrs. Owen, "y mae yno sêt a elwir sêt y Plas â'r enw Vychan arni. Yno y byddwn yn myned bob amser, ac y mae genym glustogau a glin ystolion ynddi. Y mae yn ddigon mawr i'r teulu oll."

"Wel," ychwanegai yr ymwelydd pwyllog ac ymresymiadol, "a fyddai yn ddoeth—ïe, maddeuwch i mi am osod y peth mor eglur o'ch blaen—yn berffaith deg a diogel i chwi ollwng eich gafael o sêt y Plas, a gadael i'r offeiriad wneyd yn ol ei ewyllys â'r lle? Sêt y Plas ydyw. Sêt yn myned gyda'r fferm a'r Plas. Yn Lloegr y mae llawer o bobl yn barod i roi mwy o ardreth am dŷ neu fferm a sêt i'w chanlyn. A bydd y meistriaid tir yn dal eu gafael yn dŷn yn y seti. Tybied fod Syr R. Vychan yn gwybod am amcanion yr offeiriad."

"Y mae yn gwybod am yr amcan o adgyweirio yr Eglwys," atebai Mr. Owen, "o herwydd y mae ei enw ef yn gyntaf ar ol enw Mr. Lloyd ar restr y tanysgrifwyr."

"Byddai yn dda iawn i chwi gael gwybod pa un a ydyw efe yn gwybod fod yr offeiriad yn amcanu dilëu hawliau y ffermwyr i'w seti," dywedai y pregethwr, gan ychwanegu, "Nid oes arnaf eisieu ymyryd o gwbl ym mater y plwyf. Ac o'm rhan i, nis gwn pa beth yw yr amcan o wastraffu arian ar yr hen adeilad segur a gwag. Y mae llawer mwy o angen ychwanegu at y capel. Y mae yn dechreu edrych yn hen, ac yr oedd yn boenus o dŷn a thrymllyd yn yr oedfa heno. Yr wyf yn sicr pe cymmerid ailadeiladu y capel mewn llaw, y gwnaech eich goreu drosto."

"Gwnaem yn sicr," atebai Mr. Owen gyda'i garedigrwydd diofal; "ond ar adegau yn unig pan ddelo pregethwr enwog fel y chwi, Mr. Jones, yma y bydd y capel yn orlawn. Bydd yn ddigon gwag ar amserau ereill yn fynych."

Gwenodd y Parch. Phylip Jones, gan dderbyn y foesgar ganmoliaeth, a chan dybio iddo fyned yn ddigon pell, troes at ymgom mwy difyrus.

Wedi chwalu o'r teulu bawb tua eu gorphwysfan, a chael o Mrs. Owen ei hun yn ei hystafell wely, ebai wrth ei phriod, "Nid wyf o gwbl yn hoffi yr hyn a ddywedwyd gan Mr. Phylip Jones. Y mae ei eiriau yng nghylch y seti wedi peri poen mawr i mi. Yr wyf yn sicr nad ydyw Mr. Lloyd ddim yn ceisio gwneyd dim allan o'i le. Y mae yn ddyn rhy dda i hyny; ac eto, y mae rhywbeth yn rhesymol iawn yn y peth a ddywedodd y pregethwr am hawl pawb i'w seti."

Ymadawodd y Parch. Phylip Jones o Lan Cwm Awen y dydd Llun canlynol wedi creu drwgdybiaeth, cynllunio moddion anghydfod, a hau hadau drain ymryson ym mysg y bobl syml a thawel. Parasai bryder i'w groesawyr goreu a mwyaf caredig, a thaflasai rwystrau ar ffordd llesiant cyffredin ac adfywiad crefyddol yn yr ardal. Mor annhebyg oedd canlyniad ei ymweliad ef i'r eiddo John Elias ar un llaw a'r Deon Cottwm ar y llall! Dyma ddull y byd; a thybiai y tri eu bod yn gwneyd daioni. Y gwahaniaeth mawr rhyngddynt oedd yr edrychai y ddau ymwelydd cyntaf ar yr oll, a'r olaf ar ran; y rhai blaenaf ar achos Duw, a'r olaf ar achos dyn; yr oedd y rhai blaenaf o dueddiad parod i wneyd aberth er mwyn lles y cyhoedd, a'r olaf yn barod i aberthu pobpeth ar allor hunan.

## PENNOD XVII.

### *Y Festri.*

Braidd y gallodd Mrs. Owen, y Plas, eistedd i lawr ar ol canu yn iach i'r Parchedig Phylip Jones cyn parotoi o honi i ymweled ag Angharad yn y Persondy. Nid oedd deg o'r gloch yn awr yn fore iawn yno. . Byddai Angharad yn gyffredin mewn trwsiad parod i wynebu pob ymwelydd erbyn hyny, a byddai y brif ystafell bob amser yn drefnus. Ond nid ymwelydd ffurfiol y *drawing-room* oedd Mrs. Owen. Y *nursery* glyd a chynhes, yn gwynebu haul y dê, oedd ystafell eu cyfrin-gynghor, a rholyn o fachgen bochdew, gwridog, aurgudynog, llawn chwareuaeth, ac uchel ei drwst a'i ddwndwr, fyddai unig wrandawydd eu hymddyddanion. Yr oedd Mrs. Owen yn y gyfrin ystafell cyn un ar ddeg, a'r cerub-fachgen trystiog yn dechreu ar ei gampwaith o ymestyn o freichiau y naill foneddiges i'r llall, ond edrychai yr ymwelyddes fore yn welw ac anghyffyrddus.

"O, Mrs. Owen," torai Angharad allan, "y mae rhywbeth allan o'i le yn y Plas. A oes acw rywun yn sâl? Yr ydych yn edrych yn llwyd a chyffröus."

"Nac oes dim o'i le," atebai Mrs. Owen, "ond y

Digitized by Google

mae arnaf eisieu cael gair â chwi neu Mr. Lloyd yng nghylch adgyweirio yr Eglwys, a hyny cyn y festri."

Atebai y llall, "Y mae yn ddrwg genyf fod Mr. Lloyd wedi myned er yn fore i ymweled â chyfaill iddo sydd yn bur wael, ac ni ddaw yn ol hyd ddydd Mercher. Beth sydd?"

"Wel," atebai hithau, "y mae y Parch. Phylip Jones wedi peri pryder mawr i Mr. Owen a minnau, trwy ddweyd mai eiddo y ffermwyr ac ereill o'r plwyfolion ydyw yr holl seti yn yr Eglwys, ac nad yw yn gyfreithlawn na chyfiawn eu cyfnewid. Ofna y bydd Syr R. Vychan yn gwrthwynebu ac yn beio os rhoddwn i fyny sêt y Plas. A oes rhywbeth yn hyn, Mrs. Lloyd?"

Atebai Angharad, "Y mae yn anhawdd iawn i mi ateb boneddwr fel Mr. Jones. Pe buasai Mr. Lloyd gartref, gallasai ddweyd ar unwaith. Y mae ystyr yn yr hwn y gellir dweyd mai eiddo y ffermwyr ydyw y seti sydd ag enwau eu ffermydd arnynt. Dengys yr enwau fath o feddiant ynddynt, ond clywais ganwaith drachefn mai eiddo y plwyfolion oedd yr holl eisteddleoedd, ac fod gan bob un o breswylwyr y plwyf hawl eisteddle, gan belled ag y caniatäi lle. Ond ychydig yn wir, Mrs. Owen, wyf fi yn wybod am hawliau cyfraith. Os cyfraith, cyfraith cariad, onid e, Mrs. Owen, ydyw y goreu beth i ni?"

"Ië," atebai Mrs. Owen, "yr oeddwn i yn dweyd wrth Mr. Owen neithwyr nad oedd Mr. Lloyd am gynnyg gwneyd dim anghyfiawn nac annheg â neb wrth adgyweirio yr Eglwys. Y mae Mr. Lloyd yn ddyn rhy *dda* i feddwl drwg."

"Yr ydych yn siarad yn garedig iawn am Mr. Lloyd," meddai Angharad, "ac oni bai fy mod yn wraig iddo ac yn gwybod ei galon, buaswn yn dweyd eich bod yn rhy ffafriol iddo. Ond yr wyf finnau yn sicr na wna Mr. Lloyd gam â'r lleiaf o'i blwyfolion, ac na oddefa i neb arall wneyd cam â hwy. Gwn yn dda, Mrs. Owen, am Mr. Owen a chwithau nad oes arnoch chwi eisieu esmwythdra, clydwch, a neillduedd uwchafiaethol y sêt fawr i'ch gwahanu oddi wrth addolwyr is eu manteision daiarol yng ngwasanaeth cyssegr y Goruchaf. Buoch lawer gwaith yn dweyd wrthyf fod yn boen genych edrych ar yr ychydig hen bobl yn blinedig eistedd ar y meinciau culion, heb un cymhorth i'r cefn a grymwyd gan feichiau trymion llafur a phwys henaint i orphwys arno."

"Dyna, Mrs. Lloyd," atebai gwraig y Plas, "fydd fy nheimlad i bob amser. Tra y sicrhëir i ni wisgoedd cynhes, caf sêt gynhes at hyny yn yr Eglwys, a bydd yr hen bobl annwydog yng ngwynt y drws heb gysgod astyllen, ac heb le i roddi pwys eu cefn. A chan belled ag y mae a wnelom ni, caiff sêt y Plas fod fel pob sêt arall, er mwyn i'r hen bobl gael lle gwell. Ond os gwrthwyneba Syr Robert, nis gallwn ddim oddi wrtho."

"Nid wyf yn meddwl y blina Syr Robert ei hun o gwbl yn y mater," atebai Angharad; "y mae Mr. Lloyd eisoes wedi sicrhau ei gefnogaeth i'r gwaith; a phe angen, nid wyf ym meddwl fod gan Syr Robert ddim mwy o awdurdod yn yr Eglwys nag sydd gan y penteulu tlotaf yn y plwyf. Eiddo Duw yw yr Eglwys. Tŷ Dduw ydyw. Porth y nef. Yr wyf yn credu mai digon yw i ni ranu daiar Duw, a chau i fyny wrychoedd—canol-furiau gwahaniaethol—rhwng y meddiannau a ellir eu prynu ag arian ac aur, a gadael Eglwys Dduw yn gorlan rydd fel darlun bach o'r nef—fel, pan ddelo'r tlawd i mewn i benlinio, y gall ddweyd, 'Dyma yr eiddof fy hun—dyma gysgod o'r rhan sydd i *mi* o etifeddiaeth y saint yn y goleuni.' Derbynia y cyfoethog ddigon o fanteision o eiddo marchnadol byd; rhodder i'r tlawd yr un fantais ag yntau yn yr hyn a bwrcasodd Crist â'i briod waed. Beth, Mrs. Owen, a debygech chwi o'm barn?"

"Dyna fy nheimlad innau," ebai Mrs. Owen. "Yr wyf wedi cael mawr esmwythder i fy meddwl ar ol dweyd wrthych. Y mae Mr. Lloyd mor foneddigaidd fel na sonia am hyn, ac ef allai y bydd yn help iddo i osgoi anhawsderau."

Cyn i hanner yr ymddyddan uchod fyned drosodd, buasai raid galw y *nurse* i gymmeryd ymaith berchenog y pen-cudynog chwarëus, gan faint ei drwst yn ymarfer ei beiriannau llafar babanaidd.

Troes Angharad a Mrs. Owen i ymgom am bethau nes i gylch eu gwybodaeth na deddfwriaeth Eglwysig, ar ol boddloni eu hunain ar sail ffydd yn naioni a doethineb Llewelyn Llwyd fod pob peth yn ei le.

Cyn hir daeth dydd y festri fawr. Clywid trwst daiargrynfäu pellenig yn awgrymu dirgryniadau dynesol er ys rhai dyddiau. Ond swn ydoedd fel trwst y môr yn grwgnach rhwng ryw greigiau pell, neu'r dòn aflonydd yn curo ei drygnaws ben ar anial feisdon draw cyn gweled cuwch y 'storm. Ni wyddid o ba le y deuai'r bygythion grwgnachlyd, na pha beth oedd natur y cwynion a'r cwynfan.

Daeth Llewelyn Llwyd â'i gais ym mlaen ar ol llenwi yr ystafell a chael pob peth i drefn.

Wrth y bwrdd eisteddai cofiadur y festri, Mr. Hugh Cadwaladr. Draw ychydig bellder eisteddai Didymus o'r Cwm, â'i lygaid eryraidd yn dysgleirio —neu a defnyddio cymhariaeth lai barddonol, ond ef allai fwy cywir—mewn man gyferbyn ar astyllen

Digitized by Google

hen fainc ddigefn cwrcydai y bardd, fel cath ddu mewn congl, â'i lygaid fel dwy ganwyll frwmstan yn cynneu a bygythiol dremu yng nghyfeiriad y cofiadur. Gyda'r eithriadau a nodwyd, nid oedd dim yn galw sylw neillduol yn y cymmysg gynnulliad lluosog.

Darllenodd Llewelyn Llwyd ei geisiadau—1. Fod rhyddid i adgyweirio muriau a thô Eglwys Fair Fagdalen yng Nghwm Awen, sir Arianrod. 2. Fod i'r ffenestri gael eu hadgyweirio yn ddyladwy a'u hail-wydro. 3. Fod y platiau eirch (*coffin plates*) a grogid ar furiau yr Eglwys i gael eu tynu i lawr, a'u dychwelyd i deuluoedd y neb y perthynent iddynt. 4. Fod yr holl eisteddleoedd i gael eu hail-drefnu, a'r oll o honynt i gael eu gwneyd o'r un defnyddiau, yr un ffurf a maintioli, ac i fod oll yn rhyddion. 5. Fod y ddarllenfa a'r pwlpud i gael eu symmud i'r safle a nodwyd ar y *plan*.

Derbyniwyd y ddau benderfyniad cyntaf, a chymmeradwywyd hwy yn lled ddiwrthwynebiad ac heb lawer iawn o siarad. Gwrthwynebwyd y trydydd yn gyndyn a thra gwresog.

Anghofiai Mr. H. Cadwaladr ei ddyledswydd fel cofiadur, a dadleuai yn deimladwy dros beidio brifo teimladau y byw wrth ymyryd â'r meirw a'u hanwyl gofion.

Pan ymddangosai y ddadl yn dra annhebyg i ddyfod i derfyn boddhaol, dechreuodd Didymus o'r Cwm ymunioni o'i ddyblygion yn y gongl, ac wedi tynu ei hun i ystum bwa, ag un llaw yn estynedig fel saeth tua'r gadair, a'r llygaid gwyrddlas yn pellebru tân at y cofiadur, ebychai'r bardd—"Mr. Cadeirydd, un gofyniad, os gwelwch yn dda. Onid oes genych chwi a'r wardeniaid; ïe, chwi, *heb warden*, pe bai raid, hawl i symmud pob aflan-beth allan o gyssegr yr Eglwys? Os oes yma wr yn meddu *braint* i grogi llechau coffadwriaethol ar furiau Eglwys y plwyf, dangosed ei ysgrif. Os heb *fraint* na chaniatâd festri a llys Eglwysig y daethant yma, rhoddwch i mi y gair a mi a'u cludaf allan oll gan herio plwyf i'm lluddias."

Wedi yr ymdrech fer hon, eisteddodd y bardd—plygodd ei freichiau yng nghyd—gwyrodd ei gefn ar fur yr Eglwys, a saethodd fellt rhudd-gochion a gwyrddion allan at y dorf. Edrychai pawb yn syn ar eu gilydd.

Yn araf atebodd Llewelyn Llwyd mewn tawelwch meistrolgar o'r gadair, "Mr. Thomas Evans, yr wyf yn ateb eich gofyniad gyda gradd o betrusder. Ni thybiais fod angen ymgynghori â chyfreithiwr wrth osod i lawr yr hyn a ddarllenais, o herwydd nid ar dir cyfraith orfodol ond ar seiliau teimlad da ac ymgynghoriad caredig a lles y plwyf yr oeddwn yn dymuno gweithredu, ond eto o fewn terfynau cyfraith uniawn. Y mae yn dra thebyg y gallai y wardeniaid a minnau symmud ymaith y coflechau hyn fel eu gelwch hwy, ond byddai hyny yn dramgwydd. Y mae gan y byw afael tyner iawn yng nghof eu perthynasau ymadawedig, ac ni buasent yn gosod eu henwau yma oni bai eu bod yn gwerthfawrogi y cyfleusdra. Rhaid i'r teuluoedd wneyd peth aberth teimlad i'w symmud. Aberth amserol a fydd yn wir, a chânt weled yn fuan mai aberth dymunol er harddwch a sirioldeb Eglwys Dduw ydyw. Bydd y muriau glân yn wobr iddynt, a gobeithiwn y ceir pen ar y ddadl yn fuan a boddhaol."

Ar eisteddiad Llewelyn Llwyd, cynnygiodd Mr. Owen fod y cais i gael cymmeradwyaeth: eiliwyd gan y warden; ac ar ddodiad y pwnc ger bron y festri, dangosodd o ddeutu hanner y gwyddfodolion eu cydwelediad trwy godiad llaw.

Pan welodd Llewelyn Llwyd nad oedd yr oll yn dangos eu cymmeradwyaeth, gofynodd a oedd gwrthwynebiad neu welliant, ond ni chyfodwyd llaw o wrthwynebiad.

Aed at bwnc y seti. Bu dadleu maith, brwd, a phoenus. Gofynid cwestiynau diddarfod yng nghylch hawliau eisteddleoedd. Fel cymmedrolwr a math o gyfryngwr rhwng y pleidiau, cynnygiai y cofiadur ar fod i bob teulu gael sêt newydd yn y lle y bodolai eisteddle y cyfryw, ac fod yr enwau i gael eu dodi fel o'r blaen ar y seti. Ymdrechwyd dangos y cai pob un ei eisteddle heb ei aflonyddu o'i hen fangre, ac yr ychwanegid llawer iawn o eisteddleoedd ereill at wasanaeth y plwyfolion.

Ofer, pa fodd bynag, oedd yr ymdrech i nesu at benderfyniad.

Ofnai Llewelyn Llwyd bob mynyd i'r tân dori allan o ddystawrwydd anesmwyth Didymus o'r Cwm. O'r diwedd, methodd y bardd â ffrwyno ei dafod ym mhellach. Ebai, "Barchedig Gadeirydd, foneddigion, gwaith y Parchedig Phylip Jones a Mr. H. Cadwaladr, y cofiadur, ydyw y gwrthwynebiad hwn oll. Nid oedd son am dano cyn y Sul diweddaf. Daeth y boneddwr o sir Seiriol yma i bregethu cariad, a lefeiniodd y plwyf â chasineb. Yr wyf yn herio y cofiadur y mynyd hwn i'm gwrthddywedyd. Y mae yn gwenu yn eich gwyneb fel oen, ac yn barod i frathu eich sawdl fel sarff. *Sathrwch* y wiber. Os oes cas-beth ar wyneb daiar, rhagrithiwr sebonllyd, sych-dduwiol, llechwrus, yn gwenu yn y gwyneb a cholynu o'r tu cefn, ydyw hwnw. A dyna yw y cofiadur sydd yn swyno'r plwyf â'i hudoliaeth."

Yr oedd dwylaw Llewelyn Llwyd i fyny er ys

Digitized by Google

amser yn tawel geisio gan y bardd dewi neu leddfu ei ymadroddion, ac edrychai y rhan fwyaf o'r gwyddfodolion yn gyffröus ac ofnus. Yr oedd y bobl yn rhy syml i wneuthur trwst a boddi llais y llefarwr, a theimlai mwy na'r hanner fod llawer iawn o wirionedd yn lliwio geiriau celyd a geirwon y bardd.

Am y cofiadur, troisai i bob lliw a nyddai dan y fflangell ofnadwy, ond llwyddodd i ddweyd nad oedd athrod y bardd o'r Cwm yn anair i neb, ac y byddai iddo ef alw arno mewn llys uwch na festri Cwm Awen i roddi cyfrif o'i anwireddau am y Parchedig Phylip Jones ac yntau.

Yn araf llinarodd gerwindeb yr ystorm, a rhywfodd bu i'r dymmestl buro ac ysgafnhau yr awyrgylch foesol yn y festri. Aeth lluaws mawr o gymdeithion a chefnogwyr deddf-rwystrol y cofiadur adref yn friwedig, a derbyniodd ceisiadau yr offeiriaid y gymmeradwyaeth angenrheidiol, megys rhwng bodd ac anfodd.

Bu, pa fodd bynag, i'r ymdrech gostio yn ddrud i'r offeiriad tawel. Gwaith caled iawn yw gweithio ei ffordd ym mlaen trwy wrthwynebiad cyndyn anwybodaeth wedi ei gragenu â rhagfarn, ac yn cael ei amddiffyn gan alluoedd cynhenid cryfion a balchder anhyblyg hunanoldeb. Rhaid oedd i Llewelyn Llwyd arfer pwyll ac amynedd mawr i gadw nwyd i lawr.

Yr oedd Mr. Owen, y Plas, yn ddyn rhy dawel, rhy lawn o natur dda, a hoff o ddiddigrwydd er mwyn cadw cymmydogaeth dda, i ymflino er mwyn meistroli pwnc a sefyll dros blaid. Yr oedd Didymus o'r Cwm o'r tu arall yn gymmeriad rhy bigog, gerwin, ac annoeth yn ei gynlluniau i fod o nemawr gymhorth i neb. Tywalltai gynnwysiad ei holl feddwl, yr hyn a wyddai ac a ddychymmygai, i ganol y dorf yn gymmysg â'u gilydd yn y dull mwyaf personol.

Teimlai yr offeiriad lluddedig ei holl gyfansoddiad gewynol yn ymollwng wrth ymlusgo adref o'r festri y noson hono.

(*I'w barhau.*)

---

## Y TWRCH DAIAR.

Y MAE hwn yn anifail bach adnabyddus i'r rhan fwyaf o drigolion ein gwlad, ac y mae ganddo'r cymmeriad o fod yn beiriannydd galluog, yn yr hyn y mae yn hunanddysgydd ac yn meddu ar dueddiad naturiol i'r gwaith; ac eto, y mae mor wylaidd fel ag i wneyd ei weithiau ardderchocaf yn guddiedig o'r golwg. Nid yw byth yn meddu arian, ac eto y



mae yn gwisgo côt brydferth, am ba un ni raid iddo ddim diolch i'r un teiliwr yn y wlad. Er ei fod yn greadur bychan, y mae yn fwytäwr mawr, gan fod ei waith caled yn rhoddi archwaeth dda iddo, ac y mae yn gallu cael ciniaw da iawn ar bob tymmor o'r flwyddyn. Y mae dirwestwyr yn edrych arno yn barchus, er nad oes yr un o'i blant yn aelod o'r *Band of Hope*, ac na ddarfu iddo erioed wisgo y "riban glas." Y mae ei hoffder o yfed dwfr bron yn nwyd ynddo, ond hwyrach na ddylem gyfrif hyn ym mhlith ei ragoriaethau. Nid ydyw yn ymyraeth â phynciau gwladol, ac eto y mae gwladweinwyr wedi gwneyd defnydd o hono, ac unwaith bu yn foddion anfwriadol i ddyfetha holl gynllwynion rhyfelwr a gwladweinydd enwog. Y mae rhai dynion yn ei fawr gasäu ef a'i deulu, ac eto nid ydyw yn dal llid â hwynt, nac eisieu dim ond heddwch ganddynt. Y mae rhai yn ei gyhuddo o feddu tymmer nwydwyllt ac ysbryd ymladdgar, ond y mae hyd yn oed y bobl hyn yn addef ei fod yn wr da a thad ymroddgar.

Gadëwch i ni yn awr ystyried gweithredoedd ac arferion y twrch daiar. A fu i chwi erioed weled un o gastellydd yr anifail yma? Os na bu, nid ydych yn gwybod llawer am allu y creadur. Y mae ei amddiffynfa yn debyg iawn i rai o'r hen gaerau Rhufeinig sydd i'w gweled yng Nghymru, lle mae yna amddiffynfa ganolog yn cael ei hamgylchu gan ddau neu dri o gylchau o briddglawdd. Gellir galw y lle nesaf i mewn yn ei gastell yn dŵr canolog y castell: o amgylch hwn y mae y rhodfa gylchog cyntaf wedi ei dyllu trwy'r ddaiar gan y peiriannydd bywiog. Mae y tŷ canolog yn cael ei gyssylltu â'r rhodfa gyntaf yma gan dair ffyrdd yn myned o'r naill i'r llall. O gwmpas y cylch cyntaf y mae un arall â phedwar neu bump o ffyrdd yn eu cyssylltu. O'r ail gylch yma y mae saith neu wyth o geuffyrdd yn cyrhaedd ym mhell o dan y ddaiar, gan daflu yn agored dir hela eang i'r Nimrod tanddaiarol. Mae y darllenydd yn gweled fod pob un o'r ffyrdd yma yn gyssylltedig â'r tŷ canolog, ac yn ffurfio un gyfundrefn o beirianwaith anifeilaidd. Mae un ffordd fawr yn rhedeg yn syth o'r castell i gwr pellaf y tir hela, ac yn hon bydd y tyrchwr profiadol yn gosod ei fagl. Nid oes prin le yn y rhan fwyaf o'r tyllau hyn i'r twrch fyned trwodd, ac eto y mae ei gyflymder wrth garlamu trwyddynt yn syndod i'w weled. Y mae profion wedi ei wneyd ar hyn gan foneddwr Ffrengig o'r enw Le Court, yr hwn a ymroddodd am lawer o flynyddau i astudio arferion y twrch daiar. Byddai yn arfer ei ddychrynu tra yn bwyta, trwy anfon swn udgorn i fewn i'w ystafell giniaw. Wrth

Digitized by Google

gwrs, byddai y creadur dychrynedig yn ei chychwyn hi nerth ei draed am ei gastell, ac y mae y rhai oedd yn edrych ar y profion yn dywedyd fod ei gyflymder yn gymmaint a thuth ceffyl. Ym mha fodd y gellid darganfod hyn pan oedd yr anifail yn guddiedig? Darfu i Le Court a'i gynnorthwywyr wthio darnau o wellt i'r rhodfa hir rhwng y lle yr oedd yn bwyta a'i drigfod. Ar ben bob gwelltyn yr oedd lluman fechan o bapyr; a phan oedd yr anifail yn carlamu tua'i gastell, yr oedd yn cyffwrdd â'r gwelt, ac yn ysgwyd y lluman oedd am ei ben.

Fe gyfaddefa y darllenydd yn awr fod y twrch daiar yn beiriannydd galluog, ond hwyrach fod arno eisieu gwybod bellach ym mha le y mae ei arfau. Y mae bob amser yn myned o gwmpas â chaib a rhaw a pheiriant tyllu gydag ef, wedi eu gwneyd mor gywrain fel na all peiriannydd mwyaf enwog y byd wneyd eu gwell. Y mae yr arfau yma i gyd yn un darn, a gall y darllenydd eu gweled bob tro y mae yn gafael mewn twrch daiar. Edrychwch ar ei draed blaen, mor debyg i ddwylaw ydynt, gwelwch fel y maent wedi troi i'r ochr, fel pan y cloddier y pridd y mae yn cael ei daflu i'r tu ol oddi ar y ffordd. Daliwch sylw yn nesaf ar y wisg ragorol sydd ganddo wrth ei waith. Wrth fod y rhodfëydd mor gul, buasai ei symmudiadau yn cael eu rhwystro pe buasai'r pridd yn glynu wrth ei flew. Ond ni lyna pridd byth wrth gôt sydd mor feddal a llyfn a'r melfed goreu, gyda gwyneb mor ryfeddol sydd yn taflu ymaith y pridd mwyaf ymlynol. Y mae'r blew wedi ei osod yn y croen fel na waeth pa ffordd y rhwbir ef: gorwedda yn wastâd heb boeni dim ar y creadur. Er fod ei flew mor esmwyth y mae ei groen yn wydn anarferol, o herwydd buasai croen teneu yn cael ei anafu yn wastadol trwy rwbio yn erbyn y ddaiar arw. Yr ydych yn gweled oddi wrth hyn mor gymhwys ydyw at ei waith o beiriannydd tanddaiarol.

Y mae yr anifail yma yn fwytäwr mawr. Ym mha fwyd y mae yn cael y mwynhâd mwyaf? Y pryf-genwair sydd yn ffurfio y ciniaw mwyaf danteithiol i'r brawd newynog. Ond nid ydyw yn hoffi ei fwyta heb ei flingo yn gyntaf, ac y mae yn gwneyd hyn yn y modd mwyaf destlus. Ni fydd y rhai sydd yn gwybod am adeiladaeth y pryf-genwair yn synu wrth hyn. Ni fuasai neb yn dymuno bwyta *beef steak* â 120 darn o fadruddyn (*gristle*) ynddo. Y mae gan y pryf-genwair y nifer yna o fodrwyon madruddog yn ei gorff, ac y mae y twrch daiar yn ei le wrth eu gwahanu hwynt oddi wrth y croen. Wrth gwrs, y mae yn galed ar y pryf-genwair, ond wedyn y mae yn dda iawn i'r twrch daiar.

Yr ydwyf wedi ei alw yn ddirwestwr, o herwydd mewn cyssylltiad ag yfed dwfr gallwn ei iawn alw yn "enaid sychedig." Mor barhäus ydyw ei ddymuniad i yfed, fel y mae yn gwneuthur cyfres o bydewau er casglu a dal dwfr, os na fydd yna ffrwd neu lyn yn agos.

Mae y twrch daiar yn meddu ar dymmer nwydwyllt, ac yn arfer ymladd brwydrau celyd gyda'i frodyr o'r un rhyw. Y mae hyn yn dygwydd yn enwedig pan fydd un wedi cloddio ar draws twll un arall. Y mae'r ddau beiriannydd ymladdgar yn cyfarfod; nid oes lle i fyned heibio; hwyrach na throa yr un yn ol, ond mae urddas y natur dyrchol yn gwahardd hyny: nid oes dim i'w wneyd ond ymosod y naill ar y llall. Nid chwareu fydd hyn i'r un o'r rhyfelwyr, canys y mae y twrch daiar yn brathu fel *bull-dog*, fel y gallwch deimlo ond rhoddi eich bys yn ei geg.

Y mae gan y twrch daiar y cymmeriad o fod yn wr cariadus; yn wir, mae y rhan fwyaf o'i frwydrau yn cael eu hymladd mewn amddiffyniad i'w wraig a'i blant. Yn aml bydd yn well ganddo farw na gadael ei wraig. Mae yr olaf weithiau yn cael ei dal mewn magl; bydd yn well gan ei gwr gael ei ladd gyda hi na'i gadael. Oni buasai hyn yn destyn pregeth ragorol i'w phregethu i rai "pobl"?

Y mae rhai gwladwriaethwyr wedi defnyddio y twrch daiar yn eu brwydrau pleidiol. Pa sut felly? Yn sicr, ni fuasai ei enw yn gwneyd arwyddair da i blaid; nis gellid byth ei ddefnyddio er dallu llygaid yr etholwyr, ac nid ydyw yn ddigon gwerthfawr i wneyd llwgr-wobr. A fydd y darllenydd mor garedig a dychymmygu ei fod yn ciniawa gydag amryw o foneddwyr o blaid Iago II. yn nyddiau y Frenines Anne? Beth ydyw'r llwnc-destyn sydd yn codi y brwdfrydedd mwyaf? Y mae pob un yn ei yfed; y mae pob gwydryn yn cael ei waghau wrth y geiriau, "I'r boneddwr bach yn y siaced felfed." Beth all fod ystyr hyn? Y mae un o'r cyfeillion yn rhoddi yr eglurhâd fod "y boneddwr bach mewn melfed" yn dal perthynas â'r twrch daiar a gyfododd y tocyn yn erbyn pa un y syrthiodd ceffyl Gwilym III., gan dori asgwrn ei wddf, ac felly achosi marwolaeth y brenin hwnw. Yr oedd pleidwyr gorfoleddus Iago yn mynegu eu llawenydd annhraethol wrth yfed "iechyd da" i'r twrch daiar anymwybodol. Beth pe buasai y creadur neillduol a gyfododd y tocyn yna yn adnabyddus? Yn wir, buasai yn cael gwledda ar y pryfaid-genwair tewaf oddi ar lestri arian ar hyd ei oes.

Yn awr, rhaid i ni droi at bethau mwy agos atom, gan ofyn, a ydyw y twrch daiar ddim yn gwneuthur

Digitized by Google

llawer iawn o ddrygau? Yn wir, y mae yr amaethwyr yn dwyn cyhuddiadau trymion yn ei erbyn; ond gallwn eu cyfyngu i ddau, sef bwyta neu ddyfetha gwraidd y cnydau ac anharddu y meusydd gyda'i dyrau lluosog. Buasai yr olaf yn ddaioni mawr pe buasai yr amaethwr yn eu chwalu, ac felly yn cael côt o wrtaith da i'w feusydd. Mae y darllenydd yn gweled mor ychydig o ddrwg y mae yn wir wneyd. Er hyn, y mae rhyfel ddileuol yn myned ym mlaen yn ei erbyn er ys talm. Yn yr ymdrech hon y tyrchwyr yw y cadbeniaid, maglau ydyw yr arfau sydd yn cael eu defnyddio, ac nid oes ond tyrchod talentog iawn yn gallu dianc. Y mae wedi ymladd brwydr galed am ei einioes, neu ni buasai yr un o honynt yn fyw erbyn hyn. Y mae yn benderfynol i ddal ati, ac nid ydyw wedi rhoddi yr un arwydd o ddarostyngiad, na chwaith o ymfudiaeth. Nis gallwn beidio ag anrhydeddu y fath ddewrder, gan ewyllysio iddo y llwyddiant y mae yn haeddu.

*Ynys yr Arch.* AB CERNYW.

## PRYD ARWEINIAI JOHN Y CANU.

'Rwy'n hoffi myned i dŷ Dduw,
Ond nid myn'd yno i fwngial;
Darfyddodd yr hen ddull oedd gynt
O foli yn yr ardal:
Serch fod y pethau yn fwy coeth,
Mae'r galon fach yn glynu
Yn yr hen Eglwys anwyl, pryd
Arweiniai John y canu.

'Rwy'n hoffi clywed yn y lle
Yr organ fawr yn seinio,
Fe yra hon fy ngwaed yn oer—
Rhydd yn fy mynwes gyffro;
Ond rywfodd, y mae'n methu'n lân
A tharo'r tant i nenu,
Fel yr hen amser gynt, y pryd
Arweiniai John y canu.

Pan y dechreuai'r gwladaidd gôr
Rhyw fwynaidd dôn yn hwylus,
E fyddent yno oll mewn hwyl—
Y moli fyddai'n felus:
'Roedd pawb yn derbyn bendith gu
A mwynder nes eu synu
Yn y gwasanaeth dwyfol, pryd
Arweiniai John y canu.

O, fel y canent y pryd hyn
Rai o'r hen donau swynol;
Pob llais yn beraidd yn ei gylch
Heb nodyn yn ddiffygiol:
Meddyliwn wrth eu clywed fod
Glân engyl nef yn synu
Pan ganent am y gwaed, y pryd
Arweiniai John y canu.

Ni chanai yr hen bobl dda
Am arian yn eu helynt,
Ond canent beunydd gyda hwyl
Am fod y canu ynddynt:
Serch fod y mwyn offeiriad doeth
A'r bregeth yn ein denu,
I'r gorlan deuai dynion, pryd
Arweiniai John y canu.

HENRI MYLLIN.

## YR EGLWYS.

(*Talfyriad cyfieithedig o anerchiad a draddodwyd mewn cyfarfod o ddeoniaeth Kidwelly, yn Eglwys Llangendeirne, Gor. 7fed, 1891, gan y Parch E. A. Davies, ficer Llangennech.*)

TARDDA y gair *eglwys* o'r hen air Cymreig *glwys*[1]—glân, pur, sanctaidd. Yn y Groeg defnyddir dau air gwahanol yn gosod allan y drychfeddwl o *eglwys*, sef—

1. *Kuriakon*, lle cyssegredig i addoli Duw, neu dŷ yr Arglwydd.

2. *Ecclesia*, cynnulliad o Gristionogion proffesedig wedi eu galw yng nghyd i addoli.

3. Yn ystyr gyffredin y gair golyga *eglwys* gyfundeb eang o Gristionogion, yn ddarostyngedig i ryw un ffurf o lywodraeth eglwysig, yn dal yr un gred, ac yn addoli yn ol yr un cynllun, megys yr Eglwys Iuddewig, yr Eglwys Rufeinig, Eglwys Groeg, neu Eglwys Loegr.

4. Ond mae y Testament Newydd yn defnyddio y gair *ecclesia* neu *eglwys* i ddynodi rhyw un gangen leol o'r cyfundeb a nodir uchod, megys yr Eglwys yn Ephesus, Eglwys Antiochia, Eglwysi y Galatiaid.

5. Ceir yr Apostol Paul yn cyflwyno hefyd yr un anrhydedd i ryw ddarn llai eto o'r cyfundeb, pan

[1] [Nid ystyriwn ein hunain yn rhoddi sel awdurdod yr *Haul* ar darddiad y gair eglwys o glwys. Gwell genym ei ystyried fel Cymreigiad o'r gair Groeg εκκλησια, Lladin *ecclesia*, Ffrancaeg *eglise*.—GOL.]

Digitized by Google

yn anfon cyfarchiad at yr eglwys yn *nhŷ* Nymphas, neu at yr eglwys yn *nhŷ* Priscilla ac Aquila.

Rhaid addef fod y teitl hwn mewn rhyw ystyr yn anwyl iawn gan rai o honom o'n mebyd—yr eglwys yn y *tŷ*, neu yr eglwys yn y *teulu;* ac O! na ddeuai pob aelwyd Gristionogol drwy ein gwlad i deilyngu y teitl cyssegredig hwn fel mangre "yr allor deuluaidd."

6. Ond yn yr ystyr helaethaf mae *yr eglwys* yn golygu holl gyfangorff gwir Gristionogion y byd, y cydgrynoad o holl gangenau unigol y wir Winwydden, wedi eu himpio i mewn yn yr ordinhâd o Fedydd, a'u dwyn i undeb bywiol â Christ, ac o ganlyniad i undeb hefyd â'u gilydd trwy gyd-gymdeithas yr Ysbryd.

Y corff cyfansawdd hwn ym mhob oes a gwlad a olygir wrth

*Yr Eglwys Lân Gatholig.*

Y mae hon mewn rhan yn weledig ac mewn rhan yn anweledig; y naill yn awr ar y ddaiar, a'r llall y tu hwnt i'r llen yn yr orphwysfa dragwyddol. Gwyddom am y rhan fawr sydd eisoes wedi blaenu ei bod yn bur, yn sanctaidd, ac yn ddedwydd, mewn bythol fwynhâd o gyflawnder bywyd y wir Winwydden. Nid oes yno gymmysgedd o ddrwg a da; nid oes yno ychwaith son am ymraniadau, ond

"Pawb o'r brodyr yno'n un,
Heb neb yn tynu'n groes."

O! mor wahanol yma, gymmaint o gymmysgedd, a chymmaint o ysbryd croesbleidiau ac ymraniadau.

EGLWYSI YN GYFFREDINOL.

Dichon y gall fod *eglwysi* a elwir felly ym mhlith dynion nad oes iddynt ran na chyfran fel cangenau o'r wir Winwydden. Na ato Duw i ni ddadgan barn angharedig, ond nis gallwn dybio am foment fod hawl gan neb i ddefnyddio yr enw *eglwys*—teitl mor gyssegredig a dwyfol—i osod allan unrhyw sefydliad o ddynol darddiad.

Yn ol erthygl 19ydd:—"Eglwys weledig Crist yw cynnulleidfa y ffyddloniaid, yn yr hon y pregethir pur Air Duw, ac y gweinyddir y sacramentau yn ol orhinâd Crist ym mhob peth a'r sydd angenrheidiol i'r unrhyw." Yma awgrymir yn eglur na ddylai unrhyw gynnulleidfa hyd yn oed o *ffyddloniaid* ymhoni yn yr enw neu y teitl o *eglwys* oddi eithr fod yr anhebgorion yn sylfaenedig ar ordinhâd Crist—oddi eithr fod y gyfryw eglwys yn ffrwyth awdurdod y commissiwn apostolaidd, wedi ei gludo i lawr ar hyd yr oesoedd yn yr un linell euraidd a didor o ffynonell awdurdod Crist ei hun. Ond er hyn, nid oes ammheuaeth genym nad yw Duw wedi ac yn goruwchlywyddu ffaeleddau dynion, gan fendithio amrywiol ymdrechion o duedd grefyddol, er daioni i'r byd.

EIN HEGLWYS GENEDLAETHOL.

Y fath ragorfraint yw bod yn perthyn i gangen ddiammheuol o'r wir Winwydden, yr hon a saif yn ddibetrus yn y llinell uniongyrchol o'r olyniaeth apostolaidd, ag sydd yn ei holl anhebgorion yn unol ag ordinhâd Crist ei hun. Ond eto, na fydded i ni ar gyfrif hyn ystyried ein Heglwys yn *berffaith*, o blegid megys ag y cyfeiliornodd eglwysi ereill a fuont unwaith yn gangenau bywiol o'r wir Winwydden, felly dichon fod ein Heglwys ni yn ddarostyngedig i ammherffeithrwydd a ffaeleddau, hyd yn oed yn yr oes hon, heb son am y gorphenol. A gawn ni, ynte, yn weinidogion ac aelodau, wneyd ein goreu yn ein hamrywiol gylchoedd i ddwyn ein gwir Eglwys i fyny i safon uwch o berffeithrwydd? Fel y dywedodd rhywun: "Byddai mor afresymol i alw trigolion unrhyw dalaeth yn fyddin filwrol am eu bod yn clywed seiniau *corn y gad*, ag a fyddai galw y sawl sydd yn gwrando Efengyl Crist yn *eglwys*." Gwneir y fyddin i fyny o filwyr rheolaidd, wedi ymrestru o dan awdurdod y llywodraeth; a gwneir y wir Eglwys i fyny o Gristionogion rheolaidd, wedi ufuddhau i alwad y Blaenor mawr yn unol â thelerau y *commissiwn* apostolaidd, wedi eu gwneyd yn blant i Dduw yn sacrament y Bedydd, gan ymegnïo yng ngwasanaeth Crist, a dwyn ffrwyth cyfatebol i fywyd y wir Winwydden.

CAMDYBIADAU I'W GOCHEL.

Dylid ymochel rhag camdybiadau a allent arwain i ysbryd cul a rhagfarnllyd:—

1. Ni ddylid ystyried unrhyw adran neillduol o'n Heglwys, a elwir genym ni yn *uchel* neu *isel* Eglwysig, fel yr *unig* wir gangen o Eglwys Crist.

2. Nid oes genym awdurdod ychwaith i ystyried cyfangorff Eglwys Loegr fel yr *unig* wir Eglwys yn y byd. Er y dichon ei bod felly mewn cymhariaeth i rai cyfundebau crefyddol nad ydynt yn apostolaidd eu cyfansoddiad; eto, ai ni ddichon fod geiriau Crist yn wir heddyw, yn yr olwg ar y byd mawr Cristionogol, "Eithr defaid ereill sydd genyf y rhai nid ŷnt o'r gorlan hon." Yn ein gweddïau, gan hyny, dros "yr Eglwys Lân Gatholig," ni a ddylem gymmeryd i mewn bawb Gristionogion ydynt yn cofleidio anhebgorion ordinhâd Crist.

Digitized by Google

3. A yw yn bosibl fod angen weithiau i adgofio *yr offeiriaid* mai nid hwynt-hwy yw yr Eglwys ar wahân oddi wrth y bobl. Yn wir, dyma y gorchymmyn apostolaidd iddynt: "Porthwch braidd Duw, nid trwy gymhell, eithr yn ewyllysgar; nid er mwyn budr-elw, eithr o barodrwydd meddwl; nid fel rhai yn *tra arglwyddiaethu* ar etifeddiaeth Duw, ond gan fod yn esamplau i'r praidd." Gwelir ambell offeiriad yn dechreu ei yrfa weinidogaethol mewn plwyf newydd: ef allai ei fod yn coleddu golygiadau gwahanol i'w ragflaenor mewn perthynas i ddefodaeth *uchel* neu *isel* Eglwysig, a dyga i mewn i'r gwasanaeth, yn gystal a'r trefniadau plwyfol, y fath gyfnewidiadau disymmwth, pa rai, er yn ddiniwed ynddynt eu hunain, a ymddangosant i'r hen blwyfolion yn hollol ddiangenrhaid, os nid yn beryglus, nes mewn canlyniad syrthia y cynnulleidfaoedd ymaith, a llawer o'r aelodau gweiniaid ar grwydr—rhai i gorlanau dyeithr ac ereill yn siomedig i faes y byd—cyll yr achos da, a fu unwaith mor flodeuog, lawer o'i nerth am flynyddoedd; tra yr ymddengys yr offeiriad *ei hun* yn gwbl-foddhaol, gan awgrymu ei fod yn gwneyd gwasanaeth i Dduw drwy *buro yr Eglwys;* tra ym marn pawb ereill, yr enw mwyaf priodol i effaith y cynllun hwn fyddai *Eglwys wag* yn hytrach nag *Eglwys bur*. Goddefer, ynte, air y cynghor: wrth ddwyn i mewn gyfnewidiadau o'r fath a nodwyd i unrhyw blwyf, "caffed amynedd ei pherffaith waith," a "bydded eich arafwch, frodyr, yn hysbys i bob dyn," gan gofio mai nid y gweinidogion yw yr *Eglwys*.

### Y LLEYGWYR.

Mae yn anfantais yn ein cyfundeb Eglwysig nad oes genym ddarpariaeth ddigonol o gylchoedd i ddenu sylw ac ennyn sel ac ysbryd gwaith yn ein lleygwyr. Onid ellid cadw hyn, ynte, yn fwy mewn golwg ar bob achlysur a chyda phob symmudiad?

1. Bydd y *côr* canu wrth reswm yn un cylch ragorol ac attyniadol o wasanaeth i nifer luosog o'n hieuenctyd ym mhob plwyf.

2. Bydd yr *Ysgol Sul* hithau yn faes nodedig o lafur lleygyddol; yn wir, mae yn anhawdd meddwl y dichon i unrhyw eglwys fod yn flodeuog iawn heb gynnorthwy y fammaeth dda hon. Ond nis gallaf lai na sylwi y dylai yr Ysgol Sul Eglwysig feddu nodwedd gwbl wahaniaethol oddi wrth Ysgol Sul yr enwadau sectyddol. Ofnwyf, ar hyn o bryd, nad oes nemawr o wahaniaeth nodweddiadol rhyngddynt. Yn y naill yn gystal a'r llall, fel rheol, ceir yr hen gynllun mewn arferiad o ddarllen rhyw bennod o Air Duw yn y dosbarth hwn, a rhyw bennod arall yn y dosbarth acw. Yna, wedi i bob darllenydd gael adnod neu ddwy yn ei gylchdro, deuir at y *cwestiyno* a'r *esbonio* fel y'i gelwir. Yn fynych bydd y cwestiynau a'r atebion yn ddigrif o ammherthynasol, a bydd yr esbonio yn gyffredin yn arwain i ddadleuon brwd ar byncìau pell a dyrys. Onid oes gormod o hyn yma yn nodweddu hyd yn oed Ysgolion Eglwysig yr oes oleu hon, a hyny yn aml heb nemawr gyfeiriad at addysg o natur Eglwysyddol? Ië, o ran cymmaint o addysg a gyfrenir yn egwyddorion hanfodol ein Heglwys mewn llawer Ysgol Sul Eglwysig, byddai braidd gystal i'n hieuenctyd fynychu ysgolion y capeli Ymneillduol. Yn wir, ni ddylai hyn fod felly. Dylai yr Ysgol Sul Eglwysig ym mhob plwyf fod yn feithrinfa i egwyddorion gwahanfodol yr Eglwys ei hun, pa rai a ddylid eu dwyn i sylw y dosbarth oddi wrth pob cyfran o Air Duw, dan arweiniad athrawon profiadol a fyddont eu hunain yn gadarn yn y ffydd Eglwysig. Gyda yr amcan anhebgorol hwn mewn golwg, oni fyddai yn gynllun doeth i fabwysiadu yr un gyfran o Air Duw ym mhob dosbarth trwy yr ysgol? ac yna i sefydlu *cyfarfod athrawon* unwaith yr wythnos i ymwneyd â'r bennod appwyntiedig, dan arolygiaeth yr offeiriad, yr hyn a fyddai yn rhagbarotoad adeiladol ac yn hyfforddiad gwerthfawr dros ben i athrawon ieuainc a dibrofiad ar gyfer gwaith y Sabbath dilynol.

Ond heb law y *côr* a'r *Ysgol Sul*, gallem awgrymu maes arall o lafur lleygol. Lle bynag y deuir o hyd i leygwyr ewyllysgar a chymhwys, yn neillduol mewn trefi a chymmydogaethau poblog, credwyf y byddai eu gwasanaeth o les annhraethol fel—

3. Is-ymwelwyr plwyfol dan arolygiad yr offeiriaid. Beth pe penodid, ynte, un neu ddau ymwelydd lleygol ym mhob dosran o'r plwyf i edrych ar ol yr *esgeuluswyr*, i ymofyn i amgylchiadau cyfyng neu afiechyd mewn teuluoedd, yn gystal ag i nodi y mynych symmudiadau teuluaidd a gymmerant le o wythnos i wythnos, gan hysbysu yn brydlawn i'r offeiriad unrhyw achos a fyddo yn galw am ei sylw uniongyrchol. Gyda y fath gynllun a hwn, gellid ysgafnhau nid ychydig o faich y dyledswyddau plwyfol ag sydd yn fynych yn pwyso yn drwm ar ysgwyddau unigol llawer offeiriad, yr hwn nis gall, ar y goreu, ddyfod i fyny ag amrywiol ofynion plwyf mawr a phoblog wrtho ei hun. Rhoddai y fath gynllun iddo hefyd yr hyn sydd arno ei fawr eisieu, sef ychwaneg o amser yn ei fyfyrgell, er ei alluogi hyd y mae ynddo, i wneyd cyflawniadau yr Eglwys ei hun yn fwy o attyniad ac adeiladaeth i bobl ei ofal.

Digitized by Google

### YR EGLWYS YNG NGHYMRU.

Nid oes ond ychydig a wadant y ffaith mewn perthynas i Ymneillduaeth, er ei fod bellach yn allu cryf yng Nghymru, eto nad yw ond peth o gychwyniad cymharol ddiweddar. Rhaid addef hefyd fod ei darddiad a'i gynnydd i'w priodoli yn benaf i ddiffygion blaenorol yr Eglwys. Amlwg yw, ynte, mai dyledswydd bresennol yr Eglwys, yr hon sydd bellach, da genym feddwl, wedi deffro o'i chysgadrwydd, ydyw ymegnïo i ddadwneyd effeithiau ei diffygion cyntefig.

### DYLANWAD Y PWLPUD.

Addefir yn gyffredin mai y brif elfen gynhyrfiol yng nghychwyniad Anghydffurfiaeth Cymru ydoedd dylanwad yr areithfa. Os yw yr Eglwys, ynte, i lwyddo fel ag i wneyd Ymneillduaeth yn beth diangenrhaid yng Nghymru unwaith eto, credwyf y dylai ei *phregethu* gael mwy o sylw, ac y dylai mwy o bwys gael ei roddi ar gymhwysderau pregethwrol ar gyfer ei gweinidogaeth. Os addefir mai y dylanwad yma, yr hwn a fu unwaith yn ysgwyd Cymru benbaladr, a fu yn brif foddion i ddenu y werin allan o hen Eglwys y tadau, onid yw yn rhesymol meddwl y gwnai yr un gallu eto, o dan fendith Duw, gynnorthwyo i ennill y werin yn ol? Nid wyf am awgrymu am foment fod diffyg gallu pregethwrol yn ein Heglwys, ond credwyf fod rhy fach o gydnabyddiaeth yn cael ei dalu i'w ddylanwad ar galonau y Cymry. Nac anghofier fod *pregethu* fel ordinhâd ddwyfol wedi bod ym mhob oes yn brif elfen yn achubiaeth y byd ac adeiladaeth ysbrydol Eglwys Dduw.

### GWELLIANT Y GWASANAETH DWYFOL.

Wrth alw sylw neillduol at y *pregethu*, rhaid cofio mai nid hyn yw yr unig angenrhaid. Yn wir, gosodwn lawn gymmaint o bwys ar y dymunoldeb o gael mwy o adfywiad yng ngwasanaeth y cyssegr—mwy o fywyd a gwres ac attyniad yn yr addoliad cyhoeddus. Lle bynag y mae hyn hefyd yn cael ei deimlo, ni raid ofni am lwyddiant yr hen Eglwys apostolaidd o'i chymharu â'r amrywiol gyfundebau ereill yn ein gwlad.

Er y gall ei gweinidogion a'i haelodau fod yn llawn diffygion a ffaeleddau, y mae Duw eto yn ei chanol, "a phyrth uffern nis gorchfygant hi." Er fod ei gelynion dro ar ol tro wedi cyhoeddi dydd ei marwolaeth—dro ar ol tro gosodwyd y sel a gorchymmynwyd y gwylwyr i sefyll uwch ei bedd tybiedig; ond, er hyny, dro ar ol tro hi a ddaeth allan yn fuddugoliaethus yng ngallu yr Adgyfodiad a'r Bywyd.

Byddai ei marwolaeth, pe byth y gallai farw, yn ddim llai nag effaith ymadawiad Ysbryd preswyliedig Crist o'i chynteddoedd, wedi ei dristäu gan anffyddlondeb ei phlant ei Hun.

---

## RHAI ADGOFION AM BERSONAU A PHETHAU.

Y MAE swn hen gloch y Llan yn un o'r pethau henaf o waith celfydd ym mhob plwyf braidd, am ba un y mae yn glymedig deimladau ac adgofion o'r llawenychaf yn ogystal a'r pruddaf. Y mae cnuliadau cloch fawr Eglwys Gadeiriol St. Deiniol ym Mangor wedi gwasanaethu am genedlaethau lawer ar achlysuron llawen a phruddglwyfus. Er bod llawer blwyddyn wedi myned heibio er pan arferem ni ufuddhau i'w galwadau i fyned i addoli yng ngnynteddau y tŷ, o ba un y mae "y gloch fawr" yn rhan anhebgor; eto, yr ydoedd ei swn y dydd o'r blaen, pan yn cerdded i lawr Heol Fawr, Bangor, mor adnabyddus a chynnefin i'n clywedigaeth a phe buasem erioed heb fod o'i glywedigaeth; ac ymddangosai pob ffenestr, os nad pob careg, o'r hen Eglwys mor adnabyddus i ni, fel pe buasem wedi bod yn eu rhoi yn eu lle â'n dwylaw ein hunain.

Cyrhaeddasom y ddinas pan oedd y gloch yn canu o flaen y Weddi Brydnawnol am 3 o'r gloch. Aethom i mewn i'r gwasanaeth. Darllenwyd y llithiau gan y Deon Lewis a'r Canon Williams. Eisteddasom yn agos i'r *arch* yn y *nave*, lle yr oedd yr *organ loft* yn gwahanu y *transepts* a'r côr oddi wrth y *nave* cyn yr adgyweiriad yn 1868, pryd yr oedd yr Eglwys Gadeiriol wedi ei rhanu yn ddwy.

Rhedodd llawer o adgofion am bersonau a phethau trwy ein meddwl—personau a welsom, glywsom, ac adnabyddem yn ac mewn cyssylltiad â'r Eglwys Gadeiriol hon. Clywsom o dro i dro rai o brif ddynion Eglwys Lloegr yn pregethu yn Eglwys Gadeiriol Bangor. Yr ydym yn cofio y diweddar Archesgob Trench (Dublin), awdwr enwog y llyfrau ar wyrthiau yr Arglwydd Iesu Grist, yn pregethu yno pan ydoedd yn ddeon Westminster. Dyn mawr ydoedd, o bryd lled ddu ac aeliau mawrion. Pregethwr lled drwm ydoedd o ran dull; nid oedd ganddo ddim o'r nodweddion sy'n tueddu i wneyd pregethwr poblogaidd. Clywsom hefyd y diweddar Archesgob Tait, pan ydoedd yn esgob Llundain, yn

Digitized by Google

pregethu yn yr Eglwys Gadeiriol. Ei brif nodwedd ef fel pregethwr ydoedd difrifoldeb neillduol. Yr ydym yn cofio ei destyn yn dda—"What shall a man give in exchange for his soul?" Clywsom ef rai blynyddau ar ol hyny yn pregethu ar achlysur y Gyngres Eglwysig yn Abertawe. Yr oedd amser wedi gadael ol ei fys arno mewn mwy nag un ffordd. Clywsom hefyd y diweddar Archesgob Thomson, pan yn esgob Gloucester, yn anerch cyfarfod cyhoeddus ym Mangor ar ran yr S.P.C.K. Yr ydoedd yr Esgob Wilberforce yno hefyd ar y pryd. Clywsom ef fwy nag unwaith yn pregethu yn Eglwys Gadeiriol Bangor, ac yr ydoedd i bregethu yno yn 1872 ar achlysur ailagoriad yr Eglwys ar ol yr adgyweiriad. Ond yr ydoedd wedi marw cyn bod yn alluog i gyflawnu ei addewid! Ni raid i hyawdledd yr Esgob Wilberforce wrth llythyrau canmoliaeth gan neb rhyw ddyn. Byddai ei gyhoeddiad yn sicr o fod yn attynfa i gynnulleidfa fawr o bob cyfeiriad.

Cymmerwyd lle y diweddar Esgob Wilberforce ar achlysur yr ailagoriad, dydd Mawrth, Awst 2, 1873, gan yr Esgob Walsham Howe. Wrth gyfeirio at yr Esgob Wilberforce, dywedodd yr Esgob Howe, "Oh! yes, we doubt it not. We are sure that he who was to have worshipped with us this day—this day so full of strangely chequered feelings—is even now as 'free among the dead;' he exults in the glorious energies of the spiritual life, a worshipper in that worship which no earthborn mist can dim of its splendour, no human infirmity rob of its ecstatic bliss."

Ar yr achlysur o ailagoriad Eglwys Gadeiriol Bangor y gwelsom ac y clywsom gyntaf y diweddar Esgob Hughes o Lanelwy. Pregethodd yn Gymraeg yn yr hwyr i gynnulleidfa anferth yn yr Eglwys Gadeiriol—ac yn dra effeithiol hefyd—ar y geiriau, "Sel dy dŷ di a'm hysodd i." Yr ydoedd yr esgob yn 60 mlwydd oed y pryd hwnw, ond yr ydoedd yn edrych yn llawer mwy ieuanc na hyny: cadwodd ei oed yn hynod dda hyd y diwedd.

(*I'w barhau.*)

---

## ISAAC WILLIAMS A'R SYMMUDIAD UCHEL-EGLWYSIG YN RHYDYCHAIN.

UN o feibion Cymru ydoedd Isaac Williams. Maes ei lafur am amser ydoedd Rhydychain. Blodeuodd ar adeg ag yr oedd symmudiad ar droed ag sydd wedi gadael argraff barhaol ar Eglwys Lloegr. Efe oedd un o brif weithwyr y symmudiad, ac erys ei enw fel y cyfryw yn annileadwy ar dudalenau hanesiaeth Eglwysig ein gwlad.

Cofus genyf fod mewn cyfarfod cymdeithas Eglwysig unwaith, yn yr hwn y darllenwyd papyr dyddorol ar John Keble. Yr oedd yn arferiad yn y cyfarfodydd hyn i holl aelodau y gymdeithas draethu eu barn ar gynnwysiad y papyrau a ddarllenid. Cyfododd un hen frawd ffraethbert i fyny, a chan dynu ei law yn chwareus drwy ei wallt dywedodd, "Yr wyf heno rywbeth yn debyg i arddwr Arglwydd Palmerston pan y bu farw Dug Wellington. Un boreu aeth Arglwydd Palmerston i'r ardd gyda gwyneb trist a llythyr yn ei law. Pan y nesaodd at y garddwr dywedodd, 'Newydd drwg heddyw, John, y mae Dug Wellington wedi marw.' 'Duc Wellington! Dug Wellington!' sibrydai'r garddwr mewn syn-myfyrdod, 'Dug Wellington! Pwy oedd ef? Nid wyf yn cofio i mi erioed glywed son am dano o'r blaen.' 'Felly finnau,' ebai'r brawd, 'ni chlywais erioed am enw John Keble o'r blaen.'" Nis gwn a all fod rhai o Eglwyswyr Cymru heb erioed gymmaint a chlywed son am Isaac Williams ai peidio. Pa un bynag am hyny, hyderaf na bydd ychydig sylwadau ar fywyd a gwaith y Cymro enwog hwn yn annerbyniol gan ddarllenwyr *Yr Haul.*

Mae'n debyg mai ei esboniad defosiynol ar y pedair efengyl, mewn pum[1] cyfrol, yw y gwaith mwyaf adnabyddus o eiddo Isaac Williams. A siarad yn bersonol, dyma un o'r llyfrau cyntaf a brynwyd genyf wedi derbyn urddau sanctaidd, ac nid oes unrhyw waith yn y llyfrgell ag y byddai yn fwy anhawdd genyf ymadael ag ef. Y mae cydnabyddiaeth feistrolgar yr awdwr â'r holl Feibl yn dyfod i'r golwg ar bob tudalen o'r gwaith. Mae'r awdwr yn feistr trylwyr ar yr hen dadau Eglwysig. Ceir yn aml baragraph ag y teimlir y dylid ei argraffu mewn llythyrenau aur; ac y mae yr oll o'r gwaith yn felus, duwiolfrydig, ac awgrymiadol.

Yr wyf yn ddyledus i un o nithoedd Isaac Williams am rai manylion am ei ddyddiau boreuol. Ganwyd ef ym mis Rhagfyr, 1802, yn Cwmcynfelin, ger llaw Aberystwyth. O ran gwaedoliaeth, Cymro glân gloew ydoedd ar ddwy ochr. Ei fam ydoedd ferch i Matthew Davies, Cwmcynfelin. Hi oedd yr aeres a ddaeth yn berchen eiddo lled fawr. Ei dad ydoedd Isaac Lloyd Williams, bar-gyfreithiwr, mab i'r Parch. Isaac Williams, ficer Llanbadarn Fawr, Llanrhystud, &c. Gwelir felly i wrthddrych yr ysgrif hon gael ei enwi ar enw ei daid, yr hwn oedd offeiriad Cymreig. Yr oedd galwedigaeth ei dad fel

---

[1] Y mae argraffiad o'r un gwaith mewn wyth gyfrol.

Digitized by Google

bar-gyfreithiwr yn ei orfodi i dreulio y rhan fwyaf o'i amser yn Llundain. O herwydd hyn ni ddysgodd Isaac Williams Gymraeg. Ond er nas gwyddai yr iaith, coleddai serch cryf at wlad ei enedigaeth. Treuliai ei wyliau bob amser yng Nghymru, a chynnwysa ei farddoniaeth Seisoneg amryw o gyfeiriadau cynhes ati. Addysgwyd ef yn ysgol fawr Harrow, lle yr adwaenid ef fel chwareuwr pêl a chlwpa campus, ac yr oedd yn un o'r un ar ddeg. Yn ystod ei holl arosiad yn yr ysgol, cymmerai y pleser mwyaf mewn cyfansoddi barddoniaeth Ladinaidd. Mewn llaw ysgrif a adawodd i'w blant, dywed yr arferai aros yn effro yn ei wely i wau llinellau Lladinaidd. Wedi codi yn y boreu ysgrifenai hwy i lawr gyda chyflymdra a barai nid ychydig o syndod i'w gydysgolheigion. Dywed ym mhellach ei fod mor arferol o feddwl yn Lladin y pryd hwnw, fel pan y rhoddid iddo bapyr Seisoneg i'w ysgrifenu y byddai yn rhaid iddo gyfieithu ei feddyliau i'r Lladin.

Wedi gorphen yn Harrow aeth i Rydychain, lle yr ennillodd ysgoloriaeth yng Ngholeg y Drindod. Yn ddiweddarach graddiodd yn B.A. ac M.A., a gwnaethpwyd ef yn gymmrodor o'i goleg.

Y man y deuai Isaac Williams i gyffyrddiad â'r Eglwys yng Nghymru ydoedd plwyf Llangorwen, ger llaw Aberystwyth, yn sir Aberteifi. Dywed un a'i hadwaenai yn dda ei fod yn dra awyddus i hyrwyddo lles ysbrydol yr Eglwys yn y Dywysogaeth, a diau y buasai iddo gymmeryd ei le ym mhlith beirdd Cymru pe yn hyddysg yn yr iaith. Agorwyd a chyssegrwyd Eglwys Llangorwen yn y flwyddyn 1841. Y ficer cyntaf oedd y Parch. Lewis Gilbertson. Faint o ddaioni a wnaeth efe yn Llangorwen ac Elerch, da y gŵyr trigolion y plwyfydd hyn. Un o brif gynnorthwywyr yr Eglwys yn Llangorwen y pryd hwnw ydoedd Matthew Davies-Williams, brawd henaf Isaac Williams. O'r dydd yr agorwyd yr Eglwys yn 1841, parhaodd gweddïau dyddiol ynddi am 20 mlynedd, hyd farwolaeth y lleygwr crefyddol hwn. Dywedir mai Eglwys Llanbedr Moelfre oedd yr unig un yn esgobaeth Tŷ Ddewi cyn hyn ag y ceid gweddïau dyddiol ynddi. Nid oeddynt wedi eu dechreu eto, meddir, hyd yn oed yn yr Eglwys Gadeiriol. Hefyd, cedwid yn felus yr holl wyliau Eglwysig yn Llangorwen; a chan fod Isaac Williams a'i frawd yn perthyn i'r hen blaid deyrngarol, yr oeddynt yn hoff iawn o'r hen ddywediad, "Yr Eglwys a'r brenin," ag ydoedd mor anwyl gan Eglwyswyr yn nyddiau Oliver Cromwell. Arferai y ddau bob blwyddyn gadw dydd llofruddiad Siarl I. Gwelir fel hyn fod Isaac Williams a'i deulu drwy eu cyssylltiad ag Eglwys Llangorwen ym mhlith arloeswyr ffordd boreuaf yr adfywiad Eglwysig yn ein gwlad.

Cynnwysa llyfr rhagorol y diweddar Ddeon Church, "*The Oxford Movement, 1833—1845*," a gyhoeddwyd ddechreu y flwyddyn hon, luaws o gyfeiriadau dyddorol at Isaac Williams, ac i'r gwaith hwn yr wyf ddyledus am y rhan fwyaf o'r ffeithiau a ddaw o dan sylw yn y gweddill o'r erthygl hon.

Gwelsom eisoes i Isaac Williams fyned o Harrow i Rydychain. Yn 1823, pan yn 21 mlwydd oed, derbyniodd wahoddiad i fyned i'r wlad i astudio gyda John Keble yn ystod misoedd yr haf; a chydag ef fel cydefrydwyr yr oedd Richard Hurrell Froude a Robert Wilberforce, dau enw pur adnabyddus mewn llenyddiaeth Eglwysig Seisoneg. Y mae Isaac Williams yn y llawysgrif a grybwyllwyd o'r blaen, wrth son am yr adeg hon, yn cofnodi dywediad tarawiadol o eiddo Keble. Sylwyd, ebai efe, fod Keble un diwrnod yn anesmwyth, fel pe bai rhywbeth ar ei feddwl. Ym mhen amser trodd at un o'r tri efrydydd a dywedodd, "Froude, dywedasoch wrthyf bod '*The Serious Call*' o waith Law yn llyfr campus; ymddangosai hyn i mi fel pe y dywedasoch y bydd dydd y farn yn olygfa bert." Gadawodd y geiriau argraff ddofn ar feddwl Froude dros ei holl oes.

Arferai Isaac Williams osod pwysigrwydd neillduol ar yr wythnosau hyn a dreuliodd yng nghymdeithas Keble. Yr oedd offeiriad Cymreig wedi gwneyd Isaac Williams yn adnabyddus i Keble o'r blaen; ond nid yw yn ymddangos i Keble wneuthur nemawr sylw o hono hyd nes yr ennillodd Isaac Williams y wobr am y farddoniaeth Ladinaidd a elwir *Ars Geologica*. Ar ol hyn aeth y ddau yn gyfeillgar. A siarad yn ddynol, yn ddamweiniol yn unig y gofynodd Keble i Williams dreulio yr wythnosau dan sylw gydag ef; ond arferai yr olaf ystyried bob amser bod llaw Duw yn eglur iawn yn y cwbl. Creodd dylanwad dystaw y gostyngedig a'r duwiol Keble effaith neillduol arno. Gallai fod ei lwyddiant nodedig yn y brifysgol y pryd hwn yn demtasiwn iddo i fod dipyn yn uchelgeisiol. Cafodd feddyginiaeth ragorol yn erbyn y perygl hwn yn esampl ostyngedig a hunanymwadol Keble. Dywed ei frawd yng nghyfraith, Syr George Prevost, bod y llawysgrif a adawodd ar ei ol yn dangos ei fod er pan yn fachgen o dan ddylanwad teimladau crefyddol cryfion; ac felly nid ydym i feddwl, fel y gellid tybied oddi wrth lyfr y Deon Church, bod Isaac Williams hyd yn hyn yn wr ieuanc digrefydd. Dygwyd ef i fyny yn ofn Duw o'i fabandod, a dysgwyd iddo wirioneddau yr Efengyl fel y gosodir hwy

Digitized by Google

allan yn y Beibl a'r Llyfr Gweddi Gyffredin. Dywed yn y llawysgrif dan sylw mai pan yr aeth gyntaf i'r ysgol, ac y daeth i gyffyrddiad â bechgyn ereill, y deallodd ef gyntaf beth a olygir yn y Beibl a'r Catecism wrth alw y byd yn "ddrwg." Ychwanega hefyd fod myfyrdodau ar fyrdra amser, gwagedd pethau y byd, ac angeu wedi gwneyd argraffiadau dyfnion ar ei feddwl pan eto yn ieuanc. Dengys y pethau hyn ei fod ef fel Timothëus, yn gwybod y Beibl er yn fachgen.

Bu Isaac Williams hefyd am dymmor yn gyfaill mynwesol i John Henry Newman. Dywedir bod Newman "yn ei garu â chariad uwch law perthynas gyffredin." Bu Isaac Williams yn gurad o dano am amser yn Eglwys St. Mair, Rhydychain.

Drwy ei gyssylltiad â Keble a Newman yr oedd Isaac Williams yng nghanol y symmudiad uchel-Eglwysig yn y brifysgol. Cymmerodd le blaenllaw yn nygiad allan y "Traethodau i'r Amseroedd." Efe oedd y prif weithredydd yn nygiad allan y "Pregethau Syml" yn 1839. Clywsai gan Keble, ebai efe, un o ddywediadau y Barnwr Coleridge: "Os ewyllysiwch ledaenu eich golygiadau, dylech adael i ereill gael eich pregethau; byddai i'r offeiriaid felly wneuthur defnydd o'ch pregethau, a mabwysiadu eich golygiadau." Tystiolaetha Isaac Williams mai dyma fu canlyniad cyhoeddi y "Pregethau Syml."

Ei waith ef oedd traethawd, rhif 80, ar y ddyledswydd o gadw yn ol wrth gyfranu addysg grefyddol. Amcan yr awdwr ydoedd condemnio y dull isel a dibarch a thrwsgl o arfer y geiriau mwyaf cyssegredig ag ydoedd yn rhy gyffredin, a phrotestio yn erbyn yr arferiad o lusgo i mewn ddirgelwch iawn y Groes ar achlysuron ammhriodol, ac felly "daflu gemau o flaen y moch." Y mae'r traethawd wedi ei ysgrifenu mewn ysbryd duwiolfrydig a lledneis. Gresyn na buasai'r ysbryd sydd yn rhedeg drwyddo i'w weled yn amlycach ym Myddin yr Iachawdwriaeth a'r rhai a'i hefelychant. Nid diangenrhaid i lawer un yn ein dyddiau ni yw ei rybudd difrifol mai "effaith arfer enw Bendigaid Ysbryd Duw yn ddifeddwl ac yn ddibarch yw dilëu y teimlad o sylweddolrwydd, ac amddifadu y meddwl o barchedig ofn." Da y dywed hefyd, "Gall teimlad priodol cryf gael esmwythâd mewn siarad yn unig, yr hyn, oni bai hyny, a geisid mewn gweithredu." Creodd y traethawd hwn ystorm fawr o ddigofaint ar y pryd, ac ymosodwyd arno yn ffyrnig fel yn cynnwys pob gwenwyn pabaidd ag y tybid bod cefnogwyr y symmudiad uchel-Eglwysig yn bwriadu ei ledaenu.

Heb law hyny, oni bai am y traethawd hwn, diau y buasai i Isaac Williams gael ei ddewis yn broffeswr barddoniaeth ym Mhrifysgol Rhydychain. Yn 1841, ymddiswyddodd Keble y proffeswr blaenorol. Anrhydedd fawr yw eistedd yng nghadair farddol yr eisteddfod, ond uwch fyth yw y bri o eistedd yng nghadair farddol Prifysgol Rhydychain. Pan waghawyd y gadair hon gan John Keble, teimlid nad oedd neb mor deilwng i'w llenwi ag Isaac Williams. Arno ef y gorphwysai llygaid yr holl brifysgol. Fel ag yr oedd Keble wedi ysgrifenu "*The Christian Year*," felly yr oedd Isaac Williams wedi ysgrifenu "*The Baptistery;*" ac nid oedd neb a ddarllenodd yr olaf, gan nad beth oedd ei olygiadau crefyddol, a allai ammheu am foment nad oedd ei awdwr yn fardd o'r iawn ryw, ac yn un a wyddai beth oedd barddoniaeth. Ei gydymgeisydd oedd Mr. Garbett, yr hwn ar ol hyn a ddaeth yn archddiacon; ond nid oedd neb yn gwybod iddo ef erioed ysgrifenu llinell o farddoniaeth, ac nid oedd mewn un modd wedi dangos ei fod ym meddu un cymhwysder i'r swydd. Pa fodd bynag, dygwyd golygiadau crefyddol y ddau ymgeisydd i mewn i'r ymrysonfa. Yn anffodus anfonodd Dr. Pusey gylchlythyr allan, yn yr hwn y rhoddai bwys ar y ffaith bod Isaac Williams yn un ag oedd yn sicr o lenwi y swydd "er lles a daioni i athrawiaethau crefydd." Yr oedd bwriad Dr. Pusey yn garedig a da, ond buan y gwelwyd fod y cylchlythyr yn gamgymmeriad dybryd. Drwgliwiwyd golygiadau crefyddol Isaac Williams, gwnaed yr ymgeisiaeth yn achlysur profi nerth rhwng yr uchel a'r isel Eglwyswyr, ac anghofiwyd cymhwysder i lenwi cadair farddol. Y canlyniad fu i Mr. Garbett gael ei ethol. Yr oedd gwrthod cadair yr eisteddfod i Dewi Wyn o Eifion, awdwr Awdl Elusengarwch, yn gam a deimlir yng Nghymru hyd heddyw. Ond yr oedd gwrthod y gadair farddol ym Mhrifysgol Rhydychain i Isaac Williams yn gam llawer iawn gwaeth.

Siarada y Deon Church yn uchel iawn am Isaac Williams fel Cristion, duwinydd, bardd, ac ysgolhaig. Dysgybl i Isaac Williams oedd y dysgedig Arthur Haddan, enw yr hwn a drosglwyddir i'r oesau dyfodol gydag enw'r Esgob Stubbs fel un o haneswyr Eglwysig mwyaf dysgedig yr oes. Dysgrifia'r Deon Church Isaac Williams fel "gwr o fywyd syml a sanctaidd; un â'i enaid a'i galon wedi eu trwytho yn hen dduwinyddiaeth yr Eglwys foreuol anwahanedig; un am y rheswm hwn na themtiwyd mo hono erioed gan egwyddorion ac arferion newydd Eglwys Rhufain." Gosodir ef allan fel "enghraifft arddangosiadol" o'r uchel-Eglwyswyr hyny yn y symmudiad na fynent feddwl am ymddarostwng i'r babaeth am fynyd awr.

Digitized by Google

Naturiol, gan hyny, ydoedd i ddiffyg cydwelediad godi rhwng Isaac Williams a John Henry Newman. Dangosodd Newman dueddiadau pabyddol nas gallai Williams eu goddef. Y canlyniad fu i Williams ymadael â Rhydychain ac ymsefydlu yn Stinchcombe, lle y trigai y pryd hwnw, a'r lle y trig yn awr ei frawd yng nghyfraith, yr Hybarch Archddiacon Syr George Prevost. Yma yn 1842 ymbriododd â Caroline Chanperowne, o Darlington Hall, ac yma y treuliodd y gweddill o'i oes yn parotoi y llyfrau defosiynol a werthfawrogir mor fawr lle bynag y darllenir yr iaith Seisoneg. Dyoddefodd yn dost oddi wrth ddiffyg anadl am lawer o flynyddau, a bu farw yn 1865.

Da y gallwn fel Cymry fod yn falch i'r fath ddyn ag Isaac Williams hanu o'n cenedl. Y mae ei enw yn anrhydedd i'r Eglwys yng Nghymru. Pery ffrwyth ei ddysgeidiaeth addfed a dylanwad ei ysbryd nefolaidd yn drysorau ammhrisiadwy a werthfawrogir gan filoedd o Gristionogion duwiolfrydig drwy y byd.

*Canondy, Llandaf.* GRIFFITH ROBERTS.

---

## Y WASG.

"*Cyfystyron y Gymraeg: sef Casgliad Buddugol yn Eisteddfod Genedlaethol Gwrecsam. 1888,*"[1] *gan Griffith Jones* (*Glan Menai*).

NI byddem yn dodi golygiad anghywir o'r llyfryn bychan hwn wrth ddywedyd mai *dictionary* o eiriau cyfystyr yr iaith Gymraeg ydyw. Ymdrechodd yr awdwr restru yng nghyd yn ol trefn llythyrenau yr egwyddor (*in alphabetical order*) gyfres faith o eiriau cyfystyr, gan eglurhau eu hystyron a dangos pob rhith wahaniaeth rhyngddynt. Fe wna un gair y tro yn enghraifft o'r oll—

"*Achos*—rheswm, amcan. Y mae *achos* yn ymwneyd â threfn a chyssylltiad pethau; *rheswm* yn ymwneyd â gweithrediadau y meddwl; *amcan* â symmudiad meddwl a chorff. Defnyddir *achos* mewn cyssylltiad â phob gwrthddrych difywyd: *rheswm* ac *amcan* am weithrediadau deallol. Beth bynag a ddygwydd yn y byd a ddygwydd oddi wrth *achos:* yr *achos* cyntaf o bob peth yw Duw. Dylai dynion fedru rhoddi *rheswm* am eu syniadau, a dylent feddu *amcan* i bob peth a wnânt."

Fe welir oddi wrth y dyfyniad uchod fod y llyfr yn un dyddorol iawn, a gwasanaethgar dros ben i ddeall ac ysgrifenu yr iaith Gymraeg yn gywir a llednais. Sieryd y Parch. Ganon Silvan Evans, B.D., yn dda am dano yn ei feirniadaeth.

[1] Wrexham: cyhoeddedig gan Hughes a'i Fab, 56, Hope Street.

---

"*Bywyd ac Amserau yr Esgob Morgan, cyfieithydd cyntaf y Beibl Cymraeg,*"[1] *gan Charles Ashton, Dinas Mawddwy.*

A defnyddio iaith eisteddfodol, traethawd ail-fuddugol ydyw Bywyd ac Amserau yr Esgob Morgan, wedi bod yn y gystadleuaeth nodedig am y can punt gwobr, a gynnygid gan bwyllgor "Tri Chan Mlwyddiant y Beibl Cymraeg" yn 1888, am draethawd ar y testyn dyddorol hwn. Fe wel pob darllenydd meddylgar mai yr adolygiad goreu a thecaf a ellir wneyd ar y llyfr ydyw sylwadau y beirniaid, yn enwedig pan ddeallid nad oedd y beirniaid yn neb llai na'r Parch. Ganon Silvan Evans, B.D., Parch. T. C. Edwards, D.D., a'r Proffeswr John Rhys. Y mae gair un o'r boneddwyr uchod ar unrhyw destyn llenyddol Cymreig yn derfyn ar bob dadl o deilyngdod neu annheilyngdod. Dywed y beirniaid fod saith o gyfansoddiadau wedi dyfod i'w llaw, ac fod tri o'r saith yn "*deilwng o ganmoliaeth arbenig,*" ac na fuasent yn teimlo "*dim petrusder i ddyfarnu y wobr i unrhyw un o'r tri hyn.*" Dyma ganmoliaeth digon uchel i dri o honynt. Ond traethodau pwy oeddynt? Thomas Evan Jacob, Ysw., M.A., o Lundain, oedd awdwr y goreu o'r tri: traethawd Seisoneg oedd ganddo, ac efe a gafodd y wobr o gan punt. Ond arosai dau draethawd teilwng o gan punt o wobr eto yn ail fuddugol—buddugol mewn teilyngdod, gwedi llawn gyrhaedd y nod, ond o herwydd gwell, heb wobr ar eu cyfer. Traethawd Seisoneg dan y ffugenw "Cynfelyn" (y Parch. W. Hughes, ficer Llanuwchllyn) oedd un, a'r traethawd Cymraeg o dan ein hadolygiad oedd y llall. Y mae yn hynod o dda genym feddwl fod Mr. Charles Ashton wedi ysgrifenu traethawd Cymraeg teilwng ar Fywyd ac Amserau yr Esgob Morgan, a theilynga ein diolchgarwch gwresocaf am anturio ym mhellach i'w gyhoeddi ar ei draul ei hun; o herwydd pwy sydd deilwng o gael hanes eu cymmwynaswr mawr, cyfieithydd y Beibl Cymraeg, onid cenedl y Cymry, a hyny yn iaith eu Beibl? Am deilyngdod uchel y llyfr fel traethawd y mae barn y beirniaid yn ddigonol.

Y mae yn llyfr wythplyg helaeth yn cynnwys 356

[1] Treherbert: argraffwyd, dros yr awdwr, gan Isaac Jones, ac ar werth gan yr awdwr.

Digitized by Google

o dudalenau ar bapyr da ac mewn llythyren lân, a rhwymiad destlus. Ofer i ni feddwl mewn byr adolygiad rhoddi hanes manwl o'i gynnwysiad. Digon ydyw dweyd ei fod yn hanesiol a beirniadol, gan roddi i ni feddylddrych lled oleu ar gyflwr moesol a llenyddol yr oes yr oedd y Dr. Morgan yn byw ynddi, y gwaith a wnaethid cyn ei eni ef, ei waith ef ei hun, pwy oedd ei gynnorthwywyr, a pha anhawsderau y gorfu iddo eu gwynebu. Hefyd, gwneir aml sylw o'r cyfnewidiadau a wnaed yn y Beibl Cymraeg ar ol dyddiau y Dr. Morgan. Ysgrifenwyd yr oll mewn ysbryd teg a beirniadol. Fe ddylai y llyfr gael pryniad helaeth a darlleniad manwl.

Wrth son am hyn, teflir y llygad yn naturiol at "restr y tanysgrifwyr" yn niwedd y llyfr. Da genym ei gweled mor hir, ac yn cynnwys cynnifer o enwau gweinidogion Eglwysig a phregethwyr. Mewn rhestrau o enwau tanysgrifwyr o'r fath yma, gellir, fel rheol, gweled rhediad y *wythen lenyddol Gymreig* yn gorwedd trwy gymdeithas gwlad. Lled *isel* yw ei gorweddiad yn fynych, ond da genym ei gweled yn cyfodi mewn aml dolc i'r wyneb yn y rhestr ger ein bron. Deallwn fod gan yr awdwr nifer o gopïau dros ben, y rhai a ddarparwyd ar gyfer tanysgrifwyr, i'w gwerthu i'r cyhoedd, a gellir eu cael ganddo o Ddinas Mawddwy.

---

"*Cymru*:" *Cylchgrawn Misol i ymdrin â Hanes, Llenyddiaeth, Cân, Celf, ac Addysg Cymru. Dan olygiaeth Owen M. Edwards, M.A., Rhydychain.*

Daeth y rhifyn cyntaf o'r cylchgrawn misol newydd yma allan o'r wasg ganol y mis diweddaf, a chredwn fod mawr ddysgwyliad a chwilfrydedd am ei weled ar seiliau safle lenyddol uchel ac enw da ei olygydd, ac ni siomir neb yn ei gynnwysiad. Ateba yn gyflawn i'r dysgrifiad a roddir iddo ar ei dudalen gyntaf. Y mae yn ddifyrus ac adeiladol, ac yn cynnwys gryn lawer o lenyddiaeth ysgafn ymgomiol, ddyddan, am bersonau a phethau. Llwydda y golygydd i ysgafnhau ei erthyglau trymion trwy eu heplesu ag ychydig o ffraethineb chwarëus ac ysmaldod difyrus, ac felly y mae ei goginiaeth lenyddol fel bara gwenith wedi codi yn dda, cael eu tylino ddigon, a'u crasu yn briodol.

Ymddengys mai y brif nod ydyw hanes ac addysg Cymru—Cymru fel y bu, Cymru fel y mae, a Chymru fel y dymunir iddi fod. Rhoddir enwau yr ysgrifenwyr wrth y rhan fwyaf o'r ysgrifau, ond gadewir rhai yn ddienw. Ysgrif gyntaf yw, "Cymru," gan y golygydd; "Cymry Byw," gan Elfed Lewis; "Ysbryd y Gerdd," gan J. M. Howell; "Prifysgol Cymru," gan y Tra Pharchedig Ddeon Owen; "Dolwar Fechan ac Anne Griffiths;" "Hiraeth," hen bennillion; "Prifysgol Cymru ac Addysg y Bobl," gan y Parch. Ellis Edwards; "George Borrow," gan John Parry, Llanarmon; "Cystadlu," gan Alafon; "William Jesus" (taid Nicander), gan y Parch. Henry Hughes; "Sypyn o Hen Lythyrau;" "Celf a Chrefft," &c., a nifer mawr o fanion a mân sylwadau ar bynciau y dydd.

Gallai y gofynir, pa beth ydyw safle Cymru fel cylchgrawn yn ei berthynas â'r *Traethodydd* a'r *Geninen?* onid yw i raddau yn cynnwys cynnyrchion o'r un ansawdd a'r eiddynt hwy? Ydyw y mae i ryw raddau, ac yn neillduol yn debyg o gyfyngu ar y *Geninen* amlochrog; eto, y mae yn llawer mwy hanesiol, a thybiwn yr ymdrechir ei wneyd yn fwy Cymrüaidd, gan ddwyn allan fwy o galon y genedl. Dysgwyliwn yn rhifynau *Cymru* bethau dyfnion ein gwlad a dadleniad o fywyd mewnol y genedl—ei gwreiddiau, ei thwf, ei nerth, a'i gwendid. Y mae arwyddion amlwg y bydd y rhanau hanesyddol o'r cylchgrawn yn fuddiol iawn, a rhaid i'n croesbleidiaeth bychan beidio anesmwytho os deuir ag ambell hanesyn i'r golwg ag y buasai yn esmwythach ei guddio. Ond nid oes neb yn yr oes hon yn gyfrifol am gamgymmeriadau a beiau yr oesau a fu; ond fe fyddwn yn gyfrifol os efelychwn hwy, neu os gosodir arnynt liwiau gormodol i flino neb yn yr oes hon. Y mae beiau ein henafiaid i'w gochel a'u rhinweddau i'w hefelychu. Y mae llawer iawn i'w ddweyd am Gymru o hanes brwydr Caer hyd yr oes hon. Os cawn fyw, bydd yn bleser mawr genym o fis i fis ddilyn sodlau hanesydd mor graff, yng nghyrhaedd cynnifer o fanteision ag O. M. Edwards, tra yn olrhain llinellau dyrys ein bywyd cenedlaethol neu dylwythol drwy yr oesoedd i waered. Mae gwir hanes ein cenedl eto heb ei ysgrifenu, a gwaith mawr Rhagluniaeth a gras arni heb ei weddus gydnabod. Mawr obeithiwn y caiff *Cymru* y cyfryw dderbyniad ag a alluoga ei gefnogwyr anturiaethus i'w ddwyn allan nes cyflawnu y gwaith mawr o'i flaen. Dechreua yn rhagorol.

Rhaid dweyd gair eto am safle enwadol neu grefyddol y rhifyn cyntaf o *Gymru*. Yr wyf yn meddwl yr hona ac y dewisa fod yn ammhleidiol, ond dengys bron yr oll o'r ysgrifau mor anhawdd yw bod yn ammhleidiol. Y mae *Cymru* wedi ei lefeinio drwyddo mor drwyadl â nodweddion Anghydffurfiaeth ag ydyw yr *Haul* â nodweddion Eglwysyddiaeth. Ofer a ffol ydyw dysgwyl i ddynion wedi eu magu a'u meithrin mewn unrhyw gangen, enwad, neu eglwys beidio

Digitized by Google

arddangos lliw y gyfundrefn ar gynnyrch eu meddyliau. Bendith i genedl y Cymry fyddai i Eglwyswyr ac Ymneillduwyr ddarllen llawer mwy o gynnyrchion y naill y llall; hyny yw, cynnyrchion gwerthfawr a galluog eu dynion cenedlaethol o'r ddwy ochr. Er fod gwahaniaeth lliw dirfawr ar eu gwahanol weithiau, y mae gwir sylwedd a gwerth ynddynt, ac y mae y wybodaeth gyfan a geir rhwng y ddau yn fwy eang a chywir na'r hyn a geir oddi wrth un.

---

"*Caniadau gan Elfyn, yn cynnwys Detholion o Awdlau a Chaneuon Buddugol,*" *&c.*, "*mewn gwahanol Eisteddfodau.*"[1]

Adnabyddir Elfyn er ys llawer blwyddyn bellach fel bardd tlws a denol y darnau mân prydyddol, difyrus, moesol, a chrefyddol. Mae y rhan fwyaf o lawer o 112 tudalenau y llyfryn swllt hwn yn cael ei wneyd i fyny o ganiadau buddugol mewn gwahanol eisteddfodau o Lundain i waered. Y mae ei ganiadau byrion ac efelychol yn hynod o felusion a'r oll yn goeth, a'u tuedd i buro y galon a dyrchafu moes.

---

"*Ceninen Eisteddfod.*" *Argraffiad arbenig canol Awst, 1891.*

Yn sicr ddigon rhaid fod ein cenedl fechan yn ddarllengar dros ben pan y gall groesawu cynnifer o gyfnodolion, cylchgronau, a llyfrau o bob math, ac y mae ei hadnoddau yn ffrwythlawn i allu eu cynnyrchu. Cynnyrchion buddugol eisteddfodau sydd yn llenwi y rhifyn hwn, gan ddechreu gyda thraethawd byr o waith y diweddar Caledfryn ar "Y Manteision neu yr Anfanteision o ddiwyllio y Gymraeg" (*Cymmrodorion* Llundain, 1831), a therfynu gyda thraethawd gan Glan Menai, buddugol ym Mhenygroes, Pasc, 1879. Dyma yr unig ysgrifau mewn rhyddiaeth sydd yn y rhifyn. Barddoniaeth ydyw yr oll o'r gweddill. Ym mysg yr awdwyr gwelir enwau Gwilym Eryri, Meigant, Parch. D. Adams (Hawen), Gwynedd, Dafydd Morganwg, J. Jones, Ty'n y Braich, Tudno, Eifion Wyn, Gwilym Berw, Taliesin Hiraethog, Iolo Caernarfon, &c. Ni raid i'r fath awdwyr wrth lythyrau canmoliaeth.

---

[1] Blaenau, Ffestiniog: argraffwyd gan W. Lloyd Roberts, swyddfa y *Rhedegydd.*

## NEWYDDION.

### ADGOF UWCH ANGHOF Y PARCH. OWEN THOMAS, D.D.

Mewn llawn addfedrwydd oedran o bedwar ugain mlynedd ond un ymadawodd y Parch. Owen Thomas, D.D., un o'r cymmeriadau dysgleiriaf a feddai Cymru, a'r fuchedd hon. Am ran foreuaf ei oes dyn y pwlpud oedd, ac un o'i ddynion mwyaf. Efengylu a dim ond efengylu oedd ei hyfrydwaith. Heb mewn un modd ollwng ei afael o'r pwlpud daeth yn raddol yn wr medrus a llafurus gyda'i ysgrifbin, fel hanesydd ac esboniwr. Mae y ddau fywgraffiad a ddarllenasom o'i waith, sef Bywyd y Parch. John Jones, Talysarn, a Bywyd y Parch. Henry Rees, yn weithiau gorchestol, dyddorol, a llawn o hanesiaeth gydamserol. Ceir yn hanes bywyd John Jones, Talysarn, gyfoeth o hanes crefydd yng Nghymru ddechreu y ganrif hon. Ar ol marwolaeth y diweddar Barch. Henry Rees, safai y Parch. Owen Thomas ar ben ei hun bron fel patriarch y Cyfundeb Methodistaidd, wedi gwreiddio yn ddwfn i serchiadau y genedl ar seiliau purdeb ei fywyd, doethineb ei ymddygiad, lledneisrwydd ei ymadroddiad, ac ymddangosiad diymhongar ym mhob cynnulliad, a'i dalentau dysglaer yn y pwlpud, ac yn neillduol ar y maes dan awyr agored y sassiynau. Nid ydym yn cofio iddo ef blanu drain ym mynwes neb erioed drwy ymyryd ag achosion tu allan i gylch ei weinidogaeth ei hun. Bydd ei goffadwriaeth yn anwyl dros amser maith drwy Gymru oll.

### TERFYN Y SENEDD-DYMMOR.

Terfynodd un o'r senedd-dymmorau hwyaf a mwyaf ffrwythlawn a gynnaliwyd y ganrif bresennol yn rhan gyntaf y mis diweddaf. Pasiwyd ynddi dri o fesurau ag ydynt yn sicr o ffurfio cyfnodau newyddion, sef Mesur Taliadau y Degwm, Mesur Pryniad Tir yn yr Iwerddon, a Mesur darparu Addysg Elfenol Rad. Myn rhai fod y mesurau hyn oll yn chwyldroadol neu Radicalaidd. Gallai fod ynddynt elfen o'r fath, ond y mae ynddynt elfen Geidwadol gryfach. Y mae yn wir fod mesur Taliad y Degymau wedi ysgaru i ryw raddau rhyngddo ef a chynnyrch y tir. Ond gwnaethid hyny yn 1836, ac ni wnaed ym Mawrth eleni ond gosod rhwymedigaeth cytundeb 1836 ar feddiannwr y tir yn lle y tenant, am fod y tenant wedi cael ei ddysgu i edrych ar y degwm fel treth orthrymus. Gofynir y degwm yn awr oddi wrth feddiannwr y tir, yr hwn sydd yn atebol am

Digitized by Google

dano, am mai ganddo ef y mae llywodraeth ac awdurdod ar y tir.

Y Mesur Tir Gwyddelig ydyw y nesaf. Amcan y mesur hwn ydyw galluogi tenantiaid mân ffermydd i brynu y tir, lle y mae yr adeiladau a hawliau daliad parhäus (*tenant rights*) yn eiddo iddynt yn barod. Yn y manau hyny, y mae y tenantiaid eisoes mewn rhan feddiant o'r tir, a thrwy bryniad dan y mesur hwn gallant ddyfod i gyflawn feddiant o hono drwy dalu llogau a rhan o'r hawl i'r llywodraeth yn lle ardreth i'r meistr tir, ac y mae y taliadau hyn ar y cyfan yn llai na'r ardreth.

*Mesur darparu Addysg Elfenol Rad.*

Dyma y mesur ag y cwynai rhai o Geidwadwyr Lloegr yn ei erbyn, ond nid ydym yn cofio clywed neb yng Nghymru yn ei wrthwynebu. Yr ydym o blaid Addysg Elfenol Rad er ys deng mlynedd ar hugain, am ei bod yn fanteisiol i'r dydd-weithiwr, ac yn enwedig i'r maes-lafurwyr. Y mae yn anhawdd dirnad yr anhawsder i filoedd o'r rhai hyn dalu am ysgolion i'w plant, yn gystal ag aberthu eu hamser at fyned yn gysson i'r ysgol. Y mae yn debyg y bydd holl ysgolion elfenol Cymru yn hollol rad o ddechreu y mis hwn allan. Mae y mesur yn deg tuag at yr ysgolion gwladwriaethol, a chredwn na fyddys yn hir iawn cyn cael holl ysgolion Cymru nid yn unig yn ysgolion rhad, ond yn ysgolion Beiblaidd a chrefyddol, lle y dysgir fod Iesu Grist yn Fab Duw, a'r rhai a gredant ynddo yn aelodau o Grist.

Ond y mae genym gryn gwyn yn erbyn aelodau Cymreig y Senedd. Ni wnaethant hwy braidd ddim i wella y mesurau a nodwyd. Gwrthwynebasant y cyntaf gyda'u holl alluoedd, ac ymdrechasant ei wneuthur mor aneffeithiol ag y medrent; ac am yr olaf, gwnaethant yr oll oedd ddichonadwy iddynt i'w wneuthur yn ddinystriol i'r ysgolion gwirfoddol, heb ystyried y baich o drethi a fuasent yn osod ar y wlad. Ymddengys fel pe mai unig amcan rhai o aelodau mwyaf galluog (?) Cymru ydyw drygu yr Eglwys. Fe ddywed hen brydydd yn rhywle,

"Ar fechan gainc y cân aderyn bach."

Ymddengys i ni fod ein haelodau seneddol fel adar mân yn dringo i ben mân geinciau enwadaeth yn y Senedd, a dyna yr unig fan y gallant ganu. Cân enwadaeth barhäus yn tuchan yn erbyn yr Eglwys a glywir o'u geneuau.

Druan o'r Anrhydeddus G. Osborne Morgan, y llenor llednais a chyfreithiwr dysgedig, y mae yn debyg. Ni chlywir ei lais yn y Senedd hyd oni chaffo gainc i sefyll arni, fel aderyn adnabyddus ei enw, uwch ben rhyw fynwent Eglwysig. Ni chaiff Eglwyswyr ddarparu eu llanerch dawel i gladdu eu meirw na bydd efe â'i gyfraith ac enwadaeth yn eu haflonyddu. Anaml yr egyr y boneddwr hwn ei eneu oddi eithr i siarad yn erbyn yr Eglwys a roddes iddo ei fara beunyddiol, y grefydd a broffesa, a'r dysg a'i cyfoethoga. Y mae yr Anrhydeddus G. Osborne Morgan fel geneu enwadaeth boliticaidd yn yn y Senedd yn ddyn tra gwahanol i Mr. G. Osborne Morgan y bar-gyfreithiwr a llenor yn yr eisteddfod genedlaethol.

Bu tri mesur neillduol ger bron y Senedd ag y gwnaeth yr aelodau Cymreig yr oll oedd yn eu gallu i rwystro iddynt basio, a drwg genym ddweyd iddynt lwyddo mewn dau. Cyfeiriwn yn gyntaf at

*Ryddid i werthu Eglwys hynafol*

yng nghanol heol wedi ei throi oll yn *warehouses* yn Llundain, lle nad oedd ei heisieu, er mwyn adeiladu Eglwys newydd mewn lle poblogaidd. Cynnygid 20,000p. am yr hen adeilad a'i safle, a chynnygiai Arglwydd Westminster le mewn rhan boblog o'r ddinas am ddim i adeiladu Eglwys newydd â'r arian a dderbynid am yr hen. Bu raid i'r aelodau sectyddol wrthwynebu ac oedi y mesur hwn. Dyma'r aelodau oeddynt yn ceisio hawl *orfodol* i'r cyfundebau crefyddol droi eu prydlesoedd yn feddiant, ac yma gwrthwynebant i'r Eglwyswyr ryddid i werthu a newid safleoedd eglwys yn wirfoddol. Rhaid i ymddygiad o'r fath yma wneuthur ein haelodau Cymreig yn wrthddrychau dirmyg Eglwyswyr; a gallai y daw sectyddiaeth gulfarn i ddeall a theimlo cyn bo hir fod y Senedd yn Eglwysig, er ei bod yn oddefgar.

Mesur arall a wrthwynebwyd oedd un i ailsefydlu esgobaeth Bryste ar ei phen ei hun fel y bu unwaith. Casglasai trigolion Bryste a'r cylchoedd gan mil o bunnoedd (100,000p.) tuag at waddoli esgobaeth newydd, ond daeth sectyddiaeth allan o ogofëydd cynfigen i rwystro.

Ond y bryntwaith mwyaf gwarthus a phechadurus o'r oll oedd attal pasio

*Mesur Dysgyblaeth Troseddwyr yn y Weinidogaeth.*

Amcan y mesur hwn oedd hyrwyddo a gostwng y costau i droi allan unrhyw weinidog Eglwysig a geid yn euog o feddwdod neu ryw drosedd anfoesol arall. Cwynir yn dost o herwydd yr anhawsder i droi offeiriad allan o'i fywolaeth ar ol ei gael yn euog. Mewn un achos amser yn ol aeth esgob diweddar Bangor i fil o bunnoedd o gost wrth ddysgyblu un dyn a gyhuddid o feddwdod, a'r diweddar Esgob Magee

Digitized by Google

i dair mil o bunnoedd o gost i ddiswyddo cyffelyb gymmeriad a brofwyd yn euog. Amcan y mesur ger bron y Senedd yn ddiweddar oedd symleiddio y gyfraith, a gwneuthur ei dodiad mewn grym yn rhesymol hawdd a rhad. Yr oedd wedi myned drwy Dŷ yr Arglwyddi a derbyn cymmeradwyaeth Tŷ y Cyffredin, a Mr. Gladstone a blaenoriaid yr Wrthblaid o'i blaid; ond er cywilydd oesol i'r aelodau Cymreig, cymmerasant blaid y meddwon yn erbyn crefydd. Dyma'r boneddigion blaenllaw yn y bryntwaith: Mr. Samuel Evans, Mr. Lloyd George, a Mr. Thomas Edward Ellis. Y fath oedd ymddygiad y tri wŷr hyn wrth wrthwynebu y mesur, fel y dygasant arnynt eu hunain gerydd yr Ymneillduwyr Seisonig yn y Senedd. Y rheswm a roddid yn y Senedd dros yr ymddygiad oedd, na ddylid goddef i un diwygiad Eglwysig gymmeryd lle, na symmud un rhwystr oddi ar ffordd ei llwyddiant, nes ei dadsefydlu. Dyma yr *egwyddor*, fel y dywedant, ar ba un y maent yn gweithredu.

Ar ddiwrnod oer a rhewllyd ddechreu y gwanwyn, cafodd un ynfyd afael ar ddafad yn rhwym mewn mieri, ac ebai, mi a'th ollyngaf yn rhydd os caf dy gneifio oll dros dy holl gorff, a chymmeryd ymaith dy wlan. Ac felly yn lle tori y mieri oedd yn dal y ddafad, efe a'i cneifiodd drosti hyd y croen glas, a chymmerodd y gwlan adref. Ni raid dweyd beth a ddaeth o'r ddafad. Felly fe ddywed y boneddigion sectyddol hyn am braidd Eglwys Crist, "Mi a'th ollyngaf yn rhydd os caf dy gneifio yn llwyr a meddiannu yr holl wlan sydd wedi tyfu am danat. Dyro i mi dy waddoliadau a chei fyned allan i'r byd yn noeth, fel na ddichon un fieren fachu ynot." Iaith y lleidr penffordd, onid e? Cei ffordd rydd i fyned ym mlaen wedi i ti *ildio* dy geiniog olaf.

Nid ar yr egwyddorion ysbeilgar hyn yr ydys flwyddyn ar ol blwyddyn yn deddfu, er sicrhau rhwyddineb i'r gwahanol gyfundebau Ymneillduol ddwyn eu hachosion ym mlaen: deddfu er sicrhau meddiant o'u capelydd, diogelwch i'w gwaddoliadau, a breintiau corfforiaethol. Ni ofynir ceiniog o aberth oddi ar law un o honynt pan yn deddfu er eu lles. Pa ham na weithredant yn ol yr un rheol er hyrwyddiant gweithrediadau a dysgyblaeth yr Eglwys? Gofynwn yn wyneb agored, a ydyw y dynion hyn yn gwasanaethu eu cenedl wrth wneuthur eu hunain yn offerynau cenfigen sectyddol? A ydynt yn ofni, os tynir ymaith bob rhwystr oddi ar ffordd yr Eglwys, y llwydda hi i ennill y genedl yn ol i'w mynwes, a'i chyfuno yn un corff crefyddol yn lle pump, ac felly ochel dadsefydliad a dadwaddoliad? Beth am y genedl, ai drwg ai da fyddai iddi, ai melltith ai bendith? Nid oes eisieu ateb y fath gwestiwn. Y mae dyheuad mewnol enaid y genedl am undeb yn ateb y cwestiwn. Un o'r pethau cyntaf y mae y werin Gymreig yn ei wneuthur ydyw cymmeryd meddiant o'u hen dreftadaeth Eglwysig, a throi holl ffrydiau ei bywyd ysbrydol hi i ddiodi y genedl. Bydd yr oll o'r gwaddoliadau Eglwysig Cymreig cyn yr elo oes arall heibio dan reolaeth yr *elfen Gymreig* yng Nghymru, gan fod iaith y wlad yn galw am hyny; a gofynwn yn onest, ai colled ai ennill cenedlaethol a fyddai hyny? Er mwyn y genedl y bodola yr Eglwys, ac nid wyf yn meddwl y proffesa enwadaeth ddweyd mai er eu mwyn hwy y bodola y genedl. Ond dyna iaith eu hymddygiad politicaidd. Troant bob ffrwd wladwriaethol at eu melinau bychain eu hunain, a rhoddant bob rhwystr ar ffordd gweithgarwch yr Eglwys. Ond nac ofned Eglwyswyr, y mae pob achos ag yr ymleddir yn ei erbyn ag arfau annuwioldeb yn sicr o lwyddo. Y mae ymgecraeth sectyddol wedi gwasanaethu yn ddifyrwch cenedlaethol i blant y conglau yn rhy hir. Bydd symmud y math hwn o ddifyrwch o organ plaid i Dŷ y Cyffredin yn angeuol iddo, a chawn aelodau Cymreig digon eangfrydig i ofalu am les yr holl genedl.

### BRWYDR DADGYSSYLLTIAD.

O dan y penawd uchod ysgrifena un o'n cyfoesion enwadol bethau tra chwerwon, a bygythia yr hyn a alwai Buonaparte yn ei iaith filwrol "chwarter awr anghysurus" i'r Eglwys, ond tybia fel y milwr diarbed hwnw mai, "Gwell o bosibl iddi fod felly, yn frwydr fer, boeth, a therfynol." Pa fodd bynag, gwedi edrych mewn dychymmyg fyw, sylweddolgar, ar y dinystr a wnaethai y "frwydr fer, boeth, a therfynol" hòno ar yr Eglwys, ysgafnhâ y gwg oddi ar ael y golygydd, llinara dig ei fron, a thynera teimlad ei galon, a sieryd fel a ganlyn am danom:—

Ond yng nghanol yr holl helynt rhaid i ni beidio anghofio ein hunain, ac ymattal hyd y mae yn bosibl er pob temtasiwn rhag cael ein llusgo i unrhyw eithafion afresymol. Onid oes, wedi'r cwbl, o fewn yr Eglwys Sefydledig, ïe yng Nghymru, lawer o grefydd bur, a llawer o bobl yn "ofni Duw yn fwy na llawer?" Y maent, o herwydd rhyw amgylchiadau neu gilydd, wedi cadw ym mhell oddi wrthym, ac nid ydynt yn ein deall ni, na ninnau yn deall llawer arnynt hwythau. Y mae llawer iawn o honynt yn eu ffyrdd eu hunain, o galon yn gwneyd daioni a chymmwynasau, a lleddfu trueni y ddynoliaeth—y gwaith yr oedd yr Arglwydd Iesu ei hun yn ei gyflawnu. Y mae llawer o honynt yn dra defosiynol, ac yn addoli Duw mewn purdeb, er nad yr un dull a ni, eto yn eu dull eu hunain yn hollol gydwybodol. Mae yn ddigon tebyg fod llawer o Eglwyswyr wedi eu llanw â syniadau bydol a rhwysgfawredd y Sefydliad, a phan gollant hwnw fe gollant bron y cwbl, os

nad yr oll y pwysant arno. Ond y mae lluaws mawr hefyd yn gwasanaethu Duw o galon bur. Y maent wedi tyfu mewn awyrgylch lle yr oedd rhagfarn yn peri syniadau anghywir am danom, ac y maent yn ein hofni, a phobpeth sydd genym. Pe buasem yn deall ein gilydd yn well, buasai y naill a'r llall yn caru yn fwy. Ym mhoethder y frwydr na fydded i ni anghofio hyn, a thra yn ceryddu yr ysbrydion aflywodraethus gyda phob nerth ac awdurdod, bydded i ni ymdrechu i beidio niweidio dim cariad pur at y Gwaredwr. Rhaid i gefn yr ynfyd gael gwialen, ond gofalwn rhag tybied fod pawb yn y dosbarth hwnw. Ychydig yw nifer y rhai haerllug: mae llawer iawn o rai dystaw yn galaru o'u herwydd. Tra yn tynu i lawr y clawdd gwladol sydd o'i amgylch, bydded i ni gofio am y pren da sydd oddi mewn, ac ymdrechu peidio gwneyd dim i'w niweidio.

Pwy, gwedi gwrandaw ar y dyfyniad tosturiaethus uchod o gadair gyssegredig hunan-ddigonedd ac uwchafiaeth enwadol, a all beidio cyfaddef fod llecyn meddal, fel *oyster* mewn cragen, yn llechu o dan grystyn allanol caled?

### PRIF ATHRAW ABERYSTWYTH.

Da genym ddeall mai T. F. Roberts sydd wedi ei benodi i olynu Dr. Charles Edwards fel prif athraw Coleg Aberystwyth. Bu am yn agos i saith mlynedd yn efrydydd dan y Parch. T. C. Edwards yn Aberystwyth, ac wedi ennill ysgoloriaeth agored o werth can punt yn y flwyddyn yng Ngholeg St. Ioan, Rhydychain: bu yno bedair blynedd, gan ennill dosbarth cyntaf yn *Moderation* a *Finals*. Nid cynt yr oedd allan o Rydychain nag ei dewiswyd yn broffeswr Groeg yn Ngholeg Caerdydd. Y mae bellach gwedi gwasanaethu saith mlynedd neu ychwaneg yno, ac felly yn sicr mewn oedran a phrofiad digon addfed i ymgymmeryd â gwaith prif athraw yng Ngholeg Aberystwyth. Y mae y dewisiad yn sicr yn un doeth, ac ni siomir neb ym mhenodiad ysgolor mor wych a boneddwr mor ddiymhongar ond urddasol a'r Proff. T. F. Roberts.

Nis gallwn chwaith beidio llawenychu fod penodiad y Proff. T. F. Roberts, y pregethwr coethedig defosiynol, yn ergyd marwol i sectyddiaeth seciwlaraidd, gulfarn, plaid a fu unwaith mewn perygl o lygru addysg Gymreig. Caiff efrydwyr Aberystwyth Gristion dysglaer, gloew, a goleu, ben a chalon, i'w cyfarwyddo yn eu hastudiaeth—boneddwr a ŵyr fod y Beibl sanctaidd yn cynnwys llenyddiaeth uchaf a goreu byd.

### EGLWYS YR HOLL SAINT, LLANELLI.

"Coffadwriaeth y cyfiawn sydd fendigedig." "Y mae efe er yn farw yn llefaru" ac yn llafurio eto. Y mae y daionus yn byw am flynyddoedd lawer yng nghalonau a mynwesau lawer, cydnabod lu, ac edmygwyr nifeiriol. Cymhella ei sanctaidd anwyl goffa hwy i weithredoedd da, ac megys i gymmeryd i fyny arfau yr ymadawedig a chario ei anwyl waith ym mlaen. Hyfryd iawn ydyw gweled fod coffadwriaeth y diweddar Ganon Williams o Lanelli eto yn allu nerthol er daioni yn y plwyf mawr poblogaidd hwnw. Ychydig amser yn ol, diorchuddiwyd tair ffenestr ardderchog a osodwyd i fyny ar draul gweddw y Canon Williams, ar gost o bum cant o bunnoedd, a chostiodd yr oll chwe chant a deg ar hugain o bunnoedd. O dan waelod y ffenestr ceir y geiriau canlynol yn gerfiedig:—"I ogoniant Duw ac er serchus gof am y Parch. D. Williams, B.D. Mai 17, 1890.

Da genym weled oddi wrth y *Parish Magazine* am y Pasc diweddaf, fod y gwaith ardderchog yn myned ym mlaen mor gyflym ag erioed yn y plwyf poblog hwn ac ym mysg y werin bobl. Yn wir, y mae yn syn genym ddarllen drwy restr hir y tanysgrifiadau a gesglir yno at ddim llai na deg o wahanol achosion daionus. Teimlwn wrth ddarllen drwy y cyfrifon oll mor fanteisiol a ffrwythlawn o ganlyniadau da ydyw gallu i wneuthur pob peth yn weddus ac mewn trefn. Y mae bendith amlwg ar lafur yr Eglwys yma.

### YSGOL BONEDDIGESAU MISS LEGH, RILSTON VILLA, CROESOSWALLT.

Pan y gwneir y fath ymdrech tuag at ddyrchafu addysg meibion a merched Cymru, da genym weled addysg grefyddol hefyd yn cydfyned ag egwyddorion y byd hwn. Y mae adroddiad arholiad canol haf Ysgol Rilston Villa ger ein bron, a dengys fod yma waith da sylweddol yn cael ei wneuthur dan ofal Miss Legh a'i hathrawesau cynnorthwyol ym mhob cangen o wybodaeth fuddiol i foneddigesau. Y mae darpariaethau cysuron, glanweithdra, ac iechyd yr efrydwyr (*boarders*), fel y gwelodd ein llygaid, yn bob peth a ellid ei ddymuno. Yn ychwanegol at yr addysg grefyddol a gyfrenir yn yr ysgol, caiff y nifer a ddymunont y fraint o dderbyn addysg Feiblaidd bob wythnos gan ficer Croesoswallt. Cyfrenid yr addysg hon gan y Canon Howell Evans a'r Canon Fletcher, dau ficer diweddaf Croesoswallt, ac addawa y Parch. Cecil Hooks, y ficer newydd, gario yr un gwaith da ym mlaen. Gwelir hysbysiad ar amlen yr *Haul* yn rhoddi pob gwybodaeth am yr ysgol.

---

Heb foddlonrwydd mae'r cyfoethog yn dlawd, a chyda boddlonrwydd y mae'r tlawd yn gyfoethog.

Digitized by Google

## GEMAU Y BEIRDD.

### EDIFEIRWCH.

OFN mwyaf y Diafol—am ei ddeiliad
Yw ofn dyferiad un dafn edifeiriol.

### ER COF.

"Er cof"! ond pwy all gofio—y fath Un
Fyth heb dori i wylo?
A! nid bedd yw'r bedd tra fyddo
Gem Iesu Grist yn gymmysg â'i ro!

*Dewi Arfon.*

## MANION.

Y mae enaid duwiol yn arswydo rhag y pechod lleiaf, ac yn diolch am y drugaredd leiaf.

Mae ffydd yn gweled pobpeth yng Nghrist, gobaith yn dysgwyl pobpeth oddi wrth Grist, a chariad am wneuthur pobpeth er mwyn Crist.

Ceisiwch ddaioni drwy lafur, canys y llafur a dderfydd a'r daioni a erys.

Gellir trwy ddyoddef ochelyd pechu, ond nis gellir trwy bechu ochelyd dyoddef.

Os nad all eich moddion ateb i'r nod sydd genych, gosodwch eich nod i ateb i'ch moddion.

Y neb a gymmero y byd iddo yn dduw a'i caiff yn ddiafol.

Mae pechod mewn dymuno pechu, ac y mae sancteiddrwydd mewn dymuno bod yn sanctaidd.

Er mwyn i wraig gadw serch ei gwr, bydded ofalus am gadw ei hamynedd ei hun.

Wrth wasanaethu dyn, y meistr sydd yn cael y budd; ond wrth wasanaethu Duw, y gwas sydd yn mwynhau y budd.

Darostyngiad Crist oedd bod yn debyg i ni, a'n dyrchafiad ni fydd bod yn debyg iddo Ef.

Mynych y bu dyn yn colli lles daioni oedd yn ei feddiant trwy ymestyn am ryw dda oedd allan o'i gyrhaedd.

Nis gallwn esbonio anhawsderau y byd hwn ond trwy dderbyn goleuni arnynt o fyd arall.

Wrth gyflawnu beiau bychain yn ddifeddwl y mae dyn yn dyfod i gyflawnu beiau mawrion yn ddigywilydd.

## AT EIN DARLLENWYR.

Gofyna D. Parry, Liverpool, pa bryd y gellir dysgwyl parhâd o "Eiriadur Bywgraffyddol," &c., gan Eos Llechid? Drwg genym ddweyd mai profedigaethau teuluaidd drwy gladdedigaeth ar ol claddedigaeth sydd wedi pwyso yn drwm ar yr awenydd Cymreig talentog a llafurus. Gobeithia yn fuan ailymgymmeryd ag ysgrifenu.

J. R. Griffiths. Gofyna yntau, a fydd i "Sylwadau at Wasanaeth yr Ysgol Sul" gael eu parhau yn yr *Haul* am 1892? Byddant os caiff yr awdwr fywyd ac iechyd i fyned ym mlaen. Fe amcenir myned drwy yr oll o'r Efengyl yn ol St. Matthew.

## PENODIAD MR. HELM.

Dymunir arnom hysbysu fod Cymdeithas Amddiffyniad yr Eglwys wedi penodi Mr. W. E. Helm fel ei hysgrifenydd yng Nghymru. Gellir ysgrifenu ato yn Granville Street, Shrewsbury.

Bydd yn dda ganddo dderbyn oddi wrth unrhyw un a fyddo cystal a'u hanfon iddo:—

1. Gwybodaeth am waith a chynnydd yr Eglwys.
2. Gwybodaeth am yr ymosodiadau ar yr Eglwys.
3. Pigion allan o newyddiaduron.
4. Ceisiadau am ddarlithiau, cyhoeddiadau, &c.
5. Tanysgrifiadau a chyfraniadau tuag at y Gronfa Gymreig.

## Y LLITHIAU PRIODOL, MEDI, 1891.

| Dydd | Suliau a Gwyliau | Boreu | Prydnawn. |
|---|---|---|---|
| 6 Sul | 15 Sul gwedi'r Drindod | 2 Bren. xviii.<br>1 Cor. xviii. to 35 | 2 Bren. xix. neu xxiii. hyd 31<br>Marc vii. 24 hyd viii. 10 |
| 13 Sul | 16 Sul gwedi'r Drindod* | 2 Cron. xxxvi.<br>2 Cor. v. | Neh. i. a ii. hyd 9 neu viii.<br>Marc xi. 27 hyd xii. 13 |
| 20 Sul | 17 Sul gwedi'r Drindod | Jer. v.<br>2 Cor. xi. 30 to xii. 14 | Jer. xxii. neu xxxv.<br>Marc xv. hyd 42 |
| 21 Llun | St Mat., Ap. Efeng. a Mer.† | 1 Bren. xix. 15<br>2 Cor. xii. 14 a xiii. | 1 Cron. xxix. hyd 20<br>Marc xv. 42 a xvi. |
| 27 Sul | 18 Sul gwedi'r Drindod | Jer. xxxvi.<br>Gal. v. 13 | Esec. ii. neu xiii. hyd 17<br>Luc iii. hyd 23 |
| 29 Mawrth | St. Mihangel a'r Holl Angylion | Gen. xxxii.<br>Actau xii. 5 hyd 18 | Dan. x. 4<br>Dad. xiv. 14 |

* Colect y Lludw yn ddyddiol. † Credo Sant Athanasius.

CARMARTHEN:
Printed and published by W. SPURRELL & SON, at their Printing Office, situate and being at No. 87, King-street, in the Parish of Saint Peter, in the County of the Borough of Carmarthen, on Monday, the 31st of August, 1891.

Digitized by Google

# YR HAUL.

**Ail Gyfres Caerfyrddin.**

"YNG NGWYNEB HAUL A LLYGAD GOLEUNI."
"A GAIR DUW YN UCHAF."

RHIFYN 82. HYDREF, 1891. CYF. VII.



## JERUSALEM.

DARLUN o Jerusalem fel yr ymddengys yn bresennol sydd genym i'w osod ger bron darllenwyr yr *Haul*: dychymmygol i raddau mawr ydyw pob darlun a ellir gael o Jerusalem dyddiau ein Hiachawdwr neu Jerusalem dyddiau Solomon. Eglwys y Bedd Sanct-aidd ydyw yr adeilad mwyaf amlwg o'r pellder yn Jerusalem. Perthyna yr adeilad mwyaf i Eglwys Groeg, un arall i Eglwys Rhufain, arall i'r Brodyr o urdd St. Francis. Y mae gan yr Armeniaid gapel yno hefyd, tra yr erys y Bedd Sanctaidd yn agored



Digitized by Google

i ymwelwyr o bob man, y rhai a gyrchant yno wrth y miloedd megys ar bererindodau.

Rhenir y ddinas ei hun yn dair rhan: un ar gyfer Cristionogion, un arall i'r Mahometaniaid, ac arall i'r Iuddewon. Un o hynod bethau yr oes ydyw cynnydd rhyfeddol yr Iuddewon yn Jerusalem. Nid oedd eu rhif hanner can mlynedd yn ol ond wyth mil; rhifant yn awr bymtheg mil ar hugain. Amgylchir y ddinas eto gan furiau uchel, ond ymestyna y gerddi o'r tu allan iddynt. Gallem dybio nad ydyw yr amgylchedd yn fawr, gan y gall dyn gerdded o'i hamgylch mewn ychydig gydag awr o amser. Wrth edrych ar Jerusalem fel y mae yn y darlun, golygfa o ffordd Jaffa i'r gorllewin iddi ydyw, a'r wyneb at y dwyrain, a saif mynydd yr Olewwydd fel cefn i'r darlun.

---

## PRIF NODWEDDION DUWINYDDIAETH Y CANOLOESOEDD.

(*Parhâd o dudalen 198*).

Sylwasom yn barod ar ein rhwymedigaeth, pan yn trafod duwinyddiaeth y cyfnod dan sylw, i ystyried neillduolion y ddwy gangen fawr o'r Eglwys Gatholicaidd, sef eiddo y Dwyrain a'r Gorllewin.

Ychydig yw nifer ysgrifeniadau uniongred y Dwyrain a drosglwyddwyd i ni. Nid ydynt o ran swm a sylwedd ond caffaeliad bychan mewn cymhariaeth i gyfrolau trwchus a lluosog Eglwys y Gorllewin. Dangosant, fodd bynag, ofal neillduol i ddefnyddio termau priodol a deffiniadau cywir, ac ar y cyfan addefir y ceir ynddynt well amlygiad o reddf resymegol yr athronydd crefyddol nag a gyfarfyddir yng ngweithiau y tadau Rhufeinig neu Ladinaidd. Ymddengys fod dwyreinwyr ysgolheigaidd y Canoloesoedd yn rhagori nid yn gymmaint fel duwinyddion yn ystyr fanwl y gair, ond yn hytrach fel bywgraffwyr, hanesyddion, a chasglwyr traddodiadau.

Ceisiwn sylwi yn fyr yn yr erthygl hon ar rai o brif ysgrifeniadau y duwinyddion dwyreiniol yn ystod y cyfnod dan sylw, yng nghyd ag ychydig fanylion perthynol i'r ysgrifenwyr.

### IOAN O DAMASCUS.

Ganwyd yr ysgolor gwych hwn yn Damascus o ddeutu diwedd y seithfed ganrif. Tarddai o deulu pendefigaidd ac urddasol, a derbyniodd ei addysg dan ofal mynach dysgedig o'r enw Cosmas. Ar ol gwerthu ei eiddo a rhanu y pwrcas rhwng yr angenus, aeth i drigiannu i fynachlog Sant Sabas, yn agos i Jerusalem, ac yno y treuliodd y gweddill o'i oes. Cyfansoddodd lawer o draethodau ar wyddoniaeth, ond ei brif waith ydoedd cyfrol a elwir "*De Fide Orthodoxa*," neu gorff cyflawn o dduwinyddiaeth wedi ei drefnu ar gynllun yr Ysgolwyr, yn cynnwys dyfyniadau lluosog a meithion o ysgrifeniadau y tadau boreuol yn ogystal a math o *running comment* o'r eiddo yr awdwr ei hun. Gosyd ei hun dan dreth i'r "doeth a'r da," yn enwedig St. Athanasius, St. Basil, St. Chrysostom, a St. Cyril. Ymdrinia yn y gwaith hwn â phrif fanau duwinyddiaeth, megys yr Hanfod Dwyfol, y Drindod Sanctaidd, Person Crist, Bedydd, Ffydd, y Cymmun Bendigaid, a'r Ysgrythyrau Sanctaidd.

Gwrthoda ganiatäu (fel St. Greg. Naz.) y syniad ydoedd gyffredin yn y dyddiau hyny o dalu iawn i'r Diafol, ond cydnebydd i'r Diafol gael ei dwyllo; ac fel Ruffinus, golyga i'r arch-elyn gael ei ddal gan Dduw megys â bach pysgota pan yn ceisio yn y croeshoeliad draflyncu yr Arglwydd Iesu Grist, ac iddo ar yr amgylchiad rhyfeddol hwnw gael ei lwyr ddinystrio gan y Gwaredwr.

Pan yn ymdrin ag ochr foesol yr Iawn, ymddengys athrylith y gwir dduwinydd yng nghynnyrch meddwl Ioan o Damascus. Dengys gydag eglurdeb neillduol ac mewn teimlad gwir ddefosiynol pa fodd y bu i Fab Duw, trwy gymmeryd y natur ddynol i undeb â'i Berson gogoneddus, godi y ddynoliaeth o waelodion y llygredig a'r anifeilaidd i diriogaeth uchel y pur, yr anniflanedig, a'r dwyfol; pa fodd ynddo a thrwyddo ei Hun yr adnewyddodd ddelw Duw, ac y rhyddhaodd yn ei adgyfodiad y marwol o gylch y presennol a'r darfodedig; ac yn olaf, pa fodd, trwy gyfranu i ni y wybodaeth sydd o Dduw, a thrwy amynedd, gostyngeiddrwydd, a dysgyblaeth, y gwaredodd ni o dywyllwch a gwae yr annuwiol. Gosyd bwys neillduol ar iawn weinyddiad y sacramentau sanctaidd o Fedydd a Swper yr Arglwydd, a defnyddia eiriau cryfion er mwyn gosod allan rwymedigaeth yr Eglwys i'w cydnabod a'u harfer.

Gellir dysgrifio Ioan o Damascus fel y cyntaf yn Eglwys Groeg i fabwysiadu y cynllun ysgolheigaidd o ysgrifenu. Ar ei ol ef ni chyfarfyddir ag odid un duwinydd o wir a diammheuol werth yn Eglwys y Dwyrain. Er ei holl ddiffygion, nis gellir ond ei barchu fel ysgolor campus, duwinydd cydwybodol, a Christion twymgalon a defosiynol. Ymlwybrai yn aml yn y niwl, ond

"Troai o hyd tua'r iawn."

Fel duwinydd *athrawiaethol* y cofir am hen fynach duwiol St. Sabas.

Digitized by Google

THEODORUS, ESGOB CARIA.

Yn ol ereill, esgob Charran yn Syria. Blodeuodd yn niwedd y nawfed ganrif. Cyfansoddodd o ddeutu deugain o draethodau meithion mewn gwrthwynebiad i'r Mahometaniaid, y Nestoriaid, a lluaws mawr o hereticiaid ereill. Hwyrach mai ei gampwaith ydyw ei draethawd galluog ar yr "Ymgnawdoliad," pwnc yn meddu swyn neillduol i'r meddwl Groegaidd. Yn y gwaith pwysig hwn dengys ymdrech ganmoladwy i ddefnyddio geiriau a thermau priodol pan yn trafod dirgelwch mawr ein ffydd, gan fanylu ar y gair *duw* fel y defnyddir ef i arwyddo y Drindod Sanctaidd, ac y cymhwysir ef at yr Ail Berson, yr hwn yn unig a gymmerodd ato y natur ddynol. Maentumiai nad effeithiodd dyoddefiadau y dyn Crist Iesu o gwbl ar y Person Dwyfol. Er ei holl fanylwch, gogwyddai Theodorus yn fynych at yr hyn sydd beryglus o agos i gyfeiliornad.

Yn ei waith gorchestol ar "Dermau Athronyddol," anneledig at yr heresi Jacobinaidd, cawn ef yn ymgodymu â brawddegau dansoddol ac anhawdd Credo Athanasius: bod, hanfod, sylwedd, person, personoliaeth, hunaniaeth enaid rhesymol. Sylwa nad yw y geiriau "personoliaeth" a "hunaniaeth" yn dermau cydgyfnewidiol gyda golwg ar natur ddwyfol ein Harglwydd, nac ychwaith mewn cyfeiriad at yr Ysbryd Glân. Canys, meddai, nis gellir llefaru am y naill na'r llall o'r personau dwyfol hyn fel pe byddent fodau dynol, ac y mae arfer geiriau a feddant y posiblrwydd lleiaf o awgrymu y syniad o dri Duw yn hytrach nag o dri Pherson, nid yn unig yn eithafol o beryglus fel heresi, ond hefyd yn drosedd o'r gorchymmyn cyntaf ac yn warant aml-dduwiaeth. Y mae cyfeiliornad mewn ystyr Gristionogol bob amser yn gadarnhâd o ryw au-grefydd, a'r brif elfen mewn ambell i au-grefydd—yr elfen sydd yn rhoddi arni ryw fath o barchusrwydd—ydyw heresi oddi wrth gredo yr unig wir Eglwys Y mae ambell i fradychwr, fel Judas Iscariot, yn tynu sylw am ei fod *unwaith* wedi dwyn yr enw o ddysgbyl Crist. Pe buasai esgob Charran yn blodeuo yn ein gwlad a'n dyddiau ni, nis gallwn lai na thybied nad un o'i brif orchwylion fyddai dangos nad oes gan bob sect fechan sismaticaidd rithyn o hawl i alw ei hun yn "eglwys," ac nad yw yr oll o'r sectau gyda'u gilydd yn meddu unrhyw warant ar dir Ysgrythyr nac hanesiaeth, i faentumio eu bod yn "eglwys."

Fodd bynag, cymmerai Theodorus y gofal mwyaf i roddi i dermau eu gwir a'u priodol ystyron. Gwahaniaethai yn fanwl, er enghraifft, rhwng "priodoledd" a "chynneddf," pan yn defnyddio y geiriau hyny mewn perthynas ag athrawiaeth y Drindod Sanctaidd. Dangosir fod y priodoleddau dwyfol yn perthyn i bob un o'r tri pherson yn gwbl ddiwahaniaeth, ac yn ffurfio perffeithrwydd y bod o Dduw. Ar y llaw arall, moddau neillduol o fodolaeth bersonol ydynt y cynneddfau dwyfol. Trwy y cynneddfau y mae pob un o'r Personau Dwyfol yn bod fel y cyfryw ac yn gweithredu yn wahaniaethol. Yn yr ymgnawdoliad gwelwn nid Person newydd ond elfen newydd mewn Person, yr hwn ei Hun a elwir yn "Dad tragwyddoldeb." Ar bwys y gwahaniaeth rhwng "priodoledd" a "chynneddf" y dysgir y posiblrwydd o ymddangosiad person gogoneddus y Mab mewn cnawd. Amlygai Theodorus y pryder mwyaf rhag dygwydd iddo ddefnyddio unrhyw air neu derm ag y gellid ei gamddeall a'i wyrdroi er rhoddi rhyw fath o *respectability* i hereticiaeth. Daliodd afael penderfynol nid yn unig yn ysbryd, ond hefyd yng ngeiriad credoau yr Eglwys Gyffredinol. Teimlai mai y cam cyntaf yng nghyfeiriad cyfeiliornad mewn ffydd ydoedd dibrisdod o awdurdod apostolaidd erthyglau y Credo. Cofiai yn dda am frwydrau Nicea, Caergystenyn, Ephesus, a Chalcedon, a phenderfynodd nad ydoedd y buddugoliaethau a ennillwyd ynddynt i gael eu hamddifadu o'u gogoniant a'u trysor gan ddiffyg gwroldeb ac ymdrech ar ei ran ef. Treuliodd ei ddyddiau i amddiffyn yr Eglwys, i ymosod ar ac hyd eithaf ei allu i ddinystrio cyfeiliornad, ac i adeiladu a cadarnhau dynion yn y wir ffydd fel y deallid hi ganddo. Fel duwinydd dadleuol ac amddiffynol yr erys coffadwriaeth Theodorus, esgob Charran, ar ddalenau crychion hanesiaeth grefyddol y Canoloesoedd.

PHOTIUS, ESGOB CAERGYSTENYN.

Bu farw o ddeutu diwedd y nawfed ganrif. Dywed rhai mai efe oedd prif athrylith ei oes, ac yn ddiddadl ymddengys iddo gyflawnu gwaith gorchestol gyda'r rhwyddineb mwyaf. Yr ydoedd yn ysgolhaig penigamp, ac yn berffaith gydnabyddus â holl gylch llenyddiaeth ei oes. Yn ystod llysgenadaeth yn Syria cyfansoddodd ei lyfr nodedig, "*Bibliotheca*," yn cynnwys sylwadau beirniadol galluog ar ddau gant a phedwar ugain o awduron, gweithiau pa rai oeddynt adnabyddus iddo. Dygwyddodd hyn pan ydoedd leygwr. Yn y flwyddyn 858 diarddelwyd Ignatius, esgob Caergystenyn, a chafodd Photius ei ordeinio yn is-ddiacon, diacon, offeiriad, a phatriarch yn ystod pedwar diwrnod dilynol. Yn y man cafodd yntau ei ddiarddel, a bu yn crwydro am dymmor, ond daeth i ail-feddiant o'i gadair esgobol

Digitized by Google

ar farwolaeth Ignatius, yr hwn ydoedd wedi ei ailddyrchafu, a pharhaodd yn y gadair am gryn ysbaid; ond cyfarfyddodd â gelyn yn yr ymherawdwr newydd, Leo yr athronydd, a diarddelwyd ef eilwaith ac alltudiwyd ef i Armenia, lle y bu farw yn y flwyddyn 890.

Saif Photius y blaenaf o ysgrifenwyr Caergystenyn. Mae y rhan a gymmerwyd ganddo fel un o brif ffigyrau yr ymraniad rhwng y Dwyrain a'r Gorllewin, yn ogystal a'i safle batriarchaidd, ei gyssylltiad â phrif bersonau politicaidd yr oes, a'i helyntion personol, yn rhoddi hawl iddo i sylw neillduol y duwinydd, yr hanesydd, a'r athronydd. Y mae ei brif waith yn rhanedig i ddau gant a phedwar ugain o adranau, ac yn faes eang a chynnwysfawr o bob math o wybodaeth, yn enwedig gwybodaeth glasurol, Eglwysig, a duwinyddol. Mewn gwirionedd gelwir ef gan Robertson, yr hanesydd Eglwysig Seisonig, yn rhagredegydd neu gynffurf y *modern critical reviews*. Y mae gwerth neillduol yn perthyn iddo yn gymmaint a'i fod yn cynnwys dyfyniadau meithion o lyfrau ydynt erbyn hyn wedi eu llwyr golli. Yn annibynol ar sylwadau eglurhaol a beirniadol Photius ei hun, ceir ynddo elfenau amrywiol y lenyddiaeth gydamserol, a theflir goleuni trwyddo ar beryglon neillduol yr Eglwys yn ystod cyfnod pwysig a dyddorol yn ei hanes. Ym mhlith epistolau Photius ceir llythyr Eglwysig (*encyclical*) dyddorol, yn ymdrin â phrif bynciau y ffydd, yn enwedig â'r athrawiaeth Ysgrythyrol o ddeilliad yr Ysbryd Glân. Dyma ydoedd cwestiwn mawr y tymmor hwn, ac ar y graig hon y drylliwyd llestr yr Eglwys. Yr oedd gan Photius lawer i'w wneyd ag achosi yr ymraniad, o fythol dristwch, rhwng Eglwys y Dwyrain ag Eglwys y Gorllewin, neu, a siarad yn fanwl, o ranu yn ddeuddarn yr Eglwys, yr hon ydoedd o'r blaen yn meddu gwir a bywiol unoliaeth. Cafodd ei gondemnio yn yr wythfed gynnadledd gyffredinol. Gan y perthyn y mater hwn i faes arall o astudiaeth, nid ydym yn bwriadu ei drafod ond yn unig can belled ag y mae a wnelo Photius ag ef.

Medd Esgob Pearson, "Yr oedd y tadau Lladinaidd yn rhoddi pwys ar y ffaith fod yr Ysbryd Glân yn deilliaw o'r Tad a'r Mab. Y tadau Groegaidd, er eu bod yn cadw yn agosach at ffurf ac iaith yr Ysgrythyrau, a ddysgent fod yr Ysbryd Glân yn deilliaw oddi wrth y Tad, eto ni ddywedent ei fod yn deilliaw hefyd oddi wrth y Mab." (Sylwer nad ydynt ar un cyfrif yn dal *nad yw* yr Ysbryd Glân yn deilliaw oddi wrth y Mab.) Dysgent, ond mewn ffurf arall, yn hollol yr un gwirionedd ag a ddelid gan y tadau Lladinaidd. Dyma o ganlyniad ydoedd yr athrawiaeth a ddelid yn gyffredinol gan y Dwyrain a'r Gorllewin. Theodoret oedd y cyntaf i achlysuro gwahaniaeth. Defnyddiodd y ffurf Roegaidd yn erbyn athrawiaeth Rhufain a Groeg, ond condemniwyd ei ysgrifeniadau, ac ni chlywyd son am ei syniad cyfeiliornus am lawer o flynyddoedd. Fodd bynag, yn ail gynnadledd Nicea ychwanegwyd at y Credo Niceaidd y frawddeg, "*Yr hwn sydd yn deilliaw o'r Tad.*" Ond yn y Gorllewin rhoddwyd i mewn y geiriau "*ac o'r Mab,*" fel y gwelir yng Nghredo Toledo, o.c. 589. O'r Yspaen ymledodd y deffiniad i Ffrainc, a chyn diwedd y nawfed ganrif cyfododd dadl parthed yr athrawiaeth. Penderfynwyd yn ffafr yr ychwanegiad mewn cynnadledd a gynnaliwyd yn Aix-la-Chapelle, o.c. 809. Danfonodd Siarl Fawr at y pab, Leo III., i ofyn cadarnhâd i'r penderfyniad. Tra yn amlygu boddhâd mewn perthynas i'r athrawiaeth gwrthwynebai ychwanegu at y Credo. Fodd bynag, darfu i Nicolas I., o.c. 858, a'r pabau dilynol dderbyn yr ychwanegiad, ac yna cawn Photius yn cwyno yn erwin ac yn bygwth anathema, ac mewn cynnadledd a gynnaliwyd yn Caergystenyn yn o.c. 869, condemniwyd yr ychwanegiad, a phenderfynwyd ar ei dynu o'r Credo. Eto, nid ydym yn deall y gwrthodid yr *athrawiaeth* fel yn anysgrythyrol, ond credwn mai mater o brotestiad cryf ydoedd yn erbyn yr hyn a gyfrifid yn hyfdra anghyfreithlawn a sylwedd y credo cyffredinol. "Felly," ebai Esgob Pearson, "y dechreuodd y sism rhwng yr Eglwysi Lladinaidd a Groegaidd, ac y parhaodd, a byth ni therfynir ef, nes y cymmerir allan o'r Credo y geiriau hyny."

Gwelir, o ganlyniad, y rhan flaenllaw a gymmerodd Photius mewn dwyn oddi amgylch yr ysgariad anhapus hwn. Pan yn ymdrin â dadganiadau dansoddol a thywyll y Monothelitiaid, plaid hereticaidd a gododd yn y chweched ganrif, cawn Photius yn gwahaniaethu cydrhwng gwahanol fathau o ewyllysiau, ac yn dysgu fod ewyllys ddynol ein Harglwydd yn gwbl a hanfodol ddarostyngedig i'r natur ddwyfol. Yma y mae Photius yn sangu ar dir sanctaidd a dirgeledig, ac er pob ymdrech i dreiddio i gyssegr sancteiddiolaf Person y Gwaredwr, erys y dirgelwch bob amser yn anesboniadwy ac yn fater o ffydd a diolchgarwch. "Canys fel y mae yr enaid rhesymol a'r cnawd yn un dyn; felly Duw a dyn sydd un Crist."

Gweithiodd Photius yn egnïol, ac er ei holl ffaeleddau fel dyn a duwinydd, fe erys ei gymmeriad yn esampl o yni diflino a phenderfyniad di-ildio dros y ffydd a roddwyd unwaith i'r saint. Ac, ys dywed Dr. Pusey, heb weithredoedd fe oera cariad ac fe

Digitized by Google

ddiffygia ffydd. Nid oes genym unrhyw ddylanwad uniongyrchol dros ein ffydd: rhodd Duw ydyw. Nis gallwn orfodi ein hunain i gredu neu i wneyd ein ffydd yn fwy bywiol nag ydyw; ond os ymdrechir gweithredu arni, y tebygolrwydd yw yr ammherir ei sylfeini, neu y gosodir rhyw rith o grediniaeth yn ei lle. Cyflawner ewyllys Duw ac Efe a gynnal, a amddiffyn, ac a nertha ffydd, ac a'i gwna "yn wir yn sail y pethau yr ydys yn eu gobeithio, ac yn sicrwydd y pethau nid ydys yn eu gweled."

*Brymbro.* MEREDITH J. HUGHES.

---

## BYWYD CYHOEDDUS CRIST.

"O ba le y daeth y doethineb hwn . . . i'r dyn hwn?"—
ST MATT. xiii. 54.

ER yr adeg pan lefarwyd y geiriau gwawdlym uchod, y mae personoliaeth Mab Duw wedi peri syndod mawr ac achosi dadleuon brwd. Dyma yn ddiau ydyw y wyrth fwyaf mewn hanesyddiaeth, sef personoliaeth Crist; ac y mae y gofyniad yn codi yn naturiol i'r meddwl, pa ham yr oedd Iesu Grist fel yr oedd ac yr ymddangosodd yr adeg y darfu? Ceir amryw yn yr oes bresennol, fel yn yr oesau gynt, yn gwadu ei ddwyfoldeb ac yn dadleu nad ydoedd ond dyn yn unig. Os ceisiwn ddadansoddi ei gymmeriad, fe ganfyddwn ar unwaith ei fod yn rhywbeth uwch law dyn. Gwelwn ynddo feddwl treiddgar, ewyllys gref, tynerwch a thosturi, cydymdeimlad dwfn a bywiol â dynolryw yn ei holl gyssylltiadau. Er yn dlawd, nid ydoedd wrthryfelgar nac yn chwyldroadwr. Yr oedd yn dosturiol wrth y tlawd, eto ni chondemniai y cyfoethogion fel y cyfryw ond yn unig am eu bydolrwydd a'u diffyg ystyriaeth o'r cyfrifoldeb yr oedd cyfoeth yn eu gosod dano. Edrycher arno o gyfeiriad a fynom, canfyddwn yr holl rinweddau yn cydgyfarfod ynddo. Bu dynion duwiol a da yn y byd o'i flaen, megys Abraham, Moses, Job, Elïas, Pedr, a'r dysgybl anwyl, a'r oll yn feddiannol ar rinweddau neillduol ac amlwg; ond ym Mab Duw fe ganfyddwn y rhai hyn oll, yng nghyd â phob rhinwedd arall yn cydgyfarfod. Yng ngwyneb y cyfryw wybodaeth y mae yn ammhosibl i neb wadu nad oedd y dwyfol a'r dynol yn cydgyfarfod ynddo heb i ni yn gyntaf dduweiddio dyn.

Darllenwn fod amgylchiadau ac amgylchedd boreu ei oes ac adeg ei fywyd cyhoeddus yn hynod iawn. Fe'i ganwyd mewn gwlad ac oes pan yr oedd tair cenedl fawr a gwrthwynebol—yr Iuddewon, y Groegiaid, a'r Rhufeiniaid yn chwareu rhan bwysig iawn yn hanes y byd. Eto, nis gellir dweyd oddi wrth unrhyw neillduolrwydd yn ei gymmeriad ei fod yn perthyn i'r un o honynt. Nid ydoedd yn ddyn cenedl mwy nag ydoedd yn ddyn i oes neillduol. Er fod ymraniadau a gwrthryfeloedd yn myned ym mlaen yr adeg hòno yn Palestina, nid effeithiodd dim ar ei ddysgeidiaeth Ef. Er ceisio gwadu dwyfoldeb Iesu Grist, ymdrecha amryw—ac yn eu mysg Hausrath a Schürer—brofi fod y gwirioneddau a ddysgai wedi eu dysgu yn flaenorol i'w amser Ef, a bod ei amgylchedd ysbrydol yn gyfryw ag i'w alluogi i siarad ac athrawiaethu fel ag y gwnai. Y mae yn ddiddadl y canfyddir rhai dywediadau o eiddo Crist yn gymmysgedig â llawer o reolau a deddfau plentynaidd yr hen awduron. Nid ydyw hyny yn syndod yn y byd; ond buasai yn syndod mawr iawn pe na buasai i'r un o'r prophwydi a'r hen ddysgawdwyr fod wedi llefaru geiriau bywiol neu syniadau dyrchafedig, a chanddynt yr Ysgrythyrau yn eu meddiant.

Ond pan y cyfaddefwn fod y Gwaredwr yn defnyddio y cyfryw eiriau neu sylwadau, nid ydym trwy hyny fymryn yn nes i wneyd i ffwrdd â'i ddwyfoldeb. Y pwnc i'w setlo ydyw, pa ham yr oedd Iesu Grist yn dethol o'r gweithiau uchod ond yn unig yr hyn oedd i barhau yn wirionedd tragwyddol? Pa ham yr oedd yn taflu o'r neilldu y gwrachïaidd chwedlau a'r defodau plentynaidd a gorthrymus oeddynt mor anwyl a phwysig yng ngolwg Hillel ac ereill? Fe ganfyddwn yr Arglwydd Iesu, yn gysson â'i dreiddgarwch goruchddynol, yn defnyddio y syniad goreu yng nghylch natur Duw, ac yna yn ei weithio allan nes dwyn y meddylddrych am dadolaeth Duw yn brif erthygl ei grefydd. Yr oedd un corff yn dylanwadu ar gorff arall cyn geni Newton i'r byd, ond efe oedd yr offeryn a ddefnyddiwyd er egluro hyn, a'i wneyd yn ganolbwynt ei ddysgeidiaeth ar ddeddf attyniad. Yr oedd y Salmydd a'r prophwydi wedi cyhoeddi am dadolaeth Duw, ond yr Arglwydd Iesu a'i heglurodd trwy ei wneyd yn ganolbwynt mawr ei ddysgeidiaeth yng nghylch y deyrnas y daeth Efe i'r byd i'w sefydlu. Ymdrecha y sawl a wadant ddwyfoldeb y Gwaredwr i brofi ei fod yn ddyledus i weithiau Philo, yr Alecsandriad, am ei athrawiaeth; ond nis gellir attegu yr haeriad yma ag un ffaith hanesyddol. Tystia hanesyddiaeth fod yr Iuddewon byth er adeg gwrthryfel y Maccabeaid wedi ymgadw yn hollol rhag derbyn unrhyw ddylanwad meddyliol nac ymarferol oddi wrth y Cenedloedd. Ereill a ddadleuant iddo dderbyn o athrawiaeth yr Esseniaid, ond tystia Lightfoot ac ereill nad oes sail i'r haeriad yma. Yr oedd crefydd y bobl yma yn sylfaenedig ar eiddo y Phariseaid mwyaf manwl, gydag ych-

Digitized by Google

wanegiadau o haul-addoliaeth y Parsïaid ac angel-addoliaeth y Gnosticiaid. Dengys Hausrath pa mor wahanol ydoedd eu daliadau i grefydd Crist: dywed, "Yr oedd syniad Crist am y byd yn hollol groes i eiddo yr Esseniaid. Iddo Ef nid oedd y byd yn ammhur, ond yn greadigaeth berffeithiedig y Tad nefol; ac o ganlyniad, nid oedd yn dymuno ymneillduo oddi wrth y byd i feudwyaeth ac unigrwydd." Tra yr oedd athrawiaethau yr Esseniaid yn cael eu dysgu yn y dirgel, yr oedd yr eiddo Ef yn cael eu dysgu yn gyhoeddus—"Yr hyn a glywch yn y glust pregethwch yn gyhoeddus" (St. Matt. x. 27); o ganlyniad, nid rhyfedd ydyw i'r Archddiacon Farrar ddweyd, "Nid oes yn holl ddysgeidiaeth yr Arglwydd gymmaint ag *un* cyfeiriad diammheuol at lenyddiaeth, athroniaeth, neu hanesyddiaeth Groeg a Rhufain."

(*I'w barhau.*)

*Hen Eglwys, Mon.* E. B. Thomas, *curad.*

---

## DUWINYDDIAETH: NEU SYLWADAU AT WASANAETH YR YSGOL SUL AR YR EFENGYL YN OL ST. MATTHEW.

### GWERS XXXIX.

*Marwolaeth St. Ioan Fedyddiwr. O.C. 29. St. Matt. xiv. 1—12. Darllener St. Marc vi. 14—29; St. Luc iii. 19, 20, a ix. 10—17.*

### ESBONIAD EGLURHAOL.

Adn. 1: "*Y pryd hwnw.*"—Ni chyfeirir yma at amser penodol; dim pellach na tua'r amser y dysgai yr Iesu ar ddammegion. Ymddengys mai yn ystod cenadaeth gyntaf yr apostolion bob yn ddau i bregethu yr oedd: gwel St. Marc vi. 7—13, a St. Luc ix. 1—10.

"*Herod.*"—Herod Antipas oedd hwn, a mab i Herod Fawr, St. Matthew ii. 1. Gwraig o'r enw Malthakè, genedigol o Samaria, oedd ei fam. Hon oedd mam Archeläus hefyd (St. Matt. ii. 22), a dygasid hwy i fyny yn Rhufain.

"*Tetrarch.*"—*Tetrarch* ydyw yr enw yn Groeg ar lywodraethwr un rhan o bedair o deyrnas. Rhanwyd teyrnas "Herod frenin," sef Herod Fawr, yn bedair talaeth: gwel St. Luc iii. 1. Herod Antipas oedd tetrarch Galilea, ac ymestynai ei awdurdod i'r ochr arall i Fôr Galilea a elwid Perea.

"*Son am yr Iesu.*"—"A'r Brenin Herod a glybu, canys cyhoedd oedd ei enw ef," St. Marc vi. 14. "A Herod y tetrarch a glybu y cwbl oll a wnaethid ganddo," St. Luc ix. 7. Y mae yn amlwg y cymmerai Herod Antipas sylw neillduol o'r hyn a wnai yr Iesu. Dyn creulawn, dichellgar, hunanol, balch, llygredig, a llawn o ddrwg gynlluniau oedd; ond ar yr un pryd, dyn ofërgoelus, llwfr, ac ofnog, gwedi derbyn addysg hanner paganaidd a hanner coelgrefyddol.

Adn. 2: "*Efe a ddywedodd wrth ei weision.*"—Wrth weision ei dŷ. Petrusai Herod "am fod rhai yn dywedyd gyfodi Ioan o feirw," St. Luc ix. 7.

"*Hwn yw Ioan Fedyddiwr.*"—Dychrynai Herod wrth feddwl y gallai fod gwirionedd yn y dywediad mai Ioan Fedyddiwr a gyfodasai o feirw, a mabwysiadodd ei gydwybod euog y dyb.

"Cydwybod euog wna yn llyfrgwn bawb."

Gorchfygodd ei ofnau ei anffyddiaeth Saducëaidd. Yr oedd fel Satan yn credu ac yn crynu: gwel ar "surdoes Herod," St. Matt. xvi. 6 a St. Marc viii. 15.

"*Gan hyny.*"—Dysgwylid gweithredoedd mwy nerthol oddi wrth un wedi cyfodi oddi wrth y meirw. Rhoddai y ffaith o'i adgyfodiad sel ddwyfol ar ei waith, a phrawf o allu goruchnaturiol iddo.

Adn. 3: "*Canys Herod a ddaliasai,*" &c. Daliasai Herod Ioan gryn amser cyn hyn, gan ei garcharu mewn daiargell yn perthyn i'w balas ym Machaerus, ar y tu dwyreiniol i'r Iorddonen, lle yr oedd Herod yn aros ar y pryd, tra yn rhyfela yn erbyn ei dad yng nghyfraith, Aretas, brenin Arabia.

"*Herodias.*"—Merch oedd hon i Aristobulus, ac wyres i "Herod frenin" neu Herod Fawr. Yr oedd Aristobulus yn hanner brawd i Herod, a Herodias ei hun felly yn nith iddo.

"*Gwraig Phylip ei frawd.*"—Hanner brawd oedd y Phylip yma eto i Herod Antipas. Nid y Phylip a enwir yn St. Luc (iii. 1) ydoedd, ond Phylip arall, a hanner brawd iddo. Yr oedd gan yr Herod frenin a enwir yn yr ail bennod o St. Matthew amryw wragedd, a phlant o'r oll o honynt; ac yr oedd ei holl deulu yn hynod o lygredig.

Adn. 4: "*Nid cyfreithlawn.*"—Yr oedd Phylip ei gwr cyntaf eto yn fyw, ond mewn sefyllfa is mewn cymdeithas na Herod. Denwyd y wraig anffyddlawn gan yr urddas breninol, a'r brenin llygredig gan ei thegwch hithau. Dyma ddau temtasiwn penaf y byd a'r cnawd.

Adn. 5: "*Ac efe yn ewyllysio,*" &c. Ewyllys ei galon greulawn oedd rhoddi Ioan i farwolaeth. Ond (1) ofnai y dyrfa. Y mae ar yr unbenaeth mwyaf annibynol ofn y lluaws. (2) "Nis gallodd" ei ladd ar unwaith am ei fod "yn ofni Ioan, gan wybod ei fod yn wr cyfiawn, ac yn sanctaidd," St. Marc vi. 20.

Digitized by Google

Adn. 6: "*Cadwyd dydd genedigaeth,*" &c. Dyma gyfleusdra pechod. Daw gwendid dynion allan wrth gyfeddach y gwin.

"*Dawnsiodd merch Herodias,*" &c. Salome oedd ei henw, a phriodwyd hi ar ol hyn â Herod Phylip. Troes allan yn wraig ddrygionus fel ei mam.

Adn. 7: "*Addawodd trwy lw,*" &c. Addawodd yng ngwres y gwin: gwel Esther vii. 2. Anghofiodd gynghor y Gwr Doeth, Diar xxxi. 4.

Adn. 8: "*Hithau wedi ei rhagddysgu,*" &c. Dyma gynllun malais gwraig lygredig.

"Ofnadwy yw dialedd ffyrnig gwraig."

"*Dyro i mi yma.*"—Dyro yn awr. Ni roddai y wraig ddialgar amser i Herod ymbwyllo o'i win.

Adn. 9: "*A'r brenin a fu drist ganddo,*" &c. Trist iawn. Dyma Herod mewn petrusder a chyfyngder rhwng "ofn y dyrfa," cnoföydd cydwybod, ac ofn gwasaidd tori llw drygionus yng nghanol cwmni annuwiol.

"*O herwydd y llw, a'r rhai oedd yn eistedd,*" &c. Dyma y dylanwadau oedd yn ei attal rhag lladd Ioan Fedyddiwr yn y dechreu (gwel ar adn. 5) yn troi yn gymhellion i lofruddio yn awr.

Adn. 12: "*A'i ddysgyblion a ddaethant.*"—Ni roddes Herod un attalfa ar ddysgyblion Ioan i dalu iddo y gymmwynas olaf hon.

CASGLIADAU YMARFEROL.

1. Yn Ioan Fedyddiwr cawn esampl o'r gweinidog ffyddlawn. Dangosodd yr un ffyddlondeb i argyhoeddi y Phariseaid a Saduceaid (St. Matt. iii. 7, 8), a pharhaodd i rybuddio (ἔλεγε) Herod o'i odineb a'i ddrygau ereill, St. Marc vi. 18; St. Luc iii. 19.

2. Un o'r pethau mwyaf pwysig ag y saif yr Eglwys yn dyst iddo ydyw cyssegredigrwydd priodas. Safai St. Ioan Fedyddiwr dros hyn. Ceryddai y pechod o anniweirdeb yn yr uwchradd, a ystyrient eu hunain uwch law deddf. Y mae yr Eglwys yn y wlad hon er ys agos i hanner canrif yn gorfod ymladd yn barhäus dros gyssegredigrwydd priodas yn erbyn priodasau gwaharddedig yn y Beibl.

3. Y mae llwybr pechod yn ddinystriol hyd yn oed yn y byd hwn. Bu i briodas anachaidd Herod a'i nith Herodias ddwyn oddi amgylch ryfel rhwng Herod a thad ei wraig gyfreithlawn, Aretas, brenin Arabia, yr hwn a'i gorchfygodd mewn brwydr; a thrwy ei balchder llithiodd ef i geisio cael ei wneuthur yn frenin yn lle tetrarch, fel y collodd y cyfan, ac yr alltudiwyd ef a hithau i Ffrainc ac Yspaen, lle y bu farw.

4. Dengys ymddygiad Herod nad ydyw cymhelliad cydwybod oddi mewn, na dylanwad y syniad cyhoeddus oddi allan, ddim yn ddiogel i ddyn wrandaw arnynt. Rhaid cael goleuni Ysbryd Duw oddi mewn, a chymdeithas pobl sanctaidd oddi allan i ufuddhau iddynt. Yn y colect am ddydd St. Ioan Fedyddiwr yr ydym yn gweddïo am ras, fel yn "ol ei esampl y traethom y gwirionedd yn wastadol, y ceryddom gamwedd yn hyderus, ac y goddefom yn ufudd er mwyn y gwirionedd." Seisoneg y frawddeg ddiweddaf yw, "And patiently suffer for the truth's sake" (ac y dyoddefom yn amyneddgar er mwyn y gwirionedd).

CWESTIYNAU.

Pa beth a olygir wrth y pryd hwnw? Pwy oedd yr Herod enwir uchod? Pa le y magwyd ef? Beth yw tetrarch? Ar ba ranau o'r wlad yr oedd yn llywodraethu? Pa fath ddyn oedd efe? Pwy oedd ei wraig briodol? Merch i bwy oedd Herodias? Gwraig i bwy? Pa beth oedd yn rhwystro i Herod ladd Ioan ar y cyntaf? Beth oedd enw merch Herodias? Ym mha le yr oedd Ioan yn y carchar? Ar ba amser y cymmerodd Herodias gyfleusdra i ddial ar Ioan Fedyddiwr? Beth a addawodd Herod? Pwy yn yr Hen Destament a wnaeth addewid debyg? Pa fodd y teimlai Herod ar ol i ferch Herodias ofyn am ben Ioan Fedyddiwr? Pa beth a'i cymhellai i wrandaw arni? Beth ydyw y gwersi a ellwch ddysgu oddi wrth yr hanes?

GWERS XL.

*St. Matthew xiv. 13—21. Porthi y pum mil. O.C. 29. Darllener St. Marc vi. 30—44; St. Luc ix. 10—17; St. Ioan vi. 1—13.*

Dyma yr unig wyrth a gofnodir gan bob un o'r pedwar efengylwr, ac adrodda pob un yr hanes gyda rhyw ychydig o amrywiaeth manylion. Cawn yma hanes pedwar ysgrifenwr yn cofnodi yr un amgylchiadau pob un ar wahân, a'r oll ym mhen amser maith ar ol i'r wyrth gael ei chyflawnu. Ysgrifenai St. Matthew tua deng mlynedd ar hugain ar ol cyflawniad y wyrth, St. Marc a St. Luc tua deugain mlynedd, a St. Ioan lawn hanner can mlynedd ar ol y dygwyddiad. Eto, nid oes yr un o'r pedwar efengylydd yn rhoddi dim ond bras amlinelliad o'r hanes. Pe'r adroddasent yr hanes yn ei fanylion oll buasai yn llenwi pennod fawr yn lle ychydig adnodau. Fe wel pob darllenydd call a diragfarn wrth hyn pa beth ydyw yr achos o'r ychydig amrywiaeth a gwahaniaeth rhwng yr adroddiadau,

Digitized by Google

ac fel yr arweiniai Ysbryd Duw y pedwar hanesydd sanctaidd i draethu y gwirionedd yn gywir bob un yn ei ddull a'i ymadroddion ei hun.

ESBONIAD EGLURHAOL.

Adn. 13: "*A phan glybu yr Iesu.*"—Clywed am lofruddiad St. Ioan Fedyddiwr a feddylir yma. Cyssyllta St. Luc ymadawiad yr Iesu â dychweliad yr apostolion (St. Luc ix. 10); ac ychwanega St. Marc (vi. 30, 31) fod ar yr Arglwydd Iesu eisieu gorphwys a'r dysgyblion yr un modd. Yr achos i'r Arglwydd felly ymneillduo oedd, fel y gallai Efe ei hun gael llonydd dros ennyd yn ei dristwch a'i ddysgyblion orphwys ar ol eu llafur, ac yn neillduol gan y ceisiai Herod gael gafael arno, St. Luc ix. 9. Dyma enghraifft o'r Arglwydd Iesu yn encilio gyda'i ddysgyblion i neillduedd myfyrdod a defosiwn dan amgylchiadau pruddaidd, llafur caled, a pheryglon.

"*Lle anghyfannedd.*"—Dywed St. Luc mai "lle yn perthyn i'r ddinas a elwir Bethsaida oedd." Bethsaida Julia oedd hon, neu bentref pysgota ar lan ogledd ddwyreiniol Môr Galilea.

"*Ar draed.*"—Croesodd yr Arglwydd Iesu gongl uchaf y llyn mewn cwch; aeth y tyrfaoedd o amgylch y gongl ar hyd y lan.

Adn. 14: "*A welodd dyrfa fawr,*" &c. Yr oedd y tyrfaoedd lawer o honynt ar eu ffordd i gadw gwyl y Pasc, a throisant o'r neilldu i weled y Prophwyd mawr yr oedd cymmaint o son am dano. Pregethodd yr Arglwydd Iesu iddynt deyrnas nefoedd ac iachaodd eu cleifion, St. Luc ix. 11. Ymddengys yn ol yr efengyl yn ol St. Ioan i'r Iesu ar ol glanio esgyn i'r mynydd ac eistedd yno gyda'i ddysgyblion dros ennyd (St. Ioan vi. 3, 4), ac yna weled y lluaws yn ymgynnull oddi dano. Rhoddai hyn amser iddynt amgylchu rhan uchaf y llyn "ar draed," ac ychydig amser o orphwysdra i'r Arglwydd Iesu a'i apostolion. Dyma y pryd, wrth weled y dyrfa, y rhoddes yr Iesu y gofyniad (St. Ioan vi. 5) i Phylip.

Adn. 15: "*Ac wedi ei myned yn hwyr.*"—Hwyr yn y dydd a feddylir. Dywed St. Marc, "Wedi ei myned yn llawer o'r dydd" (vi. 35); a St. Luc, "A'r dydd a ddechreuodd hwyrhau" (ix. 12).

"*Y dysgyblion a ddaeth ato,*" &c. Yr oedd yr Arglwydd Iesu wedi awgrymu yr anhawsder o ddarparu ar gyfer cynnifer i brofi eu ffydd, St. Ioan vi. 5, 6.

Adn. 16: "*Nid rhaid iddynt fyned,*" &c. Parodd y gorchymmyn hwn i'r dysgyblion feddwl a chwilio beth a ellid wneyd, a theimlo eu hanallu. Dywed St. Marc a St. Ioan, "Gwerth dau can ceiniog o fara nid yw ddigon," &c. Byddai dau can ceiniog (*denarius*) o'r amser hwnw yn gyfartal i 10p. o arian Prydain.

Adn. 17: "*Pum torth a dau bysgodyn.*" St. Ioan, "Pum torth haidd."

"*Bachgenyn*" (παιδάριον), sef bachgen ieuanc oedd yn cludo yr ymborth. Ymborth y bobl dlodion oedd y bara haidd: gwel Barn. vii. 13; 2 Bren. iv. 42.

Adn. 19: "*Eistedd ar y glaswellt.*"—Dyry pob efengylydd ei argraff ei hun ar yr olygfa. Dywed St. Marc, "A hwy a eisteddasant yn fynteioedd a mynteioedd," &c. (τρασαὶ, τρασαὶ), gan gymharu yr olygfa i "welyau blodau mewn gardd y naill uwch ben y llall." Dywed St. Luc, "Yn fyrddeidiau," &c. (κλισιας). Eisteddent yn rheolaidd fesur, deg a deugain ar y glaswellt fel ar lwth-welyau ar giniaw. Sylwa yr holl efengylwyr ar y glaswellt, a'r olygfa *drefnus* a defosiynol oedd yno. Yr oedd ysbryd difrifol cadw y Pasc cyfagos (St. Ioan vi. 4) fel yn llenwi yr oll.

"*Efe a edrychodd i fyny tua'r nef, ac a fendithiodd ac a dorodd, ac a roddes y torthau.*" St. Marc, "Gan edrych i fyny tua'r nef, efe a fendithiodd ac a dorodd y bara, ac a'u rhoddes." Dywed St. Luc, "Ac efe a gymmerodd y pum torth a'r ddau bysgodyn, ac a edrychodd i fyny i'r nef ac a'u bendithiodd hwynt, ac a'u torodd ac a'u rhoddodd." St. Ioan, "A'r Iesu a gymmerth y torthau, ac wedi iddo ddiolch, efe a'u rhanodd," &c.

Y mae yn eglur ddigon fod y weithred hon wedi cael argraff annileadwy ar feddyliau yr efengylwyr a haneswyr sanctaidd. Ac onid oes yma arwyddlun amlwg o fwyta o'r oen Pasc a fyddai yn uchel ym meddwl y gwyddfodolion, a blaen gysgod o ordinhâd y Swper Sanctaidd a sefydlwyd flwyddyn ar ol hyn?

Adn. 20: "*A godasant o'r briwfwyd,*" &c. Sylwa y pedwar efengylydd ar hyn. Dyma wers fawr mewn cynnildeb, ac y mae yn wers llawn mor eglur mewn gofal a gweddus barch ym mhob gwasanaeth sanctaidd. Sylwer ar ofal yr Eglwys am yr elfenau sanctaidd.

CASGLIADAU ADDYSGIADOL.

1. Ni a gawn yma enghraifft o dosturi yr Arglwydd Iesu yn gofalu am angenion tymmorol ei ganlynwyr. Crist Iesu fel Arglwydd ar drefn rhagluniaeth sydd yma i ddechreu. Dengys ei allu creadigol.

2. Y mae yma ddarlun eto o Grist fel "bara y bywyd." Efe oedd yn rhoddi, y dysgyblion oedd yn gyfryngau i gyfranu, a'r lluaws oedd yn derbyn y bara a fendithiasid.

3. Cynnyddai y bara wrth ei dori a'i roddi.

Digitized by Google

Efe a'i torodd (unwaith) a *pharhäes* i'w roddi (*καὶ κατέκλασε, καὶ ἐδίδου*). Efe, Iesu Grist, a "ddryll-iwyd am ein hanwireddau ni," ond y mae yn parhau i roddi ei Hun yn ymborth ysbrydol i'w Eglwys.

4. Rhaid darllen esboniad maith yr Iesu ei hun yn y chweched bennod o St. Ioan i ddeall holl ystyr y wyrth.

CWESTIYNAU.

Pa nifer o'r efengylwyr sydd yn rhoddi hanes y wyrth hon? Pa bryd yr oeddynt yn ysgrifenu eu hefengylau? Pa fodd yr ydys i gyfrif am yr am-rywiaeth yn eu gwahanol hanesion? Beth a barodd i'r Iesu fyned o'r neilldu? I beth yr ai? Pa ffordd yr aeth? I ba le? Pa fodd y dilynai y dyrfa? Pa wyl oedd yn agos? Pwy a sylwodd gyntaf fod y dyrfa mewn angen? Pwy a roddes yr ateb? Pa beth oedd nifer y bobl? Pa faint o ymborth oedd gan yr apostolion? Pa fath ymborth? Pa orchym-myn a roddes yr Iesu i'r dyrfa? Pa beth yw y dys-grifiad a ddyry y gwahanol efengylwyr o'r olygfa? Pa beth oedd ganddynt yn lle llawr-leni i eistedd arno? Pa beth a wnaeth yr Iesu? Pwy oedd yn cario y bara i'r dyrfa? Pa beth a wnaed â'r gwedd-ill? Enwch rai addysgiadau oddi wrth y wyrth.

GWERS XLI.

*St. Matthew xiv. 22—36. Crist yn rhodio ar y môr. Darllener St. Marc vi. 45—56; St. Ioan vi. 16—21.*

ESBONIAD EGLURHAOL.

Adn. 22: "*Ac yn y fan y gyrodd,*" &c. Amcanai y bobl wneuthur yr Iesu yn frenin (St. Ioan vi. 16), a chiliodd ei Hun i'r mynydd, ond gyrodd ei ddys-gyblion yn eu cwch dros y môr.

Adn. 23: "*Efe a esgynodd i'r mynydd ei hun.*"—Dyma borthwr y pum mil wedi esgyn i neillduedd y mynydd dan awyr deneu y dwyrain i weddïo ar ei Dduw a'i Dad. "Wedi ei hwyrhau yr oedd efe yno yn unig."

Adn. 24: "*A'r llong oedd weithian,*" &c. "A phan aeth hi yn hwyr yr oedd y llong ar ganol y môr, ac yntau ei hun ar y tir," St. Marc vi. 47. Sylwer ar y ddau: Crist yn gweddïo ar y mynydd; y llong a'r dysgyblion mewn blinder ar y môr.

Adn. 25: "*Ac yn y bedwaredd wylfa,*" &c. Rhenid y nos yr hen amser gan yr Iuddewon yn dair gwyl-iadwriaeth (Barnwyr vii. 19); ond yn amser Crist rhenid y nos yn bedair gwyliadwriaeth o dair awr bob un. Dechreuai y bedwaredd wylfa dri o'r gloch y boreu.

"*Rhodio ar y môr.*" Cerddai ar frig y dòn.

Adn. 26: "*Dychrynasant,*" &c. Tybiasant mai drychiolaeth oedd yn y tywyllwch a'r dymmestl. Y mae y morwyr bob amser yn ofergoelus i raddau, gan yr amgylchir hwy â dychrynfëydd mewn unig-olrwydd.

Adn. 27: "*Cymmerwch gysur: myfi yw,*" &c. Dyma ddau o eiriau tosturus a mynychaf Crist. Dengys yr ymadrodd "cymmerwch gysur" dyner-wch calon yr Arglwydd Iesu, a'r geiriau "myfi yw" ei agosrwydd syml a chymdeithasol atynt; a gallai adgofio y dysgyblion o'r "Ydwyf yr Hwn Ydwyf."

Adn. 28: "*A Phedr a'i hatebodd,*" &c. St. Matthew yn unig sydd yn cofnodi yr amgylchiad hwn.

Adn. 29: "*Tyred,*" &c. Yr oedd Crist yn ddiau yn agos iawn i'r cwch cyn y gellid ei glywed yn siarad, a buasai Pedr yn ei ymyl ar ol ychydig gamrau.

Adn. 30: "*Ond pan welodd,*" &c. Edrychodd ar y peryglon ac nid ar Grist, a diflanodd ei ffydd.

Adn. 31: "*Estynodd ei law,*" &c. Ymddangosai y gwaith o achub yn hawdd i'r Arglwydd Iesu. Er pallu o ffydd Pedr, ni phallodd gofal Crist. Ofn oedd yn lladd ei ffydd, nid anghrediniaeth ddir-mygus.

Adn. 32: "*Peidiodd y gwynt.*"—"Efe a wna'r ystorm yn dawel."

Adn. 33: "*Daeth y rhai oedd yn y llong,*" &c., "*Mab Duw ydwyt ti.*" Dyma y tro cyntaf i ni glywed ei gyffesu yn Fab Duw.

CASGLIADAU ADDYSGIADOL.

1. Crist yn rhodio ar y môr ydyw cynnwysiad y wyrth uchod. Sonir am y Goruchaf â'i ffyrdd yn y môr a'i lwybrau yn y dyfroedd dyfnion. Ceir dys-grifiad gogoneddus o'r Goruchaf yn gostegu tym-mestloedd y môr yn Salm. cvii. 23—31. Gwnaeth Crist yr un peth yma, gan ddangos ei fod yn gor-uchlywodraethu deddfau anian.

2. Argyhoeddwyd ei ddysgyblion drwy y wyrth hon fod yr Iesu yn Fab Duw.

3. Cawn yma arwyddlun a darlun o "arch Eg-lwys Crist yn mordwyo dros dònau y byd trallodus hwn." Yr oedd dysgyblion yr Iesu yn y cwch yn rhwyfo megys am eu heinioes ac yn methu myned ym mlaen dan y dymmestl. Dyna yr Eglwys. Ond yr oedd yr Iesu ar y mynydd yn eu gweled ac yn gweddïo. Dyma yr Eiriolwr gyda'r Tad. Daeth atynt yn eu hawr gyfyngaf, a llwyr waredodd hwy. Dyma arfer Crist erioed pan ddeffröir yr Eglwys yn ei phrofedigaethau i alw arno.

Digitized by Google

4. Daw dwyfoldeb yr Arglwydd Iesu yn fwy eglur i'r golwg ym mhob deffroad crefyddol.

### Y GWYRTHIAU YN GENNESARET.

Adn. 34: "*Daethent i dir Gennesaret.*"—Lleindir prydferth a ffrwythlawn oedd hwn yn ymyl y môr. Yma y safai dinas Capernäum.

Adn. 35: "*A phan adnabu gwŷr y fan,*" &c. Gwedi dyddio y boreu y bu hyn. Attynid llawer gan y newydd am borthi y pum mil, St. Ioan vi. 24—26.

Adn. 36: "*Cyffwrdd ag ymyl ei wisg:*" gwel pen. ix. 20; St. Marc iii. 10; St. Luc vi. 19; Act. xix. 12. Ystyrid ymyloedd gwisg yr Iuddew yn sanctaidd, Numeri xv. 38, 89.

### CWESTIYNAU.

Pa le yr oedd yr Arglwydd Iesu pan orchymmynodd i'w ddysgyblion fyned i'r llong? I ba le yr ymneillduodd ar ol eu hanfon i'r llong? Pa le yr oedd y llong pan gyfododd y dymmestl? Pa le yr oedd yr Iesu? Pa beth oedd y dysgyblion yn ei wneyd? Pa beth a wnai yr Iesu? Pa fodd y daeth yr Iesu atynt? Pa amser ar y nos oedd? Pa beth a dybiodd y dysgyblion am dano? Pa fodd y cyfarchodd yr Iesu hwy? Beth y mae yr anerchiad yma yn ei ddangos? Pwy a adnabu lais yr Arglwydd Iesu gyntaf, ac a fynai fyned ato? Pa beth a ddygwyddodd iddo? Pa gerydd a gafodd? Pa beth a ddygwyddodd gwedi i'r Iesu fyned i'r llong? Pa effaith a gafodd y wyrth ar y rhai oedd yn y llong? Pa briodoledd ddwyfol a ddangosodd yr Iesu yma? Nodwch rai casgliadau.

### GWERS XLII.

*Crefydd ysbrydol a chrefydd seremonïol. St. Matthew xv. 1—9. Darllener St. Marc vii. 1—13.*

### ESBONIAD EGLURHAOL.

Adn. 1: "*Ysgrifenyddion a Phariseaid,*" &c. Yr Ysgrifenyddion oedd "cyfreithwyr" yr Iuddewon, ac esbonwyr deddfau a seremonïau yr Hen Destament a thraddodiadau y genedl. Y Phariseaid oedd eu sect fanylaf am gadw y rhai hyn, Actau xxvi. 5.

"*Y rhai oedd o Jerusalem.*"—Jerusalem oedd eisteddle cynghor Eglwysig uchaf yr Iuddewon, yr hwn a gydgyfarfyddai ar wyl y Pasc. Yr oedd y Pasc newydd fyned heibio, a naturiol oedd i'r Ysgrifenyddion a'r Phariseaid hyn, ar ol clywed cymmaint am wyrthiau yr Iesu, fyned i'w farnu, rhwydo, a themtio.

Adn. 2: "*Pa ham y mae dy ddysgyblion di?*" Dywed Sant Marc (vii. 2) i'r rhai hyn weled rhai o'r dysgyblion yn bwyta bara "â dwylaw cyffredin (hyny yw, heb olchi)." Dyma i'r Phariseaid gyfleusdra i feio.

"*Troseddu traddodiad yr hynafiaid.*"—Traddodiad mewn ymadrodd cyffredin ydyw defod neu orchymmyn wedi eu trosglwyddo i waered drwy rym arferiad ac ar gof; ond rhoddai yr Iuddewon le uwch i'w traddodiadau. Dywedent hwy am esboniadau eu hynafiaid ar yr Hen Destament, ei ddefodau a seremonïau, fod Duw wedi eu traddodi i Moses ar y mynydd i'w cadw mewn cof a'u haddysgu i'r genedl o oes i oes. Fe gasglwyd y traddodiadau hyn yng nghyd mewn dau lyfr a elwir y Talmud. Casglwyd y cyntaf tua dechreu y drydedd ganrif (o.c. 217), a'r ail ar ddiwedd y bummed (o.c. 500). Yn ol y traddodiadau hyn yr esbonient yr Hen Destament. Eglura St. Marc, gan ei fod yn ysgrifenu ar gyfer Cenedloedd pellenig, ddefod y golchiadau yn fanwl (vii. 3, 4).

Adn. 3: "*A pha ham yr ydych chwi yn troseddu gorchymmyn Duw trwy eich traddodiad?*" Etyb yr Arglwydd Iesu y gofyniad mewn dull anuniongyrchol er mwyn dangos mor ddibwys oedd traddodiad seremonïol o'i gyferbynu â gorchymmyn moesol.

Adn. 4: "*Duw a orchymmynodd,*" &c. Duw ac nid hynafiaid.

"*Anrhydedda,*" &c. Dyma ei orchymmyn. "A'r hwn a felltithio," &c.: dyma'r gosp am beidio, Ecsod. xx. 12 a'r xxi. 17. Y mae yr esboniad yn y Catecism yn dangos ysbryd y pummed gorchymmyn: "Caru, *anrhydeddu*, fy nhad a'm mam."

Adn. 5: "*Eithr yr ydych chwi yn dywedyd, 'Pwy bynag a ddywedo,*" &c. Mae y Cyfieithad Diwygiedig yn dra gwahanol i'r un awdurdodedig. Darllena fel hyn: "Pwy bynag a ddywedo wrth ei dad neu ei fam, Y mae yr hyn y gallesit ti gael lles oddi wrthyf fi drwyddo wedi ei roddi i Dduw. Ni anrhydedda efe ei dad (neu ei fam)." Eto, darllena y Cyfieithad Diwygiedig yn St. Marc fel hyn: "Os dywed dyn wrth ei dad neu ei fam, Y mae yr hyn y gallesit ti gael lles oddi wrthyf fi yn Corban; hyny yw, yn rhodd gyssegredig *i Dduw;* ac ni oddefwch mwyach iddo wneuthur dim er lles ei dad neu fam." Credwn fod y darlleniadau hyn yn gwneuthur y meddwl yn eglur. A dywedir yn y Talmud, os byddai i unrhyw un ddweyd uwch ben unrhyw ran o'i eiddo, *Corban*, ei fod yn ei gyssegru i wasanaeth y deml. Gwedi gwneuthur yr eiddo yn rhodd i'r deml, ystyrid yn gyssegr-ysbeiliad gymmeryd ceiniog o hono at gynorthwyo tad neu fam.

Digitized by Google

Adn. 6: "*Ac fel hyn y gwnaethoch orchymmyn Duw yn ddirym trwy eich traddodiad eich hun.*"—Dyma oedd eu pechod. Gorchymmyn Duw ydyw i blant amgeleddu eu rhieni mewn afiechyd a gwendid hen oedran. Y mae esgeuluso gwneuthur hyn yn dirymu gorchymmyn Duw. Nid oedd dysgu y genedl fod rhoddi yr eiddo at achos Duw yn ddim ond gwneyd y drwg yn waeth. Gwnaent mewn effaith achos y Goruchaf yn gyfranog o'r pechod. Ni ellir anrhydeddu Duw â dim sydd yn dianrhydeddu ei orchymmynion.

Adn. 7: "*O ragrithwyr,*" &c. Rhagrith oedd wrth wraidd yr addysg gyfeiliornus yma. O drachwant bydol ac anianol yr oedd wedi tarddu. Cymmerent arnynt anrhydeddu Duw â'r broffes allanol, ond eu hunan-les a balchder ysbrydol oedd wrth wraidd y galon: gwel Esaias xxix. 13.

CASGLIADAU ADDYSGIADOL.

1. Nis gall neb wneuthur daioni o galon bur na ddaw ereill i'w wylio a chwilio am wallau ynddo.

2. Cynnyg gwobr anwiredd i'r Arglwydd ydyw roddi unrhyw eiddo anghyfiawn at ei achos Ef.

3. Y mae yr un ddyledswydd ar blant gynnal eu rhieni mewn angen ag sydd ar rieni gynnal eu plant.

CWESTIYNAU.

Pwy oedd yr Ysgrifenyddion? Pwy y Phariseaid? O ba le y daethent? Pa amser oedd? Pa gyhuddiad a ddygasant yn erbyn dysgyblion yr Iesu? Pa draddodiad oeddynt yn dori? Pa beth yw traddodiadau? Pa beth ydyw enw llyfr traddodiadau yr Iuddewon? Pa orchymmyn a dorai y Phariseaid? Pa beth oedd Corban? Pa beth sydd gynnwysedig mewn anrhydeddu tad a mam? Pa fodd y gwnaent orchymmyn Duw yn ddirym? Pa beth ydyw dyledswydd gyntaf dyn, ai cynnorthwyo rhieni ai achos Duw? Pa beth y geilw yr Arglwydd Iesu yr Iuddewon a wnaent hyn? Pa beth oedd eu pechod mawr wrth gymhell rhoddi at achos Duw yr oll a feddent at gynnal rhieni mewn angen?

---

## GWYRTHIAU YR ARGLWYDD IESU.

(*Parhâd o dudalen 142.*)

MAE gwyrthiau yr Arglwydd Iesu yn ddammegion yn gystal ag yn wyrthiau, am eu bod yn gyfryngau i egluro gwirioneddau ysbrydol i ni. Effeithiau pechod yw cystuddiau, heintiau, clefydau, a holl drueni'r byd, a thrwy waredu oddi wrth effeithiau tymmorol pechod dengys ein Harglwydd iddo ddyfod i'r byd i waredu oddi wrth bechod yn ei holl ganlyniadau yn dymmorol ac ysbrydol, yn y byd hwn a'r byd a ddaw, ac y mae lluosogrwydd ac amrywiaeth ei wyrthiau yn profi ei fod yn meddu ar bob cyflawnder ac amrywiaeth o rasusau ar gyfer holl angenion pechaduriaid. "Rhyngodd bodd i'r Tad drigo o bob cyflawnder ynddo ef." "Ynddo ef y mae holl gyflawnder y Duwdod yn preswylio yn gorfforol." Pan yn agoryd llygaid y deillion, y mae yn dysgu mai Efe yw goleuni'r byd: "Haul cyfiawnder . . . â meddyginiaeth yn ei esgyll." "Goleuni y byd ydwyf fi," meddai: "yr hwn a'm dilyno i, ni rodia mewn tywyllwch, eithr efe a gaiff oleuni y bywyd." Pan yn rhoddi traed i gloffion, yn peri i'r cloff lamu fel yr hydd, mae yn egluro ei fod yn rhoddi nerth i bechaduriaid i rodio yn ffyrdd gorchymmynion Duw—y ffyrdd sydd er gogoniant Duw a lles dynion yn y byd hwn, ac yn arwain i fywyd tragwyddol yn y byd a ddaw. Mae ei wyrth yn gostegu'r ystorm yn profi fod ganddo lywodraeth ar ystormydd rhagluniaeth, cystuddiau, a phrofedigaethau'r byd, a'i fod yn ymguddfa rhag y gwynt ac yn lloches rhag y dymmestl. Mae gwyrthiau y torthau a'r pysgod yn profi fod ganddo ymborth ac ymgeledd i eneidiau dynion: mai Efe yw bara'r bywyd—y bara sydd yn dyfod i waered o'r nef ag sydd yn rhoddi bywyd tragwyddol i bechaduriaid, a bod ei gnawd yn fwyd yn wir a'i waed yn ddiod yn wir. Pan yn codi'r marw yn fyw, dengys mai Efe yw awdwr pob bywyd naturiol, ysbrydol, a thragwyddol. "Myfi a ddaethym fel y caent fywyd ac y caent ef yn helaethach." "Myfi yw yr adgyfodiad a'r bywyd." Mae ei waith yn bwrw ysbrydion aflan allan o ddynion yn egluro iddo ddyfod i'r byd i ddattod gweithredoedd y Diafol, i ddinystrio ei lywodraeth, ac i waredu dynion oddi wrth ei gaethiwed a'i demtasiynau. Efe a ddaeth i gyhoeddi rhyddid i'r caethion ac agoriad carchar i'r rhai sydd yn rhwym.

Mae arwyddocâd neillduol yng ngwaith ein Harglwydd yn glanhau'r gwahanglwyf, o herwydd nid oedd yr un feddyginiaeth ddynol yn gallu ei lanhau. Yr oedd yr offeiriaid wedi cael cyfarwyddiadau i wybod pa un a oedd y gwahanglwyfus wedi neu yn iachäu ai peidio, ond nid oedd ganddynt yr un feddyginiaeth ar ei gyfer. Yr oedd hwn yn glefyd y clefydau, yn un truenus a phoenus ofnadwy, ac yr oedd Duw wedi ei ddewis o fysg y gwahanol glefydau a heintiau i fod yn ddarlun o bechod a marwolaeth. Fe ddywedir am Miriam, chwaer Moses, pan yn wahanglwyfus, "Na fydded hi, atolwg, fel un marw, yr hwn y bydd hanner ei gnawd wedi ei

Digitized by Google

ddifa pan ddêl allan o groth ei fam," Num. xii. 12. Ymddygid tuag at y gwahanglwyfus fel un ag yr oedd pechod wedi cyrhaedd ei bwynt eithaf ynddo, ac fel un oedd yn farw mewn camweddau a phechodau. Yr oedd yn dwyn yn ei gorff arwyddion allanol o drueni ac ofnadwyaeth pechod, fel y mae yn llygru ac yn gwenwyno yr holl enaid, ac yr oedd yn yr olwg arno yn ddrych truenus o farwolaeth. "A'r gwahanglwyfus yr hwn y byddo pla arno, bydded ei wisgoedd ef wedi eu rhwygo, a'i ben yn noeth, a rhodded gauad ar ei wefus uchaf, a llefed, Aflan, aflan," Lef. xiii. 45. Hefyd, os byddai i'r gwahanglwyfus gael ei lanhau oddi wrth ei bla, yr oedd yn rhaid iddo wrth yr un defodau a golchiadau, mewn trefn i ddyfod yn lân yn ol y gyfraith, a'r hwn oedd yn aflan trwy gyffyrddiad â chorff marw, megys coed cedr, isop, ac ysgarlad. At hyn y mae Dafydd yn cyfeirio yn ei weddi: "Glanhâ fi ag isop, a mi a lanhëir." Yr oedd yn cydnabod ei fod yn wahanglwyfus ysbrydol, a bod yn rhaid ei lanhau trwy ras yn unol â threfn Duw. Mae yr enw Cymraeg, "gwahanglwyf," yn dra arwyddocaol, am fod y pla yn gwahanu neu ysgaru mewn amryw ffyrdd. Yr oedd yn gwahanu yr aelodau oddi wrth y corff. Os na fyddai i'r truan gael iachâd, fe fyddai i'w aelodau syrthio ymaith oddi wrth ei gorff mewn modd truenus iawn, ac yr oedd y gwahanglwyfus yn ol y gyfraith yn cael ei gau allan o gymdeithas dynion, o dŷ Dduw, ac o'r addoliad cyhoeddus. Felly mae pechod, fel gwahanglwyf ysbrydol, yn llygru yr enaid a'i holl alluoedd, ac yn arwain i farwolaeth. Pechod yw yr achos o bob teimlad drwg, megys cenfigen, llid a malais, a gelyniaeth; a thrwy gynnyrchu'r teimladau hyn mae yn gwahanu rhwng dynion a'u gilydd—rhwng teyrnasoedd, cenedloedd, cymmydogion, a theuluoedd. Pechod hefyd sydd wedi gwahanu dyn oddi wrth Dduw, wedi ei wneyd yn euog a chondemniedig ac yn elyn i'w Greawdwr. Gan hyny, yr oedd yr Arglwydd Iesu, trwy lanhau'r gwahanglwyf, yn profi iddo ddyfod i'r byd i waredu dynion oddi wrth eu pechodau. "Wele oen Duw, yr hwn sydd yn tynu ymaith bechodau y byd." Trwy ei haeddiant drud a'i iawn Ef y mae Duw yn maddeu pechod. "Heb ollwng gwaed nid oes maddeuant," a thrwy gymdeithas â'i ddyoddefiadau y mae Duw trwy ei Ysbryd yn sancteiddio yr enaid oddi wrth halogrwydd pechod. "Gwaed Iesu Grist ei Fab Ef sydd yn ein glanhau ni oddi wrth bob pechod." Fe ddarfu iddo roddi ei Hunan yn aberth dros ei Eglwys mewn trefn i'w sancteiddio hi a'i glanhau â'r olchfa ddwfr trwy y Gair, a'i gosod hi yn ogoneddus iddo ei Hun, yn Eglwys heb arni na brycheuyn na chrychni, na dim o'r cyfryw. Fe ddaeth i'r byd i uno yr hyn oedd wedi ei ysgaru trwy bechod, i uno dyn â Duw mewn cariad a thangnefedd. "Canys efe yw ein tangnefedd ni, yr hwn a wnaeth y ddau yn un." Trwyddo Ef y mae Duw yn cymmodi'r byd ag ef ei hun heb gyfrif iddynt eu pechodau. Fe ddaeth i'r byd hefyd i uno dynion â'u gilydd, trwy roddi esampl a chymhelliadau newyddion i faddeu i'n gilydd ac i garu naill y llall. "Gan faddeu i'ch gilydd, megys y maddeuodd Duw er mwyn Crist i chwithau." "Gorchymmyn newydd yr wyf yn ei roddi i chwi, ar garu o honoch eich gilydd; fel y cerais i chwi, ar garu o honoch chwithau bawb eich gilydd."

Mae y wyrth gyntaf, sef troi y dwfr yn win, yn rhagymadrodd i'r holl wyrthiau ac yn gosod allan, i raddau helaeth, eu hamcan a'u hystyr. Gwyrth gyntaf Moses oedd troi y dwfr yn waed, yn arwyddo fod y pläu dyfodol i fod yn farnau ar yr Aiphtiaid, ac yn erbyn eu duwiau hwynt. Gwyrth gyntaf yr Arglwydd Iesu oedd troi y dwfr yn win, yn arwyddo iddo ddyfod i'r byd nid i ddistrywio eneidiau dynion, ond i'w cadw. Yng nglŷn â'r wyrth hon, fe ddywed St. Ioan, "Hyn o ddechreu gwyrthiau a wnaeth yr Iesu yn Cana Galilea, ac a eglurodd ei ogoniant." Amcan yr Arglwydd Iesu yn dyfod i'r byd oedd i wella pob peth, i droi dyfroedd y ddaiar i fod yn win y nefoedd, ac i droi anialwch diffrwyth i fod yn baradwys mewn ffrwythlonder. Mae y ddaiar dan felltith trwy bechod. "Melltigedig fydd y ddaiar o'th achos di. Drain hefyd ac ysgall a ddwg hi i ti." A thrwy dynu ymaith bechod y byd y mae yn gwaredu yr holl greadigaeth oddi wrth ganlyniadau pechod. Efe a ddaeth i'r byd i droi y tywyll nos yn oleu dydd, i droi dyfroedd chwerwon Marah i fod yn loew win puredig, i droi cystuddiau, un o felltithion pechod, i fod yn foddion gras, un o fendithion y nefoedd; i dro i pechaduriaid o gyfeiliorni eu ffyrdd at Dduw, ac i'w cyfnewid o fod yn blant digofaint, yn euog a chondemniedig, i fod yn blant i Dduw, ar ei ddelw ac yn etifeddion bywyd tragwyddol; i dynu ymaith golyn angeu ac i gyfnewid angeu o fod yn frenin braw ac yn frenin y dychryniadau, i fod yn ddrws i'r nefoedd ac yn gerbyd i gludo i ogoniant.

(*I'w barhau.*)

*Llanddeusant, Llangadock.* D. J. Davies.

---

Enllibwyr sydd debyg i wybed: y maent yn myned heibio i fanau iach dyn ac yn dal ar ei friwiau.—*Hall.*

## "YR HEN FERCH," NEU MODRYB FRANCES.

MYNYCH iawn y siaredir yn gellweirus mewn math o ysmaldod am yr hen ferch. Gwneir hi yn destyn difyrwch mewn natur dda heb ddim gwawd gwirioneddol, o herwydd wedi'r cyfan y mae gan bawb barch gwirioneddol i hen ferch fel un o aelodau mwyaf defnyddiol cymdeithas. Mewn awr ysgafn a chwarëus ugain mlynedd yn ol, pan oeddwn innau yn fwy fy afiaeth, ef allai, mewn cwmni bychan o'm ffryndiau nesaf, daeth yr hen ferch yn destyn y digrifwch, a gofynais innau mewn ysmaldod i Modryb Frances, "Sut yr aethoch chwi yn hen ferch?" Teimlais ar unwaith fy mod wedi briwio ei theimladau. Yr oedd fy Modryb Frances ar y pryd dros hanner cant oed; ac eto yr oedd yn ddynes lân, gynhesol, a hynod o gymdeithasgar a chariadus, a rhyfeddaswn lawer gwaith fod merch o'i bath wedi ei gadael o'r neilldu fel blodeuyn ar y berth i wywo o hono ei hun, ac fel yntau

"Wastraffu ei arogl per mewn anial dir."

Maddeuer i mi am ddefnyddio cyfieithad trwsgl o *Gray's Elegy* mewn dull mor ammhriodol i ddangos cyflwr yr "hen ferch;" o herwydd nid "mewn anial dir" y gwastraffai hi berarogl ei bywyd glân a chymmwynasgar, ond ar aelwydydd angen ac mewn claf ystafelloedd.

Ond rhaid troi yn ol at edau fy hanesyn. Gan gynted ag y cefais gyfleusdra mi a ofynais bardwn fy Modryb Frances am ofyn y cwestiwn gwirion-ffol iddi yng ngŵydd cwmpeini, a mynegais fy ngofid os oeddwn wedi peri poen iddi. Atebodd hithau ei bod yn ffol ddangos dim poen pan ofynwyd y cwestiwn; ond rywfodd dygodd i'w chof bethau a fu, gobeithion a phrofedigaethau a gladdesid er ys llawer blwyddyn. Deffröes hyn fy ngwag gywreinrwydd a chwilfrydedd innau, a gofynais iddi beth oedd y blinderau a phrofedigaethau yr aethai drwyddynt. "Wel, ebai hithau, gallai y gwnai ryw les i chwi wybod, er mwyn proffiad helaethach o'r byd a'i bethau, ei ofid, pleserau, a thrugareddau. Os gofynwch i mi pa fodd yr aethym "yn hen ferch," mi a ddywedaf mai ar lwybr dyledswydd dan arweiniad Rhagluniaeth yr aethym. Chwi a wyddoch nad wyf ond dwy flynedd yn ieuengach na'ch mam, ac mai myfi yw yr ieuengaf o naw o blant—pump o honom yn chwiorydd, pedair yn hyn na mi. Gan fy mod gartref ar ol i bob un o'm pedair chwaer briodi, gelwid arnaf yn wastad o'r naill dŷ chwaer i'r llall ar bob achlysur o afiechyd neu salwch o unrhyw fath; ac felly daethym yn fath o *nurse* a *housekeeper* yn ol a blaen yn eu teuluoedd, a byddent oll yn falch o'm gwasanaeth. Dyma fel y dechreuais gymmeryd pleser mewn *nursio*. Byddwn yn aml yn nhŷ eich Modryb Isabel, fy chwaer henaf, yn Ystym Llech, ac yno daethym i gyfarfyddiad â gwr ieuanc oedd yn gurad yn Llanfoddiol. Gwr ieuanc o sir Aberteifi oedd, ac wedi derbyn ei addysg yng Ngholeg yr Iesu, Rhydychain. Pan gyfarfyddais ag ef gyntaf nid oeddwn ond deunaw oed; a phan ddechreuodd dalu sylw i mi ac eistedd hanner awr i siarad, a throi ei het yn ei law ac edrych i lawr, tybiwn na welais erioed wr ieuanc mor ddymunol. Yr oedd ei lais mor dyner a'r wên a gyfodai yrŵan ac yn y man yn swil i fy ngwyneb mor gynhesol, fel na fedrwn beidio â'i hoffi. Dywedodd fy chwaer wrth Thomas ei gwr fod Llewelyn Hughes, y curad, "dros ei ben mewn cariad â mi." A dweyd y gwir, yr oeddwn innau dros fy mhen mewn rhyw deimlad hynod o foddhäus ag yntau. Ond ni waeth peidio â son am yr ugeiniau ymweliadau byrion a wnai i Ystym Llech pan y byddwn yno. Digon yw fy mod mewn ammod i ymbriodi â Llewelyn Hughes cyn bod yn ugain oed, a hyny gyda chymmeradwyaeth fy nhad a'm mam, gan gynted ag y byddem ein dau mewn golwg am fywoliaeth. Dyn lled dawedog, cartrefol, oedd Llewelyn, hynod o ofalus am ymweled â'r cleifion a gofalus am yr Ysgol Sul. Ysgrifenai gryn lawer i'r ddau gyfnodolyn Eglwysig, un yn y de a'r llall yn y gogledd. Ond y mae plwyf Llanfoddiol mewn ardal led anghysbell, ac allan o olwg y ddinas esgobol, fel mai hawdd fyddai i ddyn dystaw, heb ddim natur ymwthio ynddo, gael ei ollwng yn anghof. Felly y bu gyda Llewelyn Hughes. Pan ddaethym i yn gydnabyddus ag ef gyntaf yr oedd gwedi gwasanaethu wyth mlynedd yn Llanfoddiol, a bu yno chwe mlynedd ar ol hyny cyn marw o'r hen reithor, y Parch. Christopher Charles Lloyd, brawd ieuengaf yswain y plwyf. Penodwyd y Parch. Edward Meurick Trefor i reithoriaeth Llanfoddiol, a chan nad oedd arno ef angen curad, aeth Llewelyn yn gurad i ardal fynyddig, ond lled boblogaidd, heb fod ym mhell iawn o'r ddinas esgobol. Teimlodd y symmudiad o hen ardal Llanfoddiol yn fawr, ac yn neillduol am ei fod yn myned o un o ardaloedd cynhesaf Gogledd Cymru i un o'r rhai mwyaf gwlawog a niwlog. Ond ymafaelodd yn ei waith o ddifrif, a daeth yn fuan yn bur boblogaidd. Yr oedd yr ardalwyr yn bobl â chalon gynhes ganddynt, yn feirniaid da ar bregethu a darllen, ac yn gallu gwerthfawrogi talent ddirodres. Wrth weled ei fod yn cael ei werthfawrogi ymegnïai yntau fwyfwy; ïe,

Digitized by Google

uwch law ei allu. Pan ar ymweliad â fy nhad a mam, brawychodd y ddau wrth ei weled wedi curio cymmaint; a chan ei fod yn cysgu yn yr ystafell nesaf am y palis a hwy, clywodd fy mam besychu a swn i'w ofni ynddo yn y boreu. Yr oeddwn i bellach yn chwech ar hugain oed a Llewelyn yn tynu at ei ddeugain; ac er na ddywedodd fy nhad a mam ddim wrthyf fi, ofnent na byddai byth yn fab yng nghyfraith iddynt, er eu bod bellach yn ei garu fel mab.

"Bu orfod yn lled fuan i Lewelyn, ar ol annwyd trwm, ofyn am fis o wyliau i fyned i lan y môr. Aeth yno. Clywodd yr esgob am ei salwch; a chan fod plwyf Pen Dyffryn yn wag ac mewn llecyn cynhes, anfonodd yr esgob lythyr caredig at Llewelyn yn cynnyg iddo fywoliaeth. Siriolodd hyn ei ysbryd yn fawr, ac er nad oedd ond gwanychu yn ei gorff, yr oedd ei feddwl yn hynod o fywiog, a dywedai ym mhob llythyr ei fod yn gwella yn brysur. Cynghorwyd ef gan y meddyg i fyned yn ol i awel y mynydd oddi wrth y môr, a chan fod ei gartref ef ei hun yn ymyl y môr, aeth i ran uchaf y plwyf yma i letty cysurus; ond myned yno i orphen ei ddyddiau a wnaeth, ac nid i barotoi ar gyfer ei blwyf newydd. Nid hir y bu cyn cael ei gaethiwo i'w ystafell wely. Dyma'r amser caletaf a fu arnaf erioed. Yr oeddwn wedi treulio yr wyth mlynedd er pan gyntaf y cyfarfyddais â Llewelyn mewn amgeleddu cleifion a *nursio* fy chwiorydd a'u plant, a dyma yr hwn a garwn yn fwy na fy enaid fy hun mewn angen ymgeledd a *nursio*. Credwn o waelod fy nghalon, ond i mi fyned yno i ofalu am dano, coginio ei ymborth a'i sirioli, y byddai yn sicr o fendio. Ar ol cael caniatâd fy nhad a mam, aeth Edward fy mrawd â mi yno i aros i'w *nursio*. Er fod Llewelyn yn falch dros ben fy ngweled, nid oedd yn dewis i mi ymgymmeryd â'r gwaith rhag ofn y byddai yn ddrwg i'm hiechyd.

"Ond yno y bûm ddau fis: yn gwneyd ei damaid bychan, yn rhoddi iddo ei physig, yn darllen iddo, ac yn canu ei hoff emynau. Byddai yn dyfod o'i wely ar y *sofa* bron hyd y diwedd, ac yn dweyd bob dydd ei fod yn gwella, a minnau yn ei gredu yn aml iawn. Darllenais iddo drosodd a throsodd drachefn y 14, 15, 16, a 17 bennod o St. Ioan. Byddai ei wyneb teneu, gwyn, oddi eithr y rhosyn gwrid ar ganol y foch, yn edrych fel wyneb angel wrth wrandaw. Tynai ei law deneu drwy fy ngwallt ar y diwedd, a diolchai i mi; a byddai ganddo yn aml sylwadau nefolaidd ar y pennodau hyny. Pan wedi myned yn rhy wan i weddïo ei hun, rhoddes lyfr sydd yn fy meddiant eto o weddïau oedd wedi eu cyfansoddi pan mewn ysbryd mwy defosiynol na chyffredin, a gofynodd i mi eu gweddïo gydag ef. Mae y gweddïau hyn ar fy nghof hyd eto, a chan eu bod yn Gymraeg, buont ugeiniau o weithiau o gysur annhraethol i gleifion a chystuddiol.

"Amser dedwydd mewn cymhariaeth i mi oedd deufis *nursio* Llewelyn. Tywynai gobaith heulog, fel haulwen hwyr hafaidd, drwy y glaf ystafell; a bron na thybiwn glywed suad edyn euraidd engyl Duw yn siffrwd drwy'r ystafell lawer pryd, gan mor nefolaidd fyddai ein teimladau. Ni bûm erioed mor agos i'r nefoedd a'r misoedd hyny. Teimlwn fod pob daiaroldeb wedi darfod ynof, ond fy edmygedd o dawelwch dystaw a llwyr ymostyngiad Llewelyn i ewyllys Duw. Edrychwn arno yn fwy fel angel o lawer nag fel un dan ammod bod yn briod i mi."

"Ond y mae fy ystori yn myned yn faith, eto nid yn rhy faith i fy nheimlad i. Ysgol oedd allasai fod yn chwerw, ond drwy ras a feluswyd i mi ac a fendithiwyd yr wyf yn gobeithio dros byth. Daeth awr yr ymadawiad—ymadawiad disymmwth pan nad oedd neb yn dysgwyl. Yr oedd wedi bod yn siriol dros ben ddechreunos; ac aethym i'm gwely un ar ddeg o'r gloch ar ol darllen gweddi wrth ei erchwyn, gan adael chwarelwr caredig a fyddai yn aml yn treulio nos neu ran o nos gydag ef i eistedd gydag ef. Rywbryd yn blygeiniol clywn gyffyrddiad ysgafn ar ddrws fy ystafell. Yr oeddwn wedi ymwisgo mewn ychydig fynydau, ac aethym i'r glaf ystafell; yno yr oedd Mrs. Evans, y lettywraig a'i gwr, a'r gwr ieuanc o chwarelwr, yn dal y gobenydd dan ben neu yn hytrach dan ysgwyddau a phen Llewelyn. Gwelwn ei fod yn methu a chael *phlegm* i fyny, ac yn anadlu yn anesmwyth iawn. Cyrhaeddais ddyferyn o ddwfr a gwin at ei wefus; agorodd yntau ei lygaid, ac edrychodd arnaf gyda gwên. Symmudodd ei wefusau, ond nid oedd yno leferydd. Gafaelodd yn fy llaw a gwasgodd hi mor bell ag y gallai wasgu: teimlwn rhyw sigliad rhyfedd yn ei law, ac edrychais arni mor wen. Daeth rhywbeth drosof. Deffroais yn fy ystafell fy hun. Cefais godi ym mhen ennyd. Yr oedd Llewelyn yn ei arch."

Yma rhedodd y deigryn oedd wedi ymladd llawer am ddianc o'i llygaid allan, gan ddyferu dros ei grudd, yr hon oedd yn welw, dlos, uwch ddaiarol, ac felly y terfynodd yr hanes pa fodd y daethai Modryb Frances yn "hen ferch." Clywsom lawer am ysbryd y marw yn mynychu rhodfëydd cyssefin eu bywyd; ond yma cawn esampl odidog o'r byw yn mynychu rhodfëydd y marw.

Ar ol marwolaeth yr unig un a garodd, parhaodd

Modryb Frances i ymweled â'r cleifion, amgeleddu y rhai a fyddent mewn angen, a chyssegru ei holl fywyd i wasanaeth ei Gwaredwr, gan ymdrechu yn hollol rodio yn ei lwybrau Ef. Daethpwyd yn araf i edrych arni fel eiddo cyffredin y plwyf. Pa le bynag y byddai afiechyd dysgwylid hi yno, ac aml anfonid am dani. Fel yr elai amser heibio daethpwyd i'w gosod yn y dosbarth a elwir hen ferched, ac o'r diwedd daeth yr enw "yr hen ferch" yn air teuluaidd. Pan ddywedid "yr hen ferch" o fewn cylch pum milltir i'w chartref, fe wyddai pawb mai am Modryb Frances y meddylid. Ac yn wir, nid Modryb Frances ydyw yr unig hen ferch a fu ag y sydd yn fendithiol i'r byd. Y mae cannoedd o honynt yn forwynion i'w perthynasau a'u cymmydogion ar hyd eu hoes, ac yn forwynion i Grist hefyd. Heb son am y nifer mawr a lwyr ymroddant mewn ammodau gwyryfol i wasanaethu Duw ac amgeleddu dynion, y mae cannoedd a miloedd fel halen y ddaiar yn wasgaredig ym mhob haen o gymdeithas yn dystaw a diymhongar wasanaethu eu hoes a hau hadau daioni a dedwyddwch o'u hamgylch, neu leddfu dyoddefiadau ac iachäu clwyfau, ac esmwythäu beichiau trymion eu cymmydogion. Pa beth bynag yw urddas gwraig a mam, y mae defnyddioldeb a chymmwynasgarwch aberthol "yr hen ferch" yn llawn mor deilwng o bob parch.

Yr eiddoch yn gywir,

MARGARET HUGHES.

---

## LLAN CWM AWEN: NEU DDEFFROAD EGLWYSIG HANNER CANRIF YN OL.

(*Parhâd o dudalen 273.*)

PENNOD XVIII.

*Mwynderau Teuluaidd.*

TRA y nesai Llewelyn Llwyd at y Persondy tawel a'i ffenestri goleu yn taflu pelydrau siriol ar wg y nos ddu o amgylch, ac yn rhagddangos yr hedd a'r cariad cynhes oedd o'r tu mewn, adfywiai ei ysbryd ac ysgafnhäi ei bryder a'i ofid.

Meddai wrtho ei hun, "Y mae genyf eto ddwy gyssegrfan i droi iddynt am orphwysdra a mwynhâd —mynwes fy nheulu a gorsedd gras—a thra y dysgleiria goleuni o'r ddau lecyn yma, ni bydd neb yn annedwydd, er gwaethaf holl dymmestloedd byd."

Ysgafnhäi ei gamrau, a deffroai adsain troediad hoew a hyderus ar y palmant bychan wrth gongl y tŷ lle y troid at ddrws y *nursery*, lle y gwyddai fod Angharad. Agorai'r bychan ddrws, a rhwng yr eiddew crog ymsaethai ffrwd o gynhes wawl.

Yng nghanol y goleuni safai Angharad, yn dlysach na dim a welsai Llewelyn Llwyd erioed, a chydag esmwyth gusan bur ar ei wlithog rudd, a gwyneb yn dysgleirio o ddedwyddwch heulog, derbyniai ef i orphwysdra a thangnefedd ei hystafell fechan.

Troes Llewelyn Llwyd ei lygaid tua'r cryd, a thynai Angharad orchudd bychan, ysgafnach a gwynach na'i llaw ei hun, oddi ar wyneb gwridog ei baban fachgen a wenai yn ei gwsg fel rhosyn tlws yng nghanol perthen hafaidd. Ar y mynyd, anghofiodd yr offeiriad dwysfyfyriol y festri a'i thrwst, ei chulni, a'i chroes-ymddadleu. Rhedodd ei feddwl yn ol bedair a phum mlynedd neu fwy. Adgofiai aml olwg a gawsai o Angharad yn ireidd-der blodau a newydd wisgiad ei hieuenctyd. Yr oedd yn dlws, yn dlysaf berl y ddaiar iddo y pryd hyny. Ond yr oedd yr ieuanc, siriol, serchog fam yn dlysach a gwerthfawrocach yn ei olwg yn *nursery* fechan Persondy'r Cwm, nag a fuasai yn wyryf foneddiges deg yn *drawing-room* Gelli'r Cogau gynt. Addfedasai anwylderau fyrdd o'i hamgylch, a chadwasai ei hireidd-dra siriol, a chawsai y fendith fawr o iechyd corfforol da, a thymmerau hyblyg, hydwyth, a chwarëus. Os deuai croeswynt siomiant i chwythu drosti ymostyngai dano, ond nid cynt yr elai yr awel heibio nad ymunionai yn ol mor siriol ag o'r blaen. Detholai megys y llecyn glân i'w throed, edrychai ar y lloeren heulog ar y bryn, a'r llecyn goleu yn y wybr gymylog, a chanfyddai y blodeuyn lleiaf ym mysg y chwyn a'r drain. Ymborthai ei chyfansoddiad moesol ar *oreuon* pob peth, gan ddewis y pur a'r da, a gwrthod y llwgr a drwg.

Wedi eistedd o Lewelyn Llwyd a mwynhau y cwpanaid *coffee* cynhes ag ydoedd mor adnewyddol ac adfywiol i'w gyfansoddiad ef, dechreuwyd ymddyddan am y festri. Rhoddes Llewelyn Llwyd hanes cyflawn o'r holl weithrediadau, ac yn neillduol y rhan a gymmerasai Didymus o'r Cwm a Mr. H. Cadwaladr, y cofiadur, ynddynt.

"Yr wyf yn synu peth," ebai Angharad, "fod y cofiadur yn eich gwrthwynebu. Yr wyf yn dra sicr nad oes ganddo ddim drwg deimlad personol atoch. Y mae yn ddyn call hefyd, a bydd yn hynod o foesgar tuag ataf bob amser, ac yn wir yn gymmwynasgar. Pa fodd y gellwch roddi cyfrif am ei wrthwynebiad i chwi?"

"Credaf," atebai ei phriod, "mai i'r *gwaith* y mae gwrthwynebiad y cofiadur. Ymddangosai yn awyddus iawn i allu ysgaru rhyngof â'r weinidogaeth Eglwysig, neu rhwng fy swydd a'm person.

Digitized by Google

Tybiaf ei fod ef yn credu mai niwed *ysbrydol* i'r ardalwyr a fyddai deffroad ysbrydol yr Eglwys a'i chynnydd yn y lle. Yr oedd yn ddrwg iawn genyf glywed Didymus o'r Cwm yn priodoli iddo ymddygiad mor wyrog ac anghywir."

"Felly," atebai Angharad, "yr ydych yn meddwl mai nid o *falais ddrwg* a dichell ystrywgar y mae y cofiadur yn dirgel gynllwyn yn erbyn eich llwyddiant Eglwysig, ac yn dystaw gynllunio gyda gwŷr fel y Parchedig Phylip Jones i rwystro eich gwaith ym mlaen? Tybio yr ydych mai ystyried eich gwaith yn ddrwg y maent, ac felly fod yn gyfiawn ei luddias ym mhob dull?"

"Dyna fy nghred i," atebai Llewelyn Llwyd. "Gallwn gymmeryd yn ganiataol bron nad oes neb yn ymwybodol mewn mater o'r fath yn gweithredu oddi ar falais noeth ac amcanion i ddrygu, a dyna pa ham yr oedd mor ddrwg genyf glywed Didymus o'r Cwm yn priodoli amcanion mor groes i ysbryd Cristionogol i'r cofiadur."

"Ymddengys i mi," meddai Angharad, gan wenu dipyn yn ddireidus ac ymdrechu troi pwnc y croesni yn y festri yn destyn difyrwch i'w chwalu ymaith a'i anghofio, "fod yr Eglwys wedi dyfod yn fath o asgwrn cynhen yn y plwyf, ac nis gallwn oddi wrtho. A siarad mewn iaith filwrol, fel y byddai fy nhad bron am bobpeth, y mae yr Eglwys yn y Cwm yn un o amgaerau Eglwys Lloegr. A siarad am dani yn iaith y Beibl, y mae Eglwys Fair Fagdalen, neu *Lan* Cwm Awen, yn un o 'dyrau' Sïon. Pan nad oedd enw nac enwad arall i chwifio baner y Groes ar ei gaerau, cyhwfanai baner y Gwaredwr megys ar uchel dŵr *Llan* Cwm Awen, ac ymgynnullai milwyr Iesu i'w hamgaerau. Yn wir, Llewelyn, onid wyf fi yn siarad yn ddoeth uwch law arferiad pais a *bedgown?* Oni fyddai yn well i mi gael dillad milwr? Ond yr ydych *chwi* mor dawedog: rhaid i rywun siarad."

"Ewch ym mlaen, Angharad fach," atebai Llewelyn Llwyd, "yr wyf fi yn hoff o glywed eich llais; a phan eloch i son am eich tad, bydd genych bob amser rywbeth gwerth ei wrandaw. Gwnaeth ymddyddanion synwyr-gall eich tad fwy o les i chwi na holl addysg eich ysgolion. Ewch ym mlaen. Yr wyf yn rhy flin i siarad, ond nid yn rhy flin i wrandaw."

"Wel," ebai hithau, "y mae *Llan* Cwm Awen yn un o hen amddiffynfëydd Sïon. Y mae wedi adfeilio. Y mae bylchau yn y caerau, rhwygiadau yn y mur; y mae ei harfogaeth wedi rhydu, a'r magnelau megys wedi syrthio allan o'u safleoedd. Anfonwyd chwi i adgyweirio y muriau, ail arfogi y caerydd, ac adennill ufudd-dod a theyrngarwch yr ardal. Onid felly y mae?"

"Ië," atebai Llewelyn Llwyd, gan ail godi ei ben. "Ewch ym mlaen."

"Mae y cofiadur," ebai hithau, "yn wrthwynebol i'ch gwaith chwi a'r neb a'ch anfonodd. Ni fyn adferu yr amddiffynfa. Geilw hi yn eiddo gelyn. Nid yw yn ddigon cryf, neu nid yw ei gyflegrau yn ddigon trymion i orphen dryllio'r mur, ac felly gweithia yn ddystaw trwy gudd-dyllau (*mines*) yn rhedeg dan y sylfeini i'w bwrw i lawr. Dywedir fod 'pob moddion yn gyfreithlawn mewn rhyfel'—ystrywiau, dichell celwydd, cynllwyn, a chuddio amcan. Felly, fe gyfiawnhâ y cofiadur ei hun ym mhob peth. Tra y bydd o'i galon yn *credu* fod yr Eglwys yn cynnrychioli gallu drygionus, bydd o *gydwybod* yn rhwym o'ch gwrthwynebu. Rhaid i mi o hyn allan feddwl am y cofiadur fel cadben y peiriannwyr, a Didymus o'r Cwm fel cadben y cyflegrwyr: mae y cyntaf yn dirgel-weithio dan y sylfeini, a'r olaf yn tân-belenu trwy yr awyr agored oddi ar y mur. Y cofiadur yn sicr yw'r mwyaf peryglus."

Atebai Llewelyn Llwyd, "Nid oes genyf fi ddim blas ar dân-belenu na gwrth-yru mynedfëydd dan y sylfeini, tra y mae 'gobeithio a dysgwyl yn ddystaw am iachawdwriaeth yr Arglwydd' yn gofyn ffydd ac amynedd helaeth. Rhaid i mi fyned yfory, os byddaf byw ac iach, i ymdrechu cyfanu y rhwyg a wnaeth Didymus o'r Cwm. Ond ni wiw bod yn galed wrth y bardd, y mae yn onest iawn, ac os yn *arw*, y mae hefyd yn *gadarn* fel y graig. Byddai yn ddrwg genyf pe rhoddid ef yn ngafael twrneiod. Ni ddeuai byth yn groen iach o'r fath le. Mae yn rhy dafodrydd ac anochelgar."

Penderfynwyd yr elai Angharad a Llewelyn Llwyd dranoeth i dywallt olew i friwiau ymrysonwyr y festri, rhag ofn i'r clwyfau fyned yn waeth.

## PENNOD XIX.

### *Ymweliad â Didymus o'r Cwm.*

Boreu Gwener yr oedd Angharad a Llewelyn Llwyd yn ymyl drws bwthyn Didymus o'r Cwm. Derbyniwyd hwy gan y bardd gyda phob arwydd o barch, ond dim gwaseidd-dra, dim math o arddangosiad. Gwedi siarad am y mân bethau teuluaidd, aed at bwnc y festri. Meddai Llewelyn Llwyd, "Yr wyf yn ofni fod eich cyfeiriadau personol at Mr. H. Cadwaladr a'r Parchedig Phylip Jones wedi peri mawr dramgwydd, ac wedi *brifo* Mr. Cadwaladr yn ddirfawr."

"*Briwio?*" atebai y bardd, "fy amcan oedd ei

Digitized by Google

friwio. Y dyn yn beiddio diniwed wenu yn eich gwyneb, ac wedi bod ar hyd y dyddiau yn creu drwg deimlad tuag atoch, neu o leiaf yn trefnu a chyfodi gwrthwynebiad i'ch cynlluniau oll."

"Y mae peth o'r fath yn anhawdd cyd-ddwyn ag ef," sylwai Llewelyn Llwyd, "ond nis gellir ei ochel. Y mae yn ddiau fod y cofiadur yn tybied mai gwneyd daioni yr oedd, ond yr wyf yn ofni y bydd iddo roddi ei fygythiad neithiwr mewn gweithrediad, a rhoddi y pwnc yn llaw twrneiod."

"Pa bwnc, syr?" gofynai y bardd, "ai pwnc ei ragrith—ei wên yn eich gwyneb, ei golyn yn eich cefn? Y mae genyf fi barch i'r dyn a'm gwrthwynebo yn deg—a safo fel llew yn fy wyneb; ond am y gelynion wedi ymwisgo mewn ffug gyfeillgarwch—y bleiddiaid llechwrus a ymdrwsiant mewn crwyn defaid mor gyflawn a pherffaith, fel na welir blewyn o'u crwyn eu hunain, ac na chlywir udiad o'u swn naturiol yn gyhoeddus, nis gallaf eu goddef. Edrychant mor ddiniwed a'r golomen yn eich gwyneb, a brefant yn eich clustiau fel ŵyn, ond colynant chwi fel gwiberod o'r tu ol, ac ysglifiant ar eich cymmeriad fel bleiddiaid yn y tywyllwch. Eisieu eu pastynu allan o wisgoedd eu rhagrith sydd."

"Peth anhawdd, anhawdd iawn, ydyw profi rhagrith neb," atebai Llewelyn Llwyd drachefn; "ond peth hawdd iawn ydyw myned i afael y gyfraith."

"Syr," atebai y bardd, "ni raid i chwi byth ofni i'r cofiadur alw arnaf fi i'w gyfarfod ef a'r Parchedig Phylip Jones yn llys y gyfraith. Yr wyf fi yn dyst o'r ymddyddan rhyngddynt hwy pan oedd y ddau ar y ffordd i'r Plas. Clywais ddigon o'u geneuau eu hunain. Clywais fwy gan bobl ereill. Gwaith y ddau wr a enwais yw y gwrthwynebiad. Mi a af ar fy llw mewn unrhyw lys, ac ni thynaf air byth yn ol. Syr, yr ydych yn rhy foneddigaidd, yn rhy feddal, yn rhy dyner o'r hanner gyda'r fath gymmeriadau ag sydd yn eich gwrthwynebu. Y mae ar y rhan fwyaf o honynt ofn eich gwrthwynebu yn agored. Dau neu dri sydd yma, mewn gwirionedd, yn cychwyn pob gwrthwynebiad, ac eisieu eu dynoethi sydd a'u fflangellu i'r eithaf."

Gwelodd Llewelyn Llwyd mai ofer oedd iddo ymdrechu llinaru dim ar ysbryd ymladdgar y bardd, a dywedodd, "Mr. Thomas Evans bach, nid i ymladd â dynion yn bersonol a buddugoliaethu arnynt y daethym yma, ond i ymdrechu eu hennill at Grist, a'u dychwelyd i undeb ffydd a chariad yng nghorlan yr Eglwys. Y mae fy amcan i lesäu pawb yn dymmorol, moesol, ac ysbrydol, a hyny heb niweidio neb. Gobeithio y cawn dawelwch. Yr wyf yn mawr werthfawrogi eich uniondeb syth a'ch purdeb tryloew chwi, yn gystal a'r dalent werthfawr a roddes Duw i chwi. Y mae lle cyflëus i chwi roddi yr oll ar waith yn Eglwys Dduw, a gellir gochel ymryson. Diolch yn fawr i chwi am eich syniadau ac am fy ngwrandaw."



Dywedodd Llewelyn Llwyd y geiriau uchod gydag aceniad bruddaidd ac ymdrech i guddio gofid calon, ond ni ddiangodd y cyfryw sylw glust graff y bardd. Teimlai resyni ac ofnai am y tro cyntaf fod ei ymadroddion yn gelyd.

Dywedodd wrth ffarwelio, "Gobeithio, Mr. Lloyd, y cewch lonydd am beth amser bellach i fyned ym mlaen â'ch gwaith. Peidiwch ag ofni drwg ganlyniad oddi wrth y cofiadur. Yr wyf yn ei adwaen er ys mwy o amser nag yr adwaenoch chwi ef; ond gallai nad ydyw mor ddrwg ag yr wyf *fi* yn meddwl ei fod."

Aeth Llewelyn Llwyd ac Angharad heibio siop y cofiadur. Galwasant yno: rhyfeddent ei gael mor siriol a pharablus ag erioed, ac yn hollol barod i longyfarch yr offeiriad ar derfyniad y festri yn foddhaol iddo ef.

Wrth ei weled mor wyneb siriol, gofynodd Angharad iddo, rhwng difrif a chwareu, pa ham y buasai iddo wrthwynebu symmud y seti.

"O," meddai yntau, "madam, nid pwnc personol i Mr. Lloyd oedd hwnw—mater plwyf, a'r unig beth nad wyf yn cydweled â Mr. Lloyd yw ar bynciau Eglwysig. Yr wyf fi yn barnu fel hyn a Mr. Lloyd yn barnu fel arall—y fi dros y capel, Mr. Lloyd dros yr Eglwys—a rhaid i bawb fod yn ffyddlawn i'w blaid. Ond nid oes eisieu digio am beth felly, a gobeithio na ddigia Mr. Lloyd am beth o'r fath. Y mae wedi cael ei amcan."

"Y mae yn dda genyf ddeall eich safle, Mr. Cadwaladr," ebai yr offeiriad; "gallaf felly edrych arnoch fel cyfaill personol, ond gwrthwynebydd Eglwysig. Felly, tra yn gwrthweithio fy nylanwad ysbrydol, bydd genych deimlad da ataf fel person neu gydgreadur. Nid oes arnaf awydd gofyn dim am eich rhesymau pa le yr ydych yn gweled duwinyddiaeth yr Eglwys yn feius a'i dylanwad niweidiol. Hyd nes delom i *ddeall* ein gilydd, felly parhäwn *garu* ein gilydd a *gweddïo dros* ein gilydd."

Felly, terfynodd yr ymddyddan ac ymweliadau y dydd ar y cyfan yn foddhaol.

(*I'w barhau.*)

---

Y sawl ni chymmero esampl oddi wrth ereill a wneir yn esampl i ereill.

Digitized by Google

## "AFFRICA FEL Y MAE YN AWR."

Dyma i ni yn y darlun gipdrem o'r ffaith ofnadwy a barodd i'r bardd a chenadwr Heber ganu yn ei emyn anfarwol—

> "Er bod mewn pell ynysoedd,
> Awelon pêr a hael,
> A hyfryd eu hardaloedd,
> A dim ond dyn yn wael."

Ië, dim ond dyn yn wael. Y mae gwyneb anian yn gwisgo hyfrydwch Eden, ond ar ddyn, a grewyd ar ddelw Duw, dim ond arddelw uffern. Sylwch ar y cigfrain a'r eryrod o amgylch i *fwyta y tameidiau cnawd.* Ond och, gwir pob gair; fel hyn y lladdwyd amryw Gristionogion yn Uganda yn ddiweddar, gan gael eu darnio bob yn aelod, ac o'r diwedd eu taflu i'r tân. Y mae geiriau y Salmydd yn dal hyd heddyw: "Llawn yw tywyll-leoedd y ddaiar o drigfanau trawsder."

O frodyr anwyl yng Nghymru lân, cymmerwch y darlun yma i'ch ystyriaeth. Gwybyddwch, ïe gwybyddwch fod y ffieidd-dra yma yn bod, yn blodeuo dan yr un haul ag sydd yn gwenu arnoch yma. Tra byddoch chwi, grefyddwyr Cymru, yn ymbleidio â'ch gilydd yma mewn gwlad Efengyl, yn absenu y naill y llall, a bron yn rhwygo yr hen Feibl yna yn eich dadleuon cartrefol, mae y rhan fwyaf o'r ddaiar heb oleuni yr Efengyl. Y mae angen y Groes heb ei bregethu eto i *hanner* y ddynoliaeth. Tra byddoch chwi yn cyrchu i'ch addoldai ar y Suliau, y mae myrdd miliynau o'ch cyd-ddynion yn griddfan dan greulondeb gau grefyddau ac ofergoeledd erchyll; ac eto, mor ychydig o honom sydd yn meddwl am hyn. Onid ydym fel ychain pasgedig yn maeddu lluniaeth yr Efengyl dan ein traed heb fyth feddwl am ddanfon hyd yn nod y briwfwyd gweddill i'r



corff yna yn hongian ar y crogbren, dyna olygfa gyffredin iawn yn Affrica! Bydd cannoedd o greaduriaid diniwaid yn syrthio dan wanc gwaedlyd eu breninoedd creulawn. Y mae'n debyg mai felly y bu gyda'r creadur truan yna: nid llofrudd ydyw wedi marw dan gyfraith ei wlad, ond rywun *dinod* wedi ei gymmeryd (ef allai ar ddamwain) i borthi nwydau dieflig ei gyd-ddynion. Mae y teithiwr enwog Mr. H. Johnson yn darnodi dienyddiad fel hyn mewn dull a barai i'n gwaed fferu yn ein gwythenau. Nis gallaf ddysgrifio yma y creulondeb ofnadwy o ddarnio dynion yn fyw, tra y cyrcha y

myrdd eneidiau sy'n marw beunydd heb wybod am iachawdwriaeth rad yng Nghrist. Fe gyfyd hŷn fel cyhuddiad ofnadwy yn erbyn Cymru grefyddol yn nydd y farn. Y mae Cymru o *bob gwlad* Gristionogol bron yn *olaf un* yn ei sel genadol, a hithau yn ymffrostio ei bod fel yn llifo o laeth a mêl crefyddol. O Gymru fechan, bwrw allan y trawst o'th lygad dy hun. Y mae gwaed dy frawd yn Affrica yn sicr o lefain i'r nef yn dy erbyn, os oedi estyn llaw i'w gynnorthwyo. Y mae dy enwadau yn barod iawn i feio Eglwys Loegr fel pe bai yn anialwch diffaith o weithredoedd da. Ond pe egnïent fwy i ddilyn camrau y Gymdeithas Genadol Eglwysig (sef y C.M.S.) yn unig, fe gaent well gwaith am y ganrif nesaf na'r gwaith o *ryddhau* (?) crefydd. Pe egnïwn i ufuddhau i orchymmyn olaf y Gwaredwr a phregethu yr Efengyl i bob creadur, ychydig iawn o amser a gaffai neb o honom i ddilyn ein mympwyon ein hunain.

W. M. R.

---

## EMYN GWYL Y CYNAUAF.

ARGLWYDD mawr pob nerth a gallu,
  Awdwr, Rhoddwr, pobpeth da,
Dyro gymhorth i'th foliannu,
  Wrth ein llesgedd trugarhâ:
O uchelder dy ogoniant
  Gwrando ar ein llafar gân,
Derbyn Di ein haberth moliant
  'Nawr ym mhyrth dy deml lân.

Rhyfedd, rhyfedd, fel mae'th gariad
  A'th drugaredd yn parhau
I ymwel'd â ni yn wastad
  Yn arbediad bywyd brau;
Mae dy lwybrau yn dyferu
  Brasder dy haelioni mawr,
Dyro'th Ysbryd Glân i'n nerthu
  I'th glodfori yma 'nawr.

Ti ddyhidlaist ar ein meusydd
  Gynnar a diweddar wlaw,
Gwres a gwlith i ffrwytho'n dolydd
  Ydynt rodd dy dadol law:
Gan lawenydd y cynauaf
  Ger dy fron y llawenhäwn,
Derbyn Di, O Dduw grasusaf,
  Offrwm clod o galon lawn.

Ofnwn a bendithiwn D'enw
  Am dy ddawn, drugarog Dad,
Nidŷm deilwng o dy sylw,
  Nac o'th drugareddau rhad;
Cymmer ni yn llwyr i'th feddiant
  Er dy glod o awr i awr,
Ac â llais perffeithiach moliant
  Canwn yn y nefoedd fawr.

PENFRO.

---

## SYLWEDD PREGETH.

*Gan y Parch. E. A. Davies, Llangennech.*

"Llygaid yr Arglwydd sydd ar y cyfiawn."—SALM. xxxiv. 15.

ONID ydym yn synu weithiau fod cymmaint o ardderchogrwydd a phrydferthwch yn y greadigaeth faterol yn gwbl ddisylw ac megys yn wastraff? Nid pethau perthynol i ddynion wyf yn cyfeirio atynt; yn wir, mae dynion fel rheol yn ddigon gofalus o'u pethau da eu hunain. Os byddwn yn meddu rhyw drysorau o fri ac ardderchogrwydd tu hwnt i'r cyffredin, nid ydym yn debyg o'u cuddio rhag i neb eu gweled, ond yn hytrach byddwn am i bawb eu canfod, eu hedmygu, a'n canmol. Os mai daruln godidog a fydd, faint o ymdrech a wneir i sicrhau derbyniad iddo i'r brif arddangosfa, i blith y goreuon o ddarluniau y byd. Os na ddaw i fyny â'r safon uchel hon; eto, os yn brydferth yn ein golwg ni, gosodir ef i fyny ar y mur yn y safle amlycaf o fewn cyrhaedd llygaid pawb yn yr ystafell. Os blodeuyn anghyffredin o hardd a fydd, gosodir ef yn y ffenestr, lle y gall pawb a êl heibio ei weled a'i edmygu. Os perl gwerthfawr neu dlws nodedig a fydd, mynych y gwisgir ef am y gwddf neu ar y fynwes gyda'r un amcan.

1. Dyma ffordd dyn i ymddwyn at ei drysorau—eu harddangos, a thynu sylw y byd tuag atynt. Os trown eto o'r byd materol i'r byd dynol ei hun, gwelwn yr un dueddfryd. Mae dynion mawr ac enwog i'w cael yng nghyfrif eu cyd-ddynion; maent yn cael sylw, a pharch, a bri; gwelir eu henwau yn britho y newyddiaduron, ysgrifenir coflyfrau i gludo eu hanes i lawr i'r oesoedd a ddêl. Gwir mai cymmeriadau moesol digon gwael ydyw llawer o honynt —rhyw gymmysg iawn ydynt ar y goreu; ac eto, ar gyfrif rhyw anrhydedd tybiedig a ennillasant, rhyw wrhydri a gyflawnwyd ganddynt ym marn eu cyd-ddynion, rhyw aberth neu ryw wasanaeth a ddarfu iddynt ei gyflwyno, fel y bernir, er lles eu gwlad, eu cenedl, neu ryw blaid o'u cydoeswyr

Digitized by Google

codir hwy i fyny a gosodir hwy ar binaclau uchel, fel darluniau cywreinwych i dynu sylw, a chlod, a bri yr oesoedd. Dynion yn perthyn i ddynion ydynt; a dyma ffordd dyn i ymddwyn at ei bethau da ei hun —eu harddangos.

2. Ond ymddengys yng ngoleuni y Beibl, yn gystal a phrofiad, mai nid dyma ffordd Duw i ymddwyn at ei drysorau gwerthfawrocaf ei Hun. Yn wir, gellid meddwl nad ydyw Ef, yn ei ddoethineb anfeidrol, yn gweled yn oreu i osod ond ychydig o neillduolrwydd arnynt, na thynu nemawr o sylw tuag atynt ar hyn o bryd. Os yw blodau heirdd y palasau a'r gerddi cartrefol, pa rai y mae a fyno llaw dyn â'u gwrteithio, yn cael sylw ac edmygedd, awn allan am dro i'r meusydd y tymmor hwn o'r flwyddyn; awn ym mhell tu hwnt i olion traed dynol, dringwn lethrau bryniau a mynyddoedd, ymwthiwn rhagom trwy goedydd, a chymoedd, ac anialdiroedd, lle nad yw llygad dyn yn disgyn o'r naill flwyddyn i'r llall; mewn gair, awn megys o'r byd dynol i fyd Duw ei hun, a pheth, tybied, a ganfyddwn? Beth hefyd ond blodau amryliw a pheraroglus, yn eu llawn brydferthwch, y fath a'r na wisgwyd Solomon yn ei holl ogoniant yn debyg iddynt; beth hefyd ond coedydd a phlanigion o'r fath ardderchocaf, yn guddiedig o olwg llygaid y byd yn eu bythol wyrddlesni. O! meddem, y fath golled, y fath wastraff. Ië, a mwy fyth pan gofiom mai nid eleni yn unig y mae y fath brydferthwch gogoneddus wedi bod yn guddiedig oddi wrth lygad dyn. Pob gwanwyn a haf a hydref, o ddechreuad y byd hyd heddyw, mae toraeth ar ol toraeth o'r fath orwychder llysieuaidd wedi bod yn addurno conglau mwyaf anghysbell y byd—blodau a phlanigion persawrus wedi bod yn tyfi, yn blaguro, yn ffrwythloni, yn marw, ac yn adgyfodi flwyddyn ar ol blwyddyn am oesoedd ar ol oesoedd heb i lygad dynol erioed eu canfod. Meddai y dyn, druan o hono: O! y fath golled, y fath wastraff. Ai gwir ei farn am y golled a'r gwastraff tybiedig? Na ato Duw i ni goleddu y fath dybiaeth. Sicr yw ei bod yn farn anghyfiawn, o blegid—

*a.* Mae yn ammhosibl i Dduw wastraffu yr un gronyn o'i waith ei Hun.

*b.* Os credwn ym mhellach yn noethineb anfeidrol Duw, rhaid i ni ar unwaith gyfaddef mai ein hanwybodaeth ni sydd wrth wraidd y fath ddrychfeddwl.

*c.* Yr ŷm ni hefyd yn rhy barod i fesur a phwyso ffyrdd a gweithredoedd Duw yn ol safon ein deall gwan ein hunain.

3. Credwyf y cawn ni gipolwg ar y rheswm dwyfol sydd y tu cefn i'r dirgelwch a gamenwir gan ddynion yn golled ac yn wastraff. Yng ngoleuni yr egwyddor gyffredinol sydd yn gorwedd yng ngeirian cysurlawn y testyn—"Llygaid yr Arglwydd sydd ar y cyfiawn"—dyna ddigon i esbonio yr holl ddirgelwch.

*a.* Mor fynych y mae prydferthwch moesol y cymmeriad gogoneddus hwn (y cyfiawn) yn guddiedig o olwg y byd; eto, ïe eto, "Llygaid yr Arglwydd sydd ar y cyfiawn." Onid digon yw hyn i flodau gwylltion heirdd yr anialwch? Onid digon yw hyn i'r cyfiawn, yr hwn sydd yn fynych yn treulio oes o ymdrech dduwiol heb ei adnabod gan y byd; ïe, oes o febyd hyd fedd yn cael ei ddiystyru a'i gamfarnu gan ei gyd-ddynion, a hyny am mai nid cymmeriad perthynol i ddynion ydyw, ond dyn Duw. Er yn byw mewn dinodedd, fel blodau Duw yn yr anialwch, heb ei ganfod gan ddynion ym mhrydferthwch ei wir gymmeriad, eto digon yw, "Llygaid yr Arglwydd sydd ar y cyfiawn."

*b.* Llygaid yr Arglwydd yn unig a wel faint o dda sydd mewn dyn. Nis gallwn ni ar y goreu ond barnu wrth yr olwg allanol, tra y gwel Ef yr hyn sydd mewn dyn. Efe yn unig sydd yn adnabod yr eneidiau gwynion, yr ysbrydoedd uniawn, y calonau purlan, yr amcanion diddichell, y dymuniadau nefolaidd, a'r ymdrechion duwiolfrydig, pa rai sydd, er yn ddirgelaidd ac allan o olwg y byd, fel blodau Duw, eto yn nodweddu pob oes a phob congl o'r byd Cristionogol. Mae Efe ei hun yn sylwi arnynt, yn ei hoffi, yn eu caru, a'u hedmygu, o blegid dyma ei bethau gwerthfawrocaf.

4. Os felly, pa beth a wna Efe o honynt? Gwyddom pa fodd y mae dynion yn ymddwyn at eu pethau goreu—eu harddangos. Beth a wna Duw o'u drysorau? onid yr un peth yn fynych ag a wna o flodau heirdd yr anialwch? Eu creu iddo ei Hun, eu creu o'r newydd yng Nghrist Iesu iddo ei Hun; peri i fyrddiynau o honynt flodeuo a ffrwythloni mewn dinodedd: ond dyma ddigon o anrhydedd iddynt—"Llygaid yr Arglwydd sydd ar y cyfiawn." Efe trwy ei Ysbryd a'u golchodd ac a'u cânodd yn nyfroedd gloewon yr adenedigaeth. Efe trwy ei Ysbryd sydd eto yn peri iddynt gynnyddu ddydd ar ol dydd ym mhrydferthwch sancteiddrwydd, ac er na wel y byd yn fynych fawr o ardderchogrwydd eu cymmeriad, eto digon yw—"Llygaid yr Arglwydd sydd ar y cyfiawn."

5. Ef allai ei bod yn edrych i ni yn annheg, ar yr olwg gyntaf, na wnai Duw osod mwy o neillduolrwydd ar bob un o'i saint yn y byd hwn, a gwneyd rhyw arddangosfa o brydferthwch eu cymmeriad, yn neillduol pan gofiom fod seintiau Duw mor lluosog a blodau Duw—eu bod mor aml i'w cael yn y bwthyn

Digitized by Google

ag ydynt yn y palas; ïe, o bob cyflwr a phob oed, o'r babanod bychain wrth y miliynau i lawr hyd at yr hynafgwyr penllwyd ar drothwy y nef. Yn wir, yr ydym ninnau weithiau yn barod i sisial. O, y fath golled, y fath wastraff, fod cymmaint o sancteiddrwydd, a phurdeb, a phrydferthwch moesol o dan len i olwg y byd. Ond dywedaf eto, camdybiaeth ni yw hyn. Yn wir, er na allwn ddirnad gyda sicrwydd, beth yw dyben creadigaeth y blodau gwylltion yn yr anialdiroedd pell? Eto credaf fod y wers uchaf a berthyn i saint y Goruchaf yn tarddu o'r dirgelwch hwn.

6. Byw uwch law hunanoldeb. Pa ham y dychymmygwn ni fod blodau yr anialwch yn wastraff yn y greadigaeth? Onid yn unig am y rheswm nad yw llygad dyn yn eu canfod? Pa ham y tybiwn fod prydferthwch cymmeriad myrddiynau o saint Duw yn golled ac yn wastraff yn y byd moesol? Onid yn unig am nad yw eu cyd-ddynion yn eu hadnabod? Diau mai hunanoldeb ydyw gwreiddyn y drychfeddwl.

*a*. Pe gallem ddim ond anghofio yr hunan mawr yna, ni a newidiem ein barn mewn moment am y naill a'r llall. "Pa beth yw dyn i ti i'w gofio?" Onid digon o reswm i'r blodau ymagor yn ogoneddus yn y cymoedd a'r coedwigoedd anghysbell ydyw—

*b*. Ewyllys yr Hwn a'n gwnaeth? ïe, digon iddynt hwy yw moli eu Creawdwr mewn unigedd lle bynag y maent. Onid hon hefyd yw rheol uchaf bywyd y saint—byw i Dduw ac nid i ddynion?Ië, dyma reol euraidd pob duwiol tra yma yn y byd—ymgodi uwch law hunan a byw bywyd y blodau; "nid â llygad-wasanaeth, fel boddlonwyr dynion, ond fel gweision Crist yn gwneuthur ewyllys Duw o'r galon." Dyma fywyd y blodau yn yr anialwch: ymddadblygu mewn prydferthwch lle bynag y maent, am mai hyn yn ewyllys eu Creawdwr. Dyma hefyd elfen uchaf duwioldeb y Cristion—anghofio hunan a byw i Dduw; ïe dyma—

*c*. Ei "wobr mawr iawn"—"Llygaid yr Arglwydd sydd ar y cyfiawn." Mae y byd ar y goreu yn llawn culni a drwgdybiaeth, yn oerllyd ei gydymdeimlad yng ngwyneb ei ffaeleddau a cholliadau. Ni ŵyr y byd am y temtasiynau a'r profedigaethau ag sydd yn amgylchynu llwybr y Cristion tra ar ei daith trwy yr anial fyd: ni ŵyr am ei ymdrechion mewnol a'r "adduneddau fil, i gadw'r llwybr cul;" ac am hyn, mae'r byd yn barod i feddwl y gwaethaf am dano. Ond nid yw hyn yn gymmaint colled pan gofiom fod ei Dduw yn ei adnabod ac yn gwerthfawrogi ei wir gymmeriad.

*d*. Credwn hefyd daw diwrnod pryd y gosoda Duw ei neillduolrwydd ar y cymmeriad hwn ger gŵydd yr holl fyd. Gwyddom pan fyddo tân wedi tori allan mewn palas gorwych, y dengys y perchenog yn fuan pa rai fyddant y trysorau mwyaf yn ei olwg. Er ef allai nad oedd wedi arfer dangos hyny yn flaenorol, pryd nad oedd perygl yn ymddangos; ond heddyw, ar ddydd y tân, gwelir pa ryw drysorau y bydd ef fwyaf awyddus i'w cael allan o'r ddistryw. Felly y dengys Duw yn nydd mawr y didoliad olaf, pan fyddo y ddaiar a'i thrysorau ar dân, pa rai fyddant y gwrthddrychau gwerthfawrocaf yn ei olwg, yn y gwahoddiad gorfoleddus o enau Barnwr byw a meirw: "Deuwch chwi, fendigedigion blant fy nhad, meddiennwch y deyrnas a barotowyd i chwi er cyn seiliad y byd."

---

## CODIAD YR HAUL.

(*Buddugol yng Nghylchwyl Lenyddol Llanllechid.*)

Mil henffych iti, mawrddydd dlos,
 Am agor dor y dwyrain draw;
Ti daeni wawl dros fynwent nos,
 Gan wasgar gobaith ar bob llaw.

Ti elwi'r haul o'i 'stafell hardd,
 Fel cawr i redeg gyrfa'r nef,
A than ei wenau'r ddaiar chwardd,
 Gan ddyrchu'i fawl ag uchel lef.

Holl ser y nefoedd fawr o'i ŵydd
 Ddiangant rhag ei wyneb glân,
Ei gerbyd a esgyna'n rhwydd,
 Gwna gribau'r bryniau fel yn dân.

Dyrchafa mwg o'r bwthyn gwyn
 Sydd yn y dyffryn gwyrdd is law,
A gweddi daer ymddyrchu fyn
 O hwn i'r nefoedd yn ddidaw.

Clywch swn dadgloi y dorau'n d'od
 Yn adlais drwy yr awyr glir,
A'r dymuniadau pura'n bod
 Ry'r naill i'r llall er heddwch hir.

Rhy'r heulwen gusan serch mewn swyn,
 Nes deffry natur drwyddi i gyd,
Gan roi i'w Chrëwr fawl yn fwyn,
 O! ddyn a fyddi di yn fud!

HEILYN.

*Llanllechid.*

## Y LLYFFANT.

"Beth mae'r llyffaint yn ei wneyd heddyw, mam?" gofynai bachgen bychan gwridgoch i'w fam, yr hon oedd yn cludo basgedaid o wyau tua'r dref un boreu. "O'r anwyl! sut y gwn i, fachgen? Paid â chaboli yng nghylch pethau o'r fath," atebai y fam, gan gerdded ym mlaen. Yn awr, ddarllenydd, a fedrwch chwi ddweyd pa ham yr oedd y llyffaint yn gwneyd y fath dwrw y boreu hwnw yn y gwanwyn? Nesëwch at y lle o ba un y mae'r swn yn dyfod. O'r nifer afrifed o lyffaint sydd yn dangos eu penau yn y dwfr, mor ddifrif y maent yn crawcian, ac y mae eu llygaid yn dysgleirio o gynhyrfiad rhyfedd yn y fath greaduriaid oeraidd. Beth ydyw y sylwedd yna fel *glue* wedi ei fritho â brychau duon sydd yn nofio ar y dwfr? Y mae hyn yna yn rhoddi rheswm am eu cynhwrf. Nid ydyw cenedl y llyffaint i gael ei difodi eto; y mae ymbarotoad yn cael ei wneyd a gynnyrcha cenedlaeth eto o'r ymlusgiaid rhyfeddol yna. Wyau y llyffaint ydyw'r brychau duon yna sydd newydd eu dodwy, ac y mae y rhieni yn canu o lawenydd ar yr achlysur. Gan bob un o'r llyffaint benyw yna y mae 1200 o wyau yn cael eu dodi yn y dwfr, lle y bydd i'r haul yn raddol gynnyrchu bywyd o bob brycheuyn.

A fu i'r darllenydd erioed wylio tyfiant llyffant o'r wy? Mae'r trefniad yn deilwng o sylw. Gadëwch i ni gasglu peth o'r sylwedd yna sydd yn amgylchu yr wyau, a'i ddodi mewn llestr gyda pheth o'r dwfr a'r chwyn o'r pwll. Beth ydyw'r cyfnewidiad cyntaf? Y mae'r wyau sy'n cael eu nodi â rhychau yn dangos fod rhyw fywyd yn gweithio oddi mewn. Yn nesaf, yn lle'r wy yr ydym yn gweled telpyn bychan o fywyd gludol yn glynu wrth un o'r chwyn yn y dwfr. Hyn ydyw'r ffurf gyntaf o'r llyffant bach. Ond nid llyffant mo hono eto. Sylwch ar y trydydd gyfnewidiad; mae y telpyn gludol yn cael tagellau a chynffon, ac yn ymsymmud yn gyflym trwy'r dwfr. Y mae yn awr mewn gwirionedd yn *bysgodyn*, er y gelwir ef yn benbwl. Y mae yn cyfnewid eto; y mae yn cael par o goesau ol. Hyn ydyw'r pedwerydd cyflwr. Beth nesaf? Y mae yn cael par o goesau blaen, ac y mae yn amlwg nad ydyw am aros yn bysgodyn. Y mae wedi cyrhaedd y pummed cyfnewidiad. Beth sydd wedi dygwydd i'w gynffon, a ydyw wedi ei cholli? Nac ydyw, y mae yn raddol yn cael ei sugno i mewn i'r corff, a chyn hir bydd wedi myned i gyd. Yr ydym yn awr wedi cyrhaedd y chweched cyflwr o'i fywyd. Y mae ei geg yn raddol yn lledu, gan gymmeryd y ffurf sydd yn perthyn i'r creadur cyflawn. Y mae'r cyfnewidiad mwyaf pwysig ar ol. Hyd yn hyn y mae wedi anadlu trwy'r tagellau fel pysgodyn, ond yn awr rhaid iddo dynu ei anadl o'r awyr fel pob anifail. Y mae ysgyffaint yn cael ei ffurfio, ac y mae'r holl gyfres o drawsffurfiadau yn gyflawn. Y mae wedi myned trwy wyth o gyfnewidiadau, bob un yn ei ddwyn radd yn nes i fod yn lyffant perffaith. Mewn tywydd llaith, cynhes, y maent yn ymddangos mor luosog a disymmwth fel y mae rhai pobl yn credu mewn cawodydd o lyffaint.

Daliwch lyffant a rhoddwch ef o dan lestr gwydr, i ba un mae mynediant rhwydd i'r awyr, a gwyliwch ef. Fel y mae yn chwythu! Beth sydd yn achosi y swn tagedig yna yn ei wddf? Y mae yn llyncu awyr ac yn ei wthio i mewn i'w ysgyfaint. Mae yn ddigon eglur fod y gwaith yn galed; edrychwch mor dŷn y mae yn cau ei geg rhag i'r anadl ddianc allan. Pa ham y rhaid i'r creadur weithio mor galed i gadw ei ysgyfaint yn llawn, tra yr ŷm ni yn anadlu yn ddiarwybod bron. Y mae ein hasenau yn cadw y fron yn estynedig heb ymdrech, ond nid oes gan y llyffant asenau, a rhaid iddo wthio yr anadl i mewn yn llafurus. Nid oes ammheuaeth fod absennoldeb asenau yn dda i'r llyffant, ond y mae yn gwneyd y gwaith o anadlu yn galetach iddo. Pan fydd dyn wedi colli ei wynt wrth gyflawnu rhyw orchwyl caled, bydd yn agor ei geg er mwyn anadlu yn haws, ond os cadwn safn y llyffant yn agored am ychydig amser bydd farw o fygdod. Gall yr anifail yma, modd bynag, sugno awyr i mewn trwy ei groen, ac yn hyn y mae yn cael mantais arnom. Yn wir, gallwn alw ei groen yn beiriant sugno, o herwydd gall mewn ychydig amser sugno i mewn ddwfr o'r un bwysau a'i holl gorff. Dywedwch fod gan ddyn yn pwyso wyth ugain y gallu yma, buasai mewn awr a hanner yn sugno i mewn 160 pwys o ddwfr. Felly y mae yn dygwydd fod gan y llyffant, y rhan amlaf, gyflawnder o ddwfr yn ei feddiant, a phan fydd wedi ei ddychryn, yn ddisymmwth y mae yn saethu swm o ddwfr pur at yr ymyrwr. Unwaith yr oedd pobl yn meddwl mai gwenwyn oedd hyn, ond os oes un o'm darllenwyr yn ddigon gwrol i'w brofi, gall yn hawdd ganfod ei natur.

Nis gall y llyffant frathu, ac er fod ganddo bedwar ugain o ddannedd, nid ydynt o ddefnydd iddo. Ni fedr gnoi ei fwyd, ond rhaid iddo ei lyncu yn gyfan. Gellwch weled y defnydd y mae yn wneyd o'i dafod pan fydd wrthi yn gwledda ar bryfaid a morgrug. Mae y tafod yn gweithredu fel gwaewffon â llaw iddo. Mor lonydd y mae yn sefyll tra'n bwyta, ac mor gyflym y mae'r tafod rhyfeddol yna yn ymsaethu allan ar y morgrug difeddwl drwg, ac

Digitized by Google

mor uniongyrchol y mae yn myned â'r ysglyfaeth i fewn i'w safn. Pan fydd pryd bwyd drosodd y mae y tafod yn cael ei blygu i mewn i'w geg, a'r blaen ym mhen ol ei safn. Hawdd y gall y llyffant wneyd heb ddannedd gyda'r fath dafod. Y mae calon y llyffant yn debyg i galon pysgodyn, hyny yw, nid oes ond dwy adran ynddi yn lle pedair, fel sydd gan anifeiliaid yn gyffredin. Felly y mae cylchrediad ei waed yn araf iawn, ond y mae yn ddigon cyflym i'w angenion.

Yr ydym wedi sylwi ar absennoldeb ei asenau, ond y mae ganddo asgwrn cefn byr a chryf, ac y mae ei nerth gewynol yn anferthol. Mesurwch hyd ei naid pan fydd wedi neidio â'i holl egni. Canfyddwch yn aml fod y llyffant yn gallu neidio ei hyd ddeng waith a deugain. Pe buasai gan ddyn nerth cyfartal i'r llyffant buasai yn gallu neidio 300 o droedfeddi, a buasai yn alluog i neidio dros glawdd can troedfedd o uchder heb ei gyffwrdd.

Nid oes angen crybwyll fod un math o lyffant yn cael ei fwyta mewn llawer o wledydd, ac yn cael ei gyfrif ym mhlith y danteithion mwyaf. Y mae y llyffant *bwytadwy* yma nid yn unig yn cael ei werthu yn y rhan fwyaf o farchnadoedd y cyfandir, ond y mae yn adnabyddus yn Lloegr hefyd. Y mae i'w gael yng nghorsydd swydd Caergrawnt, lle y mae ei grawcian wedi ennill yr enw o "eos Caergrawnt."

Yr oedd yr hen bobl yn meddwl fod rhinweddau meddyginiaethol neillduol yn perthyn i'r llyffant. Yn swydd Lincoln byddai yn arferiad ei ddefnyddio er iachau dolur y safn mewn baban, yr hyn a elwir yn y rhanbarth hwnw "*the frog*." Byddai y fam anwybodus yn gwthio llyffant byw i geg y plentyn, gan afael yng nghoesau ol y creadur. Nis gwyddom braidd pa un ai'r plentyn neu'r llyffant oedd yn haeddu y tosturi mwyaf. Yn rhai rhanau o Brydain y mae merched yn credu y gall iachäu y diffyg treuliad a'r darfodedigaeth trwy lyncu llyffant byw. Ac y mae rhai amaethwyr yn credu yn selog mewn llyffaint byw fel meddyginiaeth i glefyd y cil mewn gwartheg, ac yn rhoddi y dogn heb ddim ystyriaeth i deimladau y llyffant na chwaeth y fuwch.

O'r holl fathau o llyffaint, lyffaint y coed ydyw yr un mwyaf rhyfeddol. Y mae i'w gael yn Ewrop yn ogystal ag America ac Asia. Y mae Syr Emerson Tennant yn dywedyd am danynt fel hyn:—"Yn y prysglwyni o gwmpas fy nhŷ yn Colombo (Ceylon), y mae'r llyffaint bychain prydferth i'w gweled yn aml iawn. Y maent," meddai, "i raddau uchel, yn gallu cyfnewid eu lliwiau, ac yr oedd yn anhawdd iawn gwahaniaethu rhwng llyffant oedd wedi eistedd ar golofn euraidd y llusern oddi wrth y golofn yr oedd yn glynu wrthi. Y maent yn alluog i ddringo i fyny ar hyd gwydr gyda'r sugnwyr sydd ar flaenau eu bysedd."

Rhaid i ni beidio â myned heibio cyssylltiad y llyffant â gwyddoniaeth. Mae trydaniaeth yn beth pwysig iawn yn y dyddiau presennol; mae yn iachäu y cryd y cymmalau, ac yn anfon negeseuau o dan y cefnfor. Beth sydd gan hyn i wneyd â'r llyffant? Hwyrach y bydd rhai o'm darllenwyr yn cofio trydaniaeth galfaneg trwy symmudiadau llyffant oedd Madam Galvani wedi ei flingo erbyn ciniaw. Yr oedd wedi ei ddodi yn agos i sylwedd wedi ei drydanu, ac yn dangos y cynhyrfiad gewynol, a pharodd i Mr. Galvani ymholi yng nghylch y mater. Terfynodd yr ymholiad yn y darganfyddiad mawr sydd yn dwyn ei enw.

Felly y mae yn perthyn i'r llyffant yr anrhydedd o fod yn ddiniwed yn ei arferiadau, yn ddyddorol am ei drawsffurfiadau, yn ddefnyddiol fel bwyd, ac yn gyssylltedig â gwyddoniaeth.

*Ynys yr Arch.* AB CERNYW.

---

## MARWNAD

*I'r diweddar Mr. Robert Hughes, Llwybr-main, Mynydd Llandegai, buddugol yng nghyfarfod llenyddol Ysgolion Sul Bodfeirig a Tanybwlch, St. Ann's, ger Bangor, Ebrill 11fed, 1891, cyfansoddedig "er serchus gof" gan Mr. John Heilyn Williams, Llanllechid.*

MEWN perthynas i wrthddrych cofiant y farwnad, ganwyd ef yn Roe Wen, ger Conwy, ac yr oedd yn fab i Robert Hughes o'r lle hwnw. Pan yn bur ieuanc daeth i weithio i chwarel lechau y Penrhyn. Am yr hanner can mlynedd diweddaf bu yn preswylio yn Llwybr-main, Mynydd Llandegai. Bu farw ei hoffus briod ac amryw o'i blant o'i flaen. Nid oes yn fyw yn awr ond dau o'i blant, sef Mr. W. Hughes, prif-athraw Ysgol y Bwrdd, Aberffraw, Mon; a Mr. R. Hughes, Llwybr-main, St. Ann's. Yr oedd Robert Hughes yn Eglwyswr cywir o'r iawn ryw. Am y deng mlynedd ar hugain olaf o'i oes, bu yn aelod selog a gweithgar o Eglwys St. Ann's: llanwodd y swydd o *churchwarden* yma am flynyddoedd. Yr oedd yn un o golofnau cadarn ysgoldy cenadol Tanybwlch a'r Eglwys St. Ann's. Bu bob amser yn fynychwr cysson o'r cyssegr: nid absennolai ei hun er dim o wledd y Cymmun Sanctaidd. Meddai wybodaeth o'r fath eangaf o Air Duw, yr hwn a esboniai fel athraw yn ei ddosbarth gyda

Digitized by Google

medrusrwydd ac eglurdeb anghyffredin. Fe ymddangosai hanesiaeth yr Hen Destament, yn neillduol hanes y genedl Iuddewig, megys yn fyw yn ei gof. Ym marwolaeth Robert Hughes, yr hyn ddygwyddodd yn ei breswylfod Awst 18, 1890, yn 75 mlwydd oed, collodd yr Eglwys weithiwr diwyd a haelionus a'r ardal gymmwynaswr caredig, fel y dangoswyd gan y dorf fawr ddaeth i'w gladdedigaeth i fynwent St. Ann's, Awst 21, 1890. Dangosodd ar ei wely marw ei fod yn meddu "gwreiddyn y mater," a'i fod yn "gwybod i bwy y credodd." Fel St. Paul gallai ddweyd, "Mi a ymdrechais ymdrech deg, mi a orphenais fy ngyrfa, mi a gedwais y ffydd." Hyderwn y bydd i fendith y Nef fod ar feibion ein cyfaill a'u plant, a phlant ei ferch, y rhai ydynt oll yn Eglwyswyr cedyrn.

Er cof am Robert Hughes, medd llefau llu
Ollyngant ddagrau hiraeth ar ei ol;
Ac anwyl yw adgoffa'r dyddiau fu,
A'i lwybrau glân, fel gwedd meillionog ddôl:
Yr oll yn adlewyrchu nefol glod
I'w enw peraroglaidd barchwn ni;
Holl ysgogiadau'i fywyd at y nod,
A'r uchel gamp gyfeiriai gyda bri.

Ceid Beibl Duw fel yn ei gof i gyd,
Ac ymhyfrydai'i galon ynddo ef;
Ei addewidion mawrion gai o hyd
Yn gysur enaid ac yn sylfaen gref:
Trwy'i oes oedd faith bu yn llafurus iawn,
Er llenwi cylchoedd dyledswyddau dyn,
A'i ymdrech onest roes foddlonrwydd llawn
I filoedd gwlad gyd-dystiant heddyw'n un.

Eglwyswr cadarn, egwyddorol oedd,
A gwyddai'r "lluoedd gwasgaredig" hyn,
Ac ni ddychrynid ef â "chri" a "bloedd"
Ar greigiau'r gwir y safai yn ddigryn;
Ei law a'i galon gydag Eglwys Dduw
Gydweithient er gogoniant nefoedd fawr,
Rhodfëydd y Brenin wyliodd tra bu fyw,
Ac ar ei lafur gwenai dwyfol wawr.

Ni fyddai'r un symmudiad, bach na mawr,
Yn cychwyn yn ein plith heb enw glân
Ein cyfaill hoff i'w noddi ar bob awr,
Ceid ef a'n holl welliantau'n ddiwahân;
A'r hyn afaelai'i ddwylaw ynddo ef,
Ei egni oll a roddai ar lawn waith,
Ac nis gollyngai mwy ei afael gref,
Nes dwyn yr oll heb wall i ben y daith.

Ni roddwyd purach bron mewn daiar wiw,
Diragrith ydoedd fel goleuni'r nef,
A chariad brawdol, megys enfys Duw,
Addurnai yrfa lân ei fywyd ef:
Pob oed a gradd ymlonent yn ei fwyn
Gyfeillach bur, ei eiriau ffraeth bob un
Gyrhaeddent nod daionus gyda swyn,
Er gosod uchel fri ar fywyd dyn.

Och'neidiau dreiddiant, fel ysbrydion braw,
Trwy'r bylchau duon heddyw sydd o'n cylch;
"Ei le yn wag" yw'r adlais yma a thraw,
A hiraeth trwm â'i ddagrau heilltion ylch
Ein gruddiau oll o'r tlawd amddifad fu
O dan ei nawdd hyd uchaf wŷr ein bro:
Cydgoffa wnawn ei holl rinweddau'n hy',
Fel engyl byth arosant yn ein co'.

*Llanllechid.* J. HEILYN WILLIAMS.

---

## NEWYDDION.

### ADGOF UWCH ANGHOF.

YM marwolaeth yr Anrhydeddus Henry Cecil Raikes, y Postfeistr Cyffredinol, cafodd y wlad, swyddogion y llythyrdai, a'r Eglwys golled drom. Yr oedd y boneddwr galluog yn wleidyddwr goleuedig ac yn wr o farn, a gallai sefyll dros ei farn yn benderfynol. Yr oedd hefyd yn wr o bwyll ac amynedd ac ymroddiad, ac felly bu yn alluog i ddwyn oddi amgylch lawer o welliantau yn y llythyrdy a lles i weision y llythyrdy. Bu yn alluog fwy nag unwaith i sefyll rhwng gweision y llythyrdy a'r cyhoedd, a gwneyd cyfiawnder o'r ddeutu. Y mae yn boenus meddwl mai llafur a phryder ei swydd a fu yn achos o'i farwolaeth yn ei dair mlwydd ar ddeg a deugain oed.

Yr oedd yr Anrhydeddus H. C. Raikes yn Eglwyswr penderfynol, a safai dros ei Eglwys ym mhob man heb erlid neb. Wrth amddiffyn yr Eglwys yng Nghymru, ni byddai yn aml yn ddigon gochelgar i wahaniaethu rhwng amgylchiadau Cymru ac amgylchiadau Lloegr. Er ei fod yn byw yng Nghymru ychydig a wyddai am deimlad Cymreig yr Eglwys. Ym "Maelor Seisoneg" yr oedd yn aros fwyaf, ac â'r elfen Seisonig yn yr Eglwys yr oedd yn gydnabyddus. Cymmerai ddyddordeb neillduol yn yr Ysgol Sul, fel yr oedd yn naturiol iddo ac efe yn ŵyr i Raikes, sylfaenydd yr Ysgol Sul yn Lloegr. Bydd yn golled neillduol i esgobaeth Llanelwy ar ol gwr o'i ddysg, dylanwad, a'i lwyrymroddiad ef.

Digitized by Google

ATHRONIAETH A CHREFYDD BROWNING.

Y mae Mr. Henry Jones, M.A., proffeswr athroniaeth yng Ngholeg Athrofaol y Gogledd, wedi ysgrifenu llyfr yn Seisoneg ar y Bardd Browning fel athraw athronyddol a chrefyddol. Condemnir y llyfr hwn yn y *Goleuad* fel un â'i "ddysgeidiaeth yn hollol wrthwyneb i wirioneddau hanfodol Cristionogaeth." Y mae yr erthylau beirniadol yn rymus a llym, ac ni all neb eu darllen heb deimlo fod y dyfyniadau a gymmerir allan o'r llyfr yn llwyr gyfiawnhau y condemniad, a chymmeryd yn ganiataol eu bod yn esamplau teg o'i ddysgeidiaeth. Ond daw y Parch. J. Puleston Jones ym mlaen i amddiffyn y proffeswr athronyddol, a haeru fod ei lyfr yn hollol iach yn ei athrawiaeth. Gan nad yw y llyfr genym, nis gallwn farnu pa un ai y *Goleuad* ai Mr. J. Puleston Jones sydd yn rhoddi yr olwg briodol ar y llyfr, ac ni buasem chwaith yn crybwyll am yr helynt oni bai fod cyfleusderau addysg uwchraddol ac athronyddol yn agoryd llwybr o brofedigaeth newydd i grefydd yng Nghymru. Y mae crefydd cynhyrfiad y teimlad mewnol yn darfod, ac y mae yr appeliad cryf at y deall a'r rheswm yn peryglu awdurdod hanesiol Cristionogaeth, yn y rhai na chawsant erioed eu haddysgu yn yr hanesiaeth hòno. Crefydd hanesiol, seiliedig ar weithredoedd goruchnaturiol, ac i'w barnu wrth ei ffrwythau, ydyw crefydd Crist. Ni ŵyr "athronwyr y byd hwn," yn rhinwedd eu gwybodaeth athronyddol, ddim mwy am dani na'r maes lafurwr symlaf. Y mae athroniaeth yr oes hon wedi ymdrwsio yng ngwisg moesoldeb yr Efengyl, ac yn barod i feddwl ei bod yn ei dillad ei hun.

DYCHWELIADAU I WEINIDOGAETH YR EGLWYS.

Nid yw gweinidogion Anghydffurfiol Lloegr ddim yn ol i'w brodyr yng Nghymru yn eu tueddiad i ymuno â'r Eglwys. Hysbysir ni drwy y *Liverpool Echo* a'r *Courier* fod y Parch. Marmaduke Shaw, LL. B., gweinidog Annibynol yn Tynemouth, ar dderbyn urddau Eglwysig oddi ar law esgob Exeter. Perthyna i hen deulu Anghydffurfiol enwog.

Y mae y Parch. T. Lucius Morgan, gweinidog Presbyteraidd gynt yn Beaumaris, Mon, newydd ei ddyrchafu i fywoliaeth Lydham, Amwythig.

Gosodwyd careg sylfaen Eglwys goffadwriaethol i'r enwog Esgob Morgan, cyfieithydd y Beibl, yn Llanrhaiadr ym Mochnant, y plwyf y bu y Dr. Morgan yn gwasanaethu fel offeiriad ynddo, ac yn gwneyd rhan o'i waith daionus.

DYSGYBLAETH WEINIDOGAETHOL YM MYSG Y METHODISTIAID CALFINAIDD.

Bu achos gofidus o ddysgyblaeth weinidogaethol ger bron cymdeithasfa ddiweddar y Methodistiaid Calfinaidd ym Mhwllheli, sir Gaernarfon. Amser yn ol penodasid pwyllgor i gymmeryd dan ystyriaeth drosedd y Parch. D. F. Williams yn priodi ei nith, merch ei chwaer. Gwedi maith drafod pasiwyd y penderfyniad canlynol mewn dystawrwydd difrifol: "Yn gymmaint a bod y Parch. D. F. Williams, B.A., wrth fyned drwy y ffurf o briodas gyda nith ferch chwaer iddo, wedi troseddu un o gyfreithiau pendant ein gwlad, amcan yr hon ydyw diogelu purdeb y boblogaeth a chyssegredigrwydd y cylch teuluaidd, ac na allasai wneuthur y dystiolaeth ddifrifol a ofynir gan y gyfraith heb fod yn euog o anwiredd; a chan ystyried fod y cyfryw ymgyfathrach rhwng cyfneseifiaid yn ddiammheuol yn wrthwyneb i reddfau puraf a mwyaf llednais ein natur, ac yn peri canlyniadau niweidiol i iechyd, iawn drefn, cysur, a moesoldeb cymdeithas, ac felly yn cael ei wahardd nid yn unig yn ein gwlad ein hunain, ond fel yr ydym yn credu ym mhob gwlad Gristionogol arall; ein bod gyda gofid dwys yn awr yn dadgan nad yw y brawd a enwyd i fod yn weinidog mwyach yn ein mysg."

Llongyfarchwn y gymdeithasfa am siarad o honi mor groew dros gyssegredigrwydd cyfraith gwlad a syniad moesol Cristionogaeth byd o barth cyssegredigrwydd priodas. Gan eu bod wedi gallu pasio y penderfyniad uchod mewn "dystawrwydd a difrifoldeb mawr," rhaid nad oedd yr aelodau Cymreig siaradus, Mr. S. Evans, Mr. T. E. Ellis, a'r aelod parablus dros fwrdeisdrefi Arfon ddim yn bresennol i *rwystro*, fel y bu iddynt rwystro ffordd dysgyblaeth Eglwysig yn y Senedd. Gobeithiwn weled penderfyniad eto o gymdeithasfa Arfon yn galw ar eu cynnrychiolydd yn y Senedd fod cystal a sefyll o'r neilldu a pheidio rhwystro rhyddid yr Eglwys i ddysgyblu, heb hawlio "*black mail*" o'i gwaddoliadau. Fe ŵyr pob dyn fod angen dysgyblaeth ym mhlith pob cyfundeb crefyddol; ac fe ddylai moddion dysgyblaeth fod yn rhad ac yn hwylus, tra ar yr un pryd yn rhoddi pob cyfleusdra i'r cyhuddedigion amddiffyn eu hunain.

FFORDD NEWYDD I DALU DYLED ADEILADAU CREFYDDOL.

Pasiwyd y penderfyniad canlynol yng nghymdeithasfa Pwllheli:—"1. Fod ymgais neillduol yn cael ei wneyd trwy ein holl eglwysi i dalu dyled ein

Digitized by Google

capelau, a'n bod yn dechreu ar y gorchwyl yn Ionawr, 1892. 2. Fod dymuniad ar i'r chwiorydd, y bobl ieuainc, a'r plant yn ein heglwysi i ymgymmeryd â'r gwaith o gasglu tuag at ddilëu y ddyled, a chyflawnder o lyfrau casglu yn cael eu darpar erbyn diwedd y flwyddyn hon. 3. Fod *medal* aur yn cael ei rhoddi yn wobr i'r sawl gasglo fwyaf mewn blwyddyn drwy yr holl gyfundeb, a *medal* arian o fewn cylch pob cyfarfod misol, a *medal* arall, dosbarth 3ydd, i bob un gasglo 1p. neu ychwaneg mewn blwyddyn. 5. Fod y gymdeithasfa a'r cyfarfod misol i ofalu na byddo un eglwys yn cael caniatâd i dynu y cyfundeb i ddyled o hyn allan."

Mae y dull uchod yn debyg iawn i gasglu arian ar *gommission*. Gresyn na byddai yn ddichonadwy cynnal crefydd Crist ar seiliau llai daiarol ac anianol na chymhellion y gweled gan ddynion. Os o'r byd hwn y tardd y cymhelliad, yma yn unig y ceir y wobr.

### BRAWDOLIAETH Y PLENTYN SANCTAIDD.

Derbyniasom y cynllun canlynol o gerdyn ar gyfer brawdoliaethau Eglwysig pobl ieuainc oddi wrth y Parch. M. J. Hughes, curad Brymbo. Amcan neillduol y frawdoliaeth ydyw ymdrechu adeiladu cymmeriad a buchedd dduwiol ar seiliau cyfammod gras, fel ei gosodir allan mor oleu yng Nghatecism yr Eglwys. Dewiswyd dau golect o'r Llyfr Gweddi yn weddïau dyddiol. Cymmerasom yr hyfdra o newid dau air yn y colect am ddydd Gwyl y Gwirioniaid am eu bod wedi newid eu hystyr. Mae y cyfnewidiad mor angenrheidiol fel nad oes angen dadleu drosto. Credwn fod y cynllun o frawdoliaethau i ddysgu gwir dduwinyddiaeth Eglwysig yn llwyr angenrheidiol yng Nghymru, ac i ymarfer yr ieuainc mewn gweddi feunyddiol a buchedd sanctaidd.

Dyma sylwedd cerdyn y frawdoliaeth :—

"*Brawdoliaeth y Plentyn Sanctaidd.*

Amcan :—Dysgu Catecism yr Eglwys yn gysson ac ymarferol.

Enw

*Rheolau.*

1. Gweddïau i'w harfer bod dydd.

✠ Yn enw y Tad, a'r Mab, a'r Ysbryd Glân. *Amen.*

Hollalluog Dduw, yr hwn o enau plant bychain a rhai yn sugno, a beraist nerth, ac a wnaethost i blant dileferydd dy ogoneddu trwy farw ; marweiddia a lladd bob rhyw ddrygioni ynom, a nertha ni felly â'th ras, fel trwy fuchedd ddiniwed a ffydd ddiysgog hyd angeu, y gogoneddom dy enw bendigedig, trwy Iesu Grist ein Harglwydd. *Amen.*

Hollalluog Arglwydd a thragwyddol Dduw, ni atolygwn i ti fod yn wiw genyt unioni, sancteiddio, a llywodraethu ein calonau a'n cyrff yn ffyrdd dy ddeddfau ac yng ngweithredoedd dy orchymmynion ; fel, trwy dy gadarnaf nodded yma ac yn dragwyddol, y bôm yn gadwedig gorff ac enaid, trwy ein Harglwydd a'n Hiachawdwr Iesu Grist. *Amen.*

Ein tad, yr hwn wyt yn y nefoedd, sancteiddier dy enw. Deued dy deyrnas. Bydded dy ewyllys ar y ddaiar, megys y mae yn y nefoedd. Dyro i ni heddyw ein bara beunyddiol. A maddeu i ni ein dyledion, fel y maddeuwn ni i'n dyledwyr. Ac nac arwain ni i brofedigaeth ; eithr gwared ni rhag drwg: canys eiddot ti yw'r deyrnas, a'r gallu, a'r gogoniant, yn oes oesoedd. *Amen.*

2. Dysgu yn ddyddiol Gatecism yr Eglwys, myfyria arno, a'i ymarfer.

Rhaner ef yn dair rhan—

Y mis cyntaf.—Addunedau Bedydd, y Credo, a Gweddi yr Arglwydd.

Ail fis.—Y Deg Gorchymmyn a dyledswydd at Dduw ac at fy nghymmydog.

Y trydydd mis.—Sacramentau Sanctaidd Bedydd a'r Cymmun Bendigaid.

3. Dychwelyd y *card* wedi llenwi colofnau y cyfrifon o gynnilo, a rhoddi o'r neilldu arian, at brynu llyfrau da, i offeiriad, ficer, neu gurad y plwyf."

Fe roddir tair colofn fechan yn niwedd y cerdyn i'r aelodau gadw cyfrifon o ffrwyth eu cynnildeb a darbodaeth.

Byd siwr, cymmerir pob cyfleusdra drwy gyfarfodydd wythnosol, misol, a chwarterol i gynnorthwyo yr ieuenctyd yn eu haddysg a'u hymdrech i fyw yn sobr, yn gyfiawn, ac yn dduwiol yn y byd sydd yr awr hon. Credwn y gellir gwneyd llawer iawn o ddaioni drwy frawdoliaethau o natur y *guilds* Seisonig ; ac y mae yn llawn bryd dysgu i'r genedl sydd yn codi fod crefydd Crist yn rhywbeth amgen nag opiniynau crefyddol : ysbryd a *bywyd* yw.

### "YR EGLWYS YNG NGHYMRU."

Traddodwyd tair pregeth ar y testyn uchod yn Eglwys y Drindod Sanctaidd, Llandudno, ar Suliau y chweched ar hugain o Gorphenaf, yr ail o Awst, a'r nawfed o Awst diweddaf. Mae tôn y pregethau yn dangos mai er mwyn gwrandawyr Seisonig yn benaf y traddodwyd hwy, a da genym ddeall fod yr Eglwys yn orlawn ar y tri achlysur. Esgob Bangor oedd y cyntaf i bregethu ar Sul y chweched ar hugain o Gorphenaf. Cymmerodd ei destyn o Galatiaid v. 9 : "Y mae ychydig lefain yn lefeinio yr holl does." Hanes yr Eglwys yn yr amser a fu oedd testyn esgob Bangor. Gallwn ddweyd am gynnwysiad y bregeth mai darluniad teg ydyw o blaniad yr Eglwys yma yn ei ffurf Esgobaethol ; ei chyflawn sefydliad yn esgobaethau a mynachlogydd erbyn y chweched ganrif ; ei hannibyniaeth cyflawn o bob

Digitized by Google

dylanwad Rhufeinig. Cymmer yr esgob olwg ymarferol syml ar safle yr Eglwys Brydeinig fel "cangen o'r Eglwys Foreuol wedi ei throsglwyddo yma, y mae yn debyg, o Asia drwy Lyons, ac nid drwy Rufain." Amcan yr esgob yn y rhan yma o'i hanes oedd profi mai "Eglwys frodorol Brydeinig gynhenid gwedi tyfu gyda thyfiant y genedl, ac yn gwanychu yn nychdod y genedl, ac wedi parhau dros ganrifoedd yn gwbl annibynol a rhydd oddi wrth Rufain ydyw ein Heglwys ni." Hawlia mai hi yw mam Eglwys y wlad hon, ac mai o honi hi y deilliodd yr enwadau sydd yn awr yn honi eu hawl i warogaeth ac ufudd-dod ymlynol y Cymry.

Defnyddia yr esgob ymadroddion cryfion i ddarlunio y trais Normanaidd ar yr Eglwys drwy wthio i mewn i'w llywodraethiad estroniaid o'r cyfandir. Y mae yn wir y gwnaed yr un peth â'r Eglwys yn Lloegr gan y Normaniaid, ond credwn fod y Normaniaid a wthid gan freninoedd Lloegr i'r Eglwys yno yn well dynion ar y cyfan na'r estroniaid a wthid i Gymru dan gysgod y barwniaid.

Rhed yr esgob drwy hanes y Diwygiad a'r 150 mlynedd o lywodraeth *Gymreig* yn yr Eglwys; yna teifl gipdrem at ei dymchweliad ac ysbeiliad yn nyddiau Cromwel; ei dirwasgiad dan deyrn-lin Hanover; a deffroad y deugain mlynedd diweddaf. Caiff y Sais yn y bregeth hon grynoad byr, eglur, a chynnwysfawr o hanes yr Eglwys yng Nghymru.

*"Yr Eglwys yng Nghymru," gan y Prif-athraw Gent.*

Ar ddydd Sul yr eilfed o Awst, traddododd y Prif-athraw Gent, o Goleg St. Marc, Chelsea, bregeth i gynnulleidfa orlawn yn Eglwys y Drindod Sanctaidd, Llandudno. Cymmerodd ei destyn o lyfr y Prophwyd Ezra (v. 11): "Nyni ydym weision Duw nef a daiar, ac yn adeiladu y tŷ yr hwn a adeiladwyd cyn hyn lawer o flynyddoedd." Cynnwysiad y bregeth hon ydyw

*Yr Eglwys fel y mae yn awr.*

Olrheinia Mr. Gent y cyffelybrwydd sydd rhwng amgylchiadau yr Eglwys yn nyddiau Ezra a'i chyflwr yn yr oes hon. Taflodd ol gipdrem ar ei phlaniad yma dan y gyffelybiaeth o'r "tŷ yr hwn a adeiladwyd cyn hyn lawer o flynyddoedd;" ac yna troes at yr adeiladu presennol ac at genadaeth yr Eglwys adferedig. Cyfeiria—

1. At adeiladaeth ysbrydol yr enaid unigol—drwy ddarpariaeth yr Eglwys at feithriniad a *thwf* y bywyd ysbrydol ynddo. Elfen fawr a grymus gweinidogaeth yr enwadau Anghydffurfiol ydyw *tröedigaeth* pechaduriaid. "Heddyw, os gwrandëwch ar ei leferydd" ydyw yr udgorn-floedd barhäus uwch ben y gynnulleidfa, heb gyfartal ddarpariaeth ar gyfer tyfiant a chynnydd y saint. Y mae llawer iawn o feddylgarwch a phriodoldeb yn y syniadau yma.

2. Cyfeiria yn yr ail le at eangder maes addysg yr Eglwys fel y mae drwy drefniadau ei ffurfwasanaeth a'i chalendar yn sicrhau cymmesuredd sylw i bob athrawiaeth yn ol "cyssondeb y ffydd." Pan y dyry y Bedyddwyr bwys dirfawr ar y sacrament o Fedydd, a'r Wesleyaid ar dröedigaeth, a'r Methodistiaid Calfinaidd ar ben arglwyddiaeth Duw, gesyd yr Eglwys bob gwirionedd ger bron ei phlant yn gydbwys. Gesyd gymmesur bwys ar sacrament y Bedydd a sacrament corff a gwaed Crist—un yn gosod ger bron impiad yr enaid i Grist a chenedliad bywyd ysbrydol ynddo, a'r llall feithriniad a chynnaliad y bywyd hwnw. A'r un modd ympryd, drwy yr hwn y darostyngir y corff i Grist, ac elusengarwch, drwy yr hwn y cyssegra y Cristion ei eiddo i Dduw, a gweddi, drwy yr hyn yr offryma ei enaid i Dduw.

3. Dyledswydd fawr olaf yr Eglwys yw dwyn oddi amgylch syniad priodol am addoliad cyhoeddus y Goruchaf—ei addoliad of ym mhrydferthwch sancteiddrwydd.

*"Yr Eglwys yng Nghymru," gan Ddeon Llanelwy.*

Traddodwyd y drydedd bregeth ar y testyn uchod ar Sul, y nawfed o Awst diweddaf, oddi ar Ephesiaid iv. 15: "Eithr, gan fod yn gywir mewn cariad, cynnyddu o honom iddo ef ym mhob peth, yr hwn yw y Pen, sef Crist." Y prif feddylddrych ag sydd yn rhedeg drwy yr holl bregeth ydyw

*Unoliaeth a chynnydd Eglwys Grist.*

Nid cynnydd mewn rhif yn unig a feddylir, ond cynnydd mewn rhinwedd a pherffeithrwydd hefyd—cynnydd yng Nghrist. Moddion ei chynnydd ydyw cyfranogiad parhäus o fywyd Crist drwy breswyliad ei Ysbryd o'i mewn. Y mae ymresymiad y bregeth yn adail megys maenwaith nadd wedi ei gyflawn glymu yn annattodol, fel nad ellir rhoddi ei chynnwysiad heb ei dyfynu oll. Ar ol sylwi ar yr Eglwys yn ei llawn dwf a pherffeithrwydd, yr adenedig hil ddynol, fel ymeangiad o'r ymgnawdoliad, sylwa fod "*twf* o angenrheidrwydd yn arwyddocäu unoliaeth a didor barhâd." "Nid dwy eithr un—un corff Crist—ydyw Eglwys berffaith yn y ddychymmyg o honi yng nghyflawnder yr amser ac yn nhragwyddoldeb a'r Eglwys filwriaethus yn ei thyfiant am-

Digitized by Google

mherffaith ar y ddaiar." Ar ol manwl sylwi ar yr Eglwys oll yn y goleuni uchod, trydd y deon i ymdrin â'r Eglwys yng Nghymru, ei phlaniad, ei thwf, a'r gallu ymadnewyddol o'i mewn, a dyfyna y geiriau canlynol o eneu yr Esgob Westcott: "Ni bu y gallu yma o ymadnewyddu erioed i'w weled yn fwy amlwg a dysglaer nag yn Eglwys y wlad hon yn ystod y deng mlynedd a deugain diweddaf, ac nid yw ei effaith yn fwy yn un man nag yn yr Eglwys yng Nghymru yn yr oes hon."

Wrth gyfeirio at y symmudiad Dadgyssylltiol dywedir: "Bydd yn dda genych glywed nad oes un arwydd dychryn i'w ganfod ym mhlith Eglwyswyr Cymru wrth y bygwth o Ddadgyssylltiad a Dadwaddoliad. Ni chlywir un gwyn fod neb, nac offeiriad na lleygwr, yn cefnu ar yr Eglwys i ymuno ag enwadau crefyddol. "Attynir yr ieuenctyd, i'r rhai y mae y dyfodol yn fwyaf pwysig, i'r Eglwys yn fwy fwy," &c. "Dyblwyd rhif y clerigwyr yr hanner canrif ddiweddaf, ac nid oes ball ar sel bychan na mawr o gasglu rhoddion gwirfoddol at adeiladu Eglwysi newyddion a'u gwaddoli."

Gwedi sylwi ar waith presennol yr Eglwys, trydd y deon i sylwi ar angenion newyddion yr oes yng ngwyneb dylifiad i mewn i Gymru syniadau newyddion a moddion addysg secularaidd uchel. Mae y tair pregeth yn deilwng o ledaeniad a darlleniad helaeth Seison a Chymry.

### GWADDOLIADAU GWLADWRIAETHOL CAPEL DR. CROSSKEY, BIRMINGHAM.

(*Cawn yr adroddiad a'r sylwadau canlynol yn y "Birmingham Daily Gazette" am Gor. 17fed, 1891.*)

"Yn y flwyddyn 1791 dinystriwyd capel newydd Moor Street, Birmingham, gan derfysgwyr afreolus; a chan na allai yr ymddiriedolwyr brofi fod y capel wedi ei gofrestru yn ol gofynion y gyfraith dan ddeddf goddefiant Gwilym a Mari, methasant â chael iawn gan y cynghor trefol drwy gyfraith. Pan ddeallodd y Brenin Sior III. hyny, parodd i ymchwiliad cael ei wneuthur, ac archodd i arglwyddi y trysorlys dalu 2000p. o'r cyllid cyhoeddus i ymddiriedolwyr y capel, yr hyn a wnaed yn Awst, 1792. Yn unol ag archiad ei fawrhydi, defnyddiwyd y ddwy fil punnau tuag at ailadeiladu y capel, yr hwn a orphenwyd ar y draul o dair mil." Dyma hanes adeiladu capel Moor Street yn ol adroddiad y gynnulleidfa yn 1844.

Yn y flwyddyn 1861, gwerthwyd y capel i'r Pabyddion gan yr Undodiaid neu Anghydffurfwyr Undodaidd, y rhai oeddynt bellach yn rhy foneddigaidd i ymgynnull yn Moor Street. Cymmerwyd arian gwerthiant y capel a'r safle yr oedd arno i adeiladu capel ardderchog y Dr. Crosskey uwch ben y *canal* yn Broad Street, yr hwn a lenwir yn awr ag addolwyr o'r dosbarth gyfoethocaf yn Birmingham. Nid ydym yn awgrymu mewn un modd fod dim allan o le na dianrhydeddus yn yr holl symmudiadau hyn; ond synem yn fawr weled enw y Dr. Crosskey ym mysg y dadleuwyr dros ddadwaddoliad yr Eglwys. Pe bai angen testyn i siarad am "eiddo gwladwriaethol," a "dirwasgu arian allan o chwys wyneb y gweithwyr" a'i roddi at "gynnal crefydd y cyfoethogion, dyma le i wneuthur hyny gyda'r un graddau o gyfiawnder ag y gwneir â'r Eglwys. Gobeithiwn weled pob enwad ag y dyry cyfraith gwlad iddynt hawl daliad eiddo ac amddiffyniad eiddo, yn tynu yn ol eu dwylaw ysbeilgar oddi wrth waddol yr Eglwys. Nid gwaddoli capel newydd Moor Street a wnaeth y Brenin Sior III., ond digolledu yr ymymddiriedolwyr ar ol trais y *mob*, gan i'r gyfraith *fethu* â'i amddiffyn. Gofynwn yn onest i Dr. Crosskey a'i gyfeillion, pwy sydd yn myned i ddigolledu offeiriaid Cymru o'r *miloedd* punnau ag y mae trais y *mob* yn niffyg nawdd y gyfraith wedi eu hamddifadu o honynt?

### CYNGRES EGLWYSIG 1891.

Ar ddydd Mawrth, y 6fed o'r mis hwn, fe agorir y gyngres Eglwysig am y flwyddyn hon yn Rhyl, a chedwir cyfarfodydd am bedwar diwrnod. Dyma yr unfed gyngres ar ddeg ar hugain er pan ddechreuwyd y cynghorau mawrion hyn, a dyma y drydedd waith i'w cynnal yng Nghymru. Yn sicr, y mae Cymru fechan yn cael sylw mawr yn y byd crefyddol yn gystal a barddonol. Nid ydyw y Dywysogaeth yn gwneuthur i fyny yn agos i'r ugeinfed ran o Loegr, ond dyma hi yn cael y ddegfed ran o sylw y gyngres. Nid yn unig telir sylw neillduol i Gymru gan y gyngres Eglwysig, eithr gwneir yr un peth gan undebau y Bedyddwyr ac Annibynwyr. Tystia y ddau enwad Anghydffurfiol hyn eu bod yn un frawdoliaeth yng Nghymru a Lloegr, a daeth cynnrychiolwyr y ddau enwad eleni drosodd i Gymru i gynnal cyfarfodydd eu hundebau, ac i led ymosod ar yr Eglwys yng Nghymru. Onid oedd yma gydnabod mai Cymru ydyw yr hyn a eilw y Sais mewn iaith filwrol, "*the key of the position*," ym maes milwriaeth grefyddol. Yma y mae agoriad y pyrth i feddiannu y ddinas, meddai y cynnadleddau Ymneillduol. Ond er y gobeithiwn na wneir un rhith o ymosodiad ar Ymneillduaeth Gymreig yn y gyngres yn Rhyl,

Digitized by Google

dyry ei hymddangosiad yno ddystaw awgrym o gefnogaeth i'r Eglwys yng Nghymru. Rhoddir awgrym o nerth wrth gefn a chydymdeimlad, a chaiff Eglwyswyr Lloegr y fantais o weled yr Eglwys yn ei gwisg Gymreig gartref. Credwn y bydd cyfarfod prydnawn dydd Iau, o hanner awr wedi dau i bump, yn un hynod o ddyddorol i'r Seison. Darllenir papyr ar ganiadaeth Eglwysig gan y Parch. Owen Jones, Pentrefoelas, a dysgwylir côr Cymreig o bedwar cant o leisiau i *egluro* yr anerchiad. Mae gwybodaeth fanwl a hir brofiad y Parch. Owen Jones yn wystl o gyfarfod rhagorol, a cheir yn Mr. T. E. Griffith gynnorthwywr medrus a gwresog iddo. Gan fod adroddiadau cyflawn wedi ymddangos yn y newyddiaduron dyddiol ac wythnosol am waith y pedwar diwrnod, gydag enwau y llefarwyr, nid gweddus llenwi dalenau yr *Haul* ag ailadroddiad o honynt. Mae darpariaethau mawrion wedi cael eu gwneuthur yn Rhyl ar gyfer croesawu dyeithriaid, yn gystal ag er cario ym mlaen weithrediadau dyddiol y gyngres, a dilys genym y bydd yno gynnulliadau lluosog teilwng o ysbryd crefyddol ac ymofyngar y genedl.

Hwyrach y dylid dweyd gair ar un pwnc a ddygwyd i'n sylw fwy nag unwaith, a hyny yw yr ychydig le a gaiff Cymraeg ynddi. Un cyfarfod hollol Gymreig a ddarperir. Y rheswm o hyn ydyw mai cyngres gyffredinol yr Eglwys yn Lloegr a Chymru ydyw. Y mae rhif y Seison o leiaf yn bump ar hugain am bob un o honom ni; a lle y mae yr anghyfartaledd mor fawr, credwn fod un cyfarfod llawn i siarad ar bynciau Eglwysig yn Gymraeg, a rhan o gyfarfod i ymdrin â'r gerddoriaeth Eglwysig ac i ganu yn Gymraeg, yn gyfran digon haelionus i ni. Pan ddelom at ein cynnadledd Esgobaethol, bydd genym hawl i'r rhan oreu o amser hon yn Gymraeg. Bu bron i ni anghofio am y bregeth Gymraeg a draddodir nos Iau gan esgob Bangor, pryd y cenir y gwasanaeth gan gôr Cymreig Bethesda.

ARHOLIADAU AM DRWYDDEDAU UWCHRADDOL, CANOLRADD, A MASNACHOL RHYDYCHAIN A CHAERGRAWNT.

Da genym weled yr ysgolion Cymreig—Coleg Crist, Brycheiniog, a Choleg Llanymddyfri—yn sefyll mor uchel yn yr arholiadau hyn. Allan o 72 o ysgolion, un ar ddeg a saif yn uwch yn rhif eu trwyddedau na Llanymddyfri; a phan ystyriom fychander rhif yr ysgol hon o'i chymharu ag ysgolion mawrion Lloegr, y mae ei hanrhydedd yn fawr. Eto cawn fod allan o'r 16 a ennillasant drwyddedau, un ar ddeg wedi dangos rhagoroldeb (*distinction*) yn eu papyrau. Yr un modd ennillodd *Coleg Crist, Brycheiniog,* ddeg trwydded, naw o honynt yn rhagorol. Mae y cyfartaledd yma yn uwch nag odid un o'r ysgolion Seisonig, oddi gerth Rugby. Teilynga y ddwy ysgol hyn y gefnogaeth oreu.

"ANERCHIAD YR EGLWYS.

"Derbyniasom gopi o adroddiad blynyddol eglwys a chynnulleidfa y Garn, sir Aberteifi—y cyntaf o'r cyfryw adroddiadau a dderbyniasom o'r De: a chan fod sylwadau y gweinidog, y Parch. T. J. Morgan, o natur mor amserol, yr ydym yn gwneyd y dyfyniadau canlynol allan o honynt:—

"'Y fath allu yw eglwys Dduw i gasglu arian! A'r gallu rhyfeddol yma sydd yn cyfansoddi un o beryglon mwyaf yr eglwys. Wrth ei arfer, onid ydym yn myned yn hynod beiriannyddol? Ac onid ydym mewn perygl gwastadol i gael ein meddiannu gan y syniad mai peiriant i gasglu arian ydyw yr eglwys? Onid ydym yn rhy dueddol i brisio gwerth aelodau eglwysig yn ol maint eu cyfraniadau arianol, ac i ddyhëu am ychwanegiadau yn y rhif er mwyn gallu cyfarfod y galwadau arianol yn fwy rhwydd? Y mae natur yr eglwys fel cymdeithas ysbrydol, ac amcan yr eglwys fel cyfrwng i ddylanwadau dwyfol weithredu ynddi a thrwyddi, i lunio pobl briodol i'r Arglwydd, yn myned yn rhy bell o'r golwg genym. Oni siaredir am yr eglwys fel 'ein heglwys ni' yn yr un ystyr bron ag y siaredir am 'ein clwb ni?' ac onid arferir yr un hyfdra mewn cario allan ein hewyllys ein hunain yng nglŷn â gweithrediadau yr eglwys ag a wneid gydag unrhyw gymdeithas ddaiarol a ffurfiesid genym? Ac y mae hyn, mewn effaith, yn wadiad ymarferol mai corff Crist yw yr eglwys—mai Efe yw y pen, ac mai ei ewyllys Ef gan hyny sydd i fod yn oruchaf ym mhob peth yr eglwys, a'i Ysbryd Ef sydd i nodweddu ei holl weithrediadau.'"

Cymmerasom y dyfyniad uchod allan o'r *Goleuad* am Ebrill yr eilfed diweddaf, a darllena yn rhyfedd o'i gymharu â'r cyfeiriad sydd mewn colofn arall o'r *Haul* at gymdeithasfa Pwllheli yn cynnyg bathodau aur ac arian am gasglu at yr achos crefyddol; ac ar yr un pryd pan gymharom y rhybudd uchod o "beryglon mwyaf yr Eglwys" â'r cymhellion parhäus a wneir i ysbeilio gwaddol yr Eglwys, gan ei thaflu hithau i bair yr un peryglon.

ARGLWYDD SELBORNE AR DDADGYSSYLLTIAD YNG NGHYMRU.

Ysgrifenwyd y llythyr canlynol gan Arglwydd Selborne at Mr. Joseph Ellarby o Carlisle mewn atebiad i ymholiad oddi wrtho ar bwnc y "cadgyrchiad Cymreig" yn erbyn yr Eglwys:—

Blackmoor, Petersfield,
Medi 12fed, 1891.

Syr,—Y mae y cynhyrfu am ddadgysylltu yr Eglwys yng Nghymru o angenrheidrwydd yn arwyddocäu dadgyssylltiad cyffredinol Eglwys Loegr, a dim llai, gan fod yn amlwg y teimlir ei bod yn haws llwyddo drwy ranu yr ymosodiad, wrth

gymmeryd Cymru mewn llaw yn gyntaf. Nid oes dim Eglwys wahanedig yng Nghymru, fel ag ydoedd yn yr Iwerddon, ac y sydd yn Scotland; pedair esgobaeth yn unig o Eglwys Loegr, a'r rhai hyny y pedair esgobaeth henaf yn yr Eglwys, gan eu bod yn cynnrychioli yr Eglwys Brydeinig Foreuol, ydynt, ac mewn ystyr hynafiaethol y maent, yn fwy dyddorol. Yr ydwyf wedi ymdrin â'r pwnc yma ym mhennodau olaf fy Amddiffyniad i Eglwys Loegr yn erbyn Dadgyssylltiad a Dadwaddoliad, ac ni allaf yn awr ond cyfeirio at yr hyn a ddywedais yno, ac at yr hyn a ddywedodd Mr. Gladstone yn 1870, fel y dyfynir ef yno. Nid ydyw terfynau y pedair esgobaeth hyn yn cyd-derfynu â deuddeg sir Cymru. Y mae esgobaeth Llandaf yn cofleidio sir Fynwy. Y mae deuddeg plwyf yn perthyn i esgobaeth Llanelwy yn sir Amwythig, a rhanau o dri phlwyf arall o'r un esgobaeth yn sir Gaer. Ar y llaw arall, y mae pedwar plwyf ar ddeg o Gymru yn perthyn i esgobaeth Seisonig Henffordd, a rhan o blwyf Cymreig arall yn esgobaeth Lichfield. Am y gefnogaeth a roddes Mr. Gladstone i'r symmudiad hwn gwell genyf beidio dweyd dim. Yr ydych yn gofyn i mi a ydwyf yn meddwl y gall y symmudiad hwn lwyddo os bydd i'r Eglwyswyr Seisonig fel rheol ei wrthwynebu, fel y gweddai i'r rhai sydd yn caru eu Heglwys (canys dyna fel yr wyf yn deall eich geiriau). Nid wyf brophwyd, ac ar y pwnc hwn a llawer pwnc arall gallaf ymddiried i'm cydwladwyr eu bod yn gwybod gwerth y sefydliadau daionus a ddaethant i'w meddiant oddi wrth eu hynafiaid, uwch law ac ar wahân i'r canlyniad (yr hwn sydd yn llaw Duw) a all ddygwydd. Ond gallaf fi ddweyd yn hyderus, os gwna Eglwyswyr Lloegr eu dyledswydd, y mae o fewn eu gallu *rwystro* llwyddiant y cadgyrchiad hwn, a'r holl ganlyniadau a ddilynent ei lwyddiant yn erbyn yr Eglwys; a dymunwn yn fawr obeithio y bydd i'w gwrthwynebiad gael ei ddwyn ym mlaen mewn dull mwy teilwng o enw Cristion na'r ymosodiad.

Ydwyf, eich ufudd was,

SELBORNE.

Dywed Mr. Lloyd George, A.S., fod yr enwadau Cymreig wedi bod am ugain mlynedd yn pasio penderfyniadau gweigion, ond eu bod yn awr yn ymwregysu i'r *frwydr derfynol*. Byddai yn dda gan ein henaid feddwl a gobeithio hyny. Yr ydym mor ymwybodol o niweidiau mawrion ymraniadau Eglwysig a chenedlaethol, fel y llawenhäem wrth feddwl terfynu einioes mewn awyrgylch yn anadlu tangnefedd cenedlaethol a chrefyddol Cymru. *Y mae Cymru yn rhanedig am fod y person unigol yn caru ei hun yn fwy na'i genedl.* A dyma y syniad sydd wrth wraidd ein henwadaeth. Pan y deuwn i allu amgyffred nas gallwn fod yn fawr ond drwy ymgolli fel gronynau yn yr oll, fe fydd gwell gwedd wladol a chrefyddol arnom.

### YMGEISWYR YMNEILLDUOL AM URDDAU ESGOBOL.

Derbyniasom y llythyr canlynol oddi wrth weinidog Eglwysig yn Lloegr ag sydd er ys amser yn offeiriad plwyf yn Lloegr ac yn llenor Seisonig gwych. Derbyniodd y boneddwr hwn ei addysg foreuol yng Nghymru; aeth i Loegr yn weinidog Ymneillduol; yno troes at yr Eglwys, a derbyniodd urddau esgobol; Ymddangosodd y llythyr yn wreiddiol yn y *Daily Gazette*, ac anfonodd yr awdwr gopi i swyddfa yr *Haul*:—

Syr,—Deil y Radicaliaid i ymosod ar esgob Llanelwy am iddo amlygu ddarfod i un ar bymtheg o weinidogion Ymneillduol appelio ato am urddau sanctaidd. Mewn hunan-amddiffyniad y mynegodd yr esgob hyn, pan ei cyhuddid gan y Dadgyssylltwyr o osod o flaen gweinidogion Ymneillduol gymhellion annheilwng i fyned drosodd i'r Eglwys. Amddiffynodd ei hun drwy ddweyd mai un yn unig a dderbyniasai o'r un ar bymtheg ymgeiswyr.

Nid oes un esgob ar y fainc nad ydyw yn derbyn y fath appeliadau yn barhäus. Gweinidog Ymneillduol oeddwn i, ac ordeiniwyd fi ar yr un amser a gweinidog Ymneillduol arall gan esgob ag y dywedid y byddai yn ordeinio o leiaf un gweinidog Ymneillduol bob tri mis. Dros lawer chwarter ar ol i mi dderbyn urddau byddai gweinidog Ymneillduol ym mysg y rhai a urddid, ac ar un achlysur un o'r rhai oedd darllenwr yr Efengyl. Bu i luaws o weinidogion Ymneillduol appelio ataf am gynghor a chyfarwyddyd gyda golwg ar urddau esgobol. Y mae un gweinidog Annibynol o safle gyhoeddus, heb fod yn neppell o Birmingham, yn awr mewn gohebiaeth â mi gyda'r amcan yma. Yr wyf yn gydnabyddus ag enwau ugeiniau o gyn-weinidogion Ymneillduol ag ydynt yn awr yn offeiriaid o'r Eglwys Sefydledig. Yr wyf hefyd yn hysbys o enwau rhai gweinidogion Ymneillduol a fuont aflwyddiannus yn eu hymgais am urddau esgobol. Chwarter canrif yn ol, pan oeddwn yn y coleg, yr oedd tueddiad yr efrydwyr mor fawr at Gydymffurfiaeth yr Eglwys, fel ag yr anfonwyd am weinidog Annibynol enwog o Lundain i'n hanerch ar egwyddorion Anghydffurfiaeth. Dylai y Radicaliaid ydynt mor haelionus yn eu hymosodiadau arnom ni Eglwyswyr, ymdrechu bod yn gysson â hwy eu hunain, a gochel bod yn rhy uchel eu canmoliaeth i'r ambell offeiriad a ddygwyddo unwaith yn y ddwy flynedd droi ar ddisberod oddi wrth yr Eglwys at dorthau a physgod, yr hyn a gyfiawn eilw yr *Independent* am yr wythnos hon yn "gyfoeth dirfawr" Ymneillduaeth.

Yr eiddoch yn barchus,

CYN-WEINIDOG YMNEILLDUOL.

*Medi 9fed, 1891.*

Gadäwn i'r llythyr uchod siarad drosto ei hun. O'n rhan ein hunain, ni welsom fwy o anghyssondeb erioed nag yn y Rhyddfrydwyr ac uchel-bleidwyr y "farn bersonol" hyn yn poeri eu dirmyg ar bob Ymneillduwr a feiddia farnu drosto ei hun mewn un modd. Gan fod newid barn yn drosedd mewn Ymneillduwr, rhaid y tybia y Radical mai creadur greddf ac nid rheswm yw.

### EGLWYS NEWYDD ABERMAW.

*Cwymp y clochdy.*

Y mae yn wir ofidus genym gofnodi cwymp clochdy Eglwys newydd ardderchog Abermaw. Ymddengys fod y ddaiar o dan ei sylfeini wedi gostwng, ac ymollyngodd y clochdy ar ogwymp ar gorff yr

Digitized by Google

Eglwys, gan falurio rhan fawr o'r to, y trawstiau, a'r holl addurnwaith o'i mewn, a dadymchwel ac yssigo llawer o'r muriau. Bydd y golled fe dybir rhwng wyth a deng mil o bunnoedd. Cymmerodd y trychineb le yn y nos, a thrwy drugaredd ni niweidiwyd neb. Cydymdeimlir yn fawr â'r Parch. Edward Hughes, y ficer llafurus. Yr oedd newydd gychwyn oddi cartref am wythnos o orphwys, gan ymhyfrydu meddwl fod ei waith mawr ar ben pan y daeth y brofedigaeth hon ar ei warthaf.

ADERYN Y TO.

Pan yn myned oddi amgylch yn ystod dau fis y cynauaf, nis gellir peidio sylwi ar y difrod a wna mân adar ar gonglau bychain o yd, yn enwedig yn agos i bentrefydd, a rhoddir y bai ar adar y to am y rhan helaethaf o'r difrod. Ceir *sparrow clubs* mewn rhai manau i ddinystrio yr adar hyn; ond daw y naturiaethydd enwog, y Parch. F. O. Morris, allan i amddiffyn yr adar siaradus hyn, ac i ddangos y mawr wasanaeth a wnânt i'r amaethwyr a garddwyr. Gwedi profi mai dros ychydig iawn o amser y mae aderyn y to yn byw ar yd meddal, cynnyrch llafur dyn, dengys mai ei ymborth naturiol a beunyddiol yw mân bryfaid, lindys, abwydion, a hadau chwyn. Bu yn gwylio par o adar y to yn porthi pump o gywion am un diwrnod, pryd y dygwyd pymtheg o lindys i bob un o'r cywion. Y mae pump pymtheg neu $5 \times 15 = 75$ o lindys y dydd ar gyfer un nythaid o gywion. Dywed fod aderyn y to yn magu tri neu bedwar nythaid o gywion bob blwyddyn. Rhaid i'r hen adar borthi y cywion am agos i fis ar gyfartaledd, neu am tua 90 diwrnod rhwng yr oll; felly defnyddia dau aderyn y to 6750 lindysyn i fagu eu teulu bob blwyddyn. Ymdrechodd gyfrif adar y to mewn plwyf bychan yn Norfolk, a chafodd yno 800. At gynnal y rhai hyn gofynid am 640,000 o lindys; ac ystyriai fod yr adar hyn mewn un sir yn difa dros *fil o filiynau* o lindys, sef digon i ddyfetha holl lysiau gwyrddion y sir. Cafodd adeg arall 321 o hadau chwyn yng nghropa un o'r adar hyn. Teimla F. O. Morris fod adar y to yn fendith i'n gwlad.

---

## GEMAU Y BEIRDD.

Y BEDD.

Du-oer gell dywell daiar—yw'r beddrod—
Duw yno'n gwarchod—dyn yn ei garchar.
*Anadnabyddus.*

YR HAUL.

DRWY'R uchelderau goleu pe gwelwn,
Onid ei wenau yno adwaenwn,
Ger nef y nefoedd? a phe nofiwn
Efo'i wyn ddylif, ai oni ddaliwn
Isterau, nes y taerwn—fod haul clau
Yn gwawrio'i wenau ar gaerau annwn?

ETO.

A oes dall heb gael allan—enw'r Ior,
Tra yn nhrem yr huan
Mae'i enw yn fflamio'i hunan?
Darllened o ar y llen dân.
*Pedrog (allan o Awdl Abertawe).*

BEDDARGRAFF GWRAIG IEUANC.

Dyma fedd, annedd ddinod,—un ieuanc
Newydd adwaen priod;
A'i baban tlws heb wybod
Am un bedd na mam yn bod.—*Derwenog.*

DUW YN MYNED I GREU.

Yr oedd defnyddiau'r bydoedd yn ei law,
A ser yn fflachio yn ei ryfedd drem,
A nef yn tyfu fel o'i wenau drud;
Ac amser fel colomen wèn ddistaen
Yn gorphwys ar ei fynwes: o'i flaen 'roedd
Y gwagle oll yn dywyll, ond o'i ol
'Roedd llif goleuni'n ffrydio byth o Dduw,
Yn ddefnydd heuliau iddo ar ei daith.
*Ben Davies (Y Dechreuad).*

Y WYLAN AR Y DON.

Yr wylan ar fôr heli—yn dawel
Fordwya heb ofni;
Edn hardd ar y don yw hi:
Edrychwch—mae'n ymdrochi!
*Gwilym Ardudwy.*

WRTH FYNED I GYSGU.

I ti, Dad, eto dodaf—ogoniant,
Ac yna mi gysgaf;
A fy nheulu cu, os caf,
Dan len dy aden dodaf.
*Eben Fardd.*

ER COF.

Mae hiraeth arnom am ei gwên,
Rhy fach o wenau fedd y byd;
Rhy fach, hyd yma, fedd y nef,
Er fod y nef yn wên i gyd.
*Eifion Wyn.*

Digitized by Google

IACHAWDWRIAETH.

O! iachawdwriaeth, blentyn Crist,
  Ffrwyth y bwriadau hen!
Gwin cariad yw dy boenau trist,
  A bywyd yw dy wên.

O iachawdwriaeth! hanfod wen,
  Er wedi'th eni o waed!
Cymhlether odlau gylch dy ben—
  Mae Satan dan dy draed!

*Golyddan.*

Y GRAIG.

Y graig holltawg mewn gwisg o rug gwylltion,
Yn llwydni awyr sy'n lledu'n eon;
Fry i'w gwyneb dring y geifr gwynion,
Hyf a diofnus uwch yr hafnau dyfnion;
Er a gawodwyd o fellt-ergydion
Yma i'w hystlys gan y tymmestlon,
Erys ei gruddiau oerion—lun a maint—
Fyth yn eu henaint 'run fath yn union.

*Taliesin Hiraethog.*

---

## MANION.

Gall y galon fod yn glwyfus heb i'r llygad fod yn wlyb.

Cyfeiliorni a ddengys y dynol, ond maddeu y dwyfol.

Trwy ddiffygion ereill y mae dynion doeth yn gwella yr eiddynt eu hunain.

Pan y mae Duw yn myned i lenwi angenion enaid, Efe a'i gwaghâ yn gyntaf; pan yn myned i gyfoethogi enaid, Efe a'i tloda yn gyntaf; pan yn myned i ddyrchafu enaid, Efe a'i darostwng yn gyntaf; a phan yn myned i achub enaid, Efe a'i gwna yn deimladwy o'i drueni, ei angenion, a'i euogrwydd.—*Roberston o Brighton.*

Y mae Duw yn cuddio ei Hunan a'i ragluniaeth tu ol i ail achosion.—*Robertson.*

Bydded gweddi yn agoriad i'r boreu ac yn glo i'r nos.

Yng nghladdedigaeth Mosos, nid yn unig claddwyd y corff, ond claddwyd hefyd y bedd a'r fynwent. Yr un fath yn union y cladd Duw feiau.—*Howel Harris.*

Cariad yw deddf fawr llywodraeth Crist, a gwers fawr ei ysgol.

Hyd yn oed yn amser adfyd, gobeithia. Mae genym yr un haul, yr un awyr, a'r un ser: yr un nefoedd, yr un gwirionedd, a'r un dyledswyddau. Gobeithia, gan hyny, yn Nuw.—*Goodell.*

Pa etifeddiaeth sydd arnom ei hangen a'r nad ydyw yn Nuw? Ai etifeddiaeth eang? Mae Duw yn anfeidrol. Ai etifeddiaeth sicr? Mae Ef yn anghyfnewidiol. Ai un barhäus? Tragwyddoldeb yw Efe.

---

## PENODIAD MR. HELM.

Dymunir arnom hysbysu fod Cymdeithas Amddiffyniad yr Eglwys wedi penodi Mr. W. E. Helm fel ei hysgrifenydd yng Nghymru. Gellir ysgrifenu ato yn Granville Street, Shrewsbury.

Bydd yn dda ganddo dderbyn oddi wrth unrhyw un a fyddo cystal a'u hanfon iddo:—

1. Gwybodaeth am waith a chynnydd yr Eglwys.
2. Gwybodaeth am yr ymosodiadau ar yr Eglwys.
3. Pigion allan o newyddiaduron.
4. Ceisiadau am ddarlithiau, cyhoeddiadau, &c.
5. Tanysgrifiadau a chyfraniadau tuag at y Gronfa Gymreig.

---

## Y LLITHIAU PRIODOL, HYDREF, 1891.

| Dydd | Suliau a Gwyliau | Boreu | Prydnawn. |
|---|---|---|---|
| 4 Sul | 19 Sul gwedi'r Drindod | Esec. xiv. | Esec. xviii. or xxiv. 15 |
| | | Eph. iv. 25 to v. 22 | Luc vi. 20 |
| 11 Sul | 20 Sul gwedi'r Drindod | Esec. xxxiv. | Esec. xxxvii. neu Dan i. |
| | | Col. i. 21 | Luc ix. 51 hyd x. 17 |
| 18 Sul | 21 Sul gwedi'r Drindod | Daniel iii. | Dan. iv. neu v. |
| | | 1 Thes. iii. | Luc xiii. 18 |
| | St. Luc, Efeng. | Esai iv. | Ecclus. xxxviii hyd 15 |
| 25 Sul | 22 Sul gwedi'r Drindod | Dan. vi. | Dan. vii. 9 neu xii. |
| | | 1 Tim. i. 18 a ii. | Luc xviii. hyd 31 |
| 28 Mer. | St. Simon a St. Judas Ap. a Mer.* | Esai xxviii. 9—17 | Jer. iii. 12—19 |
| | | 1 Tim. v. | Luc xix. 28 |

* Credo Sant Athanasius.

---

CARMARTHEN:
Printed and published by W. SPURRELL & SON, at their Printing Office, situate and being at No. 37, King-street, in the Parish of Saint Peter, in the County of the Borough of Carmarthen, on Wednesday, the 30th of September, 1891.

Digitized by Google

// YR HAUL.

**Ail Gyfres Caerfyrddin.**

"YNG NGWYNEB HAUL A LLYGAD GOLEUNI."
"A GAIR DUW YN UCHAF."

RHIFYN 83. TACHWEDD, 1891. CYF. VII.



## Y DRUMMER TEYRNGAROL.

MEWN amser o ddyoddefiadau a therfysgoedd fe ymddengys yr hyn sydd oreu a gwaethaf yn y cymmeriad dynol, fel ag y bydd llifogydd mawrion yn rhai o afonydd mawrion Deheudir Affrica yn cludo llaid a mân ronynau aur i waered i'w canlyn. Amser ffrwythlawn yn ei doraeth o ddrwg a da oedd blwyddyn y gwrthryfel Gwyddelig mawr, 1798. Yr oedd ffyrnigrwydd y gwrthryfel hwnw a'i erchyllderau o bob tŷ yn greulawn dros ben.



Yr oedd y rhan fwyaf o filwyr rheolaidd Lloegr ar wasgar yn yr India a Môr y Canoldir, rhanau o Ewrop a glanau Lloegr, yn ymladd yn erbyn y Ffrancod, neu yn eu gwylio rhag ymosod ar ein glanau, ac felly *militia* gan mwyaf oedd yn yr Iwerddon, a thrigolion Protestanaidd y Gogledd yn erbyn preswylwyr Pabyddol y rhanau ereill. Dyma y pryd yr aeth Syr Watkin Williams Wynne a'i gatrawd o Wirfoddolwyr a elwid "Hen Frythoniaid" (*Ancient Britons*) i'r Iwerddon, lle eu cyhuddir hyd heddyw o greulonderau dirfawr. Y gwirionedd

Digitized by Google

yw, fod y ddwy blaid, Pabyddion a Phrotestaniaid, wedi ymgreuloni yn erbyn y naill y llall, ac yn barod i gyflawnu y creulonderau mwyaf Satanaidd yn enw crefydd, gwladgarwch, neu deyrngarwch; ac y mae ymladdwyr diddysgyblaeth bob amser yn llawer mwy creulawn na milwyr rheolaidd.

Ym mysg y milwyr Protestanaidd yr oedd catrawd nodedig a elwid Catrawd Antrim, cynnwysedig o Wyddelod Protestanaidd o Ogledd yr Iwerddon. Presbyteriaid oeddynt agos oll, a'r hyn a elwir yn bresennol *Orangemen*. Yr oeddynt wedi ymladd yn ddewrwych yn erbyn tyrfaoedd mawrion o'u gelynion, a gwneuthur llawer galanas yn eu mysg, a chasëid hwy yn ddirfawr gan y gwrthryfelwyr Pabaidd. Pan ydoedd adran fechan o'r gatrawd hon yn dychwelyd un o'u cyrchiadau, ymosodwyd arnynt yn ddisymmwth gan fyntai fawr, a chymmerwyd rhai o honynt yn garcharorion, ac yn eu mysg *drummer boy* deuddeg oed. Daliodd y bychan ei afael yn y *drum* yn barhäus. Wedi dyfod i dref Gorey, gorchymmynodd ei garcharwyr i'r bychan guro y *drum* i ddathlu eu dyfodiad i mewn. Ebai y bychan, gan osod ei *drum* ar lawr, a neidio ei ar thalcen nes ei dryllio, "Nid yw *drum* y brenin i gael ei churo i wrthryfelwyr." Ond yn lle edmygu glewder y *drummer* teyrngarol, rhuthrodd y gwrthryfelwyr barbaraidd arno â'u picellau, a lladdasant ef yn y fan.

Pwy â chalon ddynol ynddo na all edmygu ffyddlondeb a dewrder y *drummer* bychan. Gweithredoedd o'r fath yma sydd yn halen y ddaiar yn iachäu dynoliaeth. Cymmeriad oedd efe â'r achos yn ei law yn fwy pwysig ganddo na'i fywyd, a'i frenin yn cynnrychioli iddo yr anrhydedd uchaf. Hunanymgyssegriad a hunanaberth ydyw mawredd dyn. Y mae dyn yn fawr pan ymgyll yn ei ddyledswydd, ei deulu, ei wlad, ei frenin, a'i *Dduw*.

Y mae yr oll o ddarllenwyr yr *Haul* wedi eu bedyddio i fod yn "filwyr ffyddlawn i Grist;" ac y mae gan bob un ei *drum* i wneuthur ryw gymmaint o *swn* yn y byd, a'i yru ym mlaen.

Y mae gan un ei dalent fel siaradwr. Dyma ei *drum*. Bydd lluaws o wrthryfelwyr yn erbyn eu Harglwydd yn dra awyddus am wasanaeth y siaradwr medrus. Ymdrechant gael ganddo guro ei *drum* i wasanaeth pechod. Y mae lle iddo *guro* ei *drum* dros ei Arglwydd yn yr Ysgol Sul ac mewn cyfarfodydd cyhoeddus. *Drum* ereill yw eu gallu cerddorol. "Gallant ganu yn dda." Bydded iddynt ddigon o wroldeb i wrthod curo eu *drum* i Ddiafol. Dyweded pob gwir Gristion, "Glyned fy nhafod wrth daflod fy ngeneu, oni chofiaf di: oni chodaf Jerusalem goruwch fy llawenydd penaf."

Ond y mae gan bob bachgen a geneth ei *drum*. Beth yw y tafod onid *drum* y corff. Cynnifer o feibion a merched sydd yn curo y *drum* hon i wagedd, oferedd, a phechod drwy dyngu, rhegu, galw enw Duw yn ofer; defnyddio geiriau llygredig, absenu, camddarlunio, enllibio, a dywedyd anwiredd. Cofied y bod o ddyn mai eiddo ei Frenin a'i Dduw ydyw ei dafod, a chyssegred ef i wasanaeth teyrnas nefoedd. "Wrth dy eiriau y'th gondemnir, ac wrth dy eiriau y'th gyfiawnhëir."

---

## ENWOGION YR EGLWYS.

### ROWLAND FYCHAN O GAERGAI.

Bu teulu enwog y Fychaniaid o'r hwn yr hanai Rowland Fychan, y cyfieithydd a'r Cymreigydd gwych, yn trigiannu yng Nghaergai am ganrifoedd lawer. Un o honynt ydoedd Gwerfyl Mechain, merch Howel Fychan, prydyddes enwog, yn blodeuo yn rhan olaf y bymthegfed ganrif. Bu amryw o honynt yn dal y swydd o siryd ym Meirionydd, megys John Fychan yn 1615 a 1622, Rowland Fychan (y cyfieithydd) yn 1644, John Fychan yn 1668, William Fychan yn 1682, a John Fychan yn 1709. Treuliodd R. Fychan ryw gymmaint o amser yng Ngholeg yr Iesu, Rhydychain, ond ymadawodd heb gymmeryd yr un radd yn y celfyddydau, gan ddychwelyd adref ac ymroddi i feithrin llenyddiaeth Gymreig. Yn ol un cofnodiad,[1] cymmerodd Rowland Fychan arfau o blaid y brenin, a bu ym mrwydr Naseby, yr hon a ymladdwyd Mehefin 14, 1645, ac am hyny y gelwid ef y Cadben Fychan. Ond gan nad pa un a fu efe yn defnyddio ei *gleddyf* yn erbyn y seneddwyr, y mae yn ddigon amlwg nad oedd yn arbed ei *ysgrifell*, o blegid yr oedd y beirdd, megys William Phylip, Huw Morus, a Robert Fychan, yn deyrngarol i'r craidd. Dywedir iddo gael ei garcharu am dair blynedd yng Nghaerlleon Gawr. Llosgwyd ei dŷ hefyd, a rhoddwyd ei etifeddiaeth i gâr iddo, yr hyn a fu yn achos iddo gyfansoddi yr englyn canlynol:—

"Caer-gai nid difai fu gwaith tân—arnad,
Bernych wyd yr ŵan;
Caer aethost i'm câr weithian,
Caer-gai lle bu cywir gân."

Mae amseriad yr anffawd uchod yn cael ei gofnodi yn yr englyn canlynol o waith William Phylip o Ardudwy:—

---

[1] *Gwyliedydd*, llyfr IV., tudalen 247.

"Mil chweuchant gwarant gwiwrai—yn dygwydd,
Pump a deugain difai;
Er dwyn i'r gwŷr adwaenai,
Ar gof pan losgwyd Caer-gai."

Y mae hanes i'r ddau fardd gyfarfod â'u gilydd ar un o fynyddoedd Meirionydd, ac iddynt anerch eu gilydd fel hyn:—

"Pe cawn i'r Pencrynion
Rhwng ceulan ac afon,
Ac yn fy llaw goed-ffon o lin-on ar li;
Mi a gurwn yn gethin
Yng nghweryl fy mrenin.
Mi a'u gyrwn yn un byddin i'w boddi."
*R. Fychan.*

"Pe cawn i'r Pen-gryniaid
Ar ben goriwaered,
Er gwaned a hyned wyf heno,
A phastwn du-ddraenen,
'Rwy'n *ddeuddeg* a *thrigain*,
Chwi a'm gwelwch yn llawen yn llowio."
*W. Phylip.*

Wedi adferiad Siarl II. i'r orsedd, adferwyd yntau i'w etifeddiaeth, ac ailadeiladodd ei dŷ, a dododd y pennill hwn uwch ben y drws:—

"Dod glod i bawb yn ddibrin,
A châr dy frawd cyffredin;
Ofna Dduw, canys hyn sydd dda,
Ac anrhydedda'r brenin."

Ond gan nad pa mor ffyddlawn y gwasanaethodd efe ei frenin trwy ei ddewrder fel milwr a'i ddoniau fel bardd, sicr ddigon iddo wneyd annhraethol mwy o les i'w wlad trwy y llyfrau rhagorol a gyfieithodd efe i iaith ei gydwladwyr. Y mwyaf pwysig o'r rhai hyn ydoedd yr "Ymarfer o Dduwioldeb." Awdwr y llyfr tra phoblogaidd hwn ydoedd y Dr. Lewis Bayly, brodor o dref Caerfyrddin, ac esgob Bangor o 1616 i 1631. Cymmaint ydoedd poblogrwydd y gwaith hwn ym mysg y Seison, fel erbyn y flwyddyn 1810 yr oedd y 70fed argraffiad o hono allan.[1] Argraffwyd ef yn Gymraeg tua chwe gwaith, ac nid oedd odid lyfr mwy parchus gan ein hynafiaid yng Nghymru o ddeutu dau cant o flynyddoedd yn ol. "Y mae gweddïau yn gymmysg â'r myfyrdodau trwy yr holl lyfr, yr hyn ef allai oedd un achos o'i boblogrwydd yn yr hen amser. Diau bod llawer wedi cael bendith dragwyddol wrth ei ddarllen; a da fyddai pe darllenid mwy arno yn yr oes hon."[2]

Yn ei "anerch at y darllenydd o Gymro uniaith" sydd o flaen y "Llwybr Hyffordd i'r Nefoedd," o waith Robert Llwyd, ficer y Waun, a gyhoeddwyd yn 1629, dywed y gwr hwnw am y cyfieithydd gwladgarol fel y canlyn:—

"Mi a amcanaswn chwanegu at ddiwedd y llyfr yma fagad o weddïau i'w harfer ar amryw fath ar achlysur, ac achosion; eithr y mae yr *Ymarfer o Dduwioldeb* ynteu yn y Print-wasc, ac yn bryssio i ddyfod i wlad Cymru cyn y gaiaf; oddi yno y gelli di gael beth bynag a ddymunech. Dyna wr boneddig yn treulio ei amser yn weddol, ac yn ganmoladwy, gan wneuthur gwasanaeth i Dduw, daioni i'w wlad, a llesâd mawr iddo ei hun drwy gyfieithu y llyfr godidog hwnnw. Pe cymmerai foneddigion ieuainc ein gwlad ni ryw gyffelyb orchwyl-waith duwiol a buddiol, i dreulio eu hamser arno, ni byddai anllygredigaeth, a rhysedd yn cael cymmaint rhwysc: Na gwir grefydd uniawn-gred yn cael cyn lleied bri, a chymmesuriad; ac ni byddei occreth yn yssu, ac yn bwytta y naill ddarn o'u tiroedd, na thafarndai, a mwg Tobacco yn yfed y darn arall."

Wrth derfynu ei sylwadau ar y rhwystrau i fyw yn dduwiol, ceir yr awdwr yn traethu fel y canlyn, yr hyn y tueddir ni i'w ddyfynu er dangos mor lithrig a Chymreigaidd y gallai Rowland Fychan ysgrifenu yr hen iaith:—

"Na foddlona mo honot dy hun ar *grefydd ffurfiol*, yr hon a ffurfiodd gwyr diadenedig iddynt eu hunain, yn lle duwioldeb ddiragrith; canys mewn amldra opiniynau y mae y rhan fwyaf agos wedi colli yr ymarfer o wir ffydd. Na thebyg fod yn Gristion digon da, o blegit dy fod di yn gwneuthyd fel y mae y rhan fwyaf, ac o ran nad wyt yn gynddrwg a'r gwaethaf. Nid oes dyn yn y byd mor ddrygionus, a bod ei ymarweddiad yn tueddu at bob math ar feiau. O herwydd y mae anghyssondeb (*antipathy*) rhwng beiau a'u gilydd. Ond cofiá beth y mae Crist yn ei ddywedyd, 'Oddi eithr i'ch cyfiawnder fod yn helaethach *na* chyfiawnder yr Scrifenyddion a'r Phariseaid, nid ewch i mewn un modd i deyrnas nefoedd,' Matt. v. 20. Ystyria ynot dy hun belled wyt ti o ol y Phariseaid mewn ymprydio, gweddïo, mynych dramwy i'r Eglwys, a rhoddi elusenau. Meddwl ynot dy hun pa nifer o baganiaid, y rhai nad adwaenent fedydd, eto mewn rhinweddau gwybodawl a gonestrwydd buchedd, oeddynt yn rhagori llawer arnat ti. Pa le wrth hyny y mae bywyd Crist dy feistr? A pha cyn belled wyt ti oddi wrth fod yn wir Gristion? Os wyt ti yn ewyllysgar yn ymroi i fyw mewn un math ar bechod anafus, nid elli di gael enaid adgenedledig; er i ti ddiwygio dy fuchedd mal Herod oddi wrth lawer o feiau erell, Marc vi. 10. Y mae'n rhaid i'r gwir Gristion gymmeryd gofal i rodio mewn uniondeb calon, yn ol

[1] *Llyfryddiaeth y Cymry*, tudalen 107.
[2] *Traethodau Llenyddol* Dr. Edwards, tudalen 307.

Digitized by Google

holl orchymmynion Duw, yn gystal yn y naill a'r llall. 'O blegit,' medd St. Iago, 'yr hwn a ballo mewn un pwngc o'r gyfraith (yn ewyllysgar) fydd euog o'r cwbl,' Iago ii. 10. Ac y mae Pedr yn erchi i ni roddi heibio (nid peth) ond holl lid, cynfigen, twyll, a rhagrith, &c., 1 Pedr ii. 1. Un pechod fydd ddigon er peri enaid yn golledig, heb *edifeirwch*. Na freuddwydia am fyned i'r nef rhyd ffordd negosach neu hawsach na'r hon a linyniodd Duw i ni yn ei air. Nid ydyw'r ffordd i'r nefoedd yn hawdd, a chyffredin, ond *cul a chyfyng*, Matt. vii. 14; ïe, cyn gyfynged ag y mae Crist yn tystiolaethu, 'fod yn anhawdd i ddyn goludog fyned i deyrnas nefoedd,' Matt. xix. 23. A'r rheini fydd yn myned i mewn, nid ydynt ond *ychydig;* ac na eill yr ychydig rai hyny mo'r myned i mewn ond trwy *ymdrechu;* a bod rhai o'r rheini a ymdrechant *heb allu myned i mewn;* Luc xiii. 24. Hyn a wyddai holl seintiau Duw (tra fuont fyw yma) yn dda. Pryd yr oeddynt trwy aml ymprydiau, difrifol weddïau, mor fynych yn gwrando'r gwir, a derbyn y sacramentau, a thrwy y cyfryw amldra o ddagrau heilltion yn crefyddol erfyn ar ddwylaw Duw, er mwyn Crist, am gael eu derbyn i'w deyrnas."

Heb law yr uchod, cyfieithodd R. Fychan, o'r hyn lleiaf, chwech o lyfrau ereill, a'r oll o honynt, gyda'r eithriad o'r "Ymarfer," â'u hamcan i amddiffyn yr Eglwys. Y rhai hyn oeddynt—1. "Prif-fanau Crefydd Cristionogawl a llwybraiddfodd Byrr o'r Athrawiaeth o honi;" 2. "Yr arfer o Weddi yr Arglwydd a amddiffynir yn erbyn Dadleuon y newyddiaid o'r amseroedd yma, gan Ioan Despagne;" 3. "Pregeth yn erbyn Schism, gan Jasper Mayne, D.D." Yn y llythyr cyflwyniad i hwn efe a ddywed, "Proffesu enw Cristion yr wyf, a deisyf gwneuthur daioni i'm gwlad, heb na bustl na chwerwdod, yn enw y Duw: byw mi fedraf ddywedyd o'm calon, 'Maddeu i ni ein dyledion fel y maddeuwn,' &c. Maddeued Duw i'r rhai sydd yn gwyrdroi y bobl, a thröed hwy oll i'r iawn: yr unig Dduw hwnw a roddo union grefydd yn Ecclwys Brydain;" 4. "Prif-fanau Sanctaidd, neu Lawlyfr o Weddïau," o waith y Dr. Brough, ar gais y milwriad William Salisbury, o Bychymbryd, llywydd dewrwych Castell Dinbych, ar draul yr hwn y cafodd ei argraffu a'i ranu rhwng y tlodion.

Gresyn fod gan lleied o hanes y teyrngarwr gwresog, llenor gwych a llafurus, a bardd awenyddgar hwn ar gael. Bu farw tua'r flwyddyn 1682, yn ei hen gartref yng Nghaergai, yn Llanuwchllyn, ardal ffrwythlawn mewn llenorion hen a diweddar.

G. M.

## DUWINYDDIAETH: NEU SYLWADAU AT WASANAETH YR YSGOL SUL AR YR EFENGYL YN OL ST. MATTHEW.

### GWERS XLII.

*St. Matthew xv. 21—28. O.C. 29. Darllener St. Marc vii. 24—30. Iachâd merch y wraig o Ganaan.*

DYMA unig ymweliad yr Arglwydd Iesu â therfynau gwlad baganaidd, ac y mae yn dra thebyg yr unig esampl o un o'r paganiaid yn dyfod ato. Gall dal hyn mewn cof fod yn gymhorth i ni i ddeall amgylchiadau y wyrth yn well.

### ESBONIAD EGLURHAOL.

Adn. 21: "*Efe a aeth oddi yno ac a giliodd,*" &c. "O dir Gennesaret," St. Matt. xiv. 34. Ciliodd o gyrhaedd llid y Phariseaid, St. Matt. xv. 12.

"*Tueddau Tyrus a Sidon.*"—Nid ymddengys iddo fyned dros y terfynau i diriogaeth y Pheniciaid, eithr hyd derfyn eithaf rhandir Aser.

Adn. 22: "*Gwraig o Ganaan.*"—Ystyr y gair Canaan yw gwastadedd; ond yma golyga gwraig o'r genedl a breswyliai y gwastadedd yma gynt. Dywed St. Marc (vii. 26), "Groeges oedd y wraig, Syropheniciad o genedl." "Groeges" oedd o ran ei chrefydd, hyny yw pagan (*ethnig*). Pheniciad yn preswylio gwastadedd Syria ar fin y môr. Yr oedd Pheniciaid ereill yn brigo yn Carthage, yn Affrica. Gweddillion o'r Canaaneaid anwireddus a llygredig oeddynt.

"*A ddaeth o'r parthau hyny.*"—Ymddengys iddi ddyfod i'w cyfarfod allan o'r parthau hyny.

"*Ac a lefodd,*" &c. Awgrymir iddi waeddi â llef uchel mewn cyffro a chydag egni mawr.

"*Trugarhâ wrthyf, O Arglwydd, fab Dafydd.*"—Defnyddia yr un geiriau a'r ddau ddeillion yn St. Matthew xx. 30. Par hyn i rai dybio fod y wraig hon yn broselytiad i'r grefydd Iuddewig, tra y dywed St. Marc mai Groeges neu ethnig oèdd. Y gwir esboniad yw mai wedi clywed son am dano yr oedd, St. Marc vii. 25. Defnyddiai y geiriau a glywsai o eneu rhai yn credu yn naioni Crist, ac a'i galwant wrth yr enw "Mab Dafydd."

"*Y mae fy merch yn ddrwg ei hwyl gan gythraul.*"—Geilw St. Marc ef "ysbryd aflan."

Adn. 23: "*Eithr nid atebodd efe,*" &c. Ar y ffordd y bu hyn. Galwai y wraig gynhyrfus ar ei ol â llef uchel, ac ni chymmerai yntau arno ei chlywed. Pa ham? Er mwyn iddi ymbwyllo, a dyfod i adwaen yr Iesu yn well, a sylweddoli ei neges yn fwy.

"*A daeth ei ddysgyblion,*" &c. Dengys hyn angerdd

Digitized by Google

ei thaerineb. Diau fod ei llefau yn tynu sylw y lluaws at yr Iesu a'i ddysgyblion: gwel St. Marc vii. 24.

"*Ni'm danfonwyd,*" &c. "At yr eiddo ei hun" (St. Ioan i. 11) yr oedd neges bersonol Mab Duw, St. Matt. x. 5, 6; Actau iii. 25, 26; xiii. 46; a Rhuf. xv. 8: gwel hefyd Ezeciel xxxiv. 6, &c.

Adn. 25: "*Ond hi a ddaeth ac a'i haddolodd ef.*"—Dyma weddi gynhyrfus ffydd yn troi yn addoliad ffyddiog ac erfyniad am gymhorth.

Adn. 26: "*Nid da cymmeryd bara y plant,*" &c. Dyma ateb anffafriol. Y mae y geiriau yn fwy esmwyth a gobeithiol fel yr adroddir hwy gan St. Marc—"Gad yn gyntaf i'r plant gael eu diwallu," &c. (vii. 27). Y mae yn deilwng o'n sylw hefyd fod yr Arglwydd Iesu yn defnyddio y gair lleiaf tramgwyddus am gŵn (τὰ κυνάρια), sef cŵn bychain; ac er mai yr un gair Groeg a ddefnyddir yn y ddwy efengyl, eto cyfieithir τὰ κυνάρια yn gŵn yn St. Matthew, ond yn "genawon cŵn" yn St. Marc.

Adn. 27: "*Hithau a ddywedodd, Gwir yw,*" &c. Dyma ymostyngol ffydd y wraig yn dyfod i'r golwg. Dyma berffeithrwydd ffydd. Dyma ffydd orchfygol. Yr oedd gweddi wedi troi yn addoliad, ac addoliad yn ymostyngiad. Defnyddir ymadrodd ymostyngol y wraig hon mewn dull tlws yng ngweddi y gyffes o flaen y Cymmun Bendigaid—"Nid ydym ni deilwng cymmaint ag i gasglu y briwsion dan dy fwrdd Di."

Adn. 28: "*Ha wraig,*" &c. Cafodd ei dymuniad yn ol mesur ei ffydd. Dug ei ffydd berffaith iachâd cyflawn. Fe ddengys yr efengylwyr dair graddfa ym mhrawf ffydd y wraig hon, yn dwyn oddi amgylch dair gradd o berffeithrwydd ynddi. 1. Dystawrwydd yng ngwyneb gweddi ("Nid atebodd efe," &c., adn. 23). 2. Gwrthodiad yng ngwyneb eiriolaeth ("Ni'm danfonwyd," &c., adn. 24). 3. Ateb anffafriol a chaled ("Nid da cymmeryd bara," &c., adn. 26) yng ngwyneb ymbiliau ac addoliad. Sylwer eto ar berffeithiad ei ffydd a defosiwn. Dechreua mewn gweddi ("Trugarhâ," &c., adn. 22); ä ym mlaen at addoliad (adn. 25), a therfyna mewn ymostyngiad (adn. 27). Dyma y modd y perffeithir pob Cristion.

Dyma enghraifft eto o lwyddiant ffydd fechnïol neu eiriolaeth ffyddiog. Cawn ereill yn St. Ioan iv. 46; St. Luc vii. 6; St. Marc ii. 4.

### CWESTIYNAU.

Pa beth sydd yn hynod yn y lle y cyflawnwyd y wyrth hon? Pa ham y ciliodd yr Iesu mor bell i derfynau Tyrus a Sidon? Beth ydyw ystyr y gair Canaan? Beth a ddywed St. Marc am dani? Pa beth a feddylir wrth y gair Groeges a Syropheniciad? Pa fodd y galwodd am drugaredd gyntaf? Pa sawl gwaith yr ymddangosai yr Iesu yn ei nacäu? Pa fodd y nacaodd y tro cyntaf? Yr ail waith? Y drydedd waith? Pa sawl gradd o rasusau a ddangosodd y wraig hon? Pa beth a wnaeth gyntaf? Pa beth yr ail waith? Pa ras a ddangosodd yn ei hateb olaf? Pa air a ddefnyddiodd yr Iesu am *gŵn* yn ei ateb? Pa fodd y cyfieithir ef yn St. Marc? Dros bwy yr oedd y wraig yn eiriol? Ar seiliau ffydd pwy yr iachawyd y ferch? Beth ydyw y wers i ni?

### GWERS XLIV.

*Iachäu y cleifion a phorthi y pedair mil. O.C. 29. St. Matthew xv. 29—39. Darllener St. Marc vii. 31; ac viii. 1—10; a St. Ioan vi. 1—14.*

### ESBONIAD EGLURHAOL.

Adn. 29: "*A'r Iesu a aeth oddi yno,*" &c.: gwel St. Marc vii. 31. Ymddengys iddo gyfeirio ei gamrau yn (1) yn ogleddol tua Libanus, ac yna (2) droi oddi wrth droed y mynydd drwy gwm a cheunant mawr Leontes, a chroesi ysgwydd y mynydd nes cyrhaedd cŵr uchaf dyffryn yr Iorddonen, lle y tardda o'r mynydd; ac (3) yna dilyn ei glan ddwyreiniol nes myned drwy ganol terfynau Decapolis, ac felly gyrhaedd Môr Galilea, gwedi amgylchu terfýnau gogleddol y wlad, drwy diriogaeth a breswylid gan bobl hanner paganaidd. Yr oedd y brodorion yn Syriaid cymmysg a Groegiaid a Galileaid hefyd.

"*Esgynodd i'r mynydd.*"—Yr oedd bellach yn agos i'r man y porthasai y pum mil ynddo (St. Matt. xiv 13), a daliai i gadw draw o gyrhaedd ei elynion Phariseaidd a Herod.

Adn. 30: "*A daeth ato dorfëydd.*"—Gwedi clywed o'r trigolion hanner paganaidd hyn am yr Iesu, cyrchent ato o bob cŵr, a thosturiodd yntau wrthynt: gwel Esaiah xxxv. 5, 6; St. Matt. xi. 5; St. Luc vii. 22. Rhydd St. Marc (vii. 32—37) fanylion hanes iachâd un mud a byddar mewn dull arwyddocaol iawn.

### PORTHI Y PEDAIR MIL.

Adn. 32: "*A galwodd yr Iesu ei ddysgyblion,*" &c., St. Marc viii. 1. Yr Iesu oedd y cyntaf i dosturio wrth y lluaws newynog.

"*Y maent yn aros gyda ni dridiau weithian,*" &c. Y mae yn eglur fod y dyrfa gymmysg hyn wedi llwyr ymgolli yn eu brwdfrydedd ac edmygedd o weithredoedd Crist, ac yn ymlynu yn dŷn ynddo.

Adn. 33: "*A'i ddysgyblion a ddywedasant,*" &c. Nid oedd yr Arglwydd Iesu wedi mynegu pa beth a

Digitized by Google

ddylid ei wneyd, ond eto deallai y dysgyblion Ef fel yn awgrymu y dylid eu porthi. Yr oedd porthi y newynog yn un o'r rhinweddau grasol a gyflawnai yr Iesu, ac arferai roddi i'r tlodion (St. Ioan xiii. 29) o'i bwrs prin ei Hun. Gwelai y dysgyblion yr anhawsder—"O ba le y caem?" &c.

Adn. 34: "*Pa sawl torth?*" "*Saith.*"—Dyma orchymmyn iddynt ddwyn allan yr hyn oedd ganddynt. Dyma eu goreu hwy, ac yr oedd modd rhanu yr ychydig. Dysgir yma i'r Eglwys ranu o'i phrinder.

Adn. 35: "*Efe a orchymmynodd,*" &c. Dyma osod y dyrfa mewn trefn, a chreu dysgwyliad.

Adn. 36: "*A chan gymmeryd,*" &c. Dilynir yma yr un drefn ag a wnaed wrth borthi y pum mil (pen. xiv. 19).

Adn. 37: "*A hwy oll a fwytasant,*" &c. Dilynir eto yr un drefn. Y mae llawer o gyffelybrwydd rhwng cyflawniad y wyrth hon a'r wyrth flaenorol o borthi y pum mil. Gwnaed hwy yn yr un ardal ac o dan amgylchiadau lled gyffelyb y naill i'r llall. Eto gwahaniaethant yn lled fawr, fel y dengys y manylion canlynol:—

1. Buasai y bobl gyda'r Iesu dridiau.
2. Yr oedd yma saith dorth ac ychydig bysgod bychain, ac nid pum torth a dau bysgodyn.
3. Pedair mil oedd yma yn lle pum mil.
4. Cyfodwyd yma saith gawellaid o'r briwfwyd gweddill—o dan y wyrth flaenorol deuddeg basgedaid.

EGLURHAD LLENYDDOL.

Defnyddir dau air gwahanol yn Groeg am y basgedau a ddefnyddid i gasglu y briwfwyd. Yn hanes y wyrth gyntaf defnyddir y gair κόφινος, κόφινους (St. Matt. xiv. 21), ac yn hanes yr ail σπυρὶς, σπυριδους. Ystyr y gair cyntaf ydyw basged lled fechan; ac ystyr yr ail, basged gron fawr a basged bysgota; yn y bennod nesaf (St. Matt. xvi. 10) cyfieithir ef yn gawell. Mewn basged neu gawell o'r fath yma y gollyngwyd St. Paul i waered dros fur Damascus, Act. ix. 25.

SYLWADAU ADDYSGIADOL.

Yn hanes y wyrth flaenorol sylwasom yn fanwl ar ei nodwedd sacramentol yn blaen gysgodi ac arwyddlunio sacrament Swper yr Arglwydd. Ceir yr un addysgiadau yma, a dangosir yn fwy amlwg i ni y ddyledswydd fawr o elusengarwch Cristionogol drwy borthi y newynog. Wrth arfer haelionus gariad y cynnydda ein gallu. Gwers arall hynod o fuddiol a dynir oddi wrth gynnydd y torthau a mawredd y gweddill yw, fod holl drugareddau Duw yn cynnyddu wrth eu defnyddio.

CWESTIYNAU.

Pa ffordd yr aeth Crist o dueddau Tyrus a Sidon at Fôr Galilea? Pa fath bobl a breswylient yr ardaloedd hyny? Pa le y porthwyd y pedair mil? Pwy a feddyliodd gyntaf am angen y bobl? Pa hyd y buasent gyda'r Iesu? Pa nifer oeddynt? Pa faint o weddill oedd? Pa beth heb law basged y gelwir y basgedau hyny? Dangoswch wahaniaeth mewn dau neu dri o bethau rhwng y wyrth hon a'r wyrth flaenorol o ychwanegu y bara. Ar ba sacrament y rhydd y ddwy wyrth hyn oleuni? Pa ddyledswydd Gristionogol a ddysgir ynddynt? Pa wers a ddyry y ddwy wyrth i ni mewn perthynas i drugareddau Duw?

GWERS XLV.

*Y Phariseaid a Saduceaid yn gofyn arwydd. O.C. 29. St. Matthew xv. 39; ac xvi. 4; St. Marc viii. 11—13.*

Adn. 39: "*Efe a aeth i long ac a ddaeth i barthau Magdala.*"—"Magadan" ydyw yr enw mewn amryw hen gopïau. A geilw St. Marc y lle yn "barthau Dalmanutha." Ni ellir yn awr penderfynu safle y naill na'r llall. Yr oedd Mair Magdalen yn frodor o Magdala. Yr un ydyw a Migdol, sef tŵr gwyliedydd, ac yr oedd llawer o'r tyrau hyn ar derfynau y wlad.

Adn. 1: "*Phariseaid a Saduceaid.*"—Dyma y tro cyntaf i ni gael y ddwy sect ymrysongar a gelyniaethus hyn yn ymuno i demtio yr Iesu. Bu i'r Ysgrifenyddion a Phariseaid wneuthur hyny droiau (pen. xv. 1). Yr oedd gelyniaeth y ddwy blaid at Grist wedi llinaru dros amser eu gelyniaeth at eu gilydd.

"*Atolygasant iddo ddangos arwydd o'r nef.*"—Ni ellid diwallu awydd yr Iuddewon am arwyddion, 1 Cor. i. 22. Gweithredoedd o drugaredd ar y ddaiar oedd holl arwyddion yr Arglwydd Iesu. Nid creu syndod oedd ei amcan, ond creu diolchgarwch calon mewn dyn am ddaioni Duw. Ond galwai y bobl anianol hyn am rywbeth i greu syndod parhäus, fel yr haul a'r lleuad yn sefyll yn nyddiau Josua, a mellt a tharanau yn amser Samuel, y tân o'r nef ar allor Elïas, neu gawodydd y manna yn yr anialwch. Cawn enghreifftiau o'r un chwilfrydedd anghrediniol yn St. Ioan ii. 18 a vi. 30. Ceir yr un gwendid yn y natur ddynol hyd eto. Atolygir yn barhäus am arwyddion i gynhyrfu'r teimlad mewn chwareudai, mewn ffugchwedlau, ac mewn pregethau. Ni lesâ hyn ddim. Llygru seiliau nerth moesol dyn y

Digitized by Google

maent. Daioni sydd yn adeiladu y cymmeriad moesol ac ysbrydol.

Adn. 2: "*Ac efe a atebodd iddynt*," &c. Ymdrafferthai y bobl hyn yn fawr i ddeall arwyddion tywydd teg a dryghin, a daethent i allu eu deongli yn dda. Pe buasent wedi astudio eu Hysgrythyrau mor ofalus, buasent yn deall oddi wrth y gweithredoedd o drugaredd oedd yr Iesu newydd gyflawnu mai Efe oedd y Messïah.

Adn. 3: "*Arwyddion yr amserau*" oedd gwyrthiau iachaol yr Iesu, Esaiah xxxv. 5, 6.

Adn. 4: "*Godinebus*."—Anffyddlawn i'w cyfammod â Duw.

"*Arwydd y Prophwyd Jonas*:" gwel pen. xii. 39—41. Dyma i'r bobl hyn agoriad i ddeall arwyddion yr amserau ar ol ei adgyfodiad Ef, ond ychydig a wnaethant ddefnydd o hono.

#### SURDOES Y PHARISEAID A SADUCEAID.

Adn. 5: "*Y lan arall*."—Glan ogledd-ddwyreiniol y llyn oedd hwn, yn agos i olygfa y wyrth o borthi y pedair mil.

Adn. 6: "*Edrychwch ac ymogelwch rhag surdoes y Phariseaid a Saduceaid*."—Dywed St. Marc (viii. 15), "A surdoes Herod."

Adn. 7: "*A hwy a ymresymasant yn eu mysg eu hunain*," &c. "Ac nid oedd ganddynt fwy nag un dorth," ebai St. Marc. Deallodd y dysgyblion eiriau yr Iesu yn llythyrenol. Nid oedd gwers fawr St. Matthew (xv. 1—20) wedi cael nemawr ddim argraff arnynt. Pe buasent yn cofio mai nid yr hyn a fwytäi dyn oedd yn ei halogi (xv. 11), ni buasai arnynt ofn bwyta bara a bobasid gan Phariseaid. Ond yn eu hanianolrwydd ymflinent yn ofer yng nghylch surdoes bara.

Adn. 8: "*Chwychwi o ychydig ffydd*," &c. Dangosodd y dysgyblion ddau wendid yn eu penbleth: (1) gwendid amgyffred ysbrydol i ddeall geiriau Crist yn eu hystyr foesol ac ysbrydol; (2) gwendid ffydd i ymddiried ynddo.

Adn. 9: "*Onid ydych yn deall?*" &c. Dyma iddynt gynnorthwy i gofio a deall ac amgyffred ymadrodd cyffelybiaethol yr Iesu. Trwy gofio a chymharu gwahanol ranau Gair Duw y gallwn ei iawn ddeongli. Dyna pa ham y mae barn unedig holl gorff Eglwys Grist yn ei chredoau a ffurfwasanaeth yn rhagori cymmaint ar y *farn unigol*. Y mae i'r Eglwys fel corfforiaeth ei barn gyffredinol a chydwybod gorfforiaethol yn ei chredoau a'i syniadaeth foesol; ac y mae i'r person unigol o fewn y corff hwn ei farn bersonol a chydwybodol, a chyfrifoldeb personol hefyd: ac nid yw y naill yn un trais ar y llall. Y maent fel yr awyrgylch o fewn ac oddi allan i ddyn yn cydbwyso y naill y llall fel na theimlir hwy.

Adn. 12: "*Yna y deallasant*," &c.

"*Athrawiaeth*."—Eu hathrawiaeth oedd y surdoes. Mewn ystyr drwg y defnyddir y gair surdoes ym mhob rhan o'r Beibl oddi eithr yn nammeg y surdoes, St. Matt. xiii. 33; Luc xiii. 20, 21. Cymharer hefyd 1 Cor. v. 6, 7, 8; a Gal. v. 9. Surdoes y Phariseaid oedd *rhagrith* (Luc xii. 1), surdoes y Saduceaid oedd *anghredinaeth* neu anffyddiaeth (Act. xxiii. 8), a surdoes Herod *bydolrwydd* a daiaroldeb.

#### SYLWADAU YMARFEROL.

1. Dengys yr ymddyddanion uchod mor hwyrfrydig oedd dysgyblion yr Iesu i amgyffred ysbrydolrwydd ei waith a'i ymadroddion. 2. Mor barod ydyw pleidiau gwladol a chrefyddol i osod o'r neilldu dros ennyd eu cwerylon bychain sectyddol ac ymuno yn erbyn trydydd blaid. 3. Fod rhyw wendid fel surdoes neillduol yn perthyn i bob plaid.

#### CWESTIYNAU.

Pa enw a rydd St. Marc i'r man yr aeth yr Iesu? Pa beth ydoedd ystyr gwreiddiol y gair Magdala neu Migdol? Pa ddwy blaid a ddaethant i demtio yr Iesu? Beth a geisient ganddo? Arwydd o ba le a geisient? Pa fath arwyddion a roddai Crist? Enwch rai arwyddion o'r Hen Destament. Pa fath arwyddion ydyw arwyddion goreu Eglwys Grist? At ba arwyddion y cyfeiriai Crist y Phariseaid? I ba beth? Pa beth oedd arwydd y Prophwyd Jonas? Pa beth oedd surdoes Herod? Ym mha le y defnyddir y gair surdoes mewn ystyr da? Pa beth ydyw yr addysg a ellwch dynu oddi wrth y rhan hon o'r Ysgrythyr?

### GWERS XLVI.

*Cyffes St. Pedr. St. Matthew xvi. 13—20. Darllener St. Marc viii. 27—30; St. Luc ix. 18—21.*

#### ESBONIAD EGLURHAOL.

Adn. 13: "*Ac wedi dyfod yr Iesu*," &c. Rhaid fod yr Arglwydd Iesu wedi teithio rhwng 25 a 30 milltir i'r gogledd i gyrhaedd tueddau Cesarea Philippi yng nghwr uchaf dyffryn yr Iorddonen, lle y tardda allan yn afon gref o'i llwybr tanddaiarol. Y mae ei safle yn brydferth a rhamantus. Yma yr oedd eisteddle llywodraeth "Phylip, tetrarch Iturea a gwlad Trachonitis," St. Luc iii. 1. Gelwid y ddinas hòno yn Cesarea o anrhydedd i ymherawdwr Rhufain, ac ychwanegwyd Philippi o barch i Herod

Digitized by Google

Phylip am ei harddu, ac i wahaniaethu rhyngddi a'r Cesarea a enwir mor fynych yn Actau yr Apostolion, lle y bu St. Paul yn garcharor. Yr oedd hon ar lan Môr y Canoldir, ac yno y preswyliai rhaglawiaid Judea.

"*Efe a ofynodd,*" &c. Dyma y tro cyntaf i Grist ofyn am gyffes ffydd ei ddysgyblion.

"*Pwy y mae dynion yn dywedyd fy mod i, Mab y Dyn?*" Mae y cwestiwn yn un penodol. Gofyna ym mha ystyr y golygai pobl yn gyffredin fod Iesu Grist yn Fab y Dyn. Cyfeirir at brophwydoliaeth Daniel am Fab y Dyn. Gofyna yr Iesu yma am farnau pobl ereill er mwyn i'r dysgyblion ffurfio barn benodol eu hunain.

Adn. 14: "*Hwy a dywedasant,*" &c. Fe dybiai rhai fel Herod euog mai Ioan Fedyddiwr, ereill mai Elïas (Malachi iv. 5), ereill mai Jeremïas neu rai o'r prophwydi, Deut. xviii. 15.

Adn. 15: "*Pwy meddwch chwi ydwyf fi?*"

Adn. 16: "*A Simon Pedr a atebodd ac a ddywedodd, Ti yw y Crist, Mab y Duw byw.*"—Dyma gyffes St. Pedr yn llefaru yn enw ei gyd-ddysgyblion. Cyffesa mai yr Iesu yw y Messïas, ac fod y Messïas yn Fab y Duw byw. Dyma ddechreuad Credo yr Apostolion, "Ac yn Iesu Grist ei un Mab Ef." Y mae cyffes St. Pedr yn cynnwys esgyneg darawiadol, gan gyferbynu Mab y Duw byw a Mab y Dyn yng ngofyniad ei athraw. Dyma yr ymgnawdoliad—"Mab y Dyn" yn "Fab Duw."

Adn. 17: "*Gwyn dy, fyd di Simon mab Jona,*" &c. Dyma atebiad yr Arglwydd Iesu eto yn chwareu ar y gair mab Jona. Mae y gwendid dynol wedi cael ei gynnorthwyo i ganfod y dirgelwch dwyfol.

"*Nid cig a gwaed,*" &c. Nid y galluoedd corfforol a nerth y rheswm naturiol; ond Tad ein Harglwydd Iesu Grist drwy yr Ysbryd Glân oedd wedi creu yn St. Pedr gydymdeimlad â Pherson Crist, a'i waith a'i athrawiaethau, nes gallu o hono amgyffred ei natur ddwyfol.

Adn. 18: "*Yr wyf finnau yn dywedyd i ti.*"—Rhoddir pwyslais ar yr oll o'r frawddeg hon i ddangos yr anrhydedd a roddid ar St. Pedr, a'r fraint a ymddiriedid iddo.

"*Ti yw Pedr, ac ar y graig hon,*" &c. σὺ εἶ Πέτρος, καὶ ἐπὶ ταυτῃ τῃ πέτρ,α, &c. Gresyn na ellid cadw y chwareu pwysleisiol ar y geiriau gwreiddiol *petros* (careg) a *petra* (craig). "Ti yw Careg, ac ar y graig hon." Ceidw y Ffrancaeg ef yn berffaith, "Tu es *Pierre*, et sur cette *pierre* je batirai mon Eglise." Ond pa beth ydyw ystyr fanwl yr ymadrodd ffugyrol yma? Cymmer i fewn yn ddiau St. Pedr yng nghyflawnder ei gyffes o Dduwdod Crist: St. Pedr yn credu yn Iesu Grist fel Mab Duw oedd y gareg a'r graig. Crist ynddo Ef oedd yn ei wneuthur yn graig. Duwdod Crist ydyw pen conglfaen yr Eglwys, a Phedr ar y mynyd hwnw oedd yn cynnrychioli y grediniaeth a'r gyffes o'r gwirionedd dwyfol hwnw. Dylem gofio bob amser mai personau ac nid athrawiaethau moelion sydd yn ffurfio Eglwys. "Eglwys weledig Crist yw cynnulleidfa y ffyddloniaid" (credinwyr).

"*Ar y graig hon yr adeiladaf fy Eglwys.*"—St. Pedr oedd y maen cyntaf yn unol â'i gyffes i'w osod i lawr yn yr Eglwys oedd yn cael ei "goruwchadeiladu ar sail yr apostolion a'r prophwydi, ac Iesu Grist ei hun yn ben conglfaen," Ephes. ii. 20.

"*Eglwys,*" Εκκλησία.—Dwy waith y defnyddir y gair Eglwys yn yr efengylau: yma am Eglwys Grist, ac yn St. Matthew (xviii. 17) am gynnulliad neu gynnulleidfa a swyddogion y synagog Iuddewig. Awgryma defnyddiad y gair hwn gan yr Arglwydd Iesu:—1. Ei fod yn sylfaenu a threfnu cymdeithas i barhau. 2. Fod y gymdeithas hon yn berffeithiad o'r Eglwys Iuddewig, er wedi ei hadeiladu ar ei Berson Dwyfol Ef a'i waith. Y Messïas oedd craig a nerth dysgwyliad yr Iuddewon; ac Iesu Grist wedi ei groeshoelio ydyw sylfaen yr Eglwys Gristionogol, 2 Cor. iii. 11.

"*A phyrth uffern,*" πύλαι ,αδου. Pyrth Hades, sef byd yr ysbrydoedd. Y mae yr ymadrodd yma yn gyfystyr â marwolaeth, y bedd, a holl alluoedd y tywyllwch hefyd. Y mae adgyfodiad yr Arglwydd Iesu wedi sicrhau buddugoliaeth lwyr ar y cyfan. Eglwys wedi ei hadeiladu ar ei Dduwdod, yn cynnwys ei Iawn, ei adgyfodiad, a'i esgyniad i'r nef ydyw, 1 Cor. xv. 54—57: gwel hefyd Dad. i. 18.

"*A rhoddaf,*" Δώσω.—Addewid ddyfodol sydd yma. Ar ol ei adgyfodiad y rhoddwyd yr awdurdod hon yn gyflawn i St. Pedr a'i gyd-apostolion.

"*Agoriadau teyrnas nefoedd.*"—Arwydd o awdurdod ydyw agoriadau erioed. Pan fyddo gweinidog plwyf yn cael ei osod mewn meddiant o ofal plwyf, rhoddir agoriadau yr Eglwys iddo, i'w hagor a chau. Rhoddir agoriad tŷ i ddeiliad wrth gymmeryd meddiant. Felly addawai yr Arglwydd Iesu awdurdod swyddogol i St. Pedr ar holl drysorau ei Eglwys Ef.

"*A pha beth bynag a rwymech,*" &c. Dyma awdurdod deddfu a dysgyblu; rhyddhau pethau oeddynt rwymedig dan y ddeddf, a gosod rhwymau newyddion.

EGLURHAD HANESIOL.

Fel cyfarwyddyd pellach i iawn ddeall natur ac eangder rhagorfreintiau St. Pedr fel sylfaenydd Eglwys Grist, gallwn gymmeryd cipdrem o'i hanes. Ei

Digitized by Google

bregeth ef yn unig a gofnodir ar ddydd y Pentecost; ac efe oedd geneu y weinidogaeth yn ateb y gofyniad pwysig a roddwyd iddo ef "a'r apostolion ereill, "Ha, frodyr, beth a wnawn ni?" A Phedr a ddywedodd wrthynt, "Edifarhëwch, a bedyddier pob un o honoch yn enw Iesu Grist, er maddeuant pechodau; a chwi a dderbyniwch ddawn yr Ysbryd Glân." Dyma yr Apostol Pedr yn agor drws maddeuant i'r ymofynwyr pryderus, lle na buasent erioed yn dysgwyl, sef drws edifeirwch tuag at Grist, a Bedydd yn ei enw Ef, er maddeuant pechodau. Eto dywedai St. Pedr am Grist (Act. iv. 11, 12), "Hwn yw y maen a lyswyd genych chwi yr adeiladwyr, yr hwn a wnaed yn ben i'r gongl. Ac nid oes iachawdwriaeth yn neb arall," &c. Dyma agor a chau, onid e?

Unwaith eto cawn St. Pedr yn rhoddi hanes ei weinidogaeth yn nhŷ Cornelius. Meddai (Act. xv. 7), "Ha wŷr, frodyr, chwi a wyddoch ddarfod i Dduw er ys talm o amser yn ein plith ni fy ethol i, i gael o'r Cenedloedd trwy fy ngeneu i glywed gair yr Efengyl, a chredu." Dyma St. Pedr yn agor drws yr Efengyl i'r Cenedloedd. Fe wel pob darllenydd pwyllog ar unwaith beth oedd y rhagorfreintiau a dderbyniodd St. Pedr. Efe oedd y cyntaf i gyffesu Crist yn Fab Duw; cyntaf i'w bregethu yn Fab Duw i Iuddewon a Groegwyr: ond un allan o dri ar ddeg ydoedd, a llafuriodd y trydydd ar ddeg "fwy na hwynt oll," 1 Cor. xv. 10. Wyth bennod yn ei epistolau, a rhanau lled helaeth fel dyfyniadau o'i bregethau cyntaf ym mhedair pennod gyntaf Actau yr Apostolion sydd genym o athrawiaeth uniongyrchol St. Pedr, tra y mae genym dri ar ddeg o epistolau o waith St. Paul, ac y rhoddir dros hanner Actau yr Apostolion i adrodd hanes ei weinidogaeth. Gallwn ddweyd fod St. Pedr y blaenaf mewn amser, ond nad oedd iddo un uwchafiaeth mewn awdurdod. Bu yn flaenaf ym mhlith ei gydradd dros ennyd, ond daeth ereill yn fuan i'w flaenori; a duwinyddiaeth St. Paul sydd wedi trwytho Cristionogaeth Ewrop bron i gyd.

#### CWESTIYNAU.

Pa le yr oedd Cesarea Philippi? Beth a ofynodd yr Iesu? Pa beth oedd y gwahanol atebion? Rhoddwch ateb St. Pedr. Beth a feddylir wrth gig a gwaed? Pa beth ydyw ystyr y gair Pedr? Ar pa beth yr adeiladodd Crist ei Eglwys? Pa sawl gwaith y defnyddir y gair Eglwys yn yr efengylau? Beth a ddywed St. Paul am ei sylfaen? Beth a feddylir wrth byrth uffern? Pa ham na all pyrth uffern orchfygu yr Eglwys? Beth a feddylir wrth agoriadau teyrnas nefoedd? Wrth rwymo a rhyddhau? Pa beth a wnaeth St. Pedr ar ddydd y Pentecost? Rhoddwch ei ateb ger bron y Sanhedrim. "Hwn yw y maen," &c. Pa beth a wnaeth yn nheulu Cornelius? Pa ranau o'r Testament Newydd a geir o'i athrawiaeth? Cymharwch St. Pedr â'r apostolion ereill ac â St. Paul.

---

## TRO TRWY FYNWENT Y PLWY'.

Yn y fynwent wrth yr ywen
  Y mae bedd a llun y groes;
Arno mae y lili glaerwen,
  Arlun diniweidrwydd moes;
A rhosynau o bob lliwiau
  Yn ymledu dan y gwlith,
Bocs a bythwyrdd, gleision lysiau
  Sydd yn tyfu yn eu plith.

Blodau Mair, y forwyn burwen,
  Llysiau Pedr ac Ioan sant,
Teim yn llwyn, a'r deg friallen,
  Tyfu'n gymmysg yno wnânt:
Llun y groes o flodau roddir
  Ar y bedd bob Sul a gwyl,
Cyn gwasanaeth yno gwelir
  Yn ei ymyl eneth wyl.

Tyn y chwyn a dyry'r blodau
  Yn eu lle ar fedd ei mam;
Yno cyrcha hwyr a borau
  Rhag eu bod yn caffael cam:
Gwelodd unwaith fach wenynen
  Yn ehedeg gylch y bedd;
Hymiai emyn dan yr ywen,
  Roddai i'r enethig hedd.

Tybiai'r ferch fod llais yn galw,
  Llais anwylaf dan y nef;
"Y mae marw yn wir elw
  I'r pererin," medd y llef:
Ar hyn gwelai angel claerwyn
  Yn ymgrymu uwch y bedd,
Ei olygon oeddynt addfwyn,
  A sirioldeb yn ei wedd.

Gwenai ar y tyner flodau
  A gafaelai yn y groes;
Arni rhoddai ei wefusau,
  O mor swynol oedd ei foes!

Digitized by Google

Ond y ferch o'i law a'i cipiai;
  Gwaeddai allan, "O myfi
Ydyw'r gwrthddrych a dderbyniodd
  Rinwedd croesbren Calfari."

Yn y *Groes* y mae fy ngwynfyd,
  Yn y *Groes* y mae fy hedd;
Pan ddyrwynir edeu'm mywyd,
  Boed y *Groes* ar ben fy medd:
Sanctaidd addurn penaf daiar,
  Urddiant harddaf gorsedd Duw;
Yn ei golwg derfydd galar,
  Trwy y *Groes* caf bythol fyw.

1856. GLASYNYS.

---

## BOREU SUL YNG NGHYMRU.

MAE rhywbeth yn y boreu yn fendigedig a swynol iawn, ac yn neillduol y boreu Sul, ond ofnaf nad yw y boreu cyssegredig hwn yn cael ei werthfawrogi yn yr oes hon i'r un graddau ag y gwnelai ein tadau. Wrth daflu ein golwg ar foreu y dydd sanctaidd yng Nghymru, hawdd canfod nad yw pobl yn ei roesawu megys ag y dylent. Pa beth yw y rheswm am hyn? Rhaid fod rhyw ddrwg yn rhywle, rhaid fod rhyw falldod—rhyw ddifaterwch wedi gafael yn ein cenedl, neu buasai golwg fwy llewyrchus ar ein cynnulliadau boreu Sul yng Nghymru. Nid wyf yn hoffi dolurio teimladau neb, ond credaf fod angen gwneyd rhywbeth er symbylu llawer cysgadur o'i orweddfan ar foreu Sul. Y mae amgylchiadau nos Sadwrn, yn gyssylltedig â rhai pobl, yn rhoddi rhwystrau ar eu ffordd i ddyfod i'r addoliad boreu Sul—amgylchiadau bydol ac amgylchiadau a genedlir trwy ddrwg arferion. Beichir nos Sadwrn gan rai â *gofalon bydol*, pethau diangenrhaid. Erbyn boreu yr wyl Sabbathol bydd y cyfryw bobl mewn sefyllfa hollol anghymhwys i fedru dyfod i dŷ Dduw; o blegid gorweithiant eu hunain yn hwyr y nos flaenorol yna, ni bydd ganddynt ddim hwyl i ddyfod i foddion gras yn y boreu: os gallant ymysgwyd rywfodd erbyn y gwasanaeth hwyrol, bydd hyny yn ddigon iddynt hwy.

*Arferion ofer* eto sydd yn effeithio i anaddasu llawer o bobl erbyn boreu Sul. Mae llawer iawn o weithwyr Cymru, yn neillduol gweithwyr cyssylltedig â gwahanol lawweithiau, yn euog o'r drygioni hwn; gweithiant mewn chwys a lludded ar hyd yr wythnos, ond pan ddêl nos Sadwrn byddant yn y dafarn yn y gyfeddach feddwol. Erbyn boreu Sul bydd eu penau yn ddrwg iawn eu cyflwr; ni bydd fawr o feddwl am fyned i'r capel nac i'r Eglwys gan greaduriaid felly, modd bynag. Fel hyn nid yw boreu Sul yng Nghymru yn cael ei iawn brisio gan lawer iawn o bobl yr oes hon. Mae y bobl hyny sydd yn arfer esgeuluso moddion gras boreu Sul yn arddangos difaterwch ac anystyriaeth hynod yng ngwyneb manteision breintiau gwlad Efengyl. Byddai yr hen bobl yn cerdded llawer o ffordd i ddyfod i'r Eglwys boreu Sul. Yr un peth yw yr Efengyl eto; yr un yw dyledswydd dyn tuag ati. Hefyd, mae mwy o rwymau arnom ni beidio esgeuluso boreu Sul llawer iawn mwy nag eiddo ein tadau: yr ydym yn gwybod rhagor, yn fwy profiadol am werth goleuni yr Efengyl, yn derbyn mwy o fendithion trwyddi. Mae tai addoli yn fwy cyflëus i ni; 'does dim ond difaterwch a diffyg gwerthfawrogi yr "iachawdwriaeth gymmaint" yn ein hattal i godi i ymofyn â Duw yn ei dŷ ar foreu Sul. Dywedir fod gwell pregethau nos Sul nag yn y boreu, fod ein pregethwyr mewn gwell hwyl; ond pa ryfedd, onid yw fod mor ychydig yn mynychu yr addoliad boreuol yn effeithio er digalondid i'r gweinidogion? Nid oes dim yn debyg i seti gweigion er digaloni pregethwr. Mae diystyr i foddion boreu Sul yn *digio* Duw, felly nis gallwn ddysgwyl llwyddiant mewn un cyfeiriad, o blegid pa lwyddiant a ellir ddysgwyl gael tra yn gwrthod cydymffurfio ag ammodau sydd gan Dduw i'n bendithio? O na, rhaid i ni ymdrechu â'n holl egni cyn y derbyniwn fendithion i'n gwneyd yn bobl ddyrchafedig. Nid yw yn debyg y bendithia Duw ddynion claiar, llwfr, a diymdrech? Mae ein gelynion yn weithgar a chyfrwys iawn; da gan y Diafol a'i holl ganlynwyr ein cadw o'r addoliad boreuol, am y gŵyr yn eithaf da fod hyny yn fantais i'w deyrnas. Onid yw yn resyn fod cenedl y Cymry yn rhoddi eu hunain mor bell yng ngwasanaeth y gelyn trwy esgeuluso tŷ Dduw ar foreu y dydd sanctaidd?

Cyn cael gwaredigaeth oddi wrth glwyf boreu Sul, daw *ciniaw trymllyd* ar warthaf llawer, ac yna beichir yr ystumog ag amryw rywogaethau o ymborth; ar ol hyn bydd yn rhaid cael "wisal tipyn," chwedl Hiraethog. Fel yma bydd clefyd boreu Sul a chlefyd y prydnawn yn eu rhoddi mewn sefyllfa hynod annymunol, ond deuant ef allai rywfodd ar ol tê i'r addoliad hwyrol. Wel, yn wir, pobl ryfedd iawn yw rhai hyn: rhyfedd neu beidio, dyna ydyw ymddygiadau cannoedd yng Nghymru oleuaf neu "dywyllaf," chwedl y "gohebydd ymweliadol" hwnw.

Pe defnyddiai pobl eu harian a'u hamser i geisio cael dynion i'r addoliad ar foreu Sul, byddai yn

Digitized by Google

llawer gwell gwaith iddynt na myned ar hyd y wlad i chwilio gwallau yr addoliad dwyfol. Ond wrth ddrysau pwy erys y drwg o esgeuluso boreu Sul yng Nghymru? credaf fod llawer yn y cannoedd hyn heb law yr esgeuluswyr eu hunain. A ydyw rhieni a phenau teuluoedd yn lân oddi wrtho? A ydyw meistri yn iawn ymddwyn yn y cyfeiriad hwn yn eu cyssylltiad â'r cyfryw rai sydd dan eu gofal? Ofnaf mai ychydig iawn o sylw a rydd rhieni i'w plant gyda golwg ar bwysigrwydd mynychu yr addoliad boreuol. Os yw y rhieni yn ddiffygiol yn hyn o beth, beth am y plant? Mae y cyfryw sydd â gweision a morwynion eto dan eu hawdurdod yn hynod ddifater yn y cyssylltiad hwn. Os bydd Huw y gwas, a Nelly y forwyn yn ddigon bydol a gwasanaethgar iddynt hwy, pobpeth yn iawn: nid yw o bwys ganddynt am yr addoliad boreu Sul. Mammon yn gyntaf a Duw yn ail ydyw trefn llawer o bobl yr oes hon: rhaid aberthu i'r eilun safed a safo; bydd ef yn sicr o'i ran, gan beth bynag ddaw o'r addoliad boreu Sul i Arglwydd Dduw Israel. Mae esgeuluswyr boreu Sul yn golledwyr, yn golledwyr truenus iawn hefyd. Maent wrth golli y boreu, yn colli rhan oreu o'r dydd Sul, yn colli adeg fanteisiol i dderbyn iachawdwriaeth. Mae llawer yn iach yn y boreu, wedi meirw cyn yr hwyr. Mae bywyd tragwyddol mor werthfawr, yn fwy ei werth na'r holl fyd; felly dyma ddylai fod y peth blaenaf i ni ymdrechu am dano. Dichon colli un boreu Sul, dim ond *un*—dichon i hyny effeithio i ni golli y nefoedd am byth. Felly ystyriwn bwysigrwydd boreu Sul.

*Penegoes.* J. C. ROWLANDS.

---

## BABI CYNTAF MRS. JONES.

SYR,—Rhag ofn fy mod yn dechreu nyddu yn fain wrth adrodd fy chwedlau fy hun, mi a roddaf i chwi ychydig o brofiad fy Modryb Frances yn ei hir wasanaeth i gleifion ac oedranus, a bychain a gweiniaid yn ei hardal. Llawer dygwyddiad digrifol, llawer o gyffro diangen am dano, a llawer o fwnglerwch yn peri mawr niwed a dyoddefiadau a welodd yn ei dydd. Nid ychydig ydyw y profedigaethau a gyfarfyddant deuluoedd drwy anwybodaeth a diffyg ystyriaeth, fel a ddygir ger bron eich darllenwyr yn yr hanesyn canlynol am Mrs. Jones.

Dywed Modryb Frances, "Adwaenwn Mrs. Jones yn dda cyn iddi briodi. Ei henw oedd Anne Griffiths, ac yr oedd yn gwasanaethu gyda'r Squire Hughes yn y Plas Coch. Yr oedd yn ferch ieuanc hardd, dal, a siriol, ac yn hynod o hoff *ymbincio* ym mhob ffasiwn newydd, ac ymdrechai bob amser ymddangos yn dra boneddigaidd, a thynu sylw. Wedi ymdrechu yn ofer ennill serch y drulliad (*butler*), syrthiodd mewn cariad â'r is-arddwr o'r enw James Jones. Mawrhaodd y garddwr ei gwenau, ac adlewyrchodd hwy yn ol gyda llog digonol i sicrhau priodas mewn amser; a chafodd Anne Griffiths ei hun ryw ddiwrnod yn dwyn yr enw Mrs. Jones, ac yn feistres ar dŷ iddi ei hun yng nghwr uchaf pentref Lôn Groes."

Mawr fu ei gofal yn gosod ei thŷ mewn trefn, gan drefnu a newid, cynllunio a thrwsio mewn math o gyffro parhäus, heb byth adael dim yn llonydd. Blinid hi gan anesmwythder, fel ag y byddai yn rhaid iddi ymyryd a newid pob peth yn barhäus. O'r diwedd, daeth golwg y byddai gofalon ereill yn gwasgu arni cyn bo hir iawn, a mawr y darparu ar gyfer hyny. Daeth gofal baban i'w rhan, a druan o hono gan gynted ag y daeth Mrs. Jones yn alluog i'w gymmeryd dan ei gofal ei hun. Nid oedd ganddi y syniad lleiaf pa fodd i'w *nursio*. Aeth i lewyg pan welodd y *doctor* yn crafu ychydig dan groen braich y baban i roddi iddo y cowpog; a mawr fu ei ystŵr a'r pwnio *gin* yn barhäus i'r baban gwirion, pa bryd bynag y dechreuai nadu a chrïo dan y cowpog.

Ychydig amser ar ol hyny yr oeddwn yn dychwelyd adref yng nghwr uchaf y pentref, a gwelwn Mrs. Jones yn rhuthro o'r tŷ yn bennoeth, gan wasgu ei dwylaw yng nghyd. Gofynais iddi i ba le yr oedd yn rhedeg. "O Miss Frances," ebai, "y mae y babi bron â marw." "O rhedwch i'r tŷ; yr ydwyf fi yn rhedeg am y *doctor*." "Wn i ddim beth a wnaf; mae y babi yn marw," meddai, ac eisteddodd ar gareg yn ochr y ffordd, gan wasgu ei dwylaw yng nghyd, a siglo ei hun ol a blaen. "Os ydyw y babi yn sâl," meddwn innau, "rhoddwch rywbeth am eich pen ac ewch i geisio y *doctor*, ac mi af finnau at y babi i'r tŷ." "Y mae eisieu symmud pan fo rhywun yn sâl."

Aethym yn unionsyth i'r tŷ, a gwelwn y babi ar lin cymmydoges mewn gwasgfeuon o'r *convulsions*. Ebai hòno, "Mae y babi yn magu dannedd; mae y ddau ddant i'w teimlo dan eich bys, a'r *gums* yn boeth a'r safn yn sech wedi myned yn gorn, ac y mae yn gwrthod sugno: newydd ddechreu ydyw y *convulsions*."

Yr oedd Mrs. Jones yn sefyll gan wasgu ei dwylaw ac udo ar ganol llawr, a dywedais wrthi drachefn, "Ewch i alw y Dr. Williams ar unwaith, a dywedwch fod y babi mewn *convulsions*, ac mi edrychaf fi

Digitized by Google

ar ei ol nes i'r *doctor* ddyfod." Ar hyn aeth allan o'r tŷ.

Yr oedd y babi erbyn hyn yn hollol ddideimlad, ei lygaid wedi sefyll yn ei ben, ei wddf yn plygu yn ol, a'i wefusau yn welwon. Gorchymmynais i'n cymmydoges lenwi y tegell mwyaf â dwfr, a'i osod ar tân, a phrysuro i'w dwymno, a hanner llenwi padell fawr oedd yn y gegin â dwfr oer. Sylwais nad oedd yno ddim gwresfesurydd; ac felly cyn gynted ag y gwelais y tegell yn berwi perais i'n cymmydoges garedig dywallt y dwfr poeth i'r babell nes byddai yn dymmerus i roddi y baban ynddo. Torchodd ei llewis, a thywalltodd y dwfr poeth i'r babell. Yna ebai, gan blygu ei braich a dodi ei phenelin yn y dwfr, "Fel hyn, y byddai mam yn profi gwres dwr tylino." Fel yna meddwn innau, y mae profi gwres dwfr *bath* i blentyn hefyd. Gwnewch y dwfr mor boeth fel y gellwch ddyoddef eich penelin ynddo, a gwna y tro. Rhoddasom y baban yn y *bath* hyd at glecied ei ên; ac yr oedd y Dr. Williams yn sefyll wrth ein cefnau cyn ei fod yno ddau fynyd. "Da iawn, wragedd," meddai, "yr ydych wedi gwneyd yn gall." Safodd uwch ben y *bath*, ac ebai, "Gwelwch, y mae y bychan yn agor ei lygaid." Araf ddeffröes y plentyn; a thynwyd ef allan o'r *bath*, gan ei *lapio* yn dŷn mewn planced gynhes. Tynodd Dr. Williams ei *lancet* allan ar ol teimlo y *gums*, gan amcanu lansio y croen caled; ond yma rhuthrodd y fam i afael â'i fraich, gan waeddi, "O peidiwch â chyffwrdd â'r baban hefo'r *lancet* yna." "Wraig dda," ebai y *doctor*, gan wenu, "pa ham yr oeddech yn galw am danaf? Rhaid i mi wneyd y peth a welaf oreu er lles y baban." A chan ei chadw draw, ebai, "Ni bydd i mi frifo y plentyn. Sefwch chwi yn y fan yna." Deliais i ben y baban, a chyffyrddodd y *doctor* yn ysgafn â'r croen gwydn oedd yn attal y dannedd drwy y *gums*, a gwaedodd ychydig bach. "Rhoddwch lonaid llwy dê o *castor oil* wedi ei gymmysgu ag ychydig ddwfr poeth a siwgr, neu ag ychydig beppermint i'r baban, pan ddaw i lyncu," ebai y *doctor*. "Yr ydych drwy y *bath* wedi achub ei fywyd. Buasai llwyaid o *castor oil* gyda lansio ychydig ar y *gums* pan ddechreuodd y baban wrthod y fron, wedi arbed y salwch yma i gyd."

Yr oedd Mrs. Jones bellach wedi meddiannu ei hun yn weddol, ac ebai y *doctor* wrthi, "Cofiwch, Mrs. Jones, wrth alw am y *doctor* mai efe sydd i farnu beth a ddylid wneyd. Rhoddwch y babi mewn *bath* cynhes am bum mynyd os caiff y *convulsions;* a rhag ofn iddo eu cael rhoddwch iddo lonaid llwy dê o *castor oil* pan elo yn boeth iawn. Hefyd, peidiwch â rhoddi crystiau bara iddo sugno rhag ofn iddo dagu. Rhoddwch iddo *India rubber ring* fel hon." Yr oedd y baban erbyn hyn yn dechreu gwenu.

Yr eiddoch,

MARGARET LLWYD.

---

## LLAN CWM AWEN: NEU DDEFFROAD EGLWYSIG HANNER CANRIF YN OL.

(*Parhâd o dudalen 305.*)

### PENNOD XX.

*Dranoeth wedi'r Dymmestl.*

GWEDI i dwrf y festri fawr fod yn destyn ymddyddan yn y Cwm am ychydig ddyddiau, tawelodd pob ymryson, gan belled ag y gwelid un arwydd allanol. Ymddangosai y mwyafrif o'r preswylwyr, er yn lled hawdd eu cynhyrfu, eto yn awyddus iawn i osgoi ymrysonau crefyddol. Nid oeddynt wedi ymarfer â'r cyfryw, ac yr oedd perthynas waed yr oll bron o'r teuluoedd amgylchynol yn eu cyssylltu mor agos â'u gilydd, fel na allent wahaniaethu, ac yn neillduol ymwahanu, oddi wrth eu gilydd heb dori rhwymau tyner iawn, a chreu briwiau dolurus i'r eithaf. Nid oedd y bobl syml yn feddiannol ar athroniaeth y cofiadur, llawer llai ar ei dwyll-ymresymiaeth olygus, i allu croes ddadleu â'r tafod, a chadw y dymmer yn dawel, a gwrthwynebu egwyddorion heb ddrwg-deimlad at bersonau.

Cryn amser cyn hyny cawsai pobl y Cwm eu gwala o groesddadleu penboeth pan ymsefydlodd y Wesleyaid mewn pentref bychan, dinod, ar fin y môr, ryw dair milltir o bentref Cwm Awen. Daeth y Wesleyaid i'r lle, gan bregethu llawer iawn o bethau heb law cariad. Gwneyd gwawd o Galfiniaeth *gul*, ond *dwfn*, preswylwyr y Cwm oedd un o'r pethau mwyaf dymunol gan rai o barablwyr rhwyddion, parod, ond lled arwynebol, blaen fyntai y cenadon Wesleyaidd. Yr oedd dynion grymus yn wir ym mysg y cenadon hyn, ond nid o'r gwenith goreu a thrymaf y caed yr had i faes llafur tir y Cwm. Ond os bu y rhai hyn yn bigog, daeth y blaid Galfinaidd yn chwerw, a thywalltai gwŷr mor enwog, grymus, a daionus a Thomas Jones o Ddinbych, Howell Harris, a John Elias eu phiolau melltith ar eu penau. Yr oedd anathema y fath wŷr yn ormod i blanigyn eiddil Wesleyaeth Llan Cwm Awen flodeuo danynt. Gwywodd yn araf yn y pentref llwm ar fin y môr, lle y cwynfana yr athrist dòn. Ac erbyn amser y festri fawr, yr oedd yr ychydig

Digitized by Google

Wesleyaid a gadwent at eu proffes wedi ymgymmodi â'r Calfiniaid, ac yn caru anghofio eu dadleuon.

Ond am yr Eglwys, buasai hi yn cysgu trwy ystod swn y rhyfel Arminaidd, medd ei gelynion. Sicr yw na chymmerodd ran yn yr ymrafael, ac na feddyliodd neb o'r ymrysonwyr ei haflonyddu, gan ofyn pa un ai Calfinaidd ai Arminaidd oedd. Cadwodd ei herthyglau a'i chredoau yn gwbl iddi ei hun. Ni thramgwyddodd ac ni *ennillodd* neb â hwy. Gan hyny, ni aflonyddasid athrawiaethau yr Eglwys, a pheth newydd iawn i bobl Cwm Awen oedd galw ei phynciau cred i gyfrif. Digon ganddynt fuasai myned iddi i fedyddio eu plant, i ymbriodi, ac i gladdu eu meirw, heb ofyn dim er mwyn cydwybod. Yr oedd hir arferiad a hir feddiant yr hawl i wneyd hyn yn ddigon gan naw o bob deg o'r plwyfolion. Nid rhyfedd felly fod corff y rhai hyn yn ammharod i wneyd cadgyrchiad agored yn erbyn adgyweiriad yr Eglwys dan ofal Llewelyn Llwyd.

Felly, cafodd heddwch da i fyned ym mlaen â'r gwaith a chynnorthwy parod gan yr amaethwyr oll, hyd yn nod gan lawer a wrthwynebasent yn y festri.

Tra yr elai gwaith yr adgyweirio ym mlaen, cynnaliai yr offeiriad y gwasanaeth yn yr ysgoldy, ac ychwanegodd Ysgol Sul o flaen y gosper ar y Suliau. Ychwanegodd hefyd bregeth at wasanaeth prydnawnol y gosper. Rhaid i ni ofyn i'r darllenydd ddyfod gyda ni i roddi un tro trwy yr Ysgol Sul fechan yn ysgoldy'r Cwm. Y dyn tawel, byr, a'i ben yn britho, a'i ysgwyddau yn crymu at eu gilydd, sydd yn eistedd gyda'r pedwar plentyn bychan yna, yw ysgolfeistr Madam Bevan. Gellwch weled nad oes ynddo ddim i dynu sylw ond ei lonyddwch a diwydrwydd. Ond er ei fod yn syml, tawedog, a diymhongar, y mae yn un o rai dirgel Duw. Un o rai llariaidd y ddaiar. Pe gallem ysbrydoli yr olygfa, fe welem engyl gwarcheidiol y rhai bychain yn gwenu uwch ei ben, ac ef allai y clyw efe hwy yn sibrwd pethau dymunol yn ei galon, a thywallt phiolau o fwynhâd i'w ysbryd. Gadawer iddo, y mae y darfodedigaeth wedi crebychu ei ysgwyddau a dattod rhan o ewynau ei nerth, ond y mae wedi planu rhosyn ar bob boch iddo, a thaflu dysgleirdeb uwch-ddaiarol i'w lygaid ef. Dyma Angharad, chwi a'i hadwaenoch. Yr eneth dalaf yn ei dosbarth yw Gwenafwy Owen, y Plas. Gwelsoch hi dair blynedd yn ol yn croesi o'i babandod i'w genethdod tua saith oed. Y mae yn dal yn ei symledd a'i thymmerau chwarëus. Y mae cloch arianaidd ei llais wedi lloni a sirioli yn gywair llon i gyd. Y mae ei gwallt wedi llaesu llawer; ei llygaid wedi ymloewi; a cheir llinellau pwyll, dealltwriaeth, teimlad, serchiadau, a chymhelliadau ereill, wedi gwisgo allan baentyddiaeth babandod oddi ar ei gruddiau. Nid delw deg ydyw, ond *peth byw*, prydferth, dedwydd. Nis gellwch ymddyddan â hi heb ei hoffi. Un ydyw ddylai fod yn aml wrth orsedd gras. Cyn hir hi fydd yn nod i'r hwn a dwyllodd fam dynoliaeth. Ond y mae yn anadlu yn arogldarth gweddïau mam, gweddïau athrawes hoff, gweddïau offeiriad Duw, ac yn arferiad ei gweddi syml ei hun. Dywedwn ninnau wrth fyned heibio, "Naf roddo ras i ti." Y pedair geneth arall, plant o'r un clai, yr un cnawd a gwaed, yr un teimlad a gobeithion, ac yn wrthddrychau yr un pryder i famau, athrawes, a bugail ysbrydol ydynt hwy yn ddiau. Ond wrth olwg yn unig yr adwaenom hwy. Am y Bardd Didymus o'r Cwm, chwi a'i hadwaenoch ef. Y mae yn athraw gwybodus a llafurus iawn, ac yn barod i agor holl drysorau ei wybodaeth i'w dri ysgolhaig oedranus. Dyn y deall a'r wybodaeth yw, ac nid yw, fel llawer llyfr-bryf, am fwyta bara y deall ar hyd ei fywyd, heb gyfranu tamaid i neb, a gadael i bryf y bedd ymborthi ar ei holl ddoethineb yntau. Na, Didymus Fardd, ti wnei yn gall. Fe wna dy wybodaeth fwy o les i'r hen bobl yna nag i un o bryfaid llwch y bedd.

Ond rhaid dweyd gair am un o'r pum bechgyn sydd gyda Llewelyn Llwyd ei hun yn adrodd rhan o'r Deg Gorchymmyn. Y bachgen gwridgoch, tywyll ei groen, ond du fel brân ei wallt, a'r gwyneb lluniaidd agored, a'r llygaid o las tywyll, "fel pistyll y dòn," mab ydyw i Didymus o'r Cwm. Ymddengys yn feddiannol ar dalent ei dad, a thynerwch a serchogrwydd dwfn ei fam, yr hon oedd dawel a thyner wrth natur, ac a gadwesid gan y bardd yn y fath gyflwr nad oedd raid iddi roddi un rhinwedd gwrthwynebol mewn arferiad. Goddefer i ni ddweyd yma rhwng cromfachau, y mynai Didymus o'r Cwm ymladd pob brwydr ei hunan. Os byddai bai mewn plentyn, mewn gwerthwr ymenyn, caws, neu gig—blawd yn cael ei gadw yn hir yn y felin, esgidiau'r plant yn hir dan ddwylaw crydd, neu ddillad dan ddwylaw teiliwr, byddai tymmerau y bardd wedi cyfodi i wres ceryddu cyn y byddai tymmerau y wraig wedi dechreu aflonyddu. Felly, byddai Didymus rhwng y wraig a phob dryghin. Gelwid ef y gwaethaf ei dymmer yn yr ardal, a hithau yr addfwynaf yn y byd. Tra yr elai ef o amgylch yn fyrbwyll i fflangellu mwy na'r angen, rhaid oedd iddi hithau fyned oddi amgylch i dywallt olew i'r clwyfau. Felly yn unig y cedwid heddwch a chymmydogaeth dda. Cyfranogai Thomas Evans ieuanc o gryfder cof a chyflymdra meddwl ei dad, ac o hynawsedd

Digitized by Google

llednais ei fam a'i dyfalbarhâd amyneddgar hi. Yr ydoedd weithian yn ddeuddeg oed, wedi cael ysgol lled gysson er pan agorid ysgol Madam Bevan yn y plwyf, a bod dan gyfarwyddyd parhäus Llewelyn Llwyd. Efe oedd gobaith yr ysgol, ond amcanai, mor fuan ag a goddefid iddo, droi ei wyneb i'r môr. Byddai yn hoff iawn o glywed son am wledydd tramor a'u rhyfedd-bethau, a hanner addolai Mr. Owen y Plas, am ei fod wedi hir "hwylio ar led" ym moreu ei oes. Yr oedd eisoes wedi meistroli rhifyddiaeth mor bell a *decimal fractions*, a buasai ei hun fwy nag unwaith yn gofyn i Mr. Owen a allai efe ddim cael myned yn *apprentice* ar un o'i longau. Addawsai Mr. Owen hyn iddo o'r diwedd, pan fyddai ei dad a'i fam yn barod iddo fyned ac yntau yn ddigon hen. Yr ydoedd Thomas Evans ieuanc yn aml ymwelydd â'r Plas, a'i brif hyfrydwch fyddai cael caniatâd i dynu nythod brain, a gwneyd *necklace* hir o blisg yr wyau i Gwenafwy. Gwedi cael gafael unwaith ar gangen o'r pren ag y gallai gyrhaedd am dani, gwae i'r frân a nythai yn y brig byddai Didymus Bach, fel ei gelwid gan y plantos, yn fuan iawn yn feistr ar y drefedigaeth uwch ben i gyd. Ni ddiangai nyth o grafangau yr ysbeiliwr.

Tybiai Gwenafwy nad oedd ei debyg ar y ddaiar, a breuddwydiai weithiau ei weled yn syrthio i'r llawr yn farw. Ond yr ydym wedi myned ar ol y bachgen, a gollwng yn anghof yr Ysgol Sul. Gwelwyd yr oll o honi bellach. Nid oes yna ugain ysgolhaig rhwng y cwbl. Ugain dan ofal pedwar o'r athrawon goreu yn y plwyf. Llewelyn Llwyd gwedi derbyn yr addysg oreu, a chyrhaedd bron i'r rhicyn uchaf yn Rhydychain. Angharad, y foneddiges dalentog wrth naturiaeth ac addysg a dygiad i fyny, ac wedi ymgyssegru i wneyd daioni. Athraw yr ysgol ddyddiol, un wedi ymarfer â chyfranu addysg ar hyd ei oes; a Didymus o'r Cwm, lleiaf ei addysg o'r pedwar, ond tu allan i'r tri ereill, yr uchaf a'r helaethaf ei wybodaeth yn y Cwm. Y fath wastraff talent ar ryw olwg yn yr ysgol fechan.

Trown y meddwl i'r capel cyfagos: y mae yno bum ugain a mwy—yr oll dan ofal dynion difanteision, pobl unieithog, ac un llyfr. Y maent yn llafurus yn wir; y maent o ddeall naturiol dda; ond y maent, i raddau pell, yn dysgu ar amcan, ac yn ymbalfalu am y gwirionedd. Y fath anghymmesuredd! Yr ychydig dan ofal gwŷr o ddysg; y llawer dan arweiniad yr un dosbarth a'r ysgolheigion eu hunain. Y difantais yn addysgu y difantais. Pa le y mae y bai? Y mae yn bod. Nis gall Cymru fesur ei cholled o neillduo talent a dysg i dir dinodedd, a dyrchafu athrawon y lluaws o'u plith eu hunain, a'u cydradd eu hunain. Y mae calon y gwir wladgarwr a'r Cristion ffyddlawn yn gwaedu wrth weled hyn, heb allu ganddo i osgoi y dynged. Yn sicr, trychineb mawr yw rhanu Eglwys Dduw. Gwaith gwerth aberthu oes yw ymdrechu cyfanu y rhwyg.

Os mynem enwau a fyddo yn perarogli byd, ymdrechwn eu cyssylltu ag adeiladu bylchau Sïon, cyssylltu ei thyrau yng nghyd, trwy gyfanu rhwygiadau ei muriau.

## PENNOD XXI.

### *Yr Adgyweiriad.*

Tra yr elai adgyweiriad yr Eglwys ym mlaen, cedwid Llewelyn Llwyd ar lawn gwaith; ac fel pob adgyweirydd o'i flaen ac ar ei ol, cafodd lawer o lafur, llawer o flinder, a llawer o fwynhâd. Cai wên un, a gwg y llall; condemniad un, a chanmoliaeth arall; boddiai un, tramgwyddai y llall. Mae y dyn llafurus yn cael llawer o ofid yn ei waith, ond y mae yn cael llawer o fwynhâd hefyd, tra mai'r dyn amddifad o ofid a mwynhâd yw y truenusaf mewn cymdeithas.

Gan mai â phethau mewnol dyn, byd, a chrefydd, y mae a wnelom, ac nad ydym gyfarwydd mewn arch-adeiladaeth, nid ymhelaethwn ar y pwnc hwn. Digon hwyrach yw tystiolaeth Llewelyn Llwyd ar y pen yma, pan y cyfaddefodd fod yn haws cael deg o feini naturiol i adeiladu muriau Eglwys Cwm Awen nag un maen bywiol i adeiladu y deml ysbrydol. Llawer gwaith y dywedodd wrtho ei hun, "Wele dân a choed, ond pa le y mae yr oen?" "Wele feini naturiol o glogwyn, ceunant, ac afon yn cael eu dwyn i'r muriau, ac os nad eu hystwytho i gymmeryd eu lle, yn goddef eu trwsio i'w gwaith."

O! am weled meini bywiol eto yn cael eu dwyn i'w hadeiladu ar sail yr apostolion a'r prophwydi, a Christ yn ben conglfaen, yn deml sanctaidd i Dduw yma! Dangosodd plwyfolion y Cwm lawer o ewyllysgarwch a pharodrwydd i gynnorthwyo yn yr adeiladu, a dirgel-ymfalchïai hyd yn nod yr Ymneillduwyr mwyaf gwresog dros eu plaid, yng ngweithgarwch, duwioldeb, a galluoedd y rheithor, ac yn adferiad yr hen Eglwys adfeiliedig. Y gwirionedd ydyw, nad oes neb mwy parod i gydnabod daioni a gwerth dynion gweithgar, galluog, na'r cyffredin o'r bobl syml wledig. Beth bynag ellir ddweyd am eu symledd cartrefol a'u rhagfarn lleol, y maent yn sylwgar, craff, llygadog, ac o synwyr cyffredin cryf. Y maent yn hawdd eu cynhyrfu a'u hud-ddenu dros amser trwy appeliadau at eu gwendidau, eu rhag-ddewisiadau, a'u ffafr-opiniynau; ond wedi'r cyfan, mawr-

Digitized by Google

ygant dalent, unplygrwydd, a duwiol lafur cariad yn y rhai a dybient yn wrthwynebwyr iddynt. Cas beth y Cymro gwledig ydyw ymhonwr sych-foneddig didalent, amddifad o synwyr cyffredin, yn ei gyfarfod a'i anerch oddi ar uwch safle gysgod-fawr noddwr coeg-ymostyngol. Nid ydyw yn natur y Cymro gwledig cartrefol, syml, sefyll ar hyd braich mewn ymddyddanion personol, ac yn neillduol os bydd y rhai hyny yn ymwneyd â'r ysbrydol.

Llwyddasai Llewelyn Llwyd rywfodd i ddilëu pob pellder rhyngddo a'i blwyfolion, heb ddilëu dim ar y parch ato. Yn wir, dilëu *oerni* y pellder a wnaethai a'i lenwi ag edmygedd a theimlad da. Byddai yr oll ond rhyw ddau neu dri yn hoff o'i weled ac ymddyddan ag ef. Tra y prysur elai yr adgyweiriad ym mlaen, llafuriai yn ddyfal yn yr ysgol ddyddiol ac yn yr Ysgol Sul, yn gystal ag ymweled â'r cleifion. Ond byddai yn aml yn barod i anobeithio. Gwelai mor ychydig o arwyddion llwyddiant oedd ar ei waith. Mewn gwirionedd, yr oedd yn rhyw ddistyll trai isel heb olwg troi o'r llanw.

Ar un o'i ymweliadau â'r Plas, pan oedd Mrs. Owen yn lled wael, troes yr ymddyddan rhyngddo a Mr. Owen ar faterion Eglwysig. Dyn rhadlawn, llawn o natur dda, a chymmwynasgar oedd Mr. Owen; ond yr oedd yn ddiofal, llac, agored, ac ammhennodol yn ei olygiadau crefyddol. Mewn gwirionedd, nid oedd ganddo ddim blas at dduwinyddiaeth athrawiaethol. Gan belled ag yr elai ei ogwyddiad crefyddol, tueddai at yr Eglwys yn llawer mwy nag at y Methodistaid, a hyny am y rheswm syml fod llai o ymyryd personol yn yr Eglwys na'r capel. Yr oedd Mr. Owen hefyd o gymmeriad moesol dilychwin, ac o rodiad addas uwch law y cyffredin. Yr oedd yn graff a chall iawn, ond yr oedd yn ei natur fwy o'r elfen chwarëus, ysgafn, a didaro, nag o'r elfen ddefosiynol a phryderus yng nghylch y dyfodol.

Ymdrechasai Llewelyn Llwyd fwy nag unwaith droi yr ymddyddan at bethau ysbrydol, a thueddu y y Cadben Owen, fel ei gelwid, i gyfranogi o'r Cymmun Bendigaid, ac ymafael o ddifrif yng ngwaith yr Arglwydd. Cyffyrddasai â'r un tant yn yr ymweliad dan sylw.

Ond fel hwyliwr medrus, ennillasai y Cadben Owen y *tack* arno, ac arweiniasai yr ymddyddan i gyfeiriad arall. Ebai, "Cyfarfum ddoe â'r priswyr degymau yn y plwyf hwn. Y maent yn ddau foneddwr difyrus iawn i fod yn eu cwmni, ac feddyliwn yn ddynion teg. Wrth gwrs, bu sefyllfa yr Eglwys yn y plwyf yn bwnc sylw iddynt, a dywedodd un wrthyf mai gresyn oedd gwario gwaddoliad y plwyf i gynnal gwasanaeth addoliad i ryw bymtheg neu ugain o bobl."

"Pa beth," atebai Llewelyn Llwyd, "oedd genych chwi i ddweyd yn erbyn hyny?"

"Dywedais," ebai yntau, "nad oeddwn yn cydweled ag ef, ac y buaswn i yn dal fy ngafael yn y gwaddoliad i gadw offeiriad—ac offeiriad gweithgar hefyd—yng Nghwm Awen, er mwyn symbylu yr Ymneillduwyr i weithgarwch. Gwneir yn y plwyf hwn waith rhagorol, ac ond iddo fyned ym mlaen fel y bu am y pedair blynedd diweddaf, bydd yma baradwys o le cyn bo hir."

"Pa fodd y gellwch ddywedyd hyn, Mr. Owen?" sylwai Llewelyn Llwyd. "Nis gallaf fi weled dim gwaith ym myned ym mlaen yma."

Atebai yntau, "Yr ydych yn rhy hunanymwadol a diymhongar i weled eich gwaith eich hun, Mr. Lloyd, ac allan o gyfleusdra i weled effaith eich presennoldeb a'ch esampl ar waith pobl ereill. Ond gwneir gwaith mawr trwy eich *dylanwad* yn y plwyf."

"Yn sicr," sylwai Llewelyn Llwyd, gan ddechreu teimlo yn anghysurus, "yr ydych yn fy ngwneuthur yn anesmwyth, ac nis gallaf ddeall eich cyfeiriadau. Eglurwch eich hun."

"Y mae pobpeth yn eglur i mi," atebai y cadben, gan wneuthur gwên ddireidus wrth weled yr offeiriad yn bryderus a synedig. "Cyn eich dyfodiad yma yr oedd y Cwm ym mreichiau cwsg foesol, feddyliol, ac ysbrydol. Yr oedd *achos* y Wesleyaid wedi trengu yn welw oer ar fin y môr, heb eisieu dim ond ei gladdu; ac yr oedd achos y Methodistiaid Calfinaidd yng nghapel y Cwm yn gysglyd a dilewyrch hollol. Mynych y byddid heb bregethwr yn amlach na bob yn ail Sul. Dilynid cyfarfod gweddi ar ol cyfarfod gweddi, nes i'r cyfryw fyned yn ddiflas, ac arosai mwy na hanner y plwyfolion gartref ar nos Suliau. Unwaith ar noson seiat y gwelid goleuni yn y capel ar noson waith. Pan benodwyd Mr. Hughes gynt yn gurad yma, cyfododd peth cynhwrf yn y gwersyll Ymneillduol; ond pan welwyd nad oedd dim llawer mwy o fywyd yn yr Eglwys, aed i gysgu drachefn. Ond ar eich penodiad chwi, bu ail ddeffroad—ail rwbio llygaid—ail godi pen—edrych o amgylch ac ymysgwyd. Cafwyd amryw bregethwyr mawr i roi tro trwy yr ardal. Ychwanegwyd cyfarfodydd defnyddiol o bob math yn y capel, ac aethpwyd o dŷ i dŷ i argymhell segurwyr y Suliau i'r Ysgol Sul a'r moddion. Llosgir canwyllau bob nos trwy y gauaf i wneyd rhyw ddaioni mewn ystyr foesol, llenyddol, neu grefyddol. Y mae cynnulleidfa y capel wedi dyblu, a chynnulliad yr Eglwys wedi mwy na dyblu er pan ddaethoch chwi yma. Mewn

Digitized by Google

gwirionedd, Mr. Lloyd, dyna effaith cyntaf ymddangosiad pob gweinidog neu offeiriad llafurus mewn plwyfydd lle y buasai yr Eglwys yn ddilewyrch. Lle byddo yr Eglwys yn cysgu, fe gwsg Ymneillduaeth ar ol yr egnïon cyntaf. Pan ddeffroa, neu lle deffroa yr Eglwys, bydd deffroad oddi amgylch."

"Y mae rhesymoldeb mawr yn y peth a ddywedwch, Mr. Owen," sylwai Llewelyn Llwyd, "a sonia St. Paul am rai yn pregethu Crist o genfigen, a llawenychai fod Crist yn cael ei bregethu hyd yn nod o genfigen. Fe ddylwn innau lawenhau wrth yr hyn a ddywedasoch, er mai un o'r pethau anhawddaf i'w roddi mewn arferiad ydyw llawenhau yn llwyddiant neb a fyddo yn gweithio oddi ar gamgymhelliad, hyd yn nod pan fo yr amcan yn dda."

"Maddeuwch i mi, Mr. Lloyd," ychwanegai y cadben, "os rhoddaf air i'ch cywiro mewn peth ag nad ydych chwi bron byth yn droseddwr ynddo, sef mewn barnu yn galed am ereill. Ond y mae yn annichonadwy i chwi, o'r tir Eglwysig, allu gwneyd cwbl gyfiawnder â'r *cymhellion* sydd yn ysgogi Ymneillduwyr i weithgarwch mwy ar achlysuron fel sydd dan sylw. Er i mi gael fy magu ar y tir canol, rhwng Ymneillduaeth a'r Eglwys, nis gallaf wneyd llawn gyfiawnder â hwy. Byddaf yn aml iawn yn gweled eu bychander, eu plentyneiddrwydd, ac, a defnyddio gair mewn ystyr wledig, eu *diniweidrwydd* mewn amgylchiadau fel hyn. Yr elfen ddyfnaf wrth wraidd eu symmudiadau yn ddiau yw *daioni*. Y mae yr elfen gydymgeisiol ar unwaith yn deffroi ym mynwes Ymneillduwyr pan glywont swn gweithgarwch yn yr Eglwys, mor naturiol ag y cynhyrfir *mettle* ceffyl segurllyd pan glywo drwst carnau march yn tithio neu drotian o'i ol. Nid oes dim drwg am a allaf ddeall yn hyn. Yr elfen nesaf ydyw cariad at yr *achos* mewn llaw. Y mae pob sect Ymneillduol, fel y gwyddoch chwi, yn mawrygu y sect mewn mesur hollol wrthgyferbyniol i'w maint, neu gulni ei daliadau. Po gulaf y cred, mwyaf y sel neu frwdfrydedd drosti. Felly yma. Mae y credo yn gul iawn, pe bai weddus i mi farnu, ond y mae yn anwyl iawn, ac felly ofnir am dano a llafurir drosto, rhag ofn i'r Eglwys ennill tir, a thrwy hyny golledu y sect. Felly, mae y cymhellion yma yn dda, ond fod y seiliau yn gyfeiliornus."

"Yn wir, Mr. Owen," atebai Llewelyn Llwyd, "y mae eich sylwadau wedi fy synu i; ni feddyliais i erioed eich bod wedi cymmeryd cymmaint o ddyddordeb mewn materion fel hyn, ac yn gallu dadansoddi amcanion dynion, a'u gosod mewn goleuni mor dda."

"Yr wyf wedi sylwi cryn lawer ol a blaen," atebai yntau, "ac y mae eich cymdeithas chwi a Mrs. Lloyd wedi dysgu peth i mi pa fodd i edrych am amcanion goreu pawb. Ond y mae rhai dynion â'u hamcanion yn ddrwg, a holl gymhellion eu bywyd yn hunanol. Ychydig o'r cyfryw sydd yn ein mysg ni yma. Pa fodd bynag, Mr. Lloyd, ac edrych ar eich gwaith yn ei effaith ar y plwyf hwn, gallaf eich sicrhau ei fod yn ddaionus, gan belled ag yr ä. Yr hyn wyf fi yn feddwl yw, y mae yma fwy o wneuthur daioni, mwy o gyfranu dysg, mwy o ddarllen, mwy o addoli, llai o feddwi, llai o dyngu, a llai o halogi Dydd yr Arglwydd. Ond yn yr olwg o Eglwys yn erbyn capel (yr unig olwg yn sylw rhai), yr unig beth a allaf fi ddweyd yw, y dylai y llestr ag sydd dan y cadben goreu, yn nwylaw y cwmni cryfaf, ac yn derbyn *subsidy* o gyfalaf hynafol at ei hwylio, yn yr hir ymdrech mewn masnach deg, orchfygu yn y diwedd. Y neb a ddiwallo angenion ysbrydol y bobl, a ennillant eu calon yn y diwedd. Yr ydych chwi eisoes wedi rhoddi cam da yn y cyfeiriad yma, ac os na chewch chwi weled llwyddiant yn bersonol, fe wel rhywrai lwyddiant. Nid mewn un oes y collodd yr Eglwys ei gafael ar y wlad, ac nid mewn un oes yr ennilla afael yn ol."

"Diolch yn fawr iawn i chwi, Mr. Owen," ebai Llewelyn Llwyd, "am eich ymddyddan dyddorol; y mae o fewn eich gallu chwi i fod o les mawr, ac yr wyf yn sicr y caf lawer o'ch help."

Gwelodd Llewelyn Llwyd fod ei waith ef yn yr Eglwys yn creu adweithiad yn gystal a gwrthweithiad ym mysg yr Ymneillduwyr, a chafodd ar ddeall cyn pen hir fod personau dan ddylanwadau *arddeliad*, fel y gelwir deffroad ysbrydol, dan weinidogaeth yr Eglwys, wedi myned fwy nag unwaith ac ymuno â seiat y capel. Y fath oedd grym arferiad, fel yr attynid y difrifol a'r defosiynol ar unwaith yn ddiymholiad i'r capel. Nid oedd hyn ond amlygrwydd pellach o'r sychder a'r diffrwythder a ymledasid dros yr Eglwys. Pan deimlai enaid lluddedig syched ysbrydol, ni feddyliai y gallai gael gafael ar ffynnonau y dyfroedd byw yn Eglwys ei dadau; a phan newynai, brysiai hyd yn nod allan o'i phyrth urddasol, ac elai dan gronglwyd lluestty min y ffordd i ddiwallu ei angen.

Mae yn wir fod yn yr hen gartref, tŷ ein Tad, wala a gweddill o fara, ond anghofiasai yr afradlawn am dano. Yn y lluestty dinod y gwelid darpariaeth barod a chroesawgar o amgylch y drws. Yno yr oedd y gynghanedd a'r dawnsio. Gellir dweyd mai afreolaidd oedd hyn oll, ond nid yw afreoleidd-dra y ddarpariaeth yn ymwadiad o'r ffaith. Buasai bai

Digitized by Google

yn rhywle. Goddefasid iddo fyned yn fai gwaeddfawr. Yr oedd cyndynrwydd a ffolineb Rehoboam, yn gystal ag eilunaddoliaeth ei dad, yn rhagflaenu rhwyg dyddiau Jeroboam a gosodiad i fyny y lloi aur yn Bethel a Dan.

(*I'w barhau.*)

---

## ALLTUDION CYMREIG YN NEHEUDIR AMERICA.

Y MAE y Weriniaeth Argentaidd yn dyoddef yn ddwys dan brinder arianol a chyfyngdra masnachol. Effeithia hyn yn farwol ar gyflwr yr ymfudwyr, druain, a aethant allan dan hud-obeithion o Gymru a Lloegr i geisio y "tiroedd rhad" (?) yn Argentina. Y mae llawer o honynt gwedi dychwelyd i Brydain ar ol dyoddef y caledi mwyaf creulawn. Nid am y wladfa Gymreig ym Mhatagonia yr ydwyf yn crybwyll yn awr, ond am gyflwr sefydliadau mewn taleithiau llawer mwy gobeithiol i'r olwg allanol na Phatagonia. Y mae gororau y Chupat wedi dianc yn rhyfeddol rhag helbulon y rhan arall o'r Weriniaeth, a'r prif achos ydyw, fod ei thrigiannwyr bron i gyd yn Gymry *cynnil gweithgar*, yn byw gyda'i gilydd fel pe baent yn yr hen wlad, ym mhell o swn a helyntion chwyldroadol taleithiau gwaraidd (?) Buenos Ayres. Ond druain o'r creaduriaid a aethant allan ar wasgar hyd a lled sefydliadau Santa Fe, i fyw yn unigol ym mhlith cenedl hollol wahanol eu harferion i'r Cymry a Seison. Cawn lythyr torgalonus iawn o eiddo y Parch. R. Allen, offeiriad cenadol yn y wlad hòno, yn darnodi y modd y torwyd i fyny sefydliadau Naposta a Sance Costo. Yn y cyntaf yr oedd tua deugain o deuluoedd Seisonig, y rhai a fuont yn wrandawyr ffyddlawn i Mr. Allen pan ddelâi ar ei gylch teithiol i weinyddu iddynt. Ond yn awr bu raid tynu yr Eglwys haiarn fechan i lawr, o herwydd fod y sefydlwyr truain yn gorfod gadael eu tai a'u tiroedd, holl ffrwyth llafur eu dwylaw er ys llawer blwyddyn, a gwynebu eilwaith dreialon byd, ni wyddent ym mha le. Dywed Mr. Allen mai dyna yr adeg galetaf a welodd erioed, sef gweled yr Eglwys fechan yn cael ei thynu i lawr a'i phacio ar drol, a'r gynnulleidfa fechan yn syllu ar y gwaith mewn dystaw dristwch. Ond wedi clirio y cwbl ymaith, penliniodd yr offeiriad a'r gynnulleidfa ar y llawr i weddïo am nodded Duw a'i arweinid yn y dyfodol tywyll. Yn fuan ar ol hyn aeth y sefydlwyr ymaith.

Yn Sance Costo yr ydoedd gan Mr. Allen gynnulleidfa wresog o Gymry. Er mai Bedyddwyr ydoedd y rhai hyn yn yr hen wlad, ac er mai *Sais* ydoedd Mr. Allen, dymunasent arno eu bugeilio yn ol dull Eglwys eu tadau. Bedyddid eu plant ganddo, a buont hwythau yn wrandawyr ffyddlawn oll, a daeth nifer gref o honynt yn gymmunwyr cysson. Byddai eu cariad at wasanaeth Crist a'u ffyddlondeb yn mynychu addoliad, yn destyn gorfoledd i Mr. Allen mewn llawer llythyr a ddanfonasai adref i swyddfa y S.A.M.S yn Llundain.

Ond yn awr sonia am ei wasanaeth olaf yn Sance Costo. Nid oedd yno Eglwys: *mewn ysgubor* y casglai y ffyddloniaid yng nghyd. Gwneid meinciau eistedd o sachau gwenith llawn, wedi eu dodi ar lawr, ac fel yna yr addolai tua 75 o bobl ar yr adegau y byddai yr offeiriad yn alluog i weinyddu iddynt. Ond daeth pen ar sefydliad Sance Costo fel ereill; ac ar ol gweinyddu y Cymmun Bendigaid wrth ford wen yn yr hen ysgubor, bu raid i Mr. Allen ddywedyd yn ei lythyr olaf, "Dyma yr olaf o lawer awr ddymunol a gefais wrth weinyddu i Gymry, fy anwyl braidd yn Sance Costo.

Bu y Cymry hyn am *chwe blynedd* yn y wlad bell heb *un arwydd* o gydymdeimlad eu brodyr yn yr hen wlad atynt. Buont, druain o honynt, yn casglu megys y briwsion o freintiau crefyddol ar law offeiriad estronol, heb allu ganddo i siarad gair â hwy yn iaith eu tadau. Ni chlywais ddarfod i *un Eglwyswr* yn yr hen wlad ddanfon cymmaint a Llyfr Gweddi iddynt. Na, gadewai Eglwys y Cymry iddynt fyw neu farw yn eu tlodi a'u hunigedd: gadawai Sectyddiaeth Cymry hwynt yn yr un modd. Ymladd a chwythu bygythion ydyw *milwriaeth* crefydd *Cymru rhagorfreintiol*, nid cario y Groes yn hunanymwadol i dywyll-fanau byd ac i gestyll y "gwr cadarn."

Na ato Duw i hen Eglwys y Brython syrthio i'r ffos yma, ond y *mae* perygl iddi syrthio. Esgus gwael iawn ydyw son am galedi a chyfyngdra cartrefol. Y mae digon o allu yn y pedair esgobaeth Gymreig i weithio yn effeithiol gartref ac yn dramorol. Bydd yn ddiwrnod tywyll iawn ar Loegr pan nas gall amddiffyn ei *threfedigaethau;* ac felly y bydd ar grefydd nes deffry *offeiriaid difater* plwyfi Cymreig i wneuthur *ychydig* bob blwyddyn dros eu cydwladwyr sydd heb nac Eglwysi nac offeiriaid mewn gwledydd pell: mi ofnaf mai gwaith anhawdd iawn fydd dal yr Eglwys yng nghyd yn yr hen wlad, oni ofala am ei phlant ym mhob man. Mae yr alwad mewn llais trist, ond llawn o anwylderau, yn dyfod atom ni dros fôr a thir oddi wrth y Cymry ar wasgar ar hyd a lled y byd, yn gofyn am ein cynnorthwy a chydymdeimlad, a dylai y weinidogaeth fod fel llinynau aur yn plethu yr hen genedl yng nghyd a'i dal wrth ei gilydd. Tra y



Digitized by Google

mae'r capelydd ac Eglwysydd yng Nghymru yn britho ymylon y ffyrdd, ac o ddeutu pob heol yn yr ardaloedd gwledig a'r pentrefydd "fel ceryg beddau dadleuon meirwon," a'r rhai hyny ar y Suliau yn hanner gweigion, y mae ein cydgenedl yn rhanau pellenig byd yn hollol ddiamgeledd ysbrydol. Y mae amledd y tai addoliad yn hen gymoedd Cymry ar un llaw yn arddangos culni sectol ein cenedl; dangosant ar yr un pryd eu sel a hunanaberth crefyddol: ac os yw ein "dadleuon" wedi marw, a raid i'n crefydd a'n sel farw hefyd? Os ydym ni yn ddoethach a mwy eangfrydig na'n tadau, gadëwch i ni ymuno a throi holl ffrwd ein *cyllid* a'n haelioni ysbrydol at weinyddu i gysuron a lles ysbrydol ein cydgenedl gartref ac oddi cartref, fel y byddo y gweddillion o honom, os ar wasgar, yn halen y ddaiar a goleuni y byd. Os yw y Cymry yn rhagori mewn crefyddolder, llewyrched felly eu goleuni ger bron dynion, fel y moliannont eu Tad yr hwn sydd yn y nefoedd.

W. M. R.

---

## CYNGRES EGLWYSIG 1891.

DYGWYDDIAD Eglwysig mawr y mis diweddaf oedd ymweliad y Gyngres Eglwysig â Rhyl, yn esgobaeth Llanelwy. Er mwyn cael cyflawn fantais i weled yr oll a chlywed cymmaint ag a allem o'r areithiau godidog a draddodid yno, aethom i Rhyl y nos Lun flaenorol, a chawsom letty cysurus a chyflëus hanner y ffordd rhwng y Congress Hall a'r Pavilion.

Y trefniadau cyntaf ar gyfer boreu Mawrth, y 6fed, oedd i'r offeiriaid ymgasglu erbyn hanner awr wedi deg i'r Town Hall, ac yno ymwisgo a myned yn ddwy orymdaith yn eu gwisgoedd gwynion, gan droi un ar yr aswy i Eglwys St. Thomas, lle yr oedd esgob Manchester i bregethu, a'r llall ar y dde i Eglwys St. Ioan, lle yr oedd Dr. Boyd Carpenter, esgob Ripon, i bregethu. Bu boreu Mawrth yn hir yn gwawrio, a gorweddai mantell o niwl lled drwchus yn amblygion am y dref, gan ddyferu gwlith-wlaw oerllyd, nes troi yr heolydd yn lleidiog ac anhyfryd i'w teithio mewn gorymdaith. Bu y pwyllgor trefniadol yn ddoeth mewn pryd. Gan y buasai yn beryglus i wŷr o oedran y mwyafrif o'n hesgobion ac urddasolion Eglwysig fyned yn orymdaith dan y gwlithwlaw hwn a thrwy y llaid, ac eistedd yn eu llaith wisgoedd yn yr Eglwys, trefnwyd i'r offeiriaid a elent i St. Thomas ymwisgo yn Eglwys y Drindod ger llaw, a myned yn orymdaith ar draws y fynwent yn unig i Eglwys St. Thomas; ac ymgasglodd yr offeiriaid ereill yn y National Schools, ac aethant ar draws yr heol i Eglwys St. Ioan, yr hon oedd agos ar eu cyfer. Erbyn un ar ddeg o'r gloch yr oedd y niwl wedi ymwasgaru, yr haul yn dechreu tywynu, a'r heolydd wedi hanner sychu, a chafodd y torfëydd mawreddog o amgylch y ddwy Eglwys olwg dda ar orymdaith brydferth o offeiriaid a cherddorion yn myned i mewn iddynt. Yr emyn orymdeithiol oedd,

"Un sylfaen fawr yr Eglwys,
Yr Arglwydd Iesu yw."

Emyn addas i'r amgylchiad, ac yn gwrthdystio yn gryf yn erbyn yr haeriadau disail "nad oes neb a all gyfansoddi emynau yn yr oes hon," ac "nad ydyw cyfieithadau yn werth dim."

Yr oedd y gwasanaeth boreuol talfyredig yn gorawl, llawn bywyd ac eneiniad.

### PREGETHODD ESGOB RIPON YN EGLWYS ST. IOAN

Oddi ar 1 Bren. xix. 10: "A cheisio y maent ddwyn fy einioes innau." Cyweirnod y bregeth ydoedd dwyfoldeb ymdrechion egnïol i berffeithio dyn yn bersonol a chymdeithas yn gyffredinol, a phechadurusrwydd anobaith. Sylwodd wrth ddechreu mai mewn ing yr agorir drysau dadguddiad newydd yn aml. Mewn ing y dechreua pob adgenedliad. Rhaid dwyn y pechadur drwy ingoedd i fywyd newydd; felly Eglwysi ac felly cenedloedd. Ond nid oes achos anobeithio mewn ing. Tardda anobaith dyn drwy edrych yn ormodol arno ei hun ac at ffrwyth ei lafur personol. Camgymmeriad mawr ydyw hyn: offeryn yn llaw Duw ydyw dyn. Digon iddo wybod ewyllys ei Dad nefol. Cafodd y prophwyd anobeithiol wybodaeth newydd am achos Duw—y saith mil yn Israel. Cafodd ddadguddiad newydd am ddinystr ei elynion, a chafodd genadwri newydd i eneinio Elisëus yn brophwyd yn ei le ei hun, a Jehu yn frenin yn lle Ahab. Dyma y goleuni a dorodd allan yn awr ing y prophwyd.

Gweithiodd y pregethwr y meddylddrych hwn allan i ddangos dwyfoldeb cenadwri y prophwyd at y genedl fel Eglwys drwy eneiniad Elisëus, a dwyfoldeb y genedl fel gwladwriaeth drwy eneiniad Jehu yn frenin. Mae y genedl yn ddwyfol yn ei dwy nodwedd, yn Eglwysig ac yn wladwriaethol. Neu, a siarad fel arall, y mae cenadwri Duw yn dyfod at y genedl fel personau unigol, gan alw ar bob dyn yn bersonol i ymgyssegru i Dduw a'i wasanaethu Ef; a daw ati fel gwladwriaeth, gan beri iddi yn ei holl weithredoedd corfforiaethol wasanaethu a gogoneddu Duw a llesäu dynion. Plethai y Dr. Boyd Carpenter ei holl bregeth a chyfeiriadau llednais a chyffyrddiadau tyner at yr Eglwys yng Nghymru drwy gy-

feirio at ei phrofedigaethau, ei hymdrechion, ei hundeb gwreiddiol a pharhaol â'r Eglwys yn Lloegr, ei bywyd adnewyddol a'i gobaith am y dyfodol. Yr oedd y bregeth drwyddi yn eangfrydig, goleu, grymus, dwfn, a llawn tân sanctaidd ac eneiniad dwyfol.

PREGETHODD Y DR. MOORHOUSE, ESGOB MANCHESTER,

Yn Eglwys St. Thomas oddi ar St. Ioan i. 18: "Ni welodd neb Dduw erioed; yr uniganedig Fab, yr hwn sydd ym mynwes y Tad, hwnw a'i hysbysodd ef." Sylwodd y Dr. Moorhouse yn gyntaf at anallu dyn yn naturiol i adnabod Duw yn gywir a'i weled megys fel y mae. Deillia yr anallu hwn o ddau le —(1) o wendid cynneddfau deallol a diffyg craffder naturiol dyn; (2) o ammherffeithrwydd a diffyg yn y cyfryngau naturiol i'w osod o'u blaen fel y gwelom Ef yn eglur. At yr ail anhawsder yma y cyfeiria y geiriau, "Ni welodd neb Dduw erioed.' Sylwodd yr esgob yn helaeth ar anallu dyn i weled ac adnabod Duw yn gyflawn yn y greadigaeth weledig, er gallu o hono weled rhanau o lwybrau y Goruchaf, ac o ymylon gwisgoedd yr Anfeidrol. Gwedi sylwi ar yr anhawsder o adnabod Duw yn y greadigaeth allanol ac yn y ddynoliaeth fel y mae yn naturiol, troes yr esgob i sylwi ar ddadguddiad Duw yng Nghrist. "Yr uniganedig Fab, yr hwn sydd ym mynwes y Tad, hwnw a'i heglurodd ef."

*Duw yn eglur yng Nghrist*

oedd rhan ganol y bregeth. "Dyma," ebai, "gareg sylfaen yr Eglwys, maen clo Cristionogaeth. Duw a ymddangosodd yn y cnawd, gan egluro ei Hun o fewn terfynau maes y cynneddfau dynol a'r galluoedd dynol." Heb y gwirionedd mawr o ymgnawdoliad Mab Duw mor gyflawn fel y gallai ddywedyd, "Y neb a'm gwelodd i a welodd y Tad," ni byddai ein Cristionogaeth o un gwerth sylweddol. "Crist yn egluro y Tad" ydyw gwirionedd sylfaenol yr Eglwys Gatholig. Heb y gwirionedd hwn-ni byddai yn apostolaidd; ac hebddo ef ni byddai crefydd Crist o'r gwerth arbenig ac ammhrisiadwy hwnw, fel ag i deilyngu y draul a'r llafur yr elir iddo i'w chynnal a'i lledaenu. Pe gallai athroniaeth gyflawnu gwaith Efengyl Crist neu ei Eglwys Ef, ni byddai angen am yr Eglwys. Aeth yr esgob ym mlaen i ddangos mai at ddysgu y ffydd hon, neu y wybodaeth am Fab Duw, y gwaddolwyd gweinidogaeth Eglwysig ym mhob plwyf, a siaradodd yn gryf yn erbyn ysbeilio y genedl o'r gwaddoliad hwn a'i droi at unrhyw amcan is. Amcan mawr gweinidogaeth yr Eglwys yw diwylliant yr oll o'r dyn fel "dyn Duw," cyflawn o weithredoedd da a nerthol ym mhob rhinwedd ysbrydol. Terfynodd gydag appeliad difrifol at y weinidogaeth Ymneillduol ar iddi gydweithredu â'r Eglwys i ymladd yn erbyn pechod a llygredd o bob math.

AGORIAD Y GYNGRES.

Yr oedd y Gyngres i gael ei hagor am ddau o'r gloch, a'r mynyd y cawsom damaid o fwyd aethom i neuadd y Gyngres i sicrhau lle; ond erbyn cyrhaedd yno yng nghanol llifeiriant o wŷr ar draed a'chorwyntoedd o gerbydau, *chwarter cyn dau* cawsom yr adeilad enfawr yn orlawn. "Bychan a mawr oedd yno" wedi eu pacio yng nghyd fel defaid mewn corlan. Edrychai y neuadd enfawr yn debyg i babell eisteddfod ar ddiwrnod y cadeirio, neu adeg yr ymdrechfa gorawl benaf. Yr oedd yr ystafell, fe dybiem, yn dair gwaith mwy ei hyd na'i lled, a chymmeryd i ystyriaeth y llwyfan, yr hwn a gymmerai i mewn tua'r bummed ran o'r holl hyd. Ymestynai dwy oriel gul ar hyd dwy ochr y neuadd, ac oddi yma ceid golygfa fawreddus ar y *tair mil torf* is law. Y mae yr ystafell orlawn yn ferw byw o swn, fel suad gwenyn yn y cwch, gyda lluaws yn cyrchu i mewn, gan suo fel y gwenyn hefyd.

Ond dyma ddystawrwydd mud, a chlywid esgob hoenus a bywiog Llanelwy yn dweyd mewn llais treiddiol ac aceniad miniog, croew, ei fod yn galw ar y Parch. Ganon Howell Evans, rheithor y plwyf, i ddechreu. Safem yn y pellder eithaf, a chlywem y weddi agoriadol yn berffaith eglur. Ar ol dau golect adroddodd yr holl dyrfa fawr Gredo yr Apostolion yn unsain ac o un geneu, fel swn dyfroedd lawer. Pan ddaethant at y geiriau, "Ac yn Iesu Grist ei un Mab Ef, ein Harglwydd ni," plygai yr oll fel coedwig dan awel o wynt wrth yr enw gogoneddus, a theimlwn rywfath o drydan megys yn rhedeg drwy yr ystafell yn gwefreiddio yr oll. Y mae nerth yn yr enw dwyfol lle y credir ynddo.

Ond terfynwyd y Credo, a dacw draw ar ymyl y llwyfan llawn, ond yn y pellder eithaf oddi wrthym ni, a gedwid yn ol gan y tyndra, y Dr. Edwards, esgob Llanelwy, cadeirydd y Gyngres, yn cyfodi, i anerch y dorf anferth. Ar *fringe* y cynnulliad mawreddus o oreugwyr Eglwysig y deyrnas a blaenoriaid y genedl ar y llwyfan, nid ymddengys draw ond fel ysnoden wen ar fynwes y gynnulleidfa. Dechreua ei anerchiad mewn llais treiddgar ac aceniad croew, a brawddegau byrion, cryno a miniog, gan ymdrechu geirio yr oll yn eglur, ar gyfer yr ystafell eang a'r dorf fawr. Yn ei anerchiad rhoddes yr Esgob Edwards

Digitized by Google

*Ddiolchus groesaw*

i'r tri archesgob—archesgob Caergaint, archesgob Efrog, ac archesgob Armagh, yn yr Iwerddon, yn gystal ag i'r nifer mawr o esgobion ereill a brodyr oll, sef yr holl Gyngres, i Rhyl, yn esgobaeth Llanelwy, a Thywysogaeth Cymru; a diolchodd hefyd i bregethwyr y boreu ac i aelodau llafurus y pwyllgor trefniadol am eu holl ymdrechion. Yna aeth ym mlaen i sylwi ar

*Yr ymosodiad ar yr Eglwys yng Nghymru,*

a dadganodd ei bleser wrth weled cymmaint o arwyddion cydymdeimlad â hi, fel y dangosai y cynnulliad mawreddog hwnw. Cymmerodd sylw o ddywediad Mr. Gladstone am yr Eglwys yng Nghymru, pan yn ymdrechu cyfiawnhau cyfnewidiad ei ymddygiad ati; sef (1) "mai Eglwys yr ychydig yw mewn gwrthgyferbyniad i'r llaweroedd; (2) Eglwys y cyfoethog mewn gwrthgyferbyniad i Eglwys y cymharol dlawd; (3) ac yn olaf, fod Anghydffurfiaeth yn anfoddlawn." Yma aeth yr esgob ym mlaen i ymdrin ag

*Ymresymiad y rhifo canlynwyr.*

Dywedai yr esgob nad oedd efe o'i ran ei hun yn caru ymdroi gyda'r ffugyrau hyn; ond gan mai dyma y milwyr a ddygai y gwrthwynebwyr yn wastad i'r maes, gan eu rhestru yn fynteioedd digorff yn erbyn yr Eglwys, rhaid oedd dangos mai cysgodion disylwedd oeddynt. Dangosodd mai lleiafrif yn ol eu honiadau eu hunain ydyw canlynwyr proffesedig Ymneillduaeth ym mhoblogaeth "tair sir ar ddeg Cymru." Bid siwr, ni hona yr esgob fod y mwyafrif yn Eglwyswyr. Dangosa mai 46 y cant a hawlia enwadaeth Cymru, ac felly y mae 54 y cant yn amddifad o lesâd y weinidogaeth Ymneillduol ac yn faes agored i lafur Eglwysig. Yma darllenodd yr esgob lythyr oddi wrth Mr. Gladstone yn ymdrechu cyfiawnhau ei ffugyrau, ond yr unig beth a wnai oedd dangos fod Mr. Gladstone yn fedrus mewn ymadroddion amwys, a'r esgob yn hyddysg mewn ffeithiau eglur. Gwedi ymdrin ag ymresymiad yr ystadegau, troes at y cyhuddiad mai

*Eglwys y cyfoethog yn wrthgyferbyniol i'r tlawd ydyw.*

Dangosodd yr esgob yn gyntaf fod rhifedi y cyfoethogion yn fawr ym mysg yr Ymneillduwyr, a'u cyfraniadau o fil o bunnau a mwy yn aml i'w coffrau. Mae y nifer fwyaf o'r bobl dda eu byd fel masnachwyr ac amaethwyr yn eu rhengau. Yn wir, profodd, fel y gwyddom oll, fod y dosbarth canol yn ffurfio asgwrn cefn Methodistiaeth Galfinaidd. Ond sylwodd na allai Ymneillduaeth honi mai gyda hwy yr oedd gwir dlodion Cymru. Nid oes gan yr enwadau adnoddau i gyfarfod angenion y rhai hyn. I'r Eglwys yr ymddiriedir am holl beirianwaith elusengarwch Cymru. Yn yr Eglwys y mae y "tlodion bob amser." Ond beth am

*Anfoddlonrwydd Ymneillduaeth i'r Eglwys?*

Aeth yr esgob i mewn yn fanwl i'r gŵyn yma. Rhoddes i rifedi lluosog, os nad y mwyafrif o Anghydffurfwyr, yr ymddiried ar enw da o beidio â bod yn elynol i'r Eglwys a hoffi ei hysbeilio, ond addefai fod nifer mawr yn elynol fel gwleidyddwyr iddi. Hyny yw, dymunent ei dadgyssylltu. Yr oedd yr elfen wrthwynebol yng Nghymru yn ddigon i droi y fantol rhwng Ceidwadwyr a Rhyddfrydwyr bron ym mhob sir, a thrwy weithredu yn unfryd caed gan bron yr oll o gynnrychiolwyr Cymru fod dros ddadgyssylltiad. Ceid yr un math o fwyafrif dros Fesur Claddu Mr. Osborne Morgan, yn agor y mynwentydd i bregethwyr Ymneillduol weinyddu mewn claddedigaethau ynddynt. Gwelir yn awr mor ddisail oedd yr achwynion a'r grwgnach, gan fod lluaws o blwyfydd eto yng Nghymru lle na bu un gladdedigaeth dan y "drefn newydd" yn eu mynwentydd. Gwedi un mlynedd ar ddeg o brawf y mae deddf newydd y claddu i raddau mawr iawn yn llythyren farw. Yma trydd yr esgob ei gefn ar "awyr afiach dadleuaeth" at

*Ymresymiad defnyddioldeb.*

Sylwodd fod yr oes hon yn gosod ei gwyneb yn erbyn pob sefydliad a phob symmudiad ag y tybir ei fod yn mwynhau rhagorfreintiau uwch law ei haeddiant. Oes y defnyddioldeb yw. Yr oedd yr esgob yn barod i osod yr Eglwys yn y glorian a'i phwyso yn y goleuni yma. Y mae wedi cyflawnu yn esgobaeth Llanelwy waith moesol ac ysbrydol am dros bedair canrif ar ddeg, ac mor fyw a bywiog ag erioed i'w gyflawnu eto. Bu yn ffyddlawn dyst i'r gwirionedd dwyfol drwy yr oesau, ac o'i thân sanctaidd hi y goleuodd yr enwadau o'i hamgylch eu lampau y ganrif ddiweddaf. Hi hefyd sydd yn gofalu am yr hen, y methiant, a'r tlawd, ac afiach yn eu caledi.

*Yr Eglwys ac Addysg.*

Aeth yr esgob i mewn yn fanwl i'r pwnc hwn, a sylwodd (1) ar ragfarn ddiweddar yr Ymneillduwyr yn erbyn addysg grefyddol yn yr ysgolion dyddiol. Yn ol cyfrif diweddar saith o Ysgolion y Byrddau oedd ym mysg miloedd Lloegr yn cau y Beibl allan,

Digitized by Google

tra y ceid hanner cant o fysg yr ychydig mewn cymhariaeth o ysgolion Cymru yn ei gau allan. Ond yma y mae yr Eglwys yn gref. Cyfrana addysg i dros ddeg y cant o holl boblogaeth yr esgobaeth, a gwariodd gan mil o bunnau mewn adeiladu ysgolion yn unig yn ystod deugain mlynedd. Dangosodd yr esgob mor werthfawr ydyw safle annibynol Eglwys yn cynnal ei gweinidogaeth drwy waddoliad er mwyn cyflawnu y gwaith mawr o addysgu a dyrchafu moes y genedl.

*Yr angen am Undeb.*

Sylwodd ar yr hiraeth am undeb a chyfleusderau undeb. Nid trwy wahanu rhwng yr Eglwys yng Nghymru a Lloegr yr unid Cymru. Y mae Gogledd Cymru o ran cyfleusderau yn nes i Lundain nag ydyw i'r Deheudir. Yr Eglwys ydyw y canolbwynt cyflëus a'r galon dyner i gyfuno Cymru. "Ei dyledswydd hi a'i rhan," ebai, "ydyw galw allan a chyfuno yr holl elfenau goreu yng nghymmeriad a bywyd Cymru, a'u gwneuthur yn ffrwythlawn i hyrwyddo dyrchafiad gwirioneddol y genedl Gymreig, gan roddi i'r dyrchafiad hwnw, nid yn unig nerth ac undeb agosach gyda'u gilydd gartref, ond hefyd gyda meddwl a bywyd y genedl fawr Seisonig ag y mae yn anrhydedd i ni fod yn perthyn iddi." Fel

*Terfyniad*

dywedodd: "Fy ngweddi o ddyfnder calon yw am i ysbryd defosiwn tawel a dyfal i weithgarwch barhau yn gyffredinol yn y weinidogaeth oll, a'n hamcan mawr a'n dymuniad fydd uno y naill dosbarth â'r llall, heb feiddio gosod y naill yn erbyn y llall. Ni cheisiwn ddim ond rhyddid i gario ein gwaith ym mlaen, heb ymosod ar neb na theimlo yn chwerw at neb, heb ofyn nac ewyllysio am ddim amgen i ni ein hunain na'r heddwch a'r diogelwch a ddymunem ganiatäu i bawb. At y gorchwyl o adeiladu rhaid ychwanegu y gwaith o amddiffyn. Dyledswydd yw amddiffyn nad amcanwn ei hofnus osgoi, er cryfed y demtasiwn ar adegau yng ngwyneb blinderau a siomedigaethau, ac fel ffordd rwydd i ennill canmoliaeth yr ymosodwyr gyda gwag foesgarwch a esmwyth eiriau ammhëus. Ni afaela y fath demtasiwn yn y neb a ystyria yr Eglwys a'i gwaddoliadau megys ymddiriedaeth a gyssegrwyd gan ddefosiwn y canrifoedd, nac yn y rhai a ystyrient fod y llaw a gyffyrddai â'r Eglwys hon yn cyflawnu cyssegrysbeiliad, neu y llaw a ofnai neu a ballai ei hamddiffyn hi yn llwfr ac anffyddlawn. Er nad yw Eglwyswyr Cymru yn ol i neb mewn cariad at eu gwlad, fe wrthwynebant, a hyny o wir wladgarwch ac er lles eu gwlad, bob math o ymgais at wanhau yr Eglwys yng Nghymru, gan y gwyddant fod yr Eglwys yn ffynnonell o nerth a bendith i'r genedl. Gwyddant, meddaf, y byddai llai o oleuni yn y tir pe symmudid y canwyllbren hwn, llai o ffrwythau er meithriniad y bobl, pe torid y pren hwn i lawr, llai o wrthgloddiau i attal i mewn y ffrydiau o anffyddiaeth, anfoesoldeb, ac anwybodaeth ag sydd eisoes â'u cyfeiriad mor nerthol at ein gwlad."

Yr oedd yn amlwg fod y cynnulliad mawreddus yn llwyr fwynhau anerchiad yr esgob, a dangosai eu mynych gymmeradwyaeth eu bod mewn cydymdeimlad llwyr ä'i syniadau, a phan eisteddodd i lawr adseiniai y gymmeradwyaeth hon o bob cwr o'r dorf.

Pan alwodd y Dr. Edwards ar ei Ras Archesgob Caergaint i anerch y dorf, cyfododd y brwdfrydedd i'w bwynt uchaf. Croesawiad oedd i *Primate* Lloegr oll, a maen clo undeb gweledig yr Eglwys ym Mhrydain Fawr a'i threfedigaethau.

ARCHESGOB CAERGAINT.

Cyfododd yr archesgob, a defnyddio iaith y wasg, yng "nghanol taranau o gymmeradwyaeth," a "chodai pawb ar flaenau eu traed o egni gwaed eu calon" i'w groesawu. Dywedodd ei fod wedi rhedeg dros ychydig oriau yng nghanol gorchwylion a wasgent yn drwm arno i ddangos ei wyneb ar lwyfan y Gyngres mewn cydymdeimlad â'r Eglwys yng Nghymru. Nid i ddysgu y dorf y daethai yno. Buasai yn anweddus ynddo son am roddi dim goleuni newydd ar yr Eglwys yng Nghymru yng nghanol y gwŷr profiadol a haneswyr enwog a welai o'i amgylch, megys y Canon Bevan, Deon Owen, Canon Roberts, John Morgan, ac ereill. Daethai yno fel cynnrychiolydd syml archesgobaeth Caergaint, ac yr oedd yn falch o weled ei frawd, Dr. Maclagan, archesgob Efrog, yn cynnrychioli y Dalaeth Ogleddol, a siarad drosti hithau, gan ddangos fod holl chwaer esgobaethau Lloegr yn barod i wneuthur achos yr esgobaethau Cymreig yn achos y cyfan oll.

"Daethom yma," ebai, "heb un amcan ymrysongar na gwleidyddol. Ni roddasom her i neb. Ond rhoddwyd i ni her mewn geiriau na ellir eu camddeall—herfeiddiad nas gallwn ei throi heibio yn ddisylw heb anghyfiawnder. Felly, gan hyny, y peth cyntaf sydd genym i'w ddweyd ydyw ddarfod i ni ei theimlo yn ddyledswydd wneuthur ymchwiliad i gyhuddiadau neillduol a ddygid yn eich erbyn fel yr ydych yma. Gwnaethom ymchwiliad iddynt, ac argyhoeddwyd ni eu bod yn gywilyddus o annheg.' Yng ngeiriau terfynol ysgrifenydd diweddar, 'Y

Digitized by Google

mae y naill hanner o'r hyn a ysgrifenir i'r wasg Gymreig ac a lefarir ar y llwyfanau yn erbyn yr Eglwys yng Nghymru yn gynnwysedig o orliwiad neu gamddarluniadau.' Ond awn ym mhellach. Rhaid i ni gyhuddo y cyhuddwyr o wneuthur yr oll a allant i ddal i fyny y drygau ag y cymmerant arnynt alaru o'u herwydd. Dros flynyddau dygwyd mesurau ger bron y Senedd ag a fuasent yn effeithiol i symmud unrhyw ddrygau a thramgwyddiadau gwirioneddol o'r ffordd. Drachefn a thrachefn attaliwyd i'r mesurau hyn basio; a'r senedd dymmor diweddaf yr oeddynt o fewn ychydig oriau i basio, a hyny mewn ffurf boddhäus i gydwybodau gwŷr nad oeddynt mewn un modd yn gyfeillgar eu teimlad at yr Eglwys, ond rhoddwyd rhwystrau ar eu ffordd ac attaliwyd hwy gan lai nag ugain aelod, y rhan fwyaf o honynt, y mae yn ddrwg genyf ddweyd, yn cynnrychioli rhanau o Gymru; a dywedodd y gwrthddadleuwr penaf mewn sylwedd mai rhaid oedd rhwystro i'r Eglwys ddiwygio y beiau ag y mae yn eu casäu, rhag ofn na bydd dim achlysur i lefaru yn ei herbyn pan elir i ymosod arni." Wedi sylwi ar annhegwch y dull uchod o ymddwyn at yr Eglwys, aeth yr archesgob ym mlaen i sylwi mewn iaith chwarëus at y cyhuddiad yn erbyn yr Eglwys fel "estrones." Dilynodd hanes yr Eglwys mewn bras amlinelliad, a therfynodd mewn geiriau o'r fath yma: "Nid oes gysgod o wirionedd yn y dirmygair 'Eglwys estronol.' Pe yr edrychid at y ffurf allanol yn unig, yr oedd yr Eglwys yng Nghymru a Lloegr yn un gant a hanner o flynyddoedd cyn cyfuno y wladwriaeth. Byddai yn fwy cywir mewn ystyr hanesiol son am 'Eglwys Cymru yn Lloegr' nac 'Eglwys Loegr yng Nghymru;' o herwydd pallodd yr olyniaeth yn urddiadau Awstin yn hynod o fuan, ond y mae i urddwyr Celtaidd St. Chad, yn gystal a'r cenadon gogleddol a ddaethant oddi wrth Aedd (Aidan) eu holynwyr ym mhob esgobaeth. A mwy na hyn, y mae cynlluniau a gosodiad dwyreiniol yr oll o'n Heglwysydd yn gyn-babyddol, Celtaidd, Cymreig. Fe dystia holl hanes Cymru i hyn: mai pan ydoedd yn fwyaf Cymreig yr oedd yn fwyaf Eglwysig ei nodwedd. Os yw yr Eglwys yn genedlaethol mewn un man, y mae felly yng Nghymru," &c.

Terfynodd yr archesgob ei anerchiad gwresog yn y geiriau pwysig hyn:—"Siaradasom am y wisg oddi allan a'r ffurf, ond nid yno y mae ein calon. Siaradasom am danynt fel offerynau yn y byd hwn o'r defosiwn hwnw i lesiant eangaf y bobl, o'r cariad hwnw at eneidiau, o'r 'perffaith gariad' hwnw, heb yr hwn nid yw ffydd, gwybodaeth, a sel o un gwerth. Daethym yma i'ch sicrhau o hyn. Dyma y neges a ddygaf i chwi. Byddai yn gywilydd genym drosom ein hunain feddwl am sefyll yn ddystaw o'r neilldu ac edrych ar Gristionogaeth sefydledig Scotland, er mai Presbyteraidd yw, yn cael ei disodli o'i dyledswyddau a'i difuddio o'i safle, fel dadganydd syniadaeth ysbrydol gwladwriaeth a theyrnas Scotland, yr hon deyrnas a unwyd a'r eiddom ni drwy rwymau cymharol diweddar. Ond am danoch chwi, yr henaf ran o honom, ffynnonell ein Hesgobyddiaeth, cynllunwyr ein cyssegroedd, esgobaethau cyntefig Prydain, oddi wrth y rhai y deillia i'r deyrnas hon yr unig hawl i'r enw balch o Brydain Fawr, oddi ar risiau cadair Awstin, eich ieuengach gydgynghreiriad, dywedaf wrthych chwi, drwy fendith Duw, ni ddystaw edrychwn arnoch yn cael eich amddifadu o'ch hen dreftadaeth."

Yr oedd yn amlwg fod yr archesgob yn siarad dan deimlad o'i gyfrifoldeb mawr fel *Primate* Prydain, gwr ag y byddai ei eiriau yn cyrhaedd pob congl, o'r bwth mynyddig yn Scotland a Chymru i'r palas breninol, yn gystal a Chastell Penarlag; a gwefreiddiai ei ymadroddion grymus yr holl dorf, y Seison mor wresog a'r Cymru. Pan alwodd yr Eglwys yng Nghymru, "*Our eldest self*," trydanodd y lluaws nes llwyr foddwyd ei lais gan y banllefau cymmeradwyol.

Dechreuwyd ar waith rheolaidd y Gyngres gan Canon Bevan. Ei destyn oedd—

Y DIWYGIAD EGLWYSIG YNG NGHYMRU: EI DDECHEUAD, CYNNYDD, A RHAGOLYGON DYFODOL.

Sylwodd Canon Bevan fod yr Eglwys drwy holl gyfnod y ddeunawfed ganrif, a'r ugain mlynedd cyntaf o'r ganrif hon, mewn cyflwr cysglyd, llug-oer, gwedi plethu dwylaw yng nghyd fel ag i roddi heibio bob ymgais at adeiladu Eglwysydd newyddion ac adferu yr hen. Dyma oedd cyflwr cyffredin yr Eglwys. Boddlonai ar gario ym mlaen y gwasanaeth yn yr hen Eglwysydd, heb ddarparu ar gyfer cynnydd y boblogaeth, a'u symmudiad o le i le. Gwir fod ugeiniau o offeiriaid, fel ser dysglaer, yn llewyrchu drwy yr oll o'r cyfnod cysglyd, ond ychydig mewn cymhariaeth oeddynt. Ddechreu y ganrif hon dechreuodd deffroad a diwygiad gwirioneddol. Cyn y flwyddyn 1800 ni allai neb adeiladu Eglwys heb gael gweithred seneddol bwrpasol i'r amcan. Gorchwyl mawr felly oedd adeiladu Eglwys. Yn 1800 tynwyd y rhwystr hwn oddi ar ffordd eangiad maes llafur yr Eglwys. Rhoddes Canon Bevan yma ystadegau i ddangos cynnydd rhif yr Eglwysydd a adeiladwyd yn y pedair esgobaeth, a rhoddes amlinelliad o waith y pedair Cymdeithas Adeiladu Eg-

Digitized by Google

lwysydd a sefydlwyd—un yn Llanelwy yn 1834, Bangor yn 1838, Tŷ Ddewi (Bwrdd Adeiladu Eglwysydd) yn 1840, a Llandaf yn 1850. Ond yn gydfynedol â'r adeiladu Eglwysydd newydd ac adgyweirio yr hen, a'r ychwanegiad dyblyg at rif yr offeiriaid ymafaelodd ysbryd defosiwn yn yr addoliad cyhoeddus, ymdrech a hunanaberth yn y weinidogaeth, haelioni yn y cynnulleidfaoedd, ac addefir gan y rhai oddi allan fod yr Eglwys yn allu ysbrydol nerthol yn y tir.

Dilynwyd Canon Bevan gan

DDEON LLANELWY.

Ei destyn oedd, "Rhagolygon Dyfodol yr Eglwys." Gwelwyd ar unwaith fod y deon yn ffafr-ddyn rhan helaeth iawn o'r gwyddfodolion, o herwydd cafodd dderbyniad o'r fath wresocaf ar ei ymddangosiad, a theimlai pawb mor gynted ag yr agorodd ei eneu ei fod yn rhuthro ar unwaith i ganol ei destyn, fel y cynghora *Horace* i'r beirdd wneuthur. Ebai, "Y mae genym un sail o galondid a gobaith ag y dylem bob amser ddal yn gadarn yn ein meddyliau pa bryd bynag y cymmerwn dan ystyriaeth ddyfodol yr Eglwys, a hyny ar wahân o ran ei natur a sicrwydd oddi wrth unrhyw sylw o amgylchiadau neu farnau dynion: a'r hyn a feddyliaf yw, dechreuad dwyfol, gallu dwyfol mewnol, a dwyfol genadwri yr Eglwys. Nid pethau neillduol cyfyngedig i'r Eglwys yng Nghymru ydyw yr egwyddorion crefyddol y safwn drostynt. Appeliant gyda'r un grymusder atoch chwi, Eglwyswyr Seisonig. Tybiwyd yn ddymunol ymosod ar yr Eglwys bob yn rhan, i roddi prawf ar ymlyniad Eglwyswyr wrth eu gilydd drwy wneuthur un rhuthrgyrch unfryd ac unedig ar y gatrawd Gymreig. Ond nid ydyw yr Eglwys yn Lloegr yn ddall. Nid at ddadgyssylltiad yn unig yr amcana y symmudiad aflonydd hwn, ond at lawer mwy, sef at ddattod rhwymau yr undeb hanesiol maith rhwng yr Eglwys yng Nghymru a'r Eglwys yn Lloegr; ac ysgaru nid yn unig rhwng Eglwys a gwladwriaeth, ond hefyd rhwng y naill esgobaeth a'r llall. Yr ydym yn gwrthwynebu yr ysgariad hwn (a hyny ar seiliau lles ysbrydol yr Eglwys) yn fwy na dadgyssylltiad ei hunan."

Aeth y Deon Owen ym mlaen yn y dull yma i ddangos fel y mae undeb yr Eglwys yng Nghymru a Lloegr yn nerth dirfawr i ddwyn ym mlaen ei gwaith drwy ddylanwad grymus y naill ar y llall, a'r eangiad i syniadau a chydymdeimlad yr oll yw eu bod yn un. Yna sylwodd ar gyflwr *effro*, os nad sigledig, y meddwl crefyddol yng Nghymru, yng ngwyneb yr addysg adnewyddol a ddygir i mewn i'r w ad, a dengys o dan yr amgylchiadau y dwbl angen sydd am yr Eglwys.

Ebai, "Y mae ar Gymru angen am ei hesampl a chynllun o addoliad cyhoeddus gweddaidd, hufen defosiwn canrifoedd cyfnewidiol, a thystiolaeth ei meddylddrych yn gyntaf oll o undeb didor ac unoliaeth difwlch Cristionogaeth yn ei ffurf allanol a bywyd mewnol. (Seiliau undeb cenedlaeth Cymru amseroedd yn ol, ac unig seiliau pob gobaith am undeb dyfodol.) Yn ail, i gymmodi hawliau personol a chymdeithasol â'u gilydd; ac yn drydydd, drwy gydberthynas rhyddid meddwl a barn ag athrawiaethau digyfnewid y Credoau Catholicaidd, drwy y bywyd newydd ag sydd bob amser yn preswylio mewn hen wirioneddau."

Appeliodd y deon yn deimladwy at y gydwybod genedlaethol, rhag rhuthro i wneuthur arbrawf byrbwyll ar gyfansoddiad yr Eglwys drwy ei *darnio yn fyw*, ac ar y genedl Gymreig drwy ei gosod yn ysgerbwd (*corpus vile*) dan ddwylaw y doctoriaid rhithathronyddol i'w diaelodi enaid a chorff oddi wrth eu gilydd. A therfynodd drwy ddadgan fod yr addewid yn eiddo yr Eglwys yng Nghymru—"Wele, yr wyf fi gyda chwi bob amser hyd ddiwedd y byd."

Er fod y cyfarfod bellach yn rhedeg yn faith ac aml i gylla gwag yn galw am ymborth, a godreuon y dorf yn ymdoddi ymaith i raddau, cedwid i fyny y brwdfrydedd, a chafodd Syr Robert Cunliffe dros ddwy fil i'w wrandaw. Cyfyngodd Syr Robert ei sylwadau yn fwyaf neillduol i ystadegau Eglwysig, yn ei hadeiladau, ysgolion, a chenadaethau, ac ni siaradodd yn faith.

Galwyd y Parch. D. Williams, Llandyrnog, ym mlaen. Ei destyn ef oedd,

BYWYD MEWNOL Y DIWYGIAD EGLWYSIG YNG NGHYMRU.

Cyweirnod ei anerchiad oedd mai Diwygiad Rhydychain oedd wedi rhoddi bywyd newydd yng Nghymru. Effaith cyntaf y bywyd hwnw oedd parlysu yr hen fywyd Eglwysig dros ennyd; ond bellach y mae wedi ei lyncu iddo ei hun, a llawer iawn mwy na llenwi ei le. Y mae araeth y Parch. D. Williams wedi ei llenwi hyd yr ymylon â ffeithiau a'i geirio yn rymus, a dysgwyliwn ei chael hi, yn gystal ag amryw ereill, i'r *Haul* yn gyflawn cyn bo hir.

ESGOB CAER, DR. JAYNE.

Dywedodd yr Esgob Jayne ar y dechreu mai ei ofnau ef oedd, ar ol gwrandaw ar areithiau y dydd hwnw, fod y natur ddynol mor bengaled a garw am ei ffordd ei hun nes mynai, fel yn achos Aristides,

Digitized by Google

fyned yn ei erbyn am fod pawb yn clywed yn barhäus ei fod yn gyfiawn. Am dano ef, eisieu heddwch i weithio yn dawel yn ei esgobaeth oedd arno. Ni hoffai gario y cleddyf; ei anwyl erfyn oedd y *driwel*. Eto, ni ellid goddef i'r dadymchwelwyr fwrw i lawr eu holl adeilad. Ei gynghor oedd i Eglwyswyr y deyrnas ymglymu yng nghyd, fel dringwyr yr Alpau, yn un gadwyn gref, ac os deuai pwnc y dadgyssylltiad ger bron y Senedd mewn ffurf ymarferol a chael derbyniad yna gydag un galon, gobeithiai y deuent oll i'r maes ac y mynent ddadgyssylltu yr holl Eglwys gyda'u gilydd, ac yn eu ffordd eu hunain. Gall yr Eglwys hefyd ddadgyssylltu."

ESGOB SALISBURY.

Nid oedd esgob Salisbury yn credu fod y perygl lleiaf yn eu cyfansoddiad mewn perthynas i'r Eglwys nac yn Lloegr na Chymru. Yr oeddynt yn credu yn yr Eglwys Gatholig, a chredent fod hon yn cael ei chynnrychioli gan Eglwys unedig Cymru a Lloegr. Rhaid iddynt, pa fodd bynag fod ar eu gwyliadwriaeth rhag myned i gyssylltiad rhy agos ag unrhyw blaid wleidyddol. Yr oedd efe yn bersonol wedi ymdrechu rhwystro i'r offeiriaid mewn un modd ymffurfio yn blaid boliticaidd. Yr oedd yr Anghydffurfwyr yn frodyr iddynt, a dylent fod yn ofalus ɔeidio defnyddio geiriau celyd wrth siarad am danynt. Teimlai efe fod yr elfenau crefyddol ym mysg Anghydffurfwyr yn graddol ymgyfnewid, a'u bod yn dyfod yn nes yn eu teimladau at yr Eglwys genedlaethol, a gobeithiai na wnelid dim yn yr ymrysonau dadgyssylltiol i aflonyddu eu teimladau da.

Terfynodd hyn gyfarfod maith y prydnawn, ac yr oeddym ninnau, fel mewn llawer gwyl eisteddfodol, wedi cael digonedd o bethau da a dymunol i glust a meddwl, ond teimlai y cylla yn wag. Ar y ffordd i dawelu gofynion hwn, cyfarfum â chyfeillion wedi methu â chael trwydded i fyned i mewn i'r neuadd, ond cawsent ar ddeall fod cyfarfod o'r gorlifiant (*overflow*) yn myned ym mlaen yn y *pavilion*, a chawsant gyfarfod da a sedd gysurus yno. Tystiolaeth pawb a adwaenem oedd fod y Gyngres yn llwyddiant ym mhob ystyr.

CYFARFOD YR HWYR, HYDREF 7FED.

"*Yr Eglwys yn ei Pherthynas ag Anghydffurfiaeth.*"
(*a*) *Y pethau y cydunid a'r pethau yr anghytunid arnynt.*

Dyma un o'r pynciau mwyaf dyddorol a phwysig y gellid ymdrin â hwy mewn Cyngres, ac eto ofnwn ei fod yn destyn hollol anymarferol. Mae y canolfuriau gwahaniaethol rhwng amrywiol gangenau Cristionogaeth hyd yn nod yn yr Ynysoedd Prydeinig mor gedyrn, ac iddynt oll eu hamddiffynwyr mor benderfynol, fel na ellir dysgwyl eu tynu i lawr yn amser neb sy'n fyw. Pe buasai angen ein hargyhoeddi, clywsom ddigon yn Rhyl i brofi nad oes dim cyfuno Cristionogaeth yn gorfforiaethol ar unrhyw sylfeini a all y naill gangen-Eglwys neu enwad gynnyg i'r llall. Yr oedd yn eistedd yn ein hymyl foneddwr o Sais, ac wedi gwrandaw ar y naill lefarwr ar ol y llall yn siarad ar bwnc yr undeb cartrefol, fe sylwodd, "Nid wyf yn gweled un arwydd na gobaith agoriad drws o undeb rhwng Eglwys a chapel yn bresennol." Yna gofynodd i mi, "A ydych chwi yn meddwl y cai offeiriad dderbyniad i bregethu yn rhai o gapelydd yr Anghydffurfwyr mewn conglau pellenig o blwyfydd mawrion gwasgaredig Cymru?" Atebais fy mod yn tybio y caffai yn achlysurol. "Mae y drws yna yn werth meddwl am dano," ebai y Sais, a darfyddodd ein hymgom, gan fod arnom ein dau eisieu ymwahanu. Ond rhaid sylwi ar

*Anerchiad y Parch. H. A. James, Prifathraw Coleg Cheltenham.*

Siaradai Mr. James oddi ar safle mor deg a chanolog ag a ellid ddychymmygu, ac mewn iaith foneddigaidd ac ysbryd cariadus. Sylwodd ar ddymunoldeb undeb a'r anhawsderau i'w gyrhaedd. Ebai wrth agor ei destyn, "Ni waeth beth a ddywedir, y mae cyflwr crefydd fel y mae yn resynus. Gall daioni ddyfod allan o ddrwg, a gall Duw ddwyn allan ddwyfol gydgord o ddynol ymrysonau; ond er cyfaddef o honom fod anghydwelediadau ym mhlith Cristionogion dro ar ol tro wedi cael eu goruwchlywodraethu i gynnyrchu mwy o weithgarwch ysbrydol, eto eglur yw fod yr anfantais a orwedd ar ochr yr ymrysonau yn annhraethol fwy. Pwy a all brisio y golled o achos hyn i Gristionogaeth, nid yn unig mewn enw da, ond mewn grym a dylanwad ymarferol, yn gystal ym maes y genadaeth dramor ag yn ein brwydrau gartref yn erbyn annuwioldeb buchedd ac annuwiaeth ddamcaniaethol, ac hefyd mewn gwrthwynebiad unfrydol i'r galluoedd dinystriol sydd yn awr yn bygwth dadymchwelyd egwyddorion cyntaf crefydd a moesoldeb? Ac hyd yn nod pe na byddai hyn yn wir, y fath wastraff ar adnoddau a galluoedd gweithgar a ddwg ein hymraniadau o amgylch! Pwy wrth ymweled â thref neu bentref gwledig ac edrych ar Eglwys neu ddwy a hanner dwsin o gapelydd yn gwarchae arnynt, pob un o honynt yn cynnrychioli cyfundrefn wahaniaethol tuag at ddychwelyd byd difater neu wrthwynebus

Digitized by Google

(at Grist)—pwy, meddaf, na orfydd cyfaddef gymmaint ydyw'r golled yn y dull annhrefnus amrosgo yma o weithredu?" Gwedi sylwi ar y ffolineb o siarad am yr hyn a aeth heibio, ac ar y ddyledswydd o edrych pob anhawsder yn ei wyneb, ebai, "Y gwirionedd yw, os amcanwn i'n hymgais am undeb a chyfuniad Cristionogaeth Brydeinig fod yn sylweddol, rhaid i ni wynebu y ffaith fod gan Anghydffurfiaeth eu hegwyddorion na fynant eu troi heibio, megys y mae genym ninnau." Dyma y wir gneuen nad oes dori arni; eto nid oedd Mr. James yn anobeithio na welai Duw yn dda agor ffordd o undeb gwedi i allu celfyddydol dyn fethu. Yna sylwodd ar faes ymdrechion o blaid dirwest, o blaid purdeb bywyd, addysg, a lledaeniad yr Ysgrythyrau, fel lle manteisiol i feithrin undeb gweithredol.

Sylwodd wedi hyny ar ymdrechion a thystiolaeth Anghydffurfiaeth i ddwyfoldeb yr Ysgrythyrau, fel pwynt o undeb gwirioneddol, athrawiaeth fawr yr ymgnawdoliad a'r Iawn. Gwedi myned ym mlaen oddi wrth athrawiaethau, troes at ffurf a defod addoliad, a gwelai y bwlch yn lledu yma, ond nid yn anobeithiol. Defnyddia lluaws o Anghydffurfwyr ffurfwasanaeth yn fynych, ac arferir addoliad diaddurn heb ffurfwasanaeth gan Eglwyswyr mewn tai annedd ac ysgoldai.

*Y Sacramentau.*

Yma lledai y bwlch yn fwy; er fod y Bedyddwyr yn rhoi mawr bwys ar fedydd, gommeddent dderbyn plant bychain iddo. Dyma yr anhawsder mawr cyntaf. Ni allai yr Eglwys bontio dros yr anhawsder hwn, ac nid oedd un arwydd i'r Bedyddwyr gydymffurfio â ni. Ni welai Mr. James gymmaint o anhawsder yng nghylch sacrament Swper yr Arglwydd, gan y tybiai fod Anghydffurfwyr yn *lefelu* i fyny yma a nesäu at yr Eglwys.

*Y Weinidogaeth.*

Ni welai Mr. James un arwydd nesäu at eu gilydd yn y weinidogaeth. Yma ni allai yr Eglwys hanesiol apostolaidd gydnabod urddau Presbyteraidd. Trwy urddiad esgobol yn unig y gellid yn awr uno y weinidogaeth, ac nid oedd un arwydd i'r uniad hwn gymmeryd lle. Eto, nid oedd wiw digaloni. Yr oedd ymrysonau mewnol yn llarieiddio, lleihau, a diflanu drwy i'r pleidiau gwahaniaethol gymdeithasu â'u gilydd mewn cariad, a chydweithredu lle yr oeddynt yn cydweled, a thrwy ddyfod i adnabod y naill y llall, deall y naill y llall, parchu a helpu y naill y llall, yr agorid drws i undeb.

(*b*) *Dichonedd Cydweithrediad.*

Dyma oedd testyn anerchiad y Gwir Anrhydeddus Iarll Nelson. Gosodai Iarll Nelson safle yr Eglwys ym Mhrydain yn y canol megys Cristionogaeth hanesiol y genedl, yn dal ei gafael yng nghorff y gwirionedd; a'r Eglwys Babaidd o un tu iddi, a'r enwadau Anghydffurfiol o'r tu arall, yn cyflawnu gwaith, ef allai, na fedrai hi ei wneyd mor effeithiol. Diolchai a llawenhäi fod yr Ysbryd Glân drwy weinidogaeth Eglwys Rhufain wedi gwneuthur yr hyn a wnaeth i'r genedl Wyddelig, ac fod y genadaeth Italaidd (Pabyddion Lloegr) wedi gwneuthur cymmaint dros Wyddelod Lloegr. O'r tu arall, llawenhäi fod yr "Eglwysi Rhyddion," fel eu gelwid, wedi gallu gwneuthur cymmaint dros y cymmeriadau lled eirwon ond grymus y Pengryniaid, y rhai a ystyrid yn perthyn i'r dosbarth canol ac yn asgwrn cefn y genedl. Llenwai yr Eglwysi Rhyddion o un tu a'r Eglwys Babaidd o'r tu arall ddau eithafnod mewn dysgyblaeth a bywyd Eglwysig, a thybiai Iarll Nelson fod y bywyd newydd diweddar yn yr Eglwys, yr hwn a daflwyd fel surdoes i galon y genedl, wedi lledu a dyfnhau ei bywyd ysbrydol nes ei dwyn i *gyffwrdd* â'r ddau eithafnod. Y mae wedi yfed iddi ei hun ac adgynnyrchu rhinweddau y ddwy aden Eglwysydd neu enwadau. Arddengys ei hunanaberth, ei haelioni, ei hymdrech o blaid pob achos da, ei hannibyniaeth oddi wrth bob bydol alluoedd, a'i gweithgarwch, rasusau uchaf Cristionogaeth. Yr oedd syniadau Iarll Nelson am undeb yn rhy eang i'r rhan fwyaf o'n cenedl y mae yn debyg, ond yr oeddynt yn Gristionogol a chariadus, a rhaid eu cymmeryd i mewn os mynir undeb. Eto, ofnwn fod yr undeb hwnw ym mhell a ofyna i'r Eglwys Babaidd daflu heibio benderfyniadau Cynghor Trent, Eglwys Loegr y Namyn Un Erthygl Deugain, a'r "Eglwysi Rhyddion Gyffes Ffydd Westminster."

---

## ADDYSG YSGRYTHYROL YM MWRDD YSGOLION LLUNDAIN.

*Gan y Parch. Daniel Rowlands, M.A.*

Yr oedd yn bleser genym weled yr ysgrif ragorol hon ar ddalenau y *Traethodydd*. Y mae gwedi ei heneinio drwyddi ag awelon edifeirwch o herwydd camgymmeriadau a fu, er gwaethaf yr ambell esgusawd a gynnwysa fel dernyn o dywarchen mewn caseg eiria ar ganol meiriol. Dywed ar y dechreu:

Y mae yn dra boddhaol gweled y gwaith rhagorol a wneir fel yma y naill flwyddyn ar ol y llall yn ysgolion bwrdd y

Digitized by Google

ddinas fawr mewn dysgu y miloedd plant sydd yn eu dilyn ym mhethau mawrion Llyfr yr Arglwydd. Eithriad ydyw y bwrdd ysgol yn Lloegr nad ydyw yn trefnu fod y Gair Sanctaidd yn cael ei ddarllen a'i ddysgu yn ei ysgolion; ond gan y buasid yn meddwl fod Llundain bron y lle mwyaf anodd y gallesid meddwl am dano i wneyd y fath beth, y mae ein boddhâd yn fwy fyth wrth weled y llwyddiant hollol â pha un y mae y gwaith yno yn cael ei gario ym mlaen, &c. Ond beth am fwrdd ysgolion Cymru? Yn ol papyr seneddol a gyhoeddwyd rhyw ddeng mlynedd yn ol, tra nad oedd ond *saith* allan o *ddeunaw cant* o fyrddau ysgol yn Lloegr yn cyfyngu eu hysgolion at addysg fydol, yr oedd hyny yn cael ei wneyd gan gynnifer ag *wyth a deugain* allan o ddim ond *tri chant* o fyrddau ysgol yng Nghymru. Erbyn hyn y mae nifer y byrddau *secular* yn llawer llai. Mae hyd yn oed Birmingham, cartref yr *Education League*, wedi derbyn y Beibl i'r ysgolion er ys blynyddoedd, ac yn gwneyd defnydd da o hono. Y mae Cymru hefyd yn cymmeryd golwg llawer mwy rhesymol ar yr achos, ac yn gweithredu yn llawer mwy teilwng o honi ei hun, ac o'i dwfn gariad at Lyfr y llyfrau. Nid ydyw yr anhawsderau ond pethau dychymmygol.

Ar ol sylwi ar ddiflaniad pob anhawsder dychymmygol o dan brawf ymarferiad o gyfranu addysg grefyddol yn yr ysgolion, ä Mr. Rowlands ym mlaen i gymharu eu gwaith a'r eiddo yr Ysgol Sul, a dywed:—

Ofnwn na ddaliai llawer o'n Hysgolion Sabbathol ni ond cymhariaeth anffafriol â chryn nifer o Ysgolion Sabbothol da sydd y tu allan i Gymru; ac am y rhai goreu o honynt, fe fyddai yn beth tra dyeithr cael ond nifer fechan iawn o'r plant sydd dan eu haddysg a allai ddal prawf dim byd tebyg i'r hyn y mae y fath luaws o blant bwrdd ysgolion Llundain yn ddal mor anrhydeddus bob blwyddyn. Ond mae yn berffaith sicr nad oes neb a osodai y fath werth ar addysg o'r fath yn ein hysgolion dyddiol a rhieni y plant sydd yn cael yr addysg oreu a all yr Ysgol Sul roi iddynt yn ei *hun awr fer*, allan o'r 168 o oriau yr wythnos. A beth am y miloedd lawer o blant a ellid gyrhaeddyd felly, a gwneyd iddynt ddirfawr les, ond na ellir yn bresennol eu cael i'r Ysgol Sul o gwbl?

Gwedi sylwi ar benderfyniad Pwllgor Addysg Ganolradd i gyfranu addysg grefyddol, terfyna Mr. Rowlands gyda'r geiriau canlynol:—

Mae yn amlwg fod y "dychryn," chwedl Mr. Powell, "a ddaeth arnom ugain mlynedd yn ol," bron wedi rhedeg ei nerth allan, ac y gallwn cyn bo hir, ac yn ein holl ysgolion, roddi i bobl y dyfodol y cynnysgaeth werthfawr o gael eu hyfforddi yn nyddiau eu hieuenctyd yng ngwersi Llyfr yr Arglwydd.

Gan fod y Parch. Daniel Rowlands, os da y cofiwn, yn un o wrthwynebwyr mwyaf dylanwadol addysg grefyddol mewn ysgolion dyddiol, y mae ymddangosiad yr erthygl a adolygir yma yn dangos mor llwyr ydyw yr argyhoeddiad mai camgymmeriad a fu. Bwbach dychymmyg a drwgdybiaeth *proselytio* oedd wrth wraidd yr holl gynhwrf. Gwedi colledu *tair oes addysgol*, sef un mlynedd ar hugain, dyma y gwŷr hyn yn gweled mai *delusion*—gwallgof-ddychymmyg—oedd yr ofnau oll. Yr Eglwys ac addysg plant oedd ar yr ymenydd. A ydyw yr Eglwys a'i gwaddoliadau yn peidio bod ar yr ymenydd yn awr? Ac a ofynir aberthu *tair oes* i symmud y *delusion* neu wallgof-ddychymmyg hwn? Yn sicr, y mae ein cydgenedl wedi arfer byrbwylldra a byw i edifarhau lawer gwaith, ond buasai pwyll mewn pryd wedi ei dyrchafu yn llawer uwch.

---

## ATHRONIAETH A CHREFYDD BROWNING.

*Gan y Proff. Henry Jones, Coleg Bangor.*

MAE y ddadl ar uniongrededd traethawd beirniadol y Proff. Henry Jones yn peri gryn gyffro ym mysg dysgawdwyr y corff Methodistaidd. Gan na ddarllenasom y llyfr dan feirniadaeth, ac na wyddom hyd yn nod ei amcan, ni allwn farnu dim am ei uniongrededd na chyfeiliornad, ond daw ei gondemnwyr ac amddiffynwyr â ffeithiau dyddorol i'r amlwg mewn perthynas â chyflwr meddyliol gwahanol ranau o'r Corff. Ond o'r oll o'r amddiffynwyr ag y darllenasom eu gwaith, Mr. J. Morris Jones, "athraw mewn Cymraeg yng Ngh////oleg y Gogledd," sydd yn dwyn y pethau rhyfeddaf i oleuni. Wrth ymosod ar yr adolygydd yn y *Goleuad* defnyddia y geiriau hyn:—

Pwnc mawr yr adolygydd yw dangos fod dysgeidiaeth y Proff. Jones yn anghristionogol. Ac yma yr wyf am brotestio yn bendant yn erbyn arfer, fel y gwna efe, y gair "Cristionogaeth" am ei gyfundrefn dduwinyddol fach ef, nac am un Dr. Lewis Edwards, er cymmaint fy mharch iddo, nac am yr un cyffes ffydd arall. O blegid yr wyf yn credu o'm calon y bydd Cristionogaeth fyw byth; yr wyf yn credu'n drwyadl hefyd y bydd credoau presennol Cymru farw, fel y bu'r hen rai farw o'r blaen. Mawr yr heretic a fuasai'ch adolygydd i ancr y Canoloesoedd! Hyn yw ofn yr adolygydd; y mae'r ieuenctyd yn sigledig yng nghylch pethau a "gredid yn ddiammheu gan y tadau:" purion, ond a yw y ffaith y credid hwynt gan y tadau yn profi eu bod yn *wir?* Mi adwaen i lawer iawn o bregethwyr ieuainc galluog sy'n ofni adrodd yn groew yr oll a gredant, rhag erlidigaeth gwŷr fel yr adolygydd hwn. Credaf fod gan lawer, nis gwn i pa faint, o bregethwyr blaenaf ein Corff, genadwri newydd—gwedd newydd ar y gwirionedd addas i'r oes hon; ond newyn ef allai iddynt fyddai ei hadrodd, o herwydd grym erlidigaethus y rhai sy'n credu mai syniadau diwygwyr Cymreig y ganrif ddiweddaf yw "Cristionogaeth."—*Goleuad*, Medi 24ydd.

Etyb yr adolygydd y rhan yma o'r feirniadaeth fel y canlyn:—

Cred Mr. J. Morris Jones y bydd credoau Cymru farw yn fuan, ac nid oes ganddo fawr barch i dduwinyddiaeth Dr. Lewis Edwards o'r Bala. Beth yw cynnwysiad y credoau darfodedig hyn? A ydyw Mr. Morris Jones yn credu y derfydd Cymru â syniad mai Mab Duw yw Crist, ac fod angen am faddeuant pechodau a dadguddiad goruwchnaturiol?

Digitized by Google

Dyma yr unig athrawiaethau Cristionogol y cyfeiriais atynt, ac y mae y rhai hyn yng nghredo yr Eglwys ym mhob oes. Oni wyddai Mr. Morris Jones hyn? Ai yn y diwygiad Methodistaidd y dechreuodd y byd gredu mai uniganedig Fab Duw yw Crist?

Deallwn fod llawer o gymmysgedd yng ngolygiadau duwinyddol aml ddysgawdwr yn y Cyfundeb Methodistaidd yng Nghymru. A ydyw goleuni y colegau diweddar wedi dyfod i Gymru fel "llain o frethyn newydd ar hen ddilledyn" Anghydffurfiaeth ac enwadaeth lled honiadol, ac ychydig ef allai yn Phariseaidd. Yng ngoleuni *gwybodaeth golegol* eang y dyddiau dysglaer hyn, fe ymddengys sect neu enwad yn ddiau yn "gyfundrefn dduwinyddol fach;" ac nid rhyfedd i athrawon colegau brotestio yn erbyn "arfer y gair Cristionogaeth" am danynt. Gwyddem yn dda fod honiadau mawreddus mân enwadau ein cenedl yn arwydd o fychander truenus, ond nid ydym yn barod i ymuno yng nghondemniad ysgubol Mr. J. Morris Jones ar "gredoau presennol Cymru." Gwyddom yn dda fod "cymmysgedd mawr" ym meddwl y genedl Gymreig. Y mae ein "hen bethau" oddi mewn ac oddi allan i'r Eglwys yn sicr fyned heibio. Y mae yr allanolion crefyddol yn marw; a'r perygl yw, i afael y genedl ar y dwyfol wirionedd lacio, a darfod hefyd. Y mae gwybodaeth ychwanegol yr oes hon ar appeliad at y rheswm personol yn prysur ddangos ynfydrwydd uchel honiadau enwadaeth ddiweddar, a gallai fod y wybodaeth hon ei hunan yn rhy *ffwdanus* i chwilio i mewn i ddyfnder y gwirioneddau wrth wraidd enwadaeth. Un peth sydd amlwg ddigon, sef nad yw y wybodaeth newydd yn dygymmod â'n hen olygiau enwadol *culion*, ac y mae lle i ofni y bydd beth amser cyn sylweddoli duwinyddiaeth eangach crefydd Crist. Ond rhaid cofio mai pethau newyddion yw ein colegau secularaidd, ac nid ydym yn sicr am y "llain brethyn newydd" sydd ganddynt ei fod wedi bod yn y pandy hyd eto. Gall pan y daw allan o'r pandy y gellir ei wisgo am o leiaf hanfodion Cristionogaeth, sef ymgnawdoliad Mab Duw, ac iachawdwriaeth dynoliaeth drwyddo ac ynddo Ef yn unig. "Nyni yn eiddo Crist a Christ yn eiddo Duw" ydyw arwyddnod a chred yr Eglwys.

---

## Y "TRAETHODYDD" AM MEDI, 1891.

Y MAE y rhifyn presennol o'r *Traethodydd* yn un da iawn, a chynnwysa ysgrifau neillduol o ddyddorol a gwerthfawr, yn enwedig yr erthyglau ar "Unoliaeth Dysgeidiaeth;" "Addysg Ysgrythyrol ym Mwrdd Ysgolion Llundain;" a "Moes Cymru." Yr ydym yn enwi yr ysgrifau hyn am eu bod yn ymdrin yn fwy uniongyrchol â chyflwr presennol cymdeithas ac angenion yr oes.

### "MOES CYMRU," GAN WILLIAM GEORGE.

Dyma ysgrif ag sydd wedi peri "mawr ofal calon" ym mysg rhan helaeth o'r wasg Gymreig, a llawer o siarad ym mysg pob dosbarth bron o'r genedl. Parhâd ydyw o erthygl ar yr un testyn a ymddangosodd yn y *Traethodydd* am 1890, tudal. 263, &c. Yn yr erthygl hòno dengys Mr. W. George fod ein cyflwr moesol yn isel (1) mewn diweirdeb; (2) mewn geirwiredd; ac (3) mewn brawdgarwch. Neu, yn ei eiriad ef ei hun, dywed y "cyhuddir ni o anudoniaeth gan farnwyr ac o anniweirdeb gan lyfrau gleision y llywodraeth, ac yr euog-fernir ni gan ein sefyllfa gymdeithasol o anfrawdgarwch a hunan." Addefa Mr. W. George fod gormod o wirionedd yn y cyhuddiad uchod, a dywed fod ein cyflwr moesol yn ddigon du i beri i estron diduedd ddyfod i'r penderfyniad mai "rhagrith yw ein crefydd." I ochel cydsynio a'r casgliad yna fe ddywed, "Dechreuad gwybodaeth gyda golwg ar Gymru ydyw cydnabod y ddwy ffaith yma—(1) fod ei moesoldeb yn isel; (2) ond nad rhagrithio gyda chrefydd y mae." Er mwyn profi mai nid rhagrith ydyw crefydd Cymru, daw â'r Hispaen ym mlaen fel enghraifft i ddangos "nad ydyw crefyddolder, o angenrheidrwydd, yn golygu purdeb moes." "Nid oes," ebai, "un wlad mwy defosiynol na'r un mwy ammhur ei moes na hi." Tybiem mai canmoliaeth fechan i Ymneillduaeth Cymru ydyw ei chymharu â Phabyddiaeth yr Hispaen.

Priodola Mr. W. George y drwg hwn i ddiffyg yn ein diwylliant moesol, a haera mai rhanol ydyw y diwylliant hwn. Cyhudda y genedl o "gyfyngu ei galluoedd crefyddol i berffeithio cyfundrefnau a damcaniaethau," yn lle yn "foddion dyrchafiad i fywyd." Onid oes yma wirionedd poenus o amlwg i bob un ystyriol? A defnyddio geiriau grymus un o ddysgawdwyr goreu Ymneillduaeth, nid ydyw y genedl yn "edrych ar bechadurusrwydd pechod."

Meddai, wrth fyned ym mlaen:—

Y peth cyntaf a'n tery ydyw lleied o hunanymwadiad sydd yn angenrheidiol i fod yn grefyddwr y dyddiau hyn, &c. Os ammheuir hyn, gofynwn i'r darllenydd edrych ar bethau fel y maent, a chyfeirio at unrhyw bwynt ymarferol yn yr hwn y gwahaniaetha safon bywyd, yn ol dull y byd, oddi wrth yr unrhyw safon yn yr Eglwys. Neu, mewn geiriau ereill, dangoser, os gellir, y gwahaniaeth rhwng safon "parchusrwydd" bydol a'r bywyd crefyddol y dyddiau yma. Os oes gwahaniaeth, ofer gwadu ym mhellach fod yr Eglwys yn ddy-

Digitized by Google

lanwad pureiddiol ar fywyd Cymru yn awr; ond os nad oes gwahaniaeth eglur a phendant, mae yn rhaid fod yr Eglwys wedi dirywio i fod yn rhan o beirianwaith y byd yn unig. Ond gofynir, Onid ydyw ymuno ag enwad crefyddol, o hono ei hunan, yn golygu hunanymwadiad i fywyd Eglwysig? Nac ydyw. Fe *fu* felly; ond yn unol â'r egwyddor ydym wedi nodi eisoes, nid ydyw felly yn awr. Y mae crefydda erbyn hyn yn un o brif safonau parchusrwydd bydol. Y digrefydd, ac nid y crefyddwr, ydyw yr un sydd yn rhaid iddo dynu yn erbyn y lli ar hyn o bryd; ac am y rheswm yna, ychydig o'r dosbarth hwnw a welir yn ein mysg. Onid yw aelodaeth Eglwysig yn golygu ymdrech i ymattal oddi wrth feddwdod a phechodau cyhoeddus ereill? Ydyw, ac y mae gofynion y byd yn cytuno yn hyn. Una byd ac Eglwys i gondemnio meddwdod, ac i gymmeradwyo cymmedroldeb. Mae yr eneth "anlwcus," fel y gelwir hi, yn colli, heb law coron el hanrhydedd, hefyd gymmeradwyaeth byd ac Eglwys i'r un graddau â'u gilydd. Nid ydyw'r naill na'r llall yn ddiffygiol mewn ceryddon wedi y trosedd, ond mewn attalfëydd rhagddo. Buasem yn dysgwyl i'r Eglwys dalu mwy o sylw i'r canllawiau, i'n cadw rhag syrthio, nag i'r ffrewyll sydd i gospi yr anafedig wedi ei gwymp. Y mae yn lled anodd i'r truan ar lawr wahaniaethu rhwng llais ceryddol ei athrawon crefyddol ac eiddo y byd," &c.

Ac y mae ymddygiad yr Eglwys tuag at y byd yn ychwanegu'r anhawsder. Os oes rhywun all ddangos gwahaniaeth rhwng y dull y cynnelir i fyny sefydliadau cyssegredig a'r rhai yr edrychir arnynt fel yn anghyssegredig, rhaid ei fod yn feddiannol ar gryn fesur o gywreinrwydd. Y mae pobpeth yn hynod gyflëus y dyddiau yma. Ni raid i'r Cristion hoff o hapchwareu ddim myned mor bell â Monaco neu redegfëydd Ascot i chwilio am gyfleusdra i borthi ei flys. Ac i ba beth yr aiff mor bell, tra y mae y *raffle* Eglwysig wrth law? Os yw yn teimlo tuedd i anturio colli swllt ar un tu, er mwyn ennill 10p. ar y tu arall, waeth iddo brynu tocyn o'r *prize drawing* gan ei flaenor, na thanysgrifio at y *German lottery* y gwelodd hysbysiad am dani yn y newyddiaduron. Os dewisa'r blaenaf, caiff fod mwy o oddefgarwch yng nghalon tywysog y byd hwn nag y rhoddwn gredyd iddo am dano, onid e buasai wedi mynu iawn gan yr Eglwys cyn hyn am herw-hela cymmaint yn ei diriogaethau. Ond ef allai ei fod yn cael iawn? Y mae tlodi ysbrydol yr Eglwys ar hyn o bryd yn awgrymu hyny! Yr ydym yn dyfod yn ol, gan hyny, i hyn—fod byd ac Eglwys bron, os nad yn hollol, ar yr un tir a'u gilydd yn awr yng Nghymru gyda golwg ar safon bywyd; a chan fod y crefyddwr a'r digrefydd yn ceisio byw i fyny â'r un safon yn gymhwys, *nad oes gan grefydd, fel y cyfryw, yr un effaith uniongyrchol ac ymarferol ar fywyd dyn.*[1]

"Yn gweled nid ydym yn gweled." A pha fodd y tarawyd ni â'r dallineb ysbrydol hwn? Mae y rheswm yn eglur fel y dywedwyd eisoes: elfen fywydol crefydd ydyw hunanaberth ac ymdrech. Gall ffurf fod yno heb hyn; ond corff heb ysbryd, marw fydd. Ymddengys mai gwaith ein tadau ydoedd deffro meddwl y genedl i'r pwysigrwydd o ymuno â ffurf o grefydd. Gwnaethant hyny yn llwyddiannus, a gadawsant ffurf-grefyddau ddigon yn etifeddiaeth i ni ar eu hol. Yr oedd uno â'r naill a'r llall o'r rhai hyn yn naturiol i ni; ac fel yr awgrymwyd eisoes, nid oedd hyny yn gofyn aberth nac ymdrech ar ein rhan. Dyledswydd yr Eglwys wedi d'od â phethau i'r safle hon, ydoedd myned rhagddi i buro a dyrchafu cymdeithas.

> "To make stepping stones of their dead-selves
> To rise to higher things."

Trwy wneyd hyn gallasai ddwyn i weithrediad y galluoedd moesol ydoedd o'i mewn. Ond esgeulusodd ymgymmeryd â'r gwaith. Anwybyddodd ddeddfau ei bodolaeth oeddynt yn galw arni fyned rhagddi, a chwanegu at ffydd rinwedd; ac o ddiffyg ymarferiad y mae ei synwyrau moesol gwedi gwanhau a marw bron.

Mae y condemniad trylwyr a roddir ar ein cyflwr moesol yn rhy faith o lawer i gopïo ei hanner i'r *Haul*, a gesyd yr ysgrifenydd y bai yn benaf ac yn gyflawnaf wrth ddrws y pedwar enwad; nid am y tybia yr Eglwys yn well cyfundrefn, ond am y gesyd hi o'r neilldu yn gyfangwbl heb gymmaint bron â'i chydnabod yn allu crefyddol. Ond methem yn lân a darllen yr ysgrif finiog a chondemniol hon o ddiffygion moesol cyfundrefnau y "pedwar enwad" yng Nghymru, a pheidio meddwl am ddiffygion Anghydffurfiaeth yn Lloegr, fel eu hamlygir ym mhregeth y Prifathraw Gent yn Llandudno yn ddiweddar. Dywed, "Pa beth a ddywedwn ar y cyfan ydyw diffyg cyfundrefn grefyddol yr enwadau Anghydffurfiol? Fe ddywedem fod yn eu mysg awydd mawr i wasanaethu Duw, ac aiddgarwch gwresog i achub eneidiau, a gwir allu i gyffwrdd â theimlad y pechadur i'w droi i edifeirwch. Ond byddai yn rhaid i ni ychwanegu nad oes yn eu cyfundrefn nemawr ddim i feithrin bywyd ysbrydol yr enaid tu draw i'r pwynt hwn o edifeirwch, a elwir yn gyffredin 'tröedigaeth,'" &c. "Yma y mae y gwir fywyd ysbrydol yn dechreu." Y bywyd perffaith ydyw y bywyd a ymdrecha ganlyn esampl ein Harglwydd Iesu Grist, a'n gwneyd yn debyg iddo Ef." "Ychydig o'r bywyd yma a osodir ger bron ac a feithrinir yng nghyfundrefn yr enwadau Anghydffurfiol."

Ond pa le bynag y mae y bai *mwyaf*, rhaid i bob dyn addef fod ysgariad llwyr bron wedi cymmeryd lle rhwng crefydd a moesoldeb, fel ag sydd rhwng moesoldeb a gwleidyddiaeth; a gallasai Mr. W. George, pe yn hollol rydd oddi wrth ragfarn, weled y drwg yn ymrysonau ffol ein cenedl. Bu yr Eglwys gan belled ag y *gwrandewid ar ei llais* yn ymdrechu argyhoeddi y genedl o ddrygedd anudoniaeth ac anniweirdeb, ac y mae dalenau y *Traethodydd* yn dyst o'r driniaeth a gafodd ei gweinidogion o'r herwydd; a gwyddom y bu "Brad y Llyfrau Gleision" unwaith yn boblogaidd mewn lleoedd nas dylasai. Gwyddom pwy sydd ac a fu yn priodoli pob amcan gau i weinidogion yr Eglwys pan gyfodent eu llef yn erbyn anwyl bechodau y genedl. Ond i ba beth yr

[1] Nyni sydd wedi Italeiddio y geiriau uchod, am eu bod yn cynnwys gwirionedd cyflawn am holl gylch ein hadnabyddiaeth bersonol.

Digitized by Google

elir i gyfymliw? Pe byddai i'r pedwar enwad heddyw droi min eu cleddyf ac awch eu harfau yn erbyn pechod, yn lle yn erbyn y gangen henaf o Eglwys Grist ym Mhrydain, fe fyddai gwell gwedd nac a fu er ys llawer dydd ar ein cenedl cyn pen blwyddyn yn ychwaneg. Y gwirionedd profedigaethus yw, fod y dyn anianol cecrus yn cael lle mor ddifyrus a mwy diogel i erlyn ei gymmydogion Eglwysig o dan gochel crefydd, ag a fyddai yr ymladdwr pen ffair gynt wrth herio ac ymladd â'i gymmydog o'r plwyf nesaf. Y mae *darllen* enllib grefyddol rhanau o'r wasg mor felus i *gnawdoliaeth* yr oes hon ag ydoedd ymladd ceiliogod i'n teidiau, ac y mae mor ddinystriol i wir grefydd.

---

## GWYNGALCHU BACCHUS, NEU LWYRYMATTAL YN WAETH NA MEDDWDOD ACHLYSUROL.

PETH anhawdd ydyw gochel un eithafnod heb lithro i eithafnod arall. Rhaid bod yn ofalus wrth yru rhwng y graig a'r dibyn. Y mae gyru gwyllt gwyllt gwedi bod rhwng y graig a'r dibyn yn y *Times*, ar bwnc pwysig a dyddorol llwyrymattal a meddwdod achlysurol. Gan fod y dadleuwyr o'r ddau du yn feddygon enwog, buasai lle i ddysgwyl ychydig o oleuni oddi wrthynt, ond drwg genym ddweyd nad ydym nemawr doethach ar ol darllen y rhan fwyaf o'r ohebiaeth.

Cymmer Dr. Mortimer Granville ochr John yr Heidden a'r "gwin coch" yn ddifloesgni, gan ddweyd ar gyhoedd, "Yr wyf yn gwybod yn dda fy mod wrth fynegu fy nghrediniaeth gref fod *llwyrymattal* oddi wrth ddefnyddio gwin a diod frag yn ***waeth drwg*** nag achlysurol* ***ormodedd yn y diodydd meddwol hyn***. Yr wyf yn dweyd hyn o ddifrif: fy mod, meddaf, yn ysgrifenu yr hyn sydd groes i farn y mwyafrif o'r meddygon a ysgrifenant ar y pwnc hwn; ond yr ydwyf mor hollol argyhoeddedig o gywirdeb fy ngolygiadau, ar ol deugain mlynedd o astudiaeth a phrofiad o'r pwnc yn ei agwedd feddyginiaethol a chymdeithasol, fel y byddwn yn ddiffygiol mewn gwroldeb moesol pe y gwrthodwn ddadgan fy meddwl yn eglur. Yr wyf yn llwyr gredu fod niwed annirnadwy wedi cael ei wneyd i'r cyfansoddiad dynol ar gyfartaledd, ac i'w gynneddfau meddyliol a naturiol, drwy ledaeniad golygiadau ac arferion llwyrymwrthodol."

Y mae yr ohebiaeth yn rhy faith i ddodi ei degfed ran yn yr *Haul*. Ond myn y Dr. Mortimer Granville—

1. Fod diod frag a gwin o ffrwyth y winwydden yn iachusol i ddyn.

2. Fod dyfroedd eplesedig (*fermented waters*) a ddefnyddir yn eu lle fel diodydd dirwestol yn afiach.

3. Nid ydym yn cael fod y meddyg dysgedig yn amddiffyn yr arferiad o yfed gwirodydd poethion (*liquors*) fel diod gyffredin.

4. Dal y mae fod llwyrymattal oddi wrth win a diod frag wedi gwneyd mwy o ddrwg i'r cyfansoddiad dynol yn foesol a meddyliol nag a fuasai meddwdod achlysurol, neu yn iaith yr yfwyr, "Ambell i derm."

Fe wel y pwyllog ar unwaith nad oes yma ddim amddiffyniad cryf a phenderfynol i Syr John yr Heidden, na dim canmoliaeth i feddwi. Rhywbeth tebyg i'r hen air, "Chwareu teg i'r Diafol," ydyw; neu, "Nid oes neb yn cael cymmaint o gelwydd a'r gwr drwg." Ac y mae yr ymosodiadau cawraidd ar y *doctor* beiddgar yn debyg i gymmeryd gordd ddwylaw i dori cneuen.

Amddiffyniad yn lladd ei achos ei hun ydyw argyhoeddiad Dr. Granville. Nid oes neb a ddywed nad ydyw gwin da a diod frag yn iachus a llesol i lawer gwan a llesg, lle eu defnyddir yn briodol. Ac am ddrygioni "ambell i derm," rhaid barnu eu drygedd oddi wrth esampl Noah; ond y drwg yw, nad oes ond ychydig o'r yfwyr yn ymfoddloni ar "ambell i derm." Daliant at y ddiod nes myned i ormodedd cyffelyb i Nabal gynt.

Methiant hollol a fu gwaith y *doctor* dysgedig i wyngalchu Syr John yr Heidden; ond byddai yn dda genym pe byddai rhai dirwestwyr yn fwy pwyllog wrth ymosod ar feddwdod. Goddefa lluaws mawr o honynt i bleidiau politicaidd wneuthur pawen cath o honynt i'w hamcanion eu hunain, a gorfodant ambell i ddyn call dysgedig waeddi allan, "Chwareu teg i'r Diafol." Peth arall hollol anghysson mewn dirwestwyr ydyw mynychu tafarnau, eistedd yng nghwmpeini meddwon, ac yfed "dyfroedd eplesedig." Diodydd afiach ydyw y rhan fwyaf o lawer o'r rhai hyn; ac os bernir dyn oddi wrth ei gwmni, nid ydynt ond gwisg Phariseaidd am hoffwyr diota.

Y mae deall a chydwybod y genedl yn condemnio meddwdod yn gyfangwbl, ond y mae grym arferiad a chwaeth hawdd ei llygru yn bradychu rhifedi mawrion i suddo i'r pechod diraddiol.

J. R. E.

---

Pe byddai amcanion yn weladwy, gwridai dynion hyd yn oed am eu gweithredoedd mwyaf gogoneddus.—*Henry*.

Digitized by Google

## Y WASG.

*"Y Geninen" am Hydref, 1891.*

MAE y *Geninen* yn dal yn ei dyddordeb yn barhäus, ac er mwyn bod yn wir genedlaethol a nodweddiadol o honom, fe gynnwysa ambell nodyn sectyddol fel *passing discord* mewn cerddoriaeth; ond gofala y golygydd fod y cydgord yn gryf o'r ddeutu fel rheol. Anffawd oedd i ysgrif dipyn yn bigog y Parch. Evan Jones, sef ei "Resymau dros Ddadgyssylltiad yng Nghymru" gael ei gosod yn gyntaf, ac felly gychwyn y rhifyn ar nodyn *discord* neu anghydsain. Ond pan gofiwn hyny, rhoddes y golygydd ammhleidiol y lle cyntaf mewn rhifyn blaenorol i ysgrif y Deon Owen yn erbyn Dadgyssylltiad, a dilys y teimlai dadgyssylltwyr selog fod hwnw yn seinio yn arw ac anghydsain ar eu clustiau. Ni wnawn ond dyfynu un frawddeg o ysgrif y Parch. E. Jones fel enghraifft o'i chwaeth (?) gyffredin. Pan yn ymdrin â'r cynnydd yn rhifedi y rhai a gonffirmir, dywed, "Hyd hyny maddeued y deon i mi am beidio rhoddi llawer o bwys ar y bechgynos a'r merchetos a gesglir o bob corlan a phob ffos er mwyn i'r Arglwydd Esgob ddodi ei ddwylaw ar eu pen." Nid oes gyfrif i'w roddi am chwaeth dynion, ond nid o'r Testament Newydd y dysgir ysgrifenu yn y dull uchod. Awn ym mlaen at ysgrif fer ond ragorol gan Morgan Lloyd, Ysw., ar "Gyflwr Cymhariaethol Poblogaeth Lloegr a Chymru yn awr a hanner canrif yn ol;" ysgrif dda eto gan Lewis Morris y bardd ar "Gymru sydd, Cymru fydd." "Y Delyn a'r Eisteddfod," gan Bencerdd Gwalia. Daw yn nesaf ysgrif fer ond ragorol gan Henry Owen, Ysw., Caerludd, ar "Gerald y Cymro a'r Eglwys Gymreig." Os briwiwyd teimlad y llenor Eglwysig gan Philistiaeth y Parch. Evan Jones, caiff yma linaru ei soriant gan ledneisrwydd ac ysgolheigdod Henry Owen. Dyry yr ysgrif bwyllog hon gyfrif am Philistiaeth farbaraidd yr ysgrif ddadgyssylltiol. "Rhoddai," ebai Mr. Owen, "Gerald lawer o bwys ar hynafiaeth yr Eglwys Gymreig, a dywedai yn groew wrth y pab fod ei gyn-dadau Cymreig ef yn Gristionogion er ys canrifoedd cyn i hynafiaid Sacsonaidd ei archelyn, Hubert Walter o Gaergaint, droi oddi wrth baganiaeth."

"Cafodd yr Eglwys hanesiol hon—a olrheinir i'r Eglwys Ddwyreiniol foreu drwy Eglwys Gaul—ei diwygio wedi dyfodiad y cenadon Rhufeinaidd i Loegr i bregethu yr Efengyl i'r Sacsoniaid; fe'i diwygiwyd eilwaith yn nyddiau Gerald wedi i'r Normaniaid rheibus ddwyn rhanau prydferthaf Cymru oddi ar y tywysogion brodorol, tra yr oeddynt hwy yn ymrafaelio yn eu mysg eu hunain; yr ydoedd i gael ei diwygio drachefn pan ddeuai Cymro i eistedd ar orsedd y Plantagenets. Ond drwy yr oll o'r cyfnewidiadau hyn arosai yr un a'r unrhyw Eglwys —Eglwys y merthyr Alban a Chattwg a Dewi Sant. Ar yr Eglwys hon—y sefydliad henaf yn Ynys Prydain yn awr, fel yn nyddiau Gerald—y mae y Cymry wedi ymfeddwi yn ysbryd pleidiaeth, ac wedi eu gwenwyno ag eiddigedd sectol; a chan lwyr anghofio ei disgyniad anrhydeddus o oesoedd pellaf hynafiaeth hanesiol, yn ei galw yn "Eglwys yr estron."

Daw yn nesaf ysgrifau "Anhawsderau Gwladgarwch Cymreig;" "Byddin yr Iachawdwriaeth a'i gwaith yng Nghymru;" "Alfardd;" "Llynoedd Cymru;" a mwy na dwsin o ysgrifau ereill ar destynau cenedlaethol gan mwyaf. Rhaid dweyd yn ddihoced fod y rhifyn hwn yn dda, er y gall yr ysgrif gyntaf fod yn dramgwyddus mewn llawer brawddeg nid i Eglwyswyr yn unig, ond i bob llenor "heb ei wenwyno gan eiddigedd sectol."

---

*"Cymru."*[1] *Dan olygiaeth Owen M. Edwards, M.A., Rhydychain.*

Dyma yr ail rhifyn o *Gymru* ger ein bron, ac y mae mewn llawer ystyr yn tra rhagori ar y cyntaf yn ei nawseiddiad drwyddo, ac yn neillduol yn y prawf amlwg a ddyry na wneir ef yn eneu bustlaidd plaid gulfarn. Gallai y dywed rhai fod y rhifyn hwn yn rhy Eglwysig, ond gŵyr y cyfarwydd am bob peth cenedlaethol ei fod yn gorfod pwyso ychydig a gogwyddo peth o'r naill ochr i'r llall ar hyd ffordd anwastad ein bywyd cyhoeddus, fel gwagen lwythog ar hyd rhai o'n ffyrdd mynyddig.

Dechreua y rhifyn hwn gydag erthygl dan yr enw "Blynyddoedd Cymru: I. Blynyddoedd Hanes. II. Blynyddoedd Llenyddiaeth." Gwaith y golygydd yw, fe dybiem, canys ni allai neb ond efe a nifer fechan arall o'n haneswyr goreu ei lunio. Bras-amlinelliad yw, fel math o daflen o hanes Cymru wedi ei ranu yn gyfnodau dan wahanol benau, ac addewir llenwi yr amlinelliad hwn i fyny mewn hanesiaeth difwlch. Bydd y gwaith yn fawr, ond ar yr un pryd yn werthfawr dros ben. Dilynir y daflen-ysgrif hon â ber ysgrif ar y Parch. Owen Thomas; "Cywydd y Bedd," gan William Phylip; "Ffarwel i ti, Ynys dlos," gan J. Gruffydd Hughes; "Tudur Llwyd," gan Ifan T. Davies, Llanuwch-

[1] Caernarfon: argreffir a chyhoeddir gan D. W. Davies a'i Gwmni.

Digitized by Google

llyn; "Iolo Goch;" "Criccieth;" "Tŷ Ddewi;" "Cyffes Ffydd;" "Un pob Gwybod" (anerchiad gan yr Athraw Butcher, Edinburgh); "Llewelyn ein Llyw olaf;" "Dalen o Ddydd-lyfr Peter Williams;" "Priodas;" "Hen Bennillion;" "Eisteddfod Abertawe," yn iaith hoenus ac arddull chwareüs a sych-ddyddan y golygydd; "Nodion y Golygydd;" "Awdl i Dŷ Dduw, sef Eglwys Loegr," gan J. Williams, 1764; "Llyfrau Newyddion," gydag amryw fân ysgrifau ereill. Y mae y rhifyn hwn yn ddarllenadwy drwyddo, yn eangfrydig ac addysgiadol, a mawr obeithiwn y caiff y golygydd athrylithgar ac anturiaethus ddigon o gefnogaeth i gario allan ei gynlluniau yn gyflawn.

Nid oes un ddadl nad ydyw y ffrydiau o oleuni newydd ag sydd yn ymdywallt ar Gymru o'r colegau ac athrofëydd yn meirioli ymaith ei hen gul opiniynau, a'r perygl yw i ddefosiwn y genedl gael ei oeri a seiliau ei chred eu siglo, yng ngwanwyn y bywyd newydd ag sydd yn amlwg o'i blaen. Credwn fod *Cymru* am gadw at yr hen angorion wrth ymdrechu dros fywyd newydd ac uwch, ac ni all ei barch at yr hen amseroedd beidio â dylanwadu ar gyfeiriad ei ddyfodol. Ni wnaeth diwygiad Methodistaidd diwedd y ganrif o'r blaen roddi cyfeiriad newydd i fywyd y genedl: cyfodi tô newydd i'r wyneb a wnaeth, ac arddu *is-weryd* y boblogaeth. Y mae yr oll yn awr dan arddwriaeth yng ngwyneb haul ac o dan awelon gwasg doreithiog a dysg helaeth, ac yr ydym yn croesawu *Cymru*, dan olygiaeth Owen M. Edwards, M.A., fel ychwanegiad amserol a gwerthfawr i feithrin ein bywyd cymdeithasol, a dyrchafu ein chwaeth llenyddol.

---

"***Ralph de Lyle*: neu Helyntion Pendernyn, sef Ffug-hanesyn yn gosod allan y dull o Garu, Priodi, Ofergredu, a arferid drigain mlynedd yn ol mewn ardal wledig Gymreig.**"[1] ***Gan y Parch. Evan Jones, B.D., periglor Trefdraeth, Penfro.***

Mae y teitl uchod yn rhoddi darnodiad teg o gynnwysiad y pamphledyn. Ffurfiwyd y ffug-hanesyn er mwyn cadw ar "goflyfr" ddysgrifiad o hen arferion ydynt fel cysgodion gwedi bron lwyr gilio o'r golwg ac o fodolaeth. Adroddir y chwedlau mewn cyfres o lythyrau ag y dychymmygir iddynt gael eu hanfon drigain mlynedd yn ol gan frawd yng Nghymru at frawd a chwaer yn Lloegr, yn rhoddi hanes helyntion ei ardal, ac wrth wneuthur hyny daw ar draws arferion yr amser. Ni hona yr awdwr ysgrifenu ffug-chwedl gywrain a chelfyddydol, a chreu cymmeriadau dyddorol, ond adrodda chwedlau llafar gwlad a'i harferion mewn ffordd ddyddan a difyrus. Cawsom bleser yn eu darllen, a chaiff pob carwr hynafiaethau, a chwedlau diniwed ac arferion ein hynafiaid, gyffelyb fwynhâd.

[1] Argraffwyd gan M. W. Williams, swyddfa'r *Guardian*, Solfach.

---

## NEWYDDION.

### Y GYNGRES EGLWYSIG YN RHYL.

DA genym weled oddi wrth adroddiadau y wasg yn Llundain, yn gystal a'r taleithiau, yr ystyrir y Gyngres Eglwysig yn Rhyl yn llwyddiant cyflawn, a mawr ganmolir y pwyllgor gweithredol yn Rhyl a Llanelwy a'r cyffiniau, am drefnu a darparu mor berffaith ar gyfer yr oll, fel, a defnyddio geiriau y *Guardian*, na bu "migwrn o'i le" (*hitch*) mewn dim o'r dechreu i'r diwedd. Nis gwyddom pa bersonau unigol a deilyngant fwyaf o glod am hyn, a phe gwyddem, eu dymuniad fyddai cael eu canmol gan y gwaith ei hun ac nid wrth "gorn gwlad." Ond y mae preswylwyr Rhyl a'r amgylchoedd yn deilwng o bob canmoliaeth am eu llettygarwch brawdol a chroesawgar i bawb a ellynt ei dderbyn. Fe werthwyd o drwyddedau aelodau am chwe swllt yr un 3250, sef y rhif mwyaf a allai neuadd eang y Gyngres gynnwys; ac ychwanegwyd llogi y *pavilion* i gynnwys dwy fil yn ychwaneg, a gwerthid tocynau swllt i fyned yno ddydd Iau, pryd yr ystyrid fod, yn ol y *Guardian*, saith mil yn bresennol rhwng neuadd y Gyngres, gerddi y *Winter Gardens* o'i gylch, pabell yr arddangosfa, a'r *pavilion*.

*Yr arddangosfa Eglwysig.*

Clywsom lawer yn dweyd mai yr arddangosfa Eglwysig oedd y lle mwyaf dymunol ac addysgiadol y buont ynddo erioed. Arddangosid yno bob math o ddodrefn, addurniadau, a llyfrau Eglwysig, hen a diweddar. Yr oedd yma wledd wirioneddol i'r llygad a'r meddwl, a chynnrychiolid yno nifer mawr o'r cymdeithasau Eglwysig goreu. Hawdd y gallasem dreulio tridiau i edrych dros y llyfrau lluosog o bob math; yr hen ddarluniau godidog, llestri Cymmun a cherfiadau o bob math. Diau fod holl gostau y Gyngres yn fawr rhwng pob peth.

*Cymraeg yn y Gyngres.*

Cwyn mawr a pharhäus yr elfen Gymreig oedd bod iaith ein gwlad gwedi cael ei llwyr daflu o'r neilldu yn Rhyl. Yr oeddym wedi cyflawn ragweled

Digitized by Google

hyn, ac ymdrechu dangos mai Cyngres Eglwys Unedig Cymru a Lloegr a gynnelid yn Rhyl, ac na ellid dysgwyl lle mawr i'r Gymraeg yno. Daeth ein brodyr Seisonig i Gymry y tro hwn i ddangos eu parch a'u cydymdeimlad â ni, a gwnaethant waith ardderchog a gwelsant lawer, ond ni chawsant ein gweled yn ein gwres a'n hwyliau goreu. Rhoddes y Parch. Owen Jones, Pentrefoelas, i'r Seison arddangosiad teg ac effeithiol o ganiadaeth gyssegredig yr Eglwys yng Nghymru, ond ni chaed cyfle i dân areithyddiaeth Cymru ddangos ei nerth ar filoedd y werin. Dangosodd y derbyniad brwdfrydig a gafodd y Parchedigion D. Richards, Ffestiniog; y Parch. E. T. Davies, Pwllheli; a'r Parch. J. F. Reese, Llanfwrog, y dylanwad mawr sydd gan hyawdledd Cymrüaidd ar ein cenedl. Fel y cawn sylwi yn y lle priodol, gresyn fod cyfarfod y gweithwyr wedi ei oedi hyd wyth o'r gloch nos Fercher. Yr oedd y *pavilion* yn orlawn erbyn saith; ac ar *ddeg* o'r gloch, pan alwyd ar Canon Roberts i siarad, ni chafodd ond gweled cefn dros hanner y gynnulleidfa yn troi ymaith at eu *train*, yr hwn oedd i gychwyn ddeng mynyd wedi deg, a mawr oedd eu gofid orfod myned ymaith. Yr ydym yn sicr pan ddelo y Gyngres Esgobaethol i mewn i'w chylch y gofalir am i'r elfen Gymreig gael ei diwallu; ac os mewn tref Gymreig, megys yng Nghorwen gynt, ei cynnelir, y byddo yno gyfarfodydd neillduol ar gyfer y werin Gymreig. Y mae esgob Llanelwy, y deon, a'r archddiaconiaid eill tri, yn ddigon o Gymry i weled angen am hyn, ac yn ddigon galluog i drefnu ar ei gyfer a'i ddiwallu.

Deallwn fod y derbyniadau am docynau yng Nghyngres Rhyl yn cyrhaedd y swm o 1100p., ac fod yr holl draul wedi eu talu yn llawn.

Dywedir yn y *Guardian* am yr 21fed o'r mis diweddaf, fod y Parch. Lindon Probyn, gweinidog Annibynol gynt yn Abertawe, ar dderbyn urddau i weinidogaeth yr Eglwys Sefydledig yn Llundain.

---

## MANION.

Gwell dyoddef dros Grist nag i enw Crist ddyoddef oddi wrthym ni.

Y mae un awr heddyw yn well na dwy awr yfory.

Rhatach yw i ddyn golli arian na gwneuthur drwg.

O bob peth da, dyn da yw y goreu; o bob peth drwg, dyn drwg yw y gwaethaf.

Y mae digon o ddefnyddiau ym meddwl pob dyn i greu uffern ynddo.—*Beecher.*

## AT EIN GOHEBWYR.

*Camgymmeriad.*—"Ab Tudur" a ddylasai fod wrth y penillion buddugol ar "Godiad yr Haul" yn ein rhifyn diweddaf.

Bydd ychwaneg o hanes y Gyngres yn Rhyl yn ein rhifyn nesaf.

---

## PENODIAD MR. HELM.

Dymunir arnom hysbysu fod Cymdeithas Amddiffyniad yr Eglwys wedi penodi Mr. W. E. Helm fel ei hysgrifenydd yng Nghymru. Gellir ysgrifenu ato yn Granville Street, Shrewsbury.

Bydd yn dda ganddo dderbyn oddi wrth unrhyw un a fyddo cystal a'u hanfon iddo:—

1. Gwybodaeth am waith a chynnydd yr Eglwys.
2. Gwybodaeth am yr ymosodiadau ar yr Eglwys.
3. Pigion allan o newyddiaduron.
4. Ceisiadau am ddarlithiau, cyhoeddiadau, &c.
5. Tanysgrifiadau a chyfraniadau tuag at y Gronfa Gymreig.

---

## Y LLITHIAU PRIODOL, TACHWEDD, 1891.

| Dydd | Suliau a Gwyliau | Boreu | Prydnawn. |
|---|---|---|---|
| 1 Sul | Dydd yr Holl Saint | Doeth. iii hyd 10 | Doeth v. hyd 17 |
| | | Heb xi. 33 a xii hyd 7 | Dad. xix. hyd 17 |
| | 23 Sul gwedi'r Drindod | Hosea xiv. | Joel ii. 21, neu iii. 9 |
| 8 Sul | 24 Sul gwedi'r Drindod | Amos iii. | Amos v. neu ix. |
| | | Heb. i. | Luc xxiv. 13 |
| 15 Sul | 25 Sul gwedi'r Drindod | Micah iv. a v. hyd 8 | Micah vi. neu vii. |
| | | Heb ix. | Ioan iv. 31 |
| 22 Sul | 26 Sul gwedi'r Drindod | Eccles. xi. a xii. | Hag. ii. hyd 10, neu Mal. iii. a iv. |
| | | Iago i. | Ioan vii. 25 |
| 29 Sul | 1 Sul yn Adfent | Esai i. | Esai ii. neu iv. 2 |
| | | 1 Pedr ii. 11 hyd iii. 8 | Ioan xi. 17—47 |
| 30 Llun | St. Andreas, Ap. a Mer.* | Esai liv. | Esai lxv. hyd 17 |
| | | Ioan i. 35—43 | Ioan xii. 20 hyd 42 |

* Credo Sant Athanasius.

---

CARMARTHEN:

Printed and published by W. SPURRELL & SON, at their Printing Office, situate and being at No. 37, King-street, in the Parish of Saint Peter, in the County of the Borough of Carmarthen, on Saturday, the 31st of October, 1891.

Digitized by Google

# YR HAUL.

## Ail Gyfres Caerfyrddin.

"YNG NGWYNEB HAUL A LLYGAD GOLEUNI."
"A GAIR DUW YN UCHAF."

RHIFYN 84. RHAGFYR, 1891. CYF. VII.



 EGLWYS GADEIRIOL MAINZ.

Digitized by Google

## EGLWYS GADEIRIOL MAINZ.

Y MAE yr Eglwys hon yn esampl deg o'r arddull a elwir *Romanesque*. Y mae yr Eglwysydd hyn yn hynod o addurniadol, a'r drych allanol o honynt yn brydferth neillduol, gyda'u haml bigdyrau a *domes* mawreddus. Adeiladwaith canrifoedd ydynt drwy i'r naill oes gario ym mlaen y gwaith a ddechreuid gan y llall, ac ychwanegu ato a chyfnewid arno. Rhyfedd yw mai yn yr oesau a elwir genym ni yn dywyll y gwerid mwyaf o arian ar adeiladwaith Eglwysig; ond dyma arferiad y natur ddynol. Gwaria y pagan ar ei deml fwy na'r Cristion ar ei Eglwys. Y mae adeiladwaith addurniadol yn deffroi y ddychymmyg, ac yn ennyn defosiwn a meithrin meddyliau dyrchafedig, a chawn ym mhortreiad y tabernacl a'r deml yn Jerusalem ddigon o brawf o gyfreithlondeb yr unrhyw.

---

## Y DIWEDDAR CARDINAL NEWMAN A'R BABAETH.

YN ei amddiffyniad o'r Babaeth gwelir holl neillduolion ei feddwl galluog. Dewrder a faidd gydfyned â'r holl athrawiaethau amryw a dyeithr, a dyfais i osod yr athrawiaethau hyn yn y wisg fwyaf deniadol i feddyliau trigolion ei wlad. Bu adeg pan y credai yn ddiysgog mai y pab ydoedd yr anghrist, ac mai'r Babaeth ydoedd Babylon fawr y Dadguddiad. Ac ar ol troi, gwyddai mai dyna farn lluaws o Brotestaniaid ei wlad. Yn ei *Apologia* ceisia ddangos fod yna anghrist arall, sef rheswm y dyn anianol heb arweiniad goruwchnaturiol. I brofi hyn defnyddia resymau tebyg i'r eiddo Butler yn ei *Analogy*. Ei osodiad cyntaf o blaid y Babaeth yw hwn: nid yw anhawsderau deallol yng nghylch athrawiaethau yn cynnyrchu ammheuaeth o barthed i'w gwirionedd. Felly y dywedodd Butler: Nid yw y tywyllwch a'r anhawsderau sydd mewn cyssylltiad â llywodraeth Duw ar y byd yn cynnyrchu ammheuaeth yn y bod o Dduw a'i ragluniaeth ar y byd. Felly ni ddylai anhawsderau yn y Gair ein gwneyd yn anghrediniol o'i gynnwysiad; ac fe ä Newman ym mhellach, gan ddweyd na ddylai anhawsderau mewn cyssylltiad ag addysg ac athrawiaeth y Babaeth daflu i'n meddwl unrhyw ammheuaeth yn ei gylch fel o osodiad dwyfol ac awdurdod Eglwysig. Nis gwyddom a ydyw yn iawn i ddweyd nad yw anhawsderau yn cynnyrchu ammheuaeth. Gwyddom fod dynion megys John Stuart Mill yn methu credu yn Rhagluniaeth o blegid yr anghyssonderau ymddangosiadol sydd yng nglŷn â Rhagluniaeth. Cofus genym ei eiriau dychrynllyd—"Naill ai," meddai, "nid yw Duw yn hollalluog, neu y mae yn anghyfiawn wrth adael y byd yn ei gyflwr presennol."

Ac yn wir, dywed Newman fod holl leisiau y byd o'i gwmpas yn peri iddo fethu clywed llais na gweled gwedd presennoldeb Duw ar y ddaiar, oni bai fod yno lais cryfach a dyfnach yn ei gydwybod a'i deimladau moesol yn ei orfodi i gredu yn y presennoldeb dwyfol. Ond yr oedd Stuart Mill yn amddifad o'r gras a'r llais mewnol yma, ac felly cynnyrchai yr anhawsderau anffyddiaeth o'i fewn. Y mae eisieu mwy o gynnorthwy y profion allanol ar rai na'i gilydd. "Am i ti fy ngweled, Thomas, y credaist; gwyn fyd y rhai ni welsant ac a gredasant." Nid yw Newman am gydymdeimlo â dynion fel Thomas, ac nid yw am symmud y rhwystrau sydd ar eu ffordd i gredu. Dichon fod ereill yn rhy dueddol i dalu gwarogaeth i ammheuaeth trwy geisio esbonio pob dirgelwch a dwyn pob gwirionedd o fewn cylch dirnadaeth dyn. Gwell gan Newman roddi ergyd marwol ar unwaith i'r ammheuaeth yma trwy ddweyd nad oes a fyno anhawsderau deallol ag ef, ond mai tuedd foesol y galon sydd yn ei beri. "Ni wna," meddai, "mil o anhawsderau gynnyrchu un ammheuaeth, nid oes cyssylltiad rhyngddynt." Efe a bar i ni feddwl am yr hen ymadrodd, "*Credo quia impossibile*"—"Credaf ef am ei fod yn ammhosibl." Efe a ofna yn fawr bwyso ar lais rheswm mewn pethau dwyfol, a gwell ganddo bron gredu yr hyn a ymddengys yn ammhosibl i'r deall.

Mewn un ystyr, y mae yn fendith cyfarfod â dyn mor fawr yn gallu siarad mor ddewr yn erbyn rheswm dynol, pan y mae y lluaws o'i gwmpas yn dwyfoli rheswm, ac yn ei osod yn safon i bob gwirionedd dadguddiedig. Y mae llwyddiant mawr deall dyn yn y byd materol a gwyddonol gwedi peri iddo gredu nad oes dirgelwch parhäus yn bod na therfyn i'r gallu i ddirnad ac amgyffred pob gwrthddrych. Da yw i ni allu teimlo fod yna lawer o bethau uwch law amgyffred dyn, pethau ag sydd rhaid eu credu serch hyny. Ac os yw hyn yn wir mewn pethau daiarol, pa faint mwy mewn pethau nefol a thragwyddol? Gellir meddwl fod Newman yn edrych ar gredu fel gweithred o eiddo yr ewyllys a'r serch yn fwy o lawer nag o eiddo y rheswm. Ond a chaniatäu fod hyn yn wir, y mae digon o le i ddyn deimlo ei fychander a therfyn ei allu i amgyffred trwy ymwneyd mewn modd teilwng â'r dirgeledigaethau y sydd, heb ychwanegu y rhai hyn trwy draddodiadau dynol. Y mae digon o ddirgelwch o gwmpas un o ffeithiau mawr y Dadguddiad, megys

Digitized by Google

yr ymgnawdoliad, i roddi llawn waith a thyfiant tragwyddol i'n ffydd. Fel y canodd y bardd,

"Mae rhyfeddodau rhif y dail
Ym Mherson hynod Adda'r ail."

Felly y mae Newman yn parotoi ein meddwl i dderbyn yr athrawiaeth o anffaeledigrwydd y pab, trwy awgrymu mai gwirionedd i'w gredu ac nid i'w amgyffred ydyw.

Ond peth caled, os nid ammhosibl, yw credu yr hyn sydd groes i reswm pan y mae y rheswm yn glynu wrth Air Duw. Digon i ni yw un Bod anffaeledig, sef Duw, ac un dadguddiad anffaeledig, sef y Gair. Ac os ydym yn barod o dan arweiniad un Bod anffaeledig, sef Pen mawr yr Eglwys, nid oes angen bod neu gorff arall anffaeledig. "Wele," meddai gwir Ben yr Eglwys, "yr wyf fi gyda chwi bob amser hyd ddiwedd y byd;" ac am yr Ysbryd Glan y dywed, "Ac efe a'ch tywys chwi i bob gwirionedd." Os oes ystyr i'r geiriau hyn, y maent yn cae allan y drychfeddwl o'r angenrheidrwydd am arweinydd anffaeledig arall. Nid oes angen mwy nag un pen i'r corff ysbrydol yn fwy nag i'r corff naturiol. Ac os yw Crist yn preswylio yn yr holl aelodau trwy yr Ysbryd, pa angen sydd am anffaeledigrwydd arall a lleol? Ond dyma hen wendid y Babaeth, sef lluosogi cyfryngau diraid, a thrwy hyny gymylu a gwanhau y cwlwm ysbrydol rhwng yr aelodau a'r Pen.

Ond awn ym mlaen i ddangos pa fodd yr amddiffyna Newman yr athawiaeth hon. Gwyddai fod yr erthygl yn graig rhwystr i feddwl Prydeinwyr a diwylliant diweddar, ac felly ymdrecha i osod yr athrawiaeth yn y wedd fwyaf derbyniol genym. Y mae rheswm y ddynoliaeth o dan farn a melltith, ac o ganlyniad y mae yn arwain dynion oddi wrth Dduw. Pa beth yw y feddyginiaeth ar gyfer y cyflwr truenus hwn? Wel, nid oes dim yn fwy tebygol na bod yr Arglwydd o'i ras a'i drugaredd yn bendithio y byd â rhyw allu goruwchnaturiol ac anffaeledig i wrthweithio a gorchfygu gweithrediadau twyllodrus rheswm dynol; ac anffaeledigrwydd y pab yw y ddarpariaeth rasol yma. Mewn geiriau ereill, y mae angen arweinydd anffaeledig ar y byd, neu fe ga anwiredd a chelwydd a thwyll yr oruchafiaeth; a dyfais Duw i ladd pob twyll a chyfeiliornad ydyw anffaeledigrwydd y pab. Nis gallwn lai na gofyn yn y fan yma, A ydyw y ddyfais wedi ac yn cyrhaedd yr amcan proffesedig? Ai nid yw cyfeiliornad yn cymmeryd ei gwrs yn Eglwys Rhufain fel ym mhob eglwys arall? Ydyw, medd hanesiaeth. Ac os ydyw, pa beth ydyw anffaeledigrwydd y pab ond enw dirym.

Yn ol tystiolaeth Newman, y mae pob erthygl ychwanegol i ddiogelu cyfanrwydd y ffydd yn cymmeryd cant neu ddau ac weithiau bum can mlynedd cyn dyfod i eglurder fel rhan o'r credo. Hyny yw, y mae Eglwys Rhufain yn dysgu am ewyllys Duw yn yr un modd a chyda'r un offerynau yn union a phe na bai y pab yn anffaeledig, sef trwy ymchwiliad personol ar ran yr aelodau, trwy ddadleu, trwy gydymgynghori; ïe, trwy bob moddion a ddefnyddir yn y rhanau ereill o Eglwys Crist y mae y Babaeth yn dyfod o hyd i'r gwirionedd. Ond pa le tybed y mae yr arweinydd goruwchnaturiol ac anffaeledig os oes rhaid i'r Eglwys hòno ymlwybro ym mlaen goreu y gall drwy foddion dynol a ffaeledig, a defnyddio y rheswm hwnw a gondemnir gymmaint ar y dechreu? Ai drychiolaeth ydyw wedi y cyfan? Teflir yr aelodau yn ol arnynt eu hunain ac ar eu gilydd o ran dim cynnorthwy a roddir iddynt gan y pab, yr arweinydd goruwchnaturiol.

Os mai synwyr cyffredin (*sensus communis*) yr Eglwys gwedi'r oll yw prif organ gwirionedd a safon y ffydd, pa synwyr sydd mewn cydnabod gallu arall, yr hwn sydd mor ddiles iddynt? Os mai geneu (*vox populi*) yr Eglwys ydyw y pab, pa le y mae yr amddiffyniad cyntaf sydd yn dweyd mor groew fod angen gallu goruwchnaturiol ac anffaeledig i ladd pob cyfeiliornad? Gwelir fod y gallu rhyfedd hwn yn cyfnewid fel *Proteus* o fod yn oruchnaturiol ac anffaeledig i fod yn synwyr cyffredin yn yr holl aelodau. Ei amcan yn ddiau ydoedd dangos yr anffaeledigrwydd yma yn y wedd fwyaf rhesymol i'w gydgenedl, y rhai sydd yn credu mor gryf mewn ymchwiliad personol i air y ffydd. Ond trwy hyn y mae yn diosg y pab o'i wisg oruwchnaturiol ac anffaeledig, ac yn ei osod yn *ultimus inter pares*, yr olaf ym mysg cydradd, gan mai ar ol i bawb deimlo y gwirionedd y llefara efe.

I ddangos gwendid yr amddiffyniad mewn geiriau ereill. Rhaid i ni beidio pwyso ar ein barn a'n goleuni ein hunain, canys arweinia hyn ni ar gyfeiliorn. Rhaid i ni bwyso ar farn ac awdurdod uwch law i ni. Ond pan awn at yr awdurdod hon â'n hanhawsderau, y mae yr oracl yn fud, a theflir yr aelodau yn ol arnynt eu hunain a Gair Duw; ac gwedi cael gafael ar yr atebiad trwy lafur personol ac ymdrech blynyddoedd meithion, yna gofynir i ni gredu mai yr oracl y tu allan i ni a roddodd yr atebiad, ac nid yr oracl mewnol. Tebyg iawn i waith oracl yr hen oesoedd, sef dyfais i roddi sel ac awdurdod dwyfol ar feddyliau ac atebion dynol. Amddiffyna Newman y dystawrwydd tywyll yma ar ran y pab trwy y ddiareb mai "da yw meddu nerth cawr,

Digitized by Google

ond nid da ei ddefnyddio bob amser." Ond yn sicr, os na ddefnyddir ef ond unwaith yn ystod can mlynedd, ac weithiau ym mhen pum can mlynedd, nid yw y nerth anffaeledig hwn mor angenrheidiol i ddiogelwch y ffydd ag y tybir ei fod, ac nid yw gweithrediadau rheswm dyn chwaith mewn pethau crefyddol mor beryglus a thwyllodrus ag y myn Newman i ni gredu ei fod. Gwelwn fod y rhan olaf o'i amddiffyniad yn dinystrio gosodiadau cryfion y rhan gyntaf i'n golwg ni. Y mae yn amddiffyn *gras dychymmygol*, sef anffaeledigrwydd y pab, yn erbyn *gelyn dychymmygol*, sef rheswm, a chyn diwedd yr amddiffyniad, canfyddwn yn eglur mai dychymmygol yw y ddau. Y mae perygl bob amser wrth brofi gormod i brofi dim. Nis gall yr un peth fod yr un pryd yn oruwchnaturiol a naturiol, yn anffaeledig a ffaeledig, yn arwain pawb ac yn cael ei arwain gan bawb.

Mae yr amddiffyniad yn orchestwaith fel ffrwyth dychymmyg a dyfais, ond yn rhy gywrain yn wir i gynnyrchu crediniaeth ynom o barthed i athrawiaethau y Babaeth.

*Cymmer*, *Llantrisant*. LEWIS HUGHES, M.A.

---

## DUWINYDDIAETH: NEU SYLWADAU AT WASANAETH YR YSGOL SUL AR YR EFENGYL YN OL ST. MATTHEW.

### GWERS XLVII.

*St. Matt. xvi. 21—28. O.C. 29. Darllener St. Marc viii. 31—33; St. Luc ix. 22. Rhagfynegu y dyoddefaint.*

### ESBONIAD EGLURHAOL.

Adn. 21: "*O hyny allan*," &c. Agorir cyfnod newydd yma yn nadguddiad yr Arglwydd Iesu am dano ei Hun. Yr oedd y dysgyblion wedi eu dwyn i gredu mai Efe oedd y Messïah, a'i fod yn "Fab y Duw byw." Daethent i adwaen ei *Berson*, a dechreuodd yntau ddadguddio ei *swydd* iddynt.

"*Fod yn rhaid iddo*," &c. St. Marc, "Fod yn rhaid i Fab y Dyn," &c. St. Luc, "Mae yn rhaid i Fab y Dyn," &c. "*Rhaid*" oedd iddo ddyoddef. Enwir yma dri pheth yn eglur: (*a*) y lle y dyoddefai; (*b*) oddi wrth bwy y dyoddefai ac ym mha fodd; ac (*c*) y cyfodai. "A'r ymadrodd hwnw a ddywedodd efe yn eglur," St. Marc viii. 32. Cyfeiriasid at y dyoddefaint cyn hyn: gwel St. Ioan i. 29; ii. 19; iii. 12—16; vi. 47—51; St. Matt. ix. 15. Ond dyma y tro cyntaf i'r Arglwydd Iesu lefaru yn eglur am ei farwolaeth.

Adn. 22: "*A Phedr, wedi ei gymmeryd ef ato*," &c. St. Marc, "*A Phedr a ymaflodd ynddo*." Ymddengys i St. Pedr ymdrechu ei ddenu o'r neilldu a'i berswadio ar ben ei hun. Gallai fod y modd uchel y llefarasai Crist am dano ac wrtho wedi ei hyfhau.

"*Trugarhâ wrthyt dy hun*," &c. Appelia St. Pedr at *hunangariad* "Mab y Dyn," ac at yr awydd sydd mewn dyn i osgoi dyoddefiadau. Cymharer yr appeliad hwn at hunangariad i ochel dyoddef yn Jerusalem at appeliad Satan yn yr anialwch at Grist i beidio dyoddef newyn. "Os Mab Duw wyt ti," ebai Satan yn yr anialwch, "*paid â dyoddef newyn*." Gan dy fod yn "Fab y Duw byw," ebai St. Pedr, "*paid* â myned i Jerusalem i ddyoddef."

Adn. 23: "*Ac efe a drodd ac a ddywedodd wrth Pedr*." St. Marc, "*Eithr wedi iddo droi ac edrych ar ei ddysgyblion, efe a geryddodd Pedr*." Sylwer mor fyw y gosodir St. Pedr a'r Arglwydd Iesu mewn darlun ger bron y llygaid.

"*Dos yn fy ol i, Satan*." St. Marc, "Dos ymaith yn fy ol i, Satan." Dyma geryddu St. Pedr bron yn yr un geiriau ag y ceryddwyd y temtiwr ar y mynydd—"Ymaith, Satan," St. Matt. iv. 10. Ystyr y gair Satan yw "gwrthwynebwr," "gelyn." Iaith ac *athrawiaeth* Satan a ddeuai yn awr o eneu St. Pedr. At hunanoldeb dyn yr appelia Satan ym mhob temtasiwn, ac o hunanoldeb y cyhudda efe bob dyn, Job i. 9—11; ii. 4, 5. Y cymmeriad a ddyry y Beibl i Satan ydyw nad yw yn credu mewn daioni. Priodola amcan hunanol i weithredoedd goreu dyn. Onid yw y pechod Satanaidd hwn yn un gwaeddfawr yn ein mysg? Gen. iii. 4, 5.

"*Am nad wyt yn synied*."—*Syniad* anianyddol, cnawdol, oedd ganddo. Er fod ei wybodaeth ddeallol wedi ei oleuo, nid oedd ei syniad mewnol wedi ei buro a dyrchafu. Y syniad *hunanol* oedd ganddo; nid y syniad *hunanaberthol*.

### BYWYD DRWY HUNANABERTH.

Adn. 24: "*Yna y dywedodd yr Iesu wrth ei ddysgyblion*," &c. St. Marc, "Ac wedi iddo alw ato y dyrfa gyda'i ddysgyblion, efe a ddywedodd wrthynt," &c.

"*Os myn neb ddyfod*," &c. St. Marc, "Y neb a fyno ddyfod," &c. Enwir yma dri o bethau: 1. Hunanymwadiad, "Ymwaded ag ef ei hun." 2. Gwroldeb moesol neu barodrwydd i ddyoddef, "Cyfodi ei groes." 3. Dilyn Crist, sef rhodio yr un ffordd a glynu wrtho.

Adn. 25: "*Canys pwy bynag a ewyllysio*," &c. Dyma ddeddf dragwyddol bywyd. Sylwer mai yr un gair a ddefnyddir (ψυχή) yn wreiddiol bedair

Digitized by Google

gwaith rhwng yr adnod hon a'r adnod nesaf, ond cyfieithir hwy yn yr adnod hon "*bywyd*" ac yn yr adnod nesaf "enaid." Yn St. Marc cyfieithir yr un gair (ψυχή) yn "einioes" mewn un adnod (viii. 35), ac yn "enaid" yn y llall (adn. 36).

"*Cadw ei einioes.*"—Cadw y bywyd hwn a feddylir. Greddf hunangadwraeth (*the instinct of self-preservation*) ydyw deddf ddyfnaf y bywyd anifeilaidd. Dyma ydyw yr hunangariad sydd mewn dyn. Collir y bywyd hwn yn angeu. Wrth osod cadwraeth yr einioes neu fywyd presennol—bywyd anifeilaidd—yn fater cyntaf ein cais, collir y bywyd ysbrydol, a chollir y bywyd tymmorol hefyd yn angeu.

"*Ond pwy bynag a gollo,*" &c. Pwy bynag a hunanymwado, a wyneba'r groes ac a ddilyna Grist, a'i caiff hi. A gaiff fywyd tragwyddol: gwel St. Ioan xi. 25.

Adn. 26: "*Canys pa lesâd i ddyn,*" &c. Defnyddir y geiriau difrifol "colli enaid" a "cholli einioes" bedair gwaith yn yr efengylau, yma ac yn St. Marc viii. 35; St. Luc ix. 24; St. Matt. x. 37; St. Luc xvii. 33; a St. Ioan xii. 25.

"*Pa beth a rydd dyn,*" &c. Mae y dyn anianol drwy geisio ei "wynfyd" yn y bywyd hwn yn dibrisio, esgeuluso, a gwerthu ei fywyd uchaf—ei enaid. Pan gyll y bywyd hwn, ni bydd ganddo ddim yn gyfnewid, neu i *brynu* a *rhoddi* yn bridwerth am ei enaid, Drwy fyned i Jerusalem i ddyoddef a chael ei ladd, yr oedd Crist yn rhoddi ei einioes yn bridwerth dros lawer, a deuai y *pridwerth* yma yn "gyfnewid" am eneidiau pawb a ymwadent â hwy eu hunain, ac a gyfodent eu croes ac a'u dilynent Ef, pe byddai eisieu, hyd angeu.

Adn. 27: "*Canys Mab y Dyn a ddaw,*" &c. Mab y Dyn ydyw rhoddwr y bywyd bery byth, ac Efe yw barnwr pawb. Y mae bywyd y saint yn ddiogel yn ei law, St. Ioan v. 20—25; x. 27—29.

Adn. 28: "*Y mae rhai o'r sawl sydd yn sefyll yma,*" &c. Y mae yn amlwg oddi wrth St. Marc (viii. 38) fod yma gyfeiriad (1) at y gweddnewidiad pan *welid* Crist yn ei ogoniant; (2) at ddinystr Jerusalem pan ymddangosai teyrnas neu freniniaeth, sef Eglwys Crist, ar ben ei hun ar wahân oddi wrth Iuddewiaeth; ac (3) at ddiwedd y byd. Cafodd tri apostol weled y gweddnewidiad, a bu St. Ioan o leiaf fyw yn hir ar ol dinystr Jerusalem. Cyssylltir amseriad y gweddnewidiad gan y tri efengylydd â'r amgylchiad dan ein sylw.

CWESTIYNAU.

Pa gyfnod newydd a ddechreuir yn y dadguddiad a ddyry yr Arglwydd Iesu o hono ei Hun yma? Pa sawl peth a ddadguddiodd Efe yn adnod 21fed? Pwy a'i ceryddodd? Beth a ddywedodd St. Pedr wrtho? At ba deimlad yr oedd yn appelio? Pa fodd y ceryddodd Crist Ef? Pwy a geryddwyd ganddo yn yr un geiriau bron? Pa fath gymmeriad a rydd y Beibl i Satan? Pa le yn y Beibl y priodola Satan amcan drwg i ddyn duwiol? Pa le y priodola amcan drwg i Dduw? Adroddwch yr adnod, "Os myn neb," &c.; pa sawl peth a enwir ynddi? Pa sawl ystyr sydd i'r gair bywyd yn yr adnodau nesaf? Wrth borthi blysiau y bywyd hwn, pa beth a gollir? Adroddwch yr adnod, "Canys pa lesâd i ddyn."

GWERS XLVIII.

*Y gweddnewidiad. St. Matthew xvii. 1—9. O.C. 29. Darllener St. Marc ix. 2—10; St. Luc ix. 28—36.*

ESBONIAD EGLURHAOL.

Adn. 1: "*Ac ar ol chwe diwrnod,*" &c. St. Marc, "Ac wedi chwe diwrnod," &c. St. Luc, "A bu yng nghylch wyth niwrnod wedi y geiriau hyn," &c. Y mae yn amlwg i'r gweddnewidiad gymmeryd lle ym mhen yr wythnos, neu ar yr wythfed dydd gwedi i St. Pedr gyffesu yr Arglwydd Iesu yn "Grist, Mab y Duw byw." Saif y gweddnewidiad allan fel rhan o ddadguddiadau mawrion y cyfwng pwysig hwnw.

"*Pedr ac Iago ac Ioan.*"—Y tri tyst ffyddlawn o gyfodi merch Jairus o feirw ac o ing Gethsemane.

"*Mynydd uchel o'r neilldu,*" &c. St. Marc, "*O'r neilldu eu hunain.*" St. Luc, "*I fyny i'r mynydd i weddïo.*" Cymharer yr olygfa ogoneddus ar y mynydd â'r olygfa ddarostyngol yn yr ardd, St. Matt. xxiv. 37—39.

Tybir yn gyffredin mai un o gopäu mynydd Horeb i'r gogledd o Cesarea Philippi oedd y mynydd tra uchel.

Adn. 2: "*A gweddnewidiwyd ef ger eu bron,*" &c. St. Marc, "Efe a weddnewidiwyd yn eu gŵydd hwynt," &c. St. Luc, "Gwedd ei wynebpryd ef a newidiwyd." Defnyddir yr un gair gwreiddiol gan St. Matthew a St. Marc, a chan St. Paul yn 2 Cor. iii. 18: "A *newidiwyd* i'r unrhyw ddelw." "Ac fel yr oedd efe yn gweddio" ar y mynydd o'r neilldu yn unigedd y nos, amblygwyd Ef megys â goleuni dwyfol yn tarddu allan o'i Berson gogoneddus ei Hun, gan ddysgleirio yn gyntaf yn ei wynebpryd, ac yna dywynu drwy ei wisgoedd a pheri iddynt ymddangos yn wynion fel yr eira.

Adn. 3: "*Ac wele Moses ac Elias.*"—Yn y goleuni sanctaidd hwn gwelai y tri dysgybl ddau berson arall yn ymddyddan ag ef, "y rhai a ymddangosasant mewn gogoniant," St. Luc.

Adn. 4: "*A Phedr a ddywedodd,*" &c. Dyma St.

Digitized by Google

Pedr ar ol ei gerydd diweddar yn brysur eto i siarad a gweithredu.

"*Da yw i ni fod yma.*" "*Gwnawn dair pabell.*"—Dymuniad St. Pedr oedd cael preswylio yn y gymdeithas ogoneddus. Cafodd yr olygfa argraff annileadwy arno: gwel 2 St. Pedr i. 16—18.

"*Tair pabell.*"—Digon gan yr apostol oedd i'r Arglwydd Iesu fod yn gydradd â Moses ac Elïas mewn gogoniant. Llefaru dan gynhyrfiad y syndod yr oedd, St. Marc ix. 6.

Adn. 5: "*Cwmwl goleu a'u cysgododd.*"—"Daeth cwmwl ac a'u cysgododd hwynt," medd St. Luc. Dyma oleuni oddi uchod yn amblygu am danynt: cymharer Ecsodus xl. 34; 1 Bren. viii. 10; Dad. xiv. 14—16. Sonir am y Goruchaf yn "gwisgo goleuni fel dilledyn."

"*Ac wele lef o'r cwmwl yn dywedyd, Hwn yw fy anwyl Fab,*" &c. Yr un llef ag a ddaeth o'r nef yn ei Fedydd, St. Matt. iii. 17. Daeth y drydedd waith yr wythnos cyn dyoddef o hono, St. Ioan xii. 28.

Adn. 6: "*Hwy a syrthiasant,*" &c. Dychrynasant wrth y llef.

Adn. 7: "*Gyffyrddodd â hwynt,*" &c. Dygodd ei gyffyrddiad hwy i sylweddoli pa le yr oeddynt, a chysurodd hwy â'r geiriau grasol, "*Cyfodwch ac nac ofnwch.*"

Adn. 8: "*Wedi iddynt ddyrchafu eu llygaid,*" &c. Aethai y weledigaeth heibio fel cysgod.

Adn. 9: "*Na ddywedwch y weledigaeth.*"—Dyma y rheswm pa ham y cyfyngwyd hi i dri thyst.

"*Hyd oni adgyfodai,*" &c. "Cadwasant y gair gyda hwy eu hunain, gan gydymholi beth yw yr adgyfodi o feirw," St. Marc ix. 10.

Wrth gymharu yr hanes fel ei mynegir yn y tair efengyl, cymmerodd yr Arglwydd Iesu y tri dysgybl gydag Ef i'r mynydd i weddïo. Tra yr oedd Efe yn gweddïo, goddiweddwyd y tri dysgybl gan gwsg, St. Luc ix. 32. Ar eu deffroad, synwyd hwy gan yr olygfa ogoneddus, ond eto nid yn ormodol iddynt ddeall rhediad yr ymddyddan (St. Luc ix. 31), a deall hefyd pwy oedd y ddau ymwelydd nefol. Pan oedd y ddau ymwelydd ar ymadael, awgrymodd St. Pedr y gwnelid yno dair pabell iddynt aros yng nghyd; ond tra yr ydoedd yn llefaru daeth y cwmwl goleu gan eu gorchuddio, a'r llef o'r cwmwl. Arswydasant wrth fyned i'r cwmwl, a brawychasant wrth y llef nes syrthio ar eu gwynebau. Daeth eu Harglwydd, cyfododd hwynt, a gwelsant fod yr olygfa drosodd.

Beth oedd amcan yr olygfa oll? Diau mai nerthu ffydd fabanaidd yr apostolion oedd. Cyffesasai St. Pedr am yr Iesu, "Ti yw y Crist, Mab y Duw byw." Cafodd olwg arno yn ei ogoniant ar y mynydd, a chlywodd y dystiolaeth o'r cwmwl, "Hwn yw fy anwyl Fab, &c. Rhagfynegodd yr Arglwydd Iesu ei farwolaeth, a chlywodd y dysgyblion yr ymddyddan rhwng Moses, rhoddwr y ddeddf, ac Elïas, y mwyaf o'r prophwydi bore, ar y mynydd am y farwolaeth hòno, neu "ymadawiad" a gyflawnai yn Jerusalem.

Cafodd y tri dysgybl, a'r Eglwys oll drwyddynt hwy, yn y gweddnewidiad enghraifft a phrawf o'r gogoniant oedd yn canlyn hunanymwadiad, codi'r groes, a dilyn Crist. Terfyna y bennod o'r blaen mewn gwersi ar *golli* yr einioes er mwyn Crist, a dangosir yma pa beth yw ei chael gyda Christ yn ei ogoniant.

### SYLW BEIRNIADOL.

Y mae ffyddlondeb y cyfieithad Cymraeg i osod allan y meddylddrych awgrymiadol am ddyoddefiadau y Groes, yr angeu, claddu, ac adgyfodiad dan yr enw "ymadawiad" (ἔξοδος) yn darawiadol dros ben. Dyma y gair a ddefnyddir am fynediad (ἔξοδος, *llyfr Exodus*) Israel allan o'r Aipht; a thrysorodd St. Pedr ef yn ei gof, gan ei ddefnyddio am ei farwolaeth ei hun [ar ol fy ymadawiad (ἔξοδον) 2 St. Pedr i. 15].

### GWESTIYNAU.

Pa bryd y cymmerodd y gweddnewidiad le? Ar ba fynydd? Ar ba amser, dydd ai nos? Pwy oedd gyda'r Iesu? Beth oedd yr Iesu yn ei wneuthur? Tra yr oedd yr Iesu yn gweddïo, beth a ddygwyddodd i'r dysgyblion? Gwedi eu deffroi beth a welsant? Pwy oedd gyda'r Iesu? Am ba beth y llefarent? Pa beth a awgrymodd St. Pedr? Tra yr oedd yn llefaru pa beth a ddygwyddodd? Pa beth a glywsant? Pa le yn yr Hen Destament a lenwai Moses? Pa le a lenwai Elïas? Beth oedd amcan yr olygfa oll? Pa air a ddefnyddia St. Luc am farwolaeth yr Iesu yn Jerusalem? Pa le yn y Testament Newydd y mae cyfeiriad at y gweddnewidiad?

## GWERS XLIX.

*St. Matt. xvii. 10—21. Darllener St. Marc ix. 11—3.*
*Dyfodiad Elïas.*

### ESBONIAD EGLURHAOL.

Adn. 10: "*Pa ham, gan hyny, y mae'r ysgrifenyddion,*" &c. Yr ysgrifenyddion oedd esbonwyr yr Hen Destament a'i brophwydoliaethau.

"*Fod yn rhaid dyfod o Elïas,*" &c.: gwel Malachi iv. 5. Rhoddai yr ysgrifenyddion lawer o bwys ar y brophwydoliaeth ym Malachi, ac ymresyment, y

Digitized by Google

mae lle i gredu, yn erbyn hawl yr Iesu i fod y Messïah, gan na ddaethai Elïas o'i flaen. Ni allai y dysgyblion felly weled un rheswm dros gadw ymweliad Elïas yn ei ogoniant ar y mynydd yn guddiedig.

Adn 11: "*Elias yn wir a ddaw*," &c. Yn ol cywir amseriad y geiriau darllena yn wreiddiol, Y mae Elïas yn wir yn dyfod (ἔρχεται), "ac a edfryd bob peth:" gwel Act. i. 6; iii. 21. Yr oedd y gair *adferyd* neu "roddi drachefn y freniniaeth i Israel" yn beth tra gwahanol yn nysgwyliad yr Iuddewon i'r hyn a amcanai Duw yng Nghrist. Ysbrydol oedd yr adferiad fel yr amlygodd yr angel i Zacharïas, St. Luc i. 17.

Adn. 12: "*Ddyfod o Elïas eisoes, ac nad adnabuant ef.*"—Er maint a ymffrostiai yr ysgrifenyddion yn eu gwybodaeth am gyflawniad y brophwydoliaeth am Elïas y prophwyd, nid adnabuant ef pan y daeth, a gwnaethant iddo beth bynag a fynasant. Nid oedd hyny yn ddim gwell na'i wrthod a dweyd, "Y mae cythraul ganddo." Y mae rhagddysgwyliad dynion bob amser yn dra gwahanol i'r hyn a gyflawnir, fel mai dyledswydd dyn ydyw bod yn barod i dderbyn argyhoeddiad. Balchder ysbrydol oedd maen tramgwydd yr oes hòno.

Adn. 13: "*Yna y deallodd y dysgyblion*," &c., "*Ioan Fedyddiwr.*"—Adferydd mawr addoliad Duw dan yr Hen Destament oedd Elïas, fel y tystia yr olygfa ar ben Carmel. Pregethwr llym edifeirwch ydoedd. Yr oedd yn rhaggysgodi gweinidogaeth St. Ioan Fedyddiwr, a phob diwygiwr tanllyd ar ei ol.

### IACHAU Y LLOERIG.

*Darllener St. Marc ix. 14—29; St. Luc ix. 37—42.*

Adnod 14: "*Ac wedi eu dyfod hwy at y dyrfa*," &c. St. Luc, "A darfu dranoeth, pan ddaethant i waered o'r mynydd." Dengys yr ymadrodd yma yn amlwg i'r gweddnewidiad gymmeryd lle yn y nos, ac i'r Iesu a'i dri dysgybl fod yn absennol am noswaith gyfan oddi wrth y gweddill o'r dysgyblion. St. Marc, "Efe a welodd dyrfa fawr yn eu cylch hwynt, sef y dysgyblion (ix. 13), a'r ysgrifenyddion yn cydymholi â hwynt."

"*Daeth ato ryw ddyn*," &c. Yr oedd y dyn hwn yn y trallod mwyaf, ac ychwanegai ymyriad yr ysgrifenyddion ei drallod.

Adn. 15: "*Trugarhâ wrth fy mab*," &c. "*Y mae efe yn lloerig*," &c. Ofer dyfalu pa beth oedd anhwyldeb y bachgen hwn. Digon i ni ydyw gwybod mai anhwyldeb a ddygid arno gan yr ysbryd aflan ydoedd.

Adn. 16: "*Ac mi a'i dygais at dy ddysgyblion di, ac ni allent hwy ei iachäu.*"—Y mae yn eglur oddi wrth St. Marc, yr edliwiai yr ysgrifenyddion hyn iddynt (ix. 16), ac fod cydymdeimlad y dyrfa (adn. 15) gyda'r dysgyblion.

Adn. 17: "*O genedlaeth anffyddlawn a throfäus*," &c. Seisoneg, "*Faithless and perverse generation*" (Διεστραμμένη). Y mae "*trofäus*" fel hyn yn gyfieithad llythyrenol o'r gwreiddiol. Cenedlaeth anghrediniol wedi *gwyrgamu* oddi wrth y gwirionedd, ac yn rhy ystyfnig i gymmeryd eu harwain ato yn ol oeddynt.

Adn. 18: "*A'r Iesu a geryddodd y cythraul*," &c. Iachawyd y bachgen ar air yr Iesu, er gwneuthur o'r ysbryd aflan yr oll a allai (St. Marc ix. 20) i'w niweidio. Ceir manylion ereill am dano yn St. Marc.

Adn. 19: "*Pa ham na allem ni*," &c. Addefai y dysgyblion eu bod wedi ceisio ei iachäu a methu.

Adn. 20: "*O blegid eich anghrediniaeth* (ἀπίστιαν). Diffyg ffydd. "*Pe bai genych ffydd*," &c. Yr oedd y dywediad hwn yn ddiarebol ym mysg yr Iuddewon, St. Matt. xxi. 21; 1 Cor. xiii. 2. Y meddwl yw, y gall y dyn ffyddiog gyflawnu pob peth ag sydd o fewn cylch ei alwedigaeth. Yr oedd bwrw allan gythreuliaid o fewn cylch commissiwn yr apostolion (St. Matt. x. 8), a diffyg ffydd yn eu galwedigaeth ac awdurdod sanctaidd oedd achos eu methiant. Y mae yn annichonadwy i weinidog Efengyl fod yn rhy ffyddiog yng ngalluoedd dwyfol ras drwy y commissiwn a roddwyd iddo.

Adn. 21: "*Eithr nid â y rhywogaeth hon*," &c. Awgrymir yma fod gwahanol alluoedd ym mysg ysbrydion drygionus.

Dwg hanes y wyrth hon rai gwirioneddau newyddion pwysig i'n sylw: 1. Yr oedd anhwyldeb y bachgen yn fawr iawn, ac achosid ef gan ysbryd aflan. Nid cosp arno am ei bechod personol oedd. Meddiannai yr ysbryd aflan y diniwed. 2. Rhagorfraint ffydd yw gallu pob peth o fewn *cylch addewid a gorchymmyn Duw*. 3. Fod gwahanol raddau ym mysg galluoedd y tywyllwch fel ag sydd ym mhlith angylion y nef, Ephes. iv. 12. 4. Y mae graddau o ddrygedd ysbrydol a moesol mor ddwfn a gwrthnysig nad oes a all ei orchfygu ond yr hunanymgyssegriad llwyraf gyda gweddi, ympryd, ac ymdrech enaid.

### CWESTIYNAU.

Beth oedd galwedigaeth yr ysgrifenyddion? Pwy a brophwydasai am ddyfodiad Elïas? Pwy a feddyliai yr Iesu wrth Elïas? Beth oedd yn debyg yn Elïas â St. Ioan Fedyddiwr? Beth a wnaeth yr ysgrifenyddion i St. Ioan Fedyddiwr? Pa bryd y cymmerodd y gweddnewidiad le? Pa bryd y bu yr

Digitized by Google

Iesu a'r tri dysgybl yn y mynydd? Pwy a'i dysgwyliai i waered? Pwy oedd dan anhwyldeb? Beth oedd yn ei flino? Pwy oedd yn aflonyddu ar y dysgyblion? Pa fodd y cyfarchodd Crist hwy? Pa beth ydyw ystyr y gair "trofäus"? Pa ham na allai y dysgyblion fwrw yr ysbryd aflan allan? A oedd gan yr apostolion awdurdod i fwrw allan gythreuliaid? A oeddynt wedi rhoddi eu holl allu ar waith (ympryd a gweddi)? Pa le y mae terfyn mesur ffydd y Cristion (o fewn cylch addewid a gorchymmyn Duw)? Sylwer fod ffydd yn gorphwys ar addewid neu orchymmyn. A oes genym le i gredu fod amrywiaeth graddau ym mysg ysbrydion aflan? Rhoddwch eich rheswm dros hyny.

GWERS L.

*St. Matthew xvii. 22—27. Darllener St. Marc ix. 30—32; St. Luc ix. 43—45.*

Adn. 22: "*Yn Galilea.*"—Daethai yr Iesu a'i ddysgyblion o gŵr gogleddol eithaf y wlad i ochr orllewinol Môr Galilea.

"*Mab y dyn a draddodir.*"—Ailadroddir yr un rhagrybuddion o angeu y Cyfryngwr. Dyma brif bwynt addysg yr Iesu ar ol i'r apostolion gredu yn ei *Dduwdod.*

Adn. 23: "*A hwy a'i lladdant,*" &c. Y mae pwys mawr i angeu ac adgyfodiad Crist. Dyma oedd nod yr athrawiaeth bellach. Rhagfynegir y dyoddefaint mewn wyth o fanau yn yr efengylau. Ymddengys oddi wrth St. Marc (ix. 31) fod yr Iesu yn cymmeryd llawer o drafferth i "ddysgu" ei ddysgyblion y pethau a berthynent i'w farwolaeth.

ARIAN TEYRNGED Y DEML.

Adn. 24: "*Capernäum.*"—Hon oedd y ddinas fwyaf ar lan orllewinol Môr Galilea.

"*Arian y deyrnged,*" &c. (τὰ διδραχμα). Treth o hanner *shekel* at wasanaeth y deml oedd hon, Ecsod. xxx. 13.

Adn. 25: "*Gan bwy y cymmer breninoedd y ddaiar deyrnged* (γέλη)? Toll ar feddiannau neu dreth: (κηνδον)—treth o hyn a hyn y pen neu ar dir.

"*Gan eu plant eu hun?*"—Meibion a merched eu teulu naturiol a feddylir yma.

"*Estroniaid.*"—Deiliaid y llywodraeth a feddylir wrth estroniaid.

Adn. 26: "*Gan hyny, y mae y plant yn rhyddion.*" Gan mai yr Iesu oedd "y Crist, Mab y Duw byw," gallasai hawlio peidio talu treth fel estron at deml ei Dad.

Adn. 27: "*Rhag eu rhwystro.*" Rhoddi achos tramgwydd iddynt.

"*Ti a gei ddarn o arian*" (στατηρα). Darn arian Groegaidd oedd hwn o'r un gwerth a'r *shekel* Hebreaidd; ac felly yr oedd yn ddigon i dalu dros ddau, sef St. Pedr a'i Arglwydd. Sylwa awdwr dysgedig mai y darnau hyn o arian oedd mewn cylchrediad ar y pryd yn Palestina. Dyma yr ail waith i'r Arglwydd Iesu ddangos ei awdurdod ar bysg y môr. Treulia rhai pobl lawer o amser i ddyfalu am y pysgodyn, pa un a fu i'r Iesu ei anfon i geisio y darn arian oedd ar goll yn y môr, ai ynte gwybod yr oedd ei fod eisoes yn ei safn, gan fod tuedd mewn pysgod i lyncu unrhyw beth gloew a deflir i'r dwfr. Ofer yw pob dyfalu. Drwy wybodaeth a dylanwad goruwchnaturiol y caed y darn arian. Dyma ddigon i ni.

SYLW.

Swm y *didrachma* oedd 7½c.; swm y tâl y pen oedd dau *didrachma;* yr oedd y *statir* yn bedwar *didrachma,* neu hanner coron. Amcan-gyfrif, bid siwr, ydyw hyn, gan fod arian yn amrywio mewn gwerth.

CWESTIYNAU.

O ba le y daeth yr Iesu i Galilea? Pa le yr oedd Capernäum? Pa beth oedd nod fwyaf amlwg athrawiaeth yr Iesu ar y pryd? Pa ham y cymmerai drafferth i ddysgu hyn? Mewn pa sawl lle yn yr efengylau y rhagfynegir am angeu yr Iesu? Pwy a ddaeth at Pedr yn Capernaum? Pa beth a ofynasant iddo? Pa beth a ofynodd yr Iesu iddo pan yn myned â'r neges ato? Beth a feddylir wrth blant yng ngofyniad yr Iesu? Wrth estroniaid? Pa fodd yr oedd yr Iesu yn rhydd? Pa le y cafodd St. Pedr yr arian?

---

## YCHYDIG SYLWADAU AR WEDDI A GWEDDIO.

PA beth yw gweddi? Nis gellir gan neb ond y Cristion, yr hwn sydd wedi ei oleuo gan Ysbryd dwyfol Duw, rhoddi atebiad i'r gofyniad hwn. Onid "erfyniad neu ddeisyfiad" ar Dduw? Dyma beth sydd yn gwneuthur gweddi yn beth mor bwysig ac mor angenrheidiol i ni bechaduriaid, sef tywallt deisyfiad ein calonau ger bron Duw. Ond, hyd yn oed mewn gweddi, rhaid bod yn wyliadwrus, sef gwylio ein bod yn gweddïo ar yr iawn wrthddrych, sef Duw yn unig. Nid oes neb â'i enw yn "wrandäwr gweddi," ond Duw yn unig. "Ti, yr hwn a wrandäwi weddi," medd y Salmydd, "atat ti y daw pob cnawd." Ar

Digitized by Google

Dduw yn unig y dylid gweddïo, o blegid mai rhan o addoliad yn perthyn i Dduw ydyw gweddïo; ac nid oes neb ond Efe a ddichon ganiatäu ein deisyfiadau. Y mae gan y Tri Pherson yn y Drindod Fendigaid ran o waith personol yng ngweddi y pechadur. Y Tad yw gwrandäwr ac atebwr gweddïau; y Mab, cyfryngwr y Testament Newydd, yw unig ffordd o ddyfodfa i bechadur mewn gweddi at Dduw; yr Ysbryd Glân sydd yn cynnorthwyo mewn gweddi, am hyny y gelwir Ef yn "ysbryd gras a gweddïau." "Ni wyddom ni beth a weddïom megys y dylem; eithr y mae'r Ysbryd ei hun yn erfyn drosom ni ag ocheneidiau annhraethadwy." Mae Efe yn ein cymhell i weddïo, yn ein cyfarwyddo a'n harwain at Dduw drwy Grist, ac yn ein dysgu i iawn drefnu ein hachosion ger ei fron Ef. Mae gweddi yn addas i bob dyn, bob amser, ym mhob amgylchiad, dros bawb, ac am bob peth angenrheidiol yn ol ewyllys Duw, ac wedi eu haddaw ganddo yn ei Air. Y mae gweddi wedi cyflawnu pethau rhyfedd yn hanes bywyd dyn. Y mae enghreifftiau lawer yn y Beibl i'w gweled, fel y mae Duw yn ymddwyn tuag at y rhai sydd yn gweddïo arno. Trwy weddi y brenin duwiol Hezeciah y dinystriwyd byddin fawr yr Assyriaid o dan y brenin balch Sennacherib. Trwy weddi y cafodd Hezeciah estyn ei einioes bymtheng mlynedd; ac fel argoel o'r addewid hòno, aeth yr haul yn ei ol ddeg o raddau. Gweddi Ezra sanctaidd a dysgedig a effeithiodd ddiwygiad mawr ym mhlith yr Iuddewon ar ol eu dychweliad o Babylon. Tair gwaith yn y dydd y gostyngai y prophwyd duwiol Daniel ar ei liniau, ac y gweddïai cyn ei daflu i ffau y llewod; trwy ei weddi a'i ffydd y caeodd Duw safnau y llewod, fel na wnaethant iddo niwed. Trwy weddi Amos y trodd Duw heibio farnedigaethau tân oddi wrth Israel. Gweddi Habacuc sydd yn llawn duwioldeb a ffydd, yn nodedig iawn yng ngwyneb y palldod o bob peth. "Palled pob peth," medd efe, "ond ni phalla Duw ein hiachawdwriaeth i'w bobl, ac y mae Efe yn ddigon ei hunan yn y diffyg o'r cwbl crëedig. Pan y bydd y ddaiar a'r cwbl sydd ynddi wedi eu llosgi, bydd Duw yn nefoedd gyflawn i'w bobl." "Llawer a ddichon taer weddi y cyfiawn," medd Sant Iago. Mae gweddi wedi attal ffenestri y nefoedd cyn hyn; fe weddïodd Elïas, a pha beth a ddygwyddodd? Ni bu gwlaw ar y ddaiar dair blynedd a chwe mis. Efe a weddïodd drachefn—beth a gymmerodd le? A'r nef a roddes wlaw, a'r ddaiar a ddug ei ffrwyth. Drwy weddi ragorol Nehemiah ym mreninllys Susan, y trowyd y blinder mawr a'r gwaradwydd, a'r cyflwr diymgeledd yr oedd yr Iuddewon ynddo yn Jerusalem, yn gysur a dedwyddwch, ac yr adeiladwyd mur Jerusalem, ac y cymmodwyd hwynt â Duw.

Y mae pechadur heb weddi yn debyg i filwr yn myned i faes y frwydr heb arfau i amddiffyn ei hunan, nac i ymosod ar y gelyn. Y mae dyn diweddi yn noeth i bicellau a saethau Satan. Ni chafodd neb erioed ei alw yn blentyn Duw heb weddïo. Y mae pob sant a welir yn dysgleirio yn y nefoedd wedi bod unwaith ar ei liniau mewn gweddi o flaen gorsedd gras, mewn ymostyngiad o herwydd ei annheilyngdod a'i bechadurusrwydd ger bron Duw. Fe weddïodd yr Athraw mawr pan yn rhodio y ddaiar yma. Pa ham? Gan roddi i ni esampl fel y dilynem ni ei ol Ef. Mae y weddi a ddyferodd dros wefusau neb llai na Mab Duw ei hun genym hyd heddyw, pan y dywedodd, "Ein Tad, yr hwn wyt yn y nefoedd," &c. Do, fe weddïodd y Cyfiawn hwnw nid drosto ei hun, ond drosom ni—plant y llwch. Efe a weddïodd yng ngardd Gethsemane yn ddyfalach, a'i chwys Ef oedd fel defnynau gwaed yn disgyn ar y ddaiar; yr oedd yn gweddïo gyda'r fath ing a chyfyngder meddwl, nas dichon tafod byth a'i fynegu, na meddwl ei amgyffred. Trwy lefain cryf a dagrau yr offrymodd weddïau ac erfyniau, pan yr offrymodd ei Hun yn offrwm ac yn aberth i Dduw drosom ni. Os oedd yn rhaid i'r Cyfiawn hwn weddïo, yn yr hwn ni chaed twyll yn ei eneu, pa beth am y pechadur aflan a diweddi? ni raid iddo ddysgwyl ond llid llaw a digofaint Duw. Mae y pechadur diweddi eto yn y pwll diwaelod o bechod, ac yno y bydd yn dragywydd i gael ei gospi gan Dduw am ei ddifaterwch. Y mae dyn diweddi wedi soddi i'r fath ddyfnder o bechod, fel nad ydyw goleuni yr Efengyl erioed wedi cyrhaedd y lle hwnw, na gwaed y Groes wedi cynhesu ei galon oer ddiedifeiriol.

A wyt ti a minnau, ddarllenydd, yn gweddïo yn ddigon aml, a chyda'r fath ffydd a difrifoldeb, fel y gallwn ddweyd fod pob gweddi yr ydym yn ei erfyn yn ein cyfodi un radd yn uwch yn yr ysgol sydd yn cyrhaeddyd i'r nefoedd—ein bod ni yn cael ein gwneuthur yn nes at Dduw, gan lywodraethwr a chyfarwyddwr pob dim, trwy ein gweddïau? Mae y dyn diweddi yn annheilwng i fyw, ac yn sicr yn ammharod i farw. Angeu fydd gelyn mwyaf y pechadur diweddi yn y byd yma; hawdd y gall efe ddweyd pan y daw angeu arno, "A gefaist ti fi, O fy ngelyn?" Yn angeu ni fydd poenau y diweddi ond megys un ergyd o ddigofaint Duw, megys dechreuad ei ddyoddefiadau na bydd diwedd iddynt byth. Beth a ddywed yr ysgrifenwyr ysbrydoledig? "Gweddïwch yn ddibaid," medd Sant Paul. "A

Digitized by Google

oes neb yn eich plith mewn adfyd? gweddïed," medd St. Iago. "Tywalltwch eich calon ger ei fron ef," medd y Salmydd. Nid ydyw gweddi ac ymborth yn rhwystro dim ar ddyn ar ei daith. Nid oes dim amser yn cael ei golli wrth hogi y bladur. Rhaid i ni gofio fod Gwrandäwr gweddi hefyd yn casäu pechod. Yr hwn a weddïa fel y mae angen, a ymdrecha i fyw fel y mae yn gweddïo. Y mae Duw yn fawr, ac am hyny rhaid ei geisio; y mae Efe yn dda, ac felly yr hwn sydd yn ei geisio sydd yn ei gael. Mewn gweddi y mae yn well cael calon heb eiriau, na geiriau heb y galon. Pa beth bynag sydd arnom eisieu, awn at Dduw mewn ffydd a gweddi yn enw Iesu Grist, a pheidiwn byth â meddwl ei fod Ef wedi ein nacäu os yn hir-ymaröus. Gweddïwn a gweithiwn. Ni wnaeth gweddi hau yr had na llafurio y tir, eto Efe a ddichon wneyd i'r haul wasgaru ei wres a'i belydrau arno i'w addfedu erbyn y cynauaf. Rhaid wrth waith i roddi yr had yn y ddaiar, ond rhaid wrth ffydd a gweddi i wneyd iddo flaguro a thyfu i fyny. Gwaith y dwylaw yw yr hau a'r planu, ond gwaith y geneu mewn gweddi yn unig a ddichon beri y tyfiant a'r cynnydd. Gwaith dyn ydyw gwasgaru yr had, ond gwaith Duw ydyw rhoddi y cynnyrch. Gwaith sydd yn achosi planu yr had, ond ffrwyth gweddi a amlygir yn amser y cynauaf. Ni ddylai gweddi fod yn esgus o beidio gweithio. Rhaid i ni bob amser, os am fod yn llwyddiannus a llewyrchus, beidio â gwahanu gweddi a gweithred; y maent megys yn cydfyned yn unol gyda'i gilydd megys un diwahân. Gweddïo yn gyntaf, ac wedi hyny gweithio, ac nid gweithio yn gyntaf, o herwydd gweddi sydd yn achosi llwyddiant ac edmygedd y weithred sydd yn canlyn. Y mae dyn diweddi heb adnabod Duw, ac heb Dduw y mae yn ddiobaith ac mewn angen o bob peth. Gweddi ydyw yr aden ar ba un y mae yr enaid yn ehedeg i'r nefoedd, a meddylfryd yw y llygad trwy yr hwn yr ydym yn gweled Duw. Pan y mae Duw yn tywallt ei Ysbryd ar ddyn, yna y mae dyn yn tywallt ei galon o flaen Duw. Y mae gwaith wedi ei ddechreu yn dda wedi hanner ei orphen, ond heb weddi nid oes dim gwaith wedi ei ddechreu yn dda. Y mae clustiau Duw nid yn unig yn agored i weddïau ei blant, ond y mae ei lygaid ar eu hangenion, gan roddi iddynt fwy nag y maent yn ei ofyn nac yn ei ryglyddu. Oddi wrth weddi y publican y'n dysgir i weddïo gydag ymostyngiad; oddi wrth ddammeg y wraig weddw i weddïo yn daer; oddi wrth Grist yn canmol y wraig o Ganaan i weddïo gyda difrifoldeb; oddi wrth gorchymmyn Crist ei hun i weddïo "yn y dirgel."

Fel hyn y gweddïodd Esgob Andrews, o.c. 1590: "Bydd Di, O Arglwydd, oddi fewn i mi, i'm nerthu i; oddi allan i mi, i wylio drosof fi; wrth fy mhen i, i'm cuddio; oddi danaf fi, i'm dal i fyny; o fy mlaen, i'm harwain; ar fy ol, i'm dwyn yn ol; oddi amgylch i mi, i gadw draw fy ngelynion ar bob ochr." Gweddi Arglwydd Ashley o flaen brwydr Edge Hill oedd hon: "O Arglwydd, ti a wyddost mor brysur y rhaid i mi fod y dydd hwn; os yr anghofiaf Di, paid Ti a'm hanghofio i." Xenophon, yr ysgrifenwr Groegaidd, yr hwn fu farw c.c. 350, a gynghorodd fel hyn: "Gweddïa ar Dduw wrth ddechreu dy waith er mwyn ei orphen yn dda." Dywedir am Pericles, yr areithiwr Groegaidd, yr hwn fu farw c.c. 429, pan y byddai ar fyned i fyny ar y llwyfan i gynghori y bobl, y byddai bob amser yn gweddïo ar y duwiau i'w gynnorthwyo i ddweyd dim ond beth oedd yn dda ac yn angenrheidiol.

Beth eto am y claf ar ei wely angeu? A ydyw pob cyfaill wedi ei adael? A ydyw ei ffrynd mwyaf hoff wedi troi ei gefn ar ei ystafell am y tro olaf? A ydyw pob meddyginiaeth daiarol wedi methu ei adferu? Ydyw, y mae pob peth yn ofer yn awr, ond y cleddyf gweddi. Gweddi yn unig sydd yn dal ei ben i fyny; ni theimlodd y claf erioed o'r blaen mor gynnorthwyol oedd gweddi ag ydyw pan megys yng ngolwg afon ddu yr Iorddonen ddofn: gweddi yn unig sydd yn ei gadw i lefain allan, "Pe rhodiwn ar hyd glyn cysgod angeu, nid ofnwn niwed; canys yr wyt ti gyda mi, dy wialen a'th ffon a'm cysurant." Gweddïwn bawb fel hyn: "O Arglwydd grasol a Thad yr holl drugareddau, yr hwn a addawaist i ni dy rodd werthfawr, dy Sanctaidd Air, cynnorthwyo ni trwy dy Ysbryd, fel y byddo iddo gael ei ysgrifenu ar ein calonau, er mwyn ein heddwch a'n dedwyddwch tragwyddol, i'n rhybuddio ni, i'n hadnewyddu ni, ac i'n gwneuthur yn debyg i'r adeilad perffaith—dy Grist Di; i'n hadeiladu ni i fod yn debyg i'th ddelw Di, gan ein sancteiddio ac adnewyddu ynom oll rinweddau nefol. Caniatâ hyn, O nefol Dad, yn haeddiant a chyfryngdod Iesu Grist ein Harglwydd a'n Hiachawdwr Bendigedig."

*Coleg Dewi Sant, Llanbedr.* D. S. Evans.

---

## BYR GOFIANT AM Y DIWEDDAR O. MORRIS (*Owain Dinorwig*).

Boreu dydd Llun, Tachwedd 3ydd, 1890, yn ei breswylfod, Cae'r Gwyddau, ger Bryn'refail, Llanddeiniolen, Arfon, canfyddwyd yr englynwr penigamp uchod gan un o'i gymmydogesau yn gorwedd

Digitized by Google

yn farw ar ei wely. Yr oedd yn wael er ys o ddeutu wyth mlynedd, a blinid ef yn fawr gan iselder ysbryd. Ar y 19ydd o Awst yn ystod yr un flwyddyn, bu farw ei unig chwaer, sef y ddiweddar Ellen Hughes, a pharodd ei hewyllys siomedigaeth ddirfawr iddo, a thybir ddarfod iddo mewn canlyniad dori ei galon. Mae'n bosibl y gallasai fod yn rhywle o wyth i ddeg a thrigain mlwydd oed: ofnir hefyd ddarfod i'r hen lanc barddol yn ei unigrwydd a'i ddyddiau diweddaf ddyoddef llawer gan angenoctyd a thlodi. Eglwyswr a Cheidwadwr selog oedd yr ymadawedig. Cymmerodd ei gladdedigaeth le y dydd Sadwrn dilynol ym mynwent Eglwys Llanddeiniolen: *private* ydoedd yr angladd. Gwasanaethwyd wrth y tŷ cyn cychwyn ac ar lan y bedd gan y Parchedigion canlynol:—H. L. James, St. Helen's, Penisa'rwaen; David Collwyn Morgans, Cwm y Glo; a D. O. Davies, ficer, Llanddeiniolen. Bwriadwyd Owain Dinorwig gan natur i fod yn fardd. Cyfansoddai mor naturiol ag y rhedai yr afon i'r cefnfor. Deallai gyfrinion barddas yn drwyadl. Yr oedd ganddo enaid mawr a meddwl treiddiol. Gwelir ambell i ddyn yn ymserchu yng ngwisgiad ac ymddangosiad ei gorff; hyny yw ei *alpha* a'i *omega*. Hollol wahanol oedd cymmeriad yr hen dad barddol Owain Dinorwig. Byd y meddwl oedd ei hoff fyd ef. Meddiannai ar feddwl eang a gwir fawr, mawr mewn barddoniaeth. Meddyliai gymmaint nes yr anghofiai wisgiad ac ymddangosiad ei gorff. Weithiau mor nerthol oedd dylanwad ei fyfyrdod arno, nes bron yr anghredai ef fan ei fodolaeth. Ymgollai gymmaint wrth fyfyrio nes y byddai ar rai adegau yn ammheu synwyrau ei gorff. Wrth gerdded yr heol byddai yn fyddar i'r allanolion pan y myfyriai, a llawer gwaith y rhodiodd filltiroedd heb ymwybod o hono pa beth yr oedd wedi ei wneyd. Nid oedd ganddo allu i ymadroddi nac i gario ymddyddan ym mlaen yn rhwydd: yr oedd yn debyg i St. Paul yn hyn. Ond am gynghaneddu, gŵyr pob Cymro llên-garol nad oedd ei well.

Nid ydyw ysgrifenydd y llinellau hyn yn ddigon galluog na gwybodus i roddi lawr yma holl ddygwyddiadau llenyddol O. Dinorwig. Anaml pan yn cystadlu y collai y wobr Gadawodd ol ei draed ar dywod barddoniaeth, fel ag y gall aml i fardd ei ddilyn: ni chwedleuai ac ni absenai. Pell oedd ymffrost oddi wrtho; yr ydoedd mor ostyngedig a phlentyn. Pa le bynag y gwelai fod talent, edmygai hi hyd at addoliad bron, a symbylai ei pherchenog i'w dadblygu. Ni cheid ei glywed yn dweyd dim am ffaeleddau cyfansoddwyr ieuainc. Edrychai ar eu rhinweddau yn hytrach nag ar eu gwallau, a chalonogai hwynt. Meddyliai fwy o bawb nag o hono ei hun, ac ychydig, os rywfraint, a hoffai o boblogrwydd: yr oedd yn ddyn caredig ac addfwyn. Chwarelwr ydoedd wrth ei alwedigaeth. Da chwi feirdd a llên-garwyr Gogledd a Deheudir Cymru, ffurfiwch ryw gynllun i nodi llwch hynodol yr hen fardd awenyddol O. Dinorwig ym mynwent Eglwys y plwyf, Llanddeiniolen. Oni ddylai holl feirdd a llenorion Cymru, Lloegr, Llanrwst, ac America ddechreu ymysgwyd o'r llwch i godi cofgolofnau i'r diweddar feirdd awenyddol canlynol:—Glan Padarn a Dewi Peris Jones, y blaenaf ym mynwent Eglwys Llandinorwig, a'r olaf yng nghladdfa Machpelah. Galarus i'r eithaf yw gweled beddau y fath gewri llenyddol mor ddisylw. Y mae eu gwlad yn ddyledus o hyn iddynt.

Ond ag Owain Dinorwig y mae a wnelom ar hyn o bryd, ond y mae y meddwl gweithgar ac awenyddol wedi ymadael gyda'r enaid o'i gorff. Ni cheir mo hono ef yma mwy. Pan y gofynais iddo un o'r dyddiau diweddaf y bu fyw pa fodd yr oedd ef iechyd, atebodd yntau mai drwg ydoedd, a'i fod ei am farw yn fuan, a gobeithiai y gwnawn ysgrifenu "byr gofiant" ar ei ol. Bydd yn chwithdod genyf weled colofnau barddol y *Gwalia*, *Y Llan a'r Dywysogaeth*, *Y Cyfaill Eglwysig*, a'r *Haul*, &c., heb weled y ffugenw "Owain" yn eu mysg. Yr oedd barddoni mor naturiol i'r hen lanc ag anadlu. Gellir rhestru y ddau englyn a ganlyn ym mhlith y rhai olaf a gyfansoddwyd ganddo:—

Heno yr wyf yn yr afon—mewn llif,
Mae'n llawn i'r ymylon;
Oni chaf fy Naf yn hon—rhaid boddi
O dan galedi yn ei gwaelodion.

Mewn daiar yma'n dawel—ag oer lwch
Yn gwrlid fy argel;
Byth heb haf na gauaf gwel—caf aros
Heb gerdd yr eos, heb gwrdd yr awel.

R. A. H.

---

## GWAGEDD Y BYD.

(*Ar ddull y bardd Clare.*)

Beth yw elw, llonder, bywyd,
A'i fwyniannau goreu gyd,
Fod yn rhaid i ddyn ymboeni
I'w meddiannu yn y byd ?
Dwys symmuder yr ymdrechion
A gadwynant feddwl dyn,
Er mwyn gweled yw'r holl wegi
Yn werth y fath drafferth syn.

Digitized by Google

Ai'th ddymuniad ydyw mawredd,
  A'th amcanion allu cryf?
A yw'th gariad yn dân ysol,
  Cyfoeth ydyw'th ymgais hyf?
Mawredd, gallu, cariad, cyfoeth,
  Amser ddifa gyda'i gur,
Ac fel arian drwg a brofant
  Yn ddim yn lle llonder pur.

Neu a dybi y gwna balchder
  Dy ddyrchafu i fawr fri,
A llwyr guddio dy wendidau
  A'th ffaeleddau mawrion di?
Dos ymdrecha a newidia
  Dy farn fel ryw geiliog gwynt;
A gwna'th gysgod gwael dy ddilyn,
  Gan dy boeni ar dy hynt.

Neu a dybi y gwna gallu
  Dy ddyrchafu di yn fawr?
Gwna ef allai gyda'r ffolion,
  Ond ni phery hyny awr;
Pryd y bydd yr oll ofyni,
  Ar hyn rodda uchel fost,
Ond fel mwgwd diwerth ddigon,
  Wisga y gorthrymwr tost.

Dos, gad i'th ddychymmyg grwydro
  Yma thraw ar hyd y byd;
Edrych ar rwysgfawredd gallu
  Ym mhob cyfnewidiad drud:
O'r iselaf swyddog welir,
  At yr uwchaf yn y wlad,
Nid yw'r oll ond megys fflachiad
  Goleu chwim heb ddim parhâd.

Edrych, gwel yr oll, a diwedd
  Pob eithafol falchder gwael;
Fel yr huda gweniaith gyfaill,
  Ac y ffugia glodydd hael;
Lle mewn twyll dangosir rhinwedd,
  Gan ladrata'i henw glân,
Fel teganau o liw euraidd
  Werthir am ddimeiau mân.

Gall awgrymiad cryf uchelgais
  Dwyllo'th feddwl ambell waith,
Dy fod yn rhyw dduw galluog—
  Ond a gredi y fath iaith?
Dos a gwna i'r 'storm dawelu,
  Dalia yn dy law heb gryn
Y ddaiaren fel gwael belen—
  Duw yw'r hwn all wneuthur hyn.

A oes genyt yr awdurdod
  I ladd neu i gadw'n fyw?
Paid â'i alw'n allu nefol,
  Bwriad y gormeswr yw:
Meddwl sut mae Duw'n gweithredu,
  Adde'th wendid yn ddigoll;
Paid gormesu byth lle dylai
  Ef gael llywodraethu'r oll.

A oes genyt aur yn dyrau,
  'Foddia hyny mo dy gân;
Dalia rew o flaen yr huan,
  Neu gwyr doda ger y tân;
Felly, paid ag ymorchestu
  Yn dy aur—ni phery'n hir,
Ond myn afael yn y trysor
  Nefol—dyna'r elw gwir.

Ai diogel yw dy heddwch
  Mewn palasau, tiroedd maith?
Dos, darllena hud ysbrydion,
  Pletha raff o'r graian llaith:
Neu rho geryg yn yr wybren,
  Dalia ddwfr fewn rhidyll fras;
Cyn collfarnu y fath chwedlau,
  Neu roi coel i dyb mor gas.

Os masnachi gyda chyfoeth,
  Prynu heddwch gyda phres;
Buan llithra fel llyswen
  O dy afael heb ddim lles:
Er it' allu huno'n esmwyth
  Yn dy balas ambell dro,
Gwybydd y gall balchder yru
  Dy holl gyfoeth brau ar ffo.

Neu a dybi gwna prydferthwch
  Roddi iti fwyniant hael?
Edrych ar y lili brydferth,
  Gwel mor fyr ei bywyd gwael;
Neu belydrau claer yr heulwen
  Sydd yn ddyddiol yn ein cwrdd,
Wedyn yn diflanu'n hollol:
  Felly harddwch gilia ffwrdd.

Edrych ar y llygad harddaf,
  A'r siriolaf ar bob llaw;
Tremia wedyn fry i'r wybren,
  A chai weled cwmwl gwlaw:
Paid â galw pob rhyw wyneb
  Swynol yn angylaidd wedd;
Ond o dan dy draed edrycha,
  A meddylia am y bedd.

Digitized by Google

Os meddyli triga cariad
  Fewn ryw ymddangosiad cu,
Buan todda dy obeithion
  Yn nadmeriad rheswm cry';
Neu os tybi fod pleserau
  Yn byw o fewn deildy iach,
Ti gai'n fynych er dy syndod
  Wenwyn fewn blodeuyn bach.

Os ammheui 'nghân rybuddiol,
  Ammheu'r haul a'i oleu llawn;
Ammheu'r gwir i'th ddysgu'n eglur,
  A bod camwedd brwnt yn iawn:
Treulia'th oriau fel dyhiryn,
  Twylla'th gymmydogion cu;
Bydda yn orthrymwr creulawn,
  Er mwyn cael dy amcan du.

Dwys ystyria dy freuddwydion,
  Ydynt deilwng o dy fost;
Neu cyfrifa dy wag ysbail
  Os yw'r cyfryw'n werth y gost:
A feddiannant hwy dy feddwl,
  Fel gwrthddrychau teilwng, gwir?
Felly gwell yw iti gynnyg
  Gwerthu clai fel perlau clir.

Mae'th ynfydrwydd uwch law cynghor,
  A dy galon wedi myn'd;
Felly mae dy gwymp yn ymyl,
  Dos i ddinystr, fy ffrynd:
Fel hyn bydd i bawb ddewisa
  Y gau yn lle sylwedd pur;
Troi y gwin oll yn winegr,
  A'r mêl yn rhyw fustl sur.

Os ystyri'r oll a draethwyd,
  Fe ddaw elw gwir o hyn;
Tora edyn cryf ynfydrwydd,
  Cadwa chwant dan glo yn dŷn:
Nid oes genyf air yn rhagor—
  Ond ti elli dreio'n llawn;
Nad yw dysgu byw ond dysgu
  'R ffordd i farw'n ddedwydd iawn.

HENRI MYLLIN.

---

## Y GYNGRES EGLWYSIG YN RHYL.

### DYDD MERCHER Y 7FED.

(*Parhâd o dudalen 345.*)

DRWG genym wrth ailymgymmeryd a pharhau ein byr adroddiad o weithrediadau y Gyngres, fod yn rhaid i ni adael o'r neilldu gynnifer o anerchiadau rhagorol ar bynciau pwysig a dyddorol; a damwain bron, nid dewisiad, sydd yn ethol pa beth i'w adrodd.

Yr oeddym i fyny yn foreu ddydd Mercher ac allan yn brydlawn, ac felly yr oedd cannoedd ereill —oll yn siriol ac arwyddion mwynhâd ar eu gwynebau. Torodd yr haul allan i dywynu yn fore, ac yr oedd heolydd y dref yn sychion, a'r awel yn adfywiol a hyfryd. Gwedi y gwasanaeth boreuol yn Eglwys St. Thomas, gwelid yr heolydd yn llawnion, a cheid y mân fechgyn ar lawn gwaith yn cymhell y gwahanol bapyrau dyddiol ar werth, gan ein sicrhau fod adroddiadau llawnion o holl areithiau y dydd o'r blaen ynddynt. Ac erbyn prynu amryw o honynt—y *North Wales Chronicle* a'r *Liverpool Courier*—fe welem fod graddau helaeth o wirionedd yn haeriadau y *news boys*. Rhyfeddem at lawnder yr adroddiadau. Cawsom afael ar y *Liverpool Post*, y *Mercury*, ac amryw bapyrau ereill, a synem y *lle* a roddid i'r adroddiadau. Ychydig yn ddiweddarach yn yr wythnos daeth y *Faner* am ddydd Sadwrn i'n llaw, a gwelem fod y golygydd yn cwyno yn drwm yn erbyn y papyrau Seisoneg Rhyddfrydol eu bod yn gosod "pump neu chwech" o golofnau at adroddiadau am waith y Gyngres Eglwysig, tra braidd y rhoddent "hyd bys i adrodd hanes cymmanfaoedd Ymneillduol." Ond ymgysurai wrth ddysgwyl y "ceid diwygiad yn hyn ar ol dadgyssylltu yr Eglwys." Ond aethom beth o'n ffordd i ddangos bychander dyn siomedig. Trown bellach at

#### GYFARFOD BOREU MERCHER.

Pan gyrhaeddasom neuadd y Gyngres ddeg o'r gloch cawsom hi yn orlawn, ond drwy y ffafr ag a roddir yn fynych i wr â phluen (gŵydd), nid yn ei gap ond ar fôn ei glust, cawsom eisteddle yn agos i'r llwyfan, ac ar ol i'r Canon Howell Evans ddechreu drwy weddi, ac i'r gynnulleidfa ganu emyn, erfyniodd yr Esgob Edwards, y cadeirydd, am ganiatâd i gymmeryd ychydig o fynydau o amser y Gyngres i ddangos teimlad y gynnulleidfa, yn cynnwys cynnifer o edmygwyr arweinydd diweddar Tŷ y Cyffredin, Mr. W. H. Smith, ar ei farwolaeth, a'n cydymdeimlad â'i deulu galarus. Ychydig o ddynion ein hoes, er mor ffrwythlawn mewn gwladgarwyr enwog, a lwyddasant mor gyflawn i ennill ewyllys da ac edmygedd pob plaid wleidyddol a dosbarth mewn cymdeithas, heb erioed dynu gwg neb. Collodd y blaid Geidwadol, yr Eglwys, a'r wlad ynddo weithiwr llafurus a hunanaberthol, a'r Goron was ffyddlawn. Pasiwyd y bleidlais o gydymdeimlad mewn dystawrwydd a ellid ei deimlo, gan ein had-

Digitized by Google

gofio eto o gyffelyb olygfa yn eisteddfod Caernarfon ar dderbyniad y newydd o farwolaeth yr enwog ac enciliedig Ab Ithel. Pwnc cyntaf y dydd oedd

*Llafur yr Eglwys mewn dinasoedd, yn nhrefydd llaw-weithfëydd a mwngloddiau.*

Y cyntaf i siarad oedd esgob Bedford. Dyn o ymddangosiad yn awgrymu perthynas agos ag Elïas y prophwyd (2 Bren. i. 8), ac ychydig o'r tu ol iddo eisteddai ei ragflaenydd yn yr esgobaeth hòno, Dr. W. Walsham Howe, esgob presennol Wakefield, yn "wr llyfn," megys Jacob (Gen. xxvii. 11). Gwelem yn y ddau ddarlun teg o eangder defod ymdrwsiad a gwisgiad, fel pob peth arall, yn yr Eglwys. Ar y galon—"cyssondeb y ffydd" a sancteiddrwydd y bywyd—yr edrych hi, ac nid ar *ridens* godreu y wisg allanol.

Siaradodd esgob Bedford yn dda ar lafur yr Eglwys ym mysg miloedd tlodion esgeulusedig heolydd anhygyrch y dinasoedd mawrion. Yno rhaid cael mwy na geiriau grymus gwresog i ennill eneidiau—rhaid cael calonau tyner cariadus a dwylaw haelionus ac amgeleddgar. O bob barbareidd-dra, anwareidd-dra gwehilion mathredig gwledydd gwareiddiedig ydyw yr anhawddaf ei dyneru a'i adgenedlu i fywyd gwell a gobaith uwch. Y mae yr Eglwys yn gwneuthur gwaith dirfawr ym mysg y miloedd hyn. Siaradodd yr Esgob W. Walsham Howe yn nesaf ar

*Lafur yr Eglwys yn ardaloedd y mwngloddiau.*

Tybiem wrth wrandaw arno yn rhoddi darluniad o breswylwyr ardaloedd y mwngloddiau a gweithfëydd gogleddol, mai siarad am chwarelwyr sir Gaernarfon yr oedd. Eisteddai ficer o ardal boblogaidd Llansamlet, yn y deheudir, yn ein hymyl, a sisialai yn ein clust, Dyna ddysgrifiad byw o weithwyr ein hardal ni. Y mae yr Esgob Howe yn fardd gwych, ac yr oedd yn amlwg wrth ei ddysgrifiadau tarawiadol y gwnaethai baentiwr gwych. Dealla hefyd holl guriadau y galon ddynol yn y pentref gwledig cysglyd, yng nghwterydd myrllyd rhanau tlotaf Llundain; yng ngwaelod y pwll glo, yn y gweithdai syfrdanus, ac yn y siopau prysur. Cafodd efe fod "llawer iawn o'r natur ddynol ym mhawb." Dyledswydd yr Eglwys ym mhob man oedd ymdrechu cael gafael yn y natur ddynol yma ym mhob lle, a cheisio ym mhob ffordd ei dyrchafu. Cenadwri yr Eglwys yw tystiolaethu dros Dduw, i ddwyn yr anweledig bethau i waered i fywyd dyn, a gosod Iesu Grist ger bron yn ffynnonell bywyd newydd, aruchel, a gogoneddus iddo, a dangos ei hun yn gymdeithas fawr ysbrydol i gorffori yr oll yng nghyd fel brodyr ynddo Ef. Yr oedd ei ddarlun o dai annedd a chysuron teuluaidd llaw-weithwyr cynnil a gweithgar rhanau o'i esgobaeth yn swynol—y tŷ glân o bedair a phump a chwech ystafell, y *parlour* bychan trefnus a'i *biano* neu *harmonium*—y cwppwrdd llyfrau, a'r gwynebau siriol ac ysbryd annibynol ond hunanfeddiannol a pharchus o ereill. Dyma bobl, meddai, yr oedd yn fraint eu cynnorthwyo ym mhob modd. O fysg y cyfryw y ceid hufen yr Ysgol Sul a'r corau canu. Teimlai yr esgob fod gan y cymdeithasau dirwestol lawer i'w wneyd i ymdrechu codi a chadw teuluoedd yn y cyflwr yma. "Nid dirwest yw duwioldeb," ebai, "ond y mae duwioldeb bob amser yn cynnwys dirwest."

Siaradodd amryw ereill yn dda ar y pwnc dyddorol hwn yn ei gyssylltiad â threfniadau elusengarol. Tybiem wrth eu clywed yn gwasgu ar yr offeiriaid am gofio geiriau ein Harglwydd Iesu Grist, mai "mwy dedwydd yw rhoddi na derbyn," nad oes dim llawer o erlid ar "ddysgyblion y torthau" yn Llundain.

Rhaid i ni yma adael heibio ein sylwadau ar gyfarfod y prydnawn ar

*Feirniadaeth Ysgrythyrol,*

er mwyn sylwi ar bynciau ysgafnach a haws eu trin.

Yn yr hwyr, ddydd Mercher, cynnaliwyd dau gyfarfod yn gydamserol—cyfarfod ar y Genadaeth Dramor yn neuadd y Gyngres a chyfarfod cyhoeddus y gweithwyr yn y *pavilion.* Dewisasom fyned i'r *pavilion,* a chawsom ef yn orlawn. Rhaid oedd cael trwydded neillduol i fyned i'r *pavilion,* gan y dymunid cau allan o hono bawb na allent hawlio eisteddle fel gweithwyr yno. Y dull a gymmerwyd oedd rhanu y trwyddedau o dŷ i dŷ ym mysg gweithwyr y dref a phobl gyffredin a gyrchent o'r wlad, ond gwelsom gannoedd wedi methu cael trwyddedau neu docynau. Bu y cwilsyn gŵydd eto yn ffafriol i ni fyned i mewn yn sail ein tocyn aelodaeth, yr hwn a wrthodasid hebddo. Wrth edrych ar yr ystafell orlawn, tybiem fod yno rai cannoedd o'r dosbarth canol a myntai lled gref o'r offeiriaid, gydag amryw urddasolion Eglwysig o Loegr ar wasgar yma a thrwy y dorf fel edrychwyr dyddorol. Dywedid fod erbyn wyth o'r gloch tua phedair mil yn y *pavilion,* lawer o honynt er ys awr. Difyrent eu hunain drwy roddi croesawiadau brwdfrydig i'r cymmeriadau cyhoeddus. Cafodd yr ychydig siaradwyr Cymreig groesaw mwy na chroesaw eisteddfodol ar eu hymddangosiad. Cafodd yr esgob poblogaidd, W. Walsham Howe, groesaw o'r fath wresocaf, yn gymmaint ar seiliau ei boblog-

Digitized by Google

rwydd pan yn offeiriad yn yr esgobaeth a'i ddoniau a hyawdledd. Tywynai natur dda a boddhâd tawel ar wynebpryd carüaidd yr esboniwr gwych a'r bugail poblogaidd. Pan ar gymmeryd y gadair, daeth yr Esgob Edwards i mewn yng "nghanol taranau o gymmeradwyaeth" a ellid glywed yn Ninbych a Dolgellau bron.

Cymmerodd esgob Wakefield y gadair gwedi i'r Canon Howell Evans weddïo, a chanu o'r dorf y ganfed salm. Traddododd esgob Llanelwy anerchiad byr, cryno, i agor y cyfarfod. Ei gyweirnod oedd dyrchafiad. I ymddyrchafu rhaid wrth ryddid —rhyddid oddi wrth drais dirwasgol

"Y gwŷr oddi arnodd yn *gorddyrnu*."

Rhyddid oddi wrth gyfundebau yn llyffetheirio, neu, a defnyddio llinell y bardd eto,

"Y bychain isod, yn bachu, 'n ysu."

Rhyddid oddi wrth genfigen cydweithiwr; oddi wrth arferion llygredig a phob pechod. Nid oedd dim a wir ryddhâ genedl a phersonau unigol ond crefydd Mab Duw. Siaradodd deon Armagh ar ol esgob Llanelwy, ac ar ei ol yntau deon hyawdl Rochester —gwr a adwaenir drwy Loegr dan yr enw "cyfaill y gweithiwr." Yr oedd ei anerchiad yn llawn o synwyr cyffredin, ac yn gorlifo o ffraethebion chwarëus yn cynnwys moes-wersi buddiol a tharawiadol. Yr oedd ei ymadroddion yn llymion yn erbyn "attalwyr cyflog y gweithwyr," a'i eiriau yn gyrhaeddgar wrth sylwi ar ffoledd llawer o'r ymladd rhwng cyfalaf a llafur. Ebai pan ar y pwnc yma, "Gwelais dri bachgen ar yr heol yn Llundain, pob un â'i fwced a'i raw yn gwylio am fiswail ceffylau i'w gasglu a'i werthu at ffrwythloni gerddi. Disgynodd tomen lled dda oddi wrth geffyl oedd mewn gwedd yn myned heibio. Rhuthrodd y ddau fachgen mwyaf am y pentwr, a chanu ddirmygu ryw hanner mesurau ymladdai y ddau yn ffyrnig am yr oll. Tra yr oeddynt hwy wddf yng ngwddf yn llindagu eu gilydd, aeth y trydydd bachgen a llanwodd ei fwced â'r oll, gan frysio ymaith gyda'i ysbail." Wedi i'r deon ddystewi mynyd i gymmeradwyaeth y dorf dawelu, sylwodd yn *sly*, fel rhwng cromfachau, "ac edrychai fel bachgen o waedoliaeth dramor" (*foreign extraction*). Deallodd y dorf yr awgrymiad ar unwaith. Siaradodd y deon yn dda dros ben am ddyledswyddau a llafur yr Eglwys, ond ni oddef gofod i ni ddyfynu.

Pan alwyd ar y Parch. D. Richards, St. David's, Ffestiniog, i siarad yn Gymraeg, cafodd y fath groesawiad byddarol yn neillduol o'r *orielau* uwch ben, nes troes yr Archddiacon Emery, yr hwn a eisteddai o'n blaen, ei wyneb at y cefn, a thybiwn ei fod yn ofni y deuai y *galleries* i lawr. Siaradodd Mr. Richards yn rymus, unionsyth, a gwresog, a phob tro yr ennynai gwres y dorf yn uchel, blinid ni gan Sais trwsiadus ar ein deheulaw am gyfieithu iddo. Gwrandawai â'i lygaid, a'i geg, a'i glustiau, ond eto yn ofer, eto edmygai y siaradwr a'r dorf, ac ebai wrthyf, "Though I do not understand a word, I find that both the speaker and the audience are in full sympathy," ac felly yr oeddynt. Cyweirnod anerchiad brwdfrydig Mr. Richards oedd unoliaeth cyflawn Eglwys Dduw yn Lloegr a Chymru. Yr oedd Rhagluniaeth yn nhreiglad oesau wedi cydblethu y ddwy i dyfu a chynnyddu yr un, ac fel un yr oedd i'w hamddiffyn. Ni fynai efe (y llefarwr) hanner mesurau, na cheisio undeb cenedlaethol drwy ranu a dadgyssylltu rhwng nac Eglwys na gwladwriaeth yn Gymreig na Seisonig. Rhagluniaeth yng ngyrfa amser oedd wedi eu huno er bendith i'r oll, ac fel rhwymau dyfnaf yr unoliaeth yma y safai yr Eglwys yn ei chyfanrwydd.

Dilynwyd Mr. Richards gan amryw siaradwyr doniol nes ei myned yn dra hwyr, a chyn i dro yr ail Gymro, y Canon Hugh Roberts, ddyfod ym mlaen yr oedd amser y gwahanol *drains* wedi dyfod, a'r rhan fwyaf o'r gynnulleidfa yn gorfod troi eu cefnau. Aethom ninnau adref bron yn olaf o'r dyrfa luosog, gan ymdrechu crynoi y rhesymau a roddid dros gynnal cyfarfod neillduol i'r gweithwyr. A oes rhywbeth arbenig a wnelo

*Crefydd Crist â'r gweithiwr celfyddydol?*

Oes y mae. Rhoddwn ein rhesymau ar lawr yn fyr—

1. Pan welodd yr anweledig oruchel Dduw yn dda anfon ei Fab i'r byd i gymmeryd ein natur arno, yn nheulu gweithiwr y gwnaeth. Dyma gyssegru llafur.

2. Llafur dyn—gwaith, celfyddyd, ydyw careg sylfaen gwareiddiad, a ffynnonell creadigol cysuron bywyd oll. Dyma briodi bendithion ysbrydol a thymmorol yn nheulu a thŷ y gweithiwr.

3. Gweithiwr oedd St. Paul, apostol mawr y Cenedloedd, ysgrifenydd y rhan fwyaf o'r Testament Newydd, a duwinydd neillduol Cristionogaeth Ewrop.

4. Gan weithwyr, rhai yn gweithio â'u dwylaw fel St. Paul, y sefydlwyd yr Eglwys gyntaf erioed yng Nghymru. Mewn cymdeithasau a brawdoliaethau llafurus y sefydlwyd ein "llanau," gan ddechreu yn fynachlogydd. Mewn gair, troes y cenadon Cristionogol ein cenedl at yr Efengyl ac at eu *gwaith* ar yr un pryd. Darllened y neb a allo gael gafael ar hanes yr Eglwys Foreuol, y darlun-

Digitized by Google

iadau a geir o Lanilltyd-fawr, a chorau Llanelwy, Bangor, Llandaf, a Thŷ Ddewi, ac ereill.

5. Yn llaw y gweithwyr yn awr y mae dyfodol yr Eglwys a'r ymherodraeth Brydeinig. Dim ond i'r gweithwyr oll fod yn *wir Gristionogion*, sobr, cynnil, ac unedig, a bydd yr oll yn eiddynt hwy ac o dan fendith Duw yn ddiogel.

---

## RHAGOLYGON Y MERCHED.

Syr,—Oes yr hawliau cymdeithasol a phersonol ydyw hon, a sonir llawer ynddi am les y mwyafrif a hawliau y mwyafrif; a chan ein bod ni, y merched, yn y mwyafrif glân yn yr ynysoedd hyn, yr ydym yn dechreu meddwl am ein lles ac am ymddyrchafu yn y byd. Y mae, neu yr oedd, yn nhref Gaernarfon risiau llydain meithion i esgyn uchder mawr o waelod y Cei Llechi (*the Slate Quay*) i ben uchaf y maes. Gwaith mawr oedd eu dringo heb aros i gymmeryd anadl unwaith neu ddwy, os ymdrechid camu yn rhwydd. Rhywbeth tebyg i hyn yna ydyw ymdrechu esgyn mewn cymdeithas, a pheth llawer iawn mwy ydyw ymdrechu dyrchafu haen cyfan o gymdeithas. Pa faint mwy gorchwyl ydyw dyrchafu y rhan fenywaidd o gymdeithas, sef mwy na hanner cymdeithas, o herwydd y mae yng Nghymru a Lloegr bedair miliwn ar ddeg o ferched ar gyfer tair miliwn ar ddeg o feibion. Pa fodd yr amcana merched ddyrchafu eu hunain? Y maent yn awyddus iawn mewn llawer man i ymwthio yn ormodol i lawweithfëydd; llenwant y gweithdai cotwm a'r melinau, ac edrychant yn hardd yn eu gwisgoedd glân yn myned ol a blaen at eu gorchwylion. Ond ychydig a ddyrchefir ar ein rhyw yn y gwaith hwn. Nid yw

#### "MERCHED Y MELINAU"

ar eu ffordd i uchel-fanau y maes. Rhywbeth at gael tamaid, ennill ceiniog, a chael bod yn rhydd, ac ofnwn weithiau yn benrydd ydyw. Nod a rhan naturiol merch ydyw bod yn wraig, ac yn "llawen fam plant." Dyma ran a dymuniad naturiol y corff mawr o'r rhyw fenywaidd, a pharotoad gwael ar gyfer dyledswyddau dyrys, aml, a phwysig pen teulu a cheidwad tŷ ydyw llafur y melinau cotwm. Mewn gwirionedd, ychydig o law-forwynion celfydd y melinau cotwm sydd yn alluog i gymmeryd gofal teulu.

Attynir merched yn fawr at siopydda. Gallwn ddweyd am

#### Y SIOP-WRAGEDD,

er mor ddenol eu moesgarwch llednais a'u gwisgoedd chwaethus, nad ydynt mewn rhyw baradwys o fwynhâd, er yr ystyriant eu hunain un grisyn uwch na merched y melinau. Mae eu horiau yn feithion. Rhaid iddynt aros ar eu traed o foreu hyd hwyr, a threuliant lawer o'u nerth bob dydd wrth *sefyll* yn unig, gan fod yn agored i aml wendid o'r herwydd. Anadlant awyrgylch drom a digon ammhur yn fynych, a heneiddiant yn gynnar, ac nid oes ganddynt unrhyw gyfleusderau i ddysgu y gelfyddyd fawr a dyrys o "gadw tŷ," a'r gelfyddyd anhebgorol o goginio ymborth. Ffol ydyw y gweithiwr neu y *clerk* a elo i fysg y siop-wragedd i geisio ymgeledd gymhwys. Ond yn ddiweddar agorwyd drws risyn yn uwch eto na rhiniog y siop a thu ol i'r *counter* yng ngolwg y rhyw deg, a dyna yw

#### YSGRIFEN-WRAGEDD YN Y LLYTHYRDAI.

Dywedir i mi fod cannoedd o honynt yn gwneyd eu gwaith yn rhagorol yma. Ond fe ddymunwn yn fawr i'r holl ferched a ddymunant ymddyrchafu ar hyd y llwybr yma ymrwymo â diofryd yr arhosant yn ddibriod ar hyd eu hoes. Dringo grisiau llithrig iawn y maent os dechreuant feddwl am briodi oddi arnynt. Gwelsom hanes teimladwy dros ben o gyffes pâr ieuanc o'r dosbarth yma ar nawn eu priodas, am eu bod yn dra ammharod i fyned dan gyfrifoldeb *byw*. Buasai boneddiges deg o swyddfa y llythyrdy yn cadw cwmpeini pleserus gyda gwr ieuanc calon dyner iawn ond lled yswil dros ysbaid maith, nes teimlasant awydd ymbriodi. Aed drwy y seremoni yn hapus; ond ar ol i'r cwmni priodasol ymwasgaru, taflodd y foneddiges deg ei breichiau am wddf ei phriod llawen, a dywedodd mewn dagrau, "Maddeuwch i mi, John bach, yr wyf yn ofni fy mod wedi eich twyllo. Nid wyf yn gwybod dim ar wyneb daiar am *gwcio*." "O fy nghalon anwyl," atebai y priodfab cariadus, "cymmerwch gysur, prydydd ydwyf fi, ac nid wyf yn meddwl y bydd genyf ddim ag eisieu ei *gwcio* byth." Ni ddywedir dim pellach o hanes bywyd y cwpl ieuanc, ond awgryma hyny a wyddom mai peth pwysig mewn teulu ydyw medru cwcio, ac mai nid lle da i ddysgu ydyw swyddfa y llythyrdy.

Wrth gofio daw i'n cof ddygwyddiad arall yn taro ar yr un tant, ond ei fod yn fwy garw. Yr oedd saer coed lled uchelfrydig, ac heb fod yn feistr da ar ei dymmer na'i dafod, wedi cael ei lygad-dynu gan ferch ieuanc hynod o brydweddol, a ymddangosai fel colomen ar yr heol. Ym mhen amser ar ol y priodi daeth diffygion y golomen yn ei thŷ i'r golwg, ac yn neillduol diffygion y *cwcio*. Un diwrnod yr oedd y saer yn bur sarig ei dymmer, ac ebai ei Ellen yn lled

Digitized by Google

groes, "Nid fel yna y byddet ti yn siarad cyn priodi." "Edrych ar dy wyneb clws di yr oeddwn y pryd hyny," atebai yntau; "ond ni wna gwyneb clws ddim iawn am ddwylaw a llestri budron, a bara wedi ei hanner crasu." Gall gwisgoedd heirddion, gwynebau glân, a llais mwyn ennill serch y bachgen ieuanc, ond tŷ glanwaith a bwrdd trefnus gydag ymborth blasus a geidw y serch yma ar ol ymbriodi.

Man goreu y gall merch ieuanc ymddyrchafu mewn gwirionedd yw

MEWN GWASANAETH.

Os gall merch ieuanc gael myned i wasanaeth i deulu trefnus o dan feistres yn gwybod pa fodd i ofalu am dŷ, y mae yn brentisiaeth da. Ond rhaid addef fod llawer meistres yn dra anfedrus ei hun mewn gwaith tŷ, ac felly yn anaddas i ddysgu ereill. Eto i gyd, bydd dan y gyfryw le i ddysgu drwy brofiad ymarferol beth i'w ochel yn gystal a pha beth i'w wneyd. Er fod lle y forwyn weini yn lled gaethiwus, y mae ei lletty yn glyd, a'i hymborth yn dda fel rheol, a'i gwedd yn llawer gwell a mwy iachus na merched y melinau cotwm, y siopau, a'r llythyrdai. Y lle goreu yn ddiau i weithwyr geisio am ymgeledd gymhwys ydyw o fysg y morwynion gweini neu ferched wedi arfer cadw tŷ gartref, merched ffermydd, a theuluoedd mewn amgylchiadau cysurus, ond eto yn gofyn fod pawb ar waith.

Nid oes, fodd bynag, yn yr ardaloedd gwledig leoedd gweini i dros hanner y genethod a fegir ynddynt, ac felly dylifant tua'r trefydd i wasanaeth caled, a themtasiwn priodi yn annoeth i fywyd caled. Pe gellid agor cymmundeb mwy uniongyrchol rhwng yr ardaloedd gwledig a'r

TREFEDIGAETHAU,

byddai yn fendith i ddwy wlad. Hanner can mlynedd yn ol, yr oedd un o wŷr cyfoethocaf Unol Daleithiau America yn siarad ar swper cyhoeddus am faterion dinesig, ac mewn ateb i gyfeiriad a wnaethid at ei lwyddiant personol, dywedodd, "Yr wyf i ddiolch, dan Ragluniaeth, i'm gwraig am fy llwyddiant. Priodais hi yn weddw ac yn fam naw o blant, ac aethom i fyw i'r Taleithiau Gorllewinol; prynasom dir, a thrwy ddiwydrwydd hon a'i phum mab a phedair merch, troisom yr anialwch yn wlad gyfannedd, ac erbyn heddyw yr ydym oll yn glyd ein hamgylchiadau."

Mae yr un alwad eto am wragedd trefnus, gweithgar, yn gwybod pa fodd i ofalu am dŷ a'i angenrheidiol bethau yn Canada a Gorllewin America. Fe gaiff merched gweini ddwbl y cyflog yno ag a dderbyniant yn y wlad hon, a phob cymhelliad i fod yn wragedd mewn teuluoedd parchus. Y peth a werthfawrogir yn y trefedigaethau yw merch lanwaith weithgar, alluog i droi ei llaw at bob gwaith tŷ, ac yn barod mewn llawnder i fod yn wasanaethgar. Y mae yn Canada bob blwyddyn gannoedd o ferched o Loegr yn ymsefydlu mewn lleoedd cysurus. Cânt yno yr un cyfleusderau crefyddol a phob manteision cymdeithasol ag a fwynhânt yma, a gresyn yw na wnelid gwell darpariaeth at ymfudo. Fel y mae moddion cymmundeb dros y môr yn *nesu* gwledydd at eu gilydd daw ymfudiaeth yn haws, a'r ymfudiaeth goreu ydyw un o'r ardal wledig yng Nghymru i'r ardal wledig yn y trefedigaethau.

Yr eiddoch yn gywir,

MARGARET HUGHES.

---

## LLAN CWM AWEN: NEU DDEFFROAD EGLWYSIG HANNER CANRIF YN OL.

(*Parhâd o dudalen 337.*)

PENNOD XXII.

*Ail-agoriad yr Eglwys.*

WEDI llafur a pharotoi a dysgwyl hir, daeth Eglwys Fair Fagdalen yng Nghwm Awen yn barod i'w hailagor, a gwawriodd y dydd nodedig i wneuthur hyny mewn boreu dysglaer, heulog, yn yr wythnos olaf o Fehefin. Buasai yn wythnos brysur yn y Plas a'r Persondy, ac yn wir ym mhob tŷ o'r Cwm o fewn cyrhaedd croesawu dyeithriaid.

Ym mysg ymwelwyr y Cwm yr oedd Syr Robert Vaughan o Benllys a Miss Vaughan ei nith. Yr oedd Miss Vaughan eto yn gwisgo enw ei morwyndod, ac yn ymdrechgar a llwyddiannus i gadw draw amser rhag cyffwrdd o hono â llyfnder ei gwynebpryd lluniaidd, sychu ffynnonau dysglaer ei llygaid, llychwino gwyn ei gwddf, a glasu coch ei gwefus.

I'r Persondy daethai General Crossford a Mrs. General Crossford at eu hoff ferch Angharad. Mawr hefyd oedd y dyddordeb yn y pentref syml pan ymddangosodd yr esgob yno foreu yr agoriad, mewn cerbyd mwy ei arddangosiad na'r eiddo Syr Robert Vaughan o Benllys, na General Crossford. Dilynwyd yr esgob gan y deon gwladol, y Parch. William Meurick Oxley, ac ereill, wŷr llên a lleyg, mewn cerbydau, ar feirch, mewn certwyni, ac ar draed.

Cymmerai y cofiadur o'i fantais safle tu ol i gownter bach ei siop, ac wrth gil y ffenestr ar fin y ffordd, sylw manwl o'r oll, chwiliai, mesurai,



Digitized by Google

pwysai y cyfan cyn dyfod allan i ymuno yn y cynnulliad yn gyhoeddus. Yr oedd yr Eglwys adgyweiriedig yn orlawn o dorf drwsiadus eu gwisg, tawel, a moesgar. Parotoisai Angharad Llwyd gôr bychan, ond ewyllysgar, i gorganu y caniadau (*canticles*). Daethai hanner dwsin o gorganwyr cyfarwydd o Eglwys flodeuog y dref farchnad, Dinas, hefyd i'w chynnorthwyo. Aed trwy y gwasanaeth yn foddhäus iawn i'r esgob a'r clerigwyr a'r boneddigion oll, ond Seisoneg ydoedd.

Gwelai trigolion syml y Cwm yr harddwch a'r gweddusder oll, clywent y seiniau soniarus, ond ni ddeallent y llef oedd yn ymddyddan â hwy. Yr ychydig yn unig a ddeallent y weledigaeth, ac nid oedd yn weledigaeth i'r rhai hyny namyn goleuni dydd eu bywyd cyffredin. Rhaid oedd i'r Cymry aros hyd y prydnawn a'r hwyr am brophwydoliaeth o eneuau gwledig ag yr oeddynt hwythau wedi ymgynnefino â hwy. Felly aeth yr oll heibio y boreu fel swn ym mrig y morwydd, heb effaith gymmesur ar ei ol.

Ond cawsom ein gwahodd i *luncheon* gan y rheithor caredig, a da genym gyfranogi o'r danteithion llawn. Dacw yr esgob llednais, hybarch, a boneddigaidd, yn rhoddi ei fraich i Angharad i'w harwain at y bwrdd. Mae'n dal, yn syth, yn lluniaidd ei gorff, yn lân ei bryd, yn garedig ei edrychiad, a'i wallt mor wyn a'r llin. Ymddengys Mrs. Lloyd wrth ei ochr fel pryd-ferth-ferch wrth ochr urddasol dad. Cymmer pawb ei eisteddle yn drefnus; ond nid oes angen dynodi un o honynt, oddi eithr dweyd fod y deon gwladol yn eistedd rhwng Angharad a Miss Vaughan.

Mae'r angenrheidwaith o ddiwallu angen y corff drosodd, a'r esgob yn caredig sylwi ar waith y dydd a llwyddiant Llewelyn Llwyd yn ei blwyf. Sieryd yn deimladwy, sieryd yn ddoeth ac yn obeithiol. Amlyga ei fawr foddhâd wrth weled cynnifer o'r ardalwyr wedi dyfod yng nghyd, ac yn edrych mor drefnus ac ymddwyn mor weddus. Sylwa ei fod yn gobeithio, cyn disgyn o hono i'r bedd, weled llawer o'r un arwyddion amlwg o gyflwr blodeuog yr Eglwys mewn llawer ardal ag a welai y dydd hwnw yng Nghwm Awen.

Cyfyd Llewelyn Llwyd i ateb. Saif yn anesmwyth. Y mae ei wefus yn crynu a'i wyneb yn welw, a bron na thybiwn fod gwlith ar emrynt ei lygaid. Diolcha yn wylaidd i'r esgob am ei ymadroddion caredig. Siomir ni yn ei allu ymadroddol. Yn lle sirioldeb seingar, arianaidd, oslef gwynfanus yn hytrach sydd yn ei lais. Dywed fod ei obaith oll bron yn y dyfodol. Am a fu mai llafur caled rhwyfo'r cwch yn erbyn rhediad y llifeiriant cryf a fuasai, a phe gelwid arno ef i gyfrif o flaen brawdle uwch mai athrist iawn a fyddai'r cyfrif. Diolchodd yn garedig, ac yma dechreuai ddangos gwres a pharablu yn rhwydd a meistrolgar i'r holl gynnorthwywyr, a gofynodd yn olaf, ar ol cyfranu o honynt mor hael o'u haur a'u llafur a rhoddi iddo wedd siriol eu gwynebau, am eu gweddïau.

Ar ol y ddau anerchiad hyn, torodd yr ymddyddan yn ymgom bersonol rhwng mân dyrau—pawb at eu chwaeth. Sylwodd yr esgob wrth Angharad fod ei phriod yn edrych yn wan er dyfod o hono i'r wlad. Amlygodd ei ofn ei fod yn llafurio gormod—yn rhy bryderus, ac yn cymmeryd golwg rhy anobeithiol ar ei waith ac amgylchiadau yr Eglwys. Ebai ei Arglwyddiaeth, "Gallaf eich sicrhau, Mrs. Lloyd, na welais i nemawr olygfa fwy dymunol erioed na'r olygfa yn yr Eglwys heddyw. Yr oedd y canu yn sicr yn felus, a'r bobl yn edrych wrth eu bodd. Gallwn dybio fod dwy ran o dair o'r holl blwyfolion yn y gwasanaeth."

"Yr ydych yn iawn, fy arglwydd esgob," atebai Angharad; "yr oedd mwy na dwy ran o dair o bobl y plwyf yn yr Eglwys, ac yr wyf fi yn falch o'm calon o'r plwyfolion syml a charedig, gweddus eu moes, a pharchus eu hymddygiad. Ond nis gellir eu cael i'r Eglwys oddi eithr yn achlysurol. Y mae naw o bob deg o honynt yn Ymneillduwyr ymarferol. Nid oedd odid ugain o Eglwyswyr o'r plwyf hwn yn y gwasanaeth heddyw."

"Yr ydych wedi fy synu, Mrs Lloyd," atebai yr esgob, gan edrych yn synedig hefyd. "Pa fodd y gallwch gyfrif am y fath beth?"

"Nis gallaf ddweyd i'ch Arglwyddiaeth," atebai Angharad. "Nid wyf fi yn alluog i siarad ond ychydig o Gymraeg gyda'r bobl, ac heb hyny nid oes modd myned i'w cyfrinach. Nid oes yn y plwyf nemawr dros ddwsin yn gallu siarad Seisoneg.

"Ai onid oedd y dorf yn yr Eglwys heddyw yn gallu deall y gwasanaeth yn weddol?" torai yr esgob ar draws yr ymadrodd.

"Nac oedd yno ddim," atebai hithau, "un o bob deg ar hugain bron o'r plwyfolion. Daethant i weled, ond ni allent ddeall."

Yma torodd y deon gwladol i mewn i'r ymddiddan trwy sylwi fod yn llawn amser i'r Cymry ddysgu Seisoneg, ac mai yr achos eu bod yn Ymneillduwyr oedd yr iaith. "Dyma," meddai, gan droi ei sylw at yr esgob, "fy arglwydd, yw maen tramgwydd yr Eglwys yng Nghymru. Rhaid symmud y maen tramgwydd hwn o'r ffordd cyn y ceir llwyddiant."

Ni wnaeth ei Arglwyddiaeth sylw, ond edrychai fel yn dysgwyl am brofiad Angharad ar y pwnc.

Digitized by Google

Gan nad oedd hi yn dweyd dim, sylwodd yr esgob, "Yr ydych chwi wedi cael profiad ym mysg Cymry uniaith bellach er's pedair neu bum mlynedd; beth a dybiech chwi ar y pwnc?"

Atebai hithau, "Y mae Mr. Meurick yn hollol gywir wrth ddweyd fod yr iaith Gymraeg yn dramgwydd ar ffordd yr Eglwys. Ond, os maddeuwch i mi, fy arglwydd, gallwn ofyn pa un ai tramgwydd yn rhwystro y bobl at yr offeiriad ai yr offeiriad at y bobl yw?"

Teimlai Mr. Oxley yn anghysurus a thaflodd air—"Gwell i'r bobl yw dysgu Seisoneg: gŵyr pawb hyny."

"Gwir," ebai Angharad, "ond wedi dyfod i Gwm Awen, dysgais y wers syml fod llawn cymmaint, os nad mwy, o waith i'r Cymro ddysgu Seisoneg ag sydd i'r Sais ddysgu Cymraeg. Y mae yma gannoedd yn orawyddus i ddysgu Seisoneg, ond nis gallant gael y cyfleusderau, fforddio yr amser, na chael athrawon. Am yr offeiriaid, y maent hwy yn ddysgedig eisoes. Y maent wedi meistroli yr ieithoedd gwreiddiol i fesur. Y mae ganddynt lyfrau, y mae ganddynt amser: gallant gael athrawon, ac y maent yn gweinidogaethu yng nghanol swn yr iaith; a'm barn i ydyw, mai yr offeiriaid a ddylent symmud ymaith y tramgwydd hwn oddi ar eu ffordd i ymddiried y bobl, trwy lwyr ddysgu ei hiaith. Y mae y pellder ysbrydol rhwng yr Eglwys a'r bobl gyffredin mor fawr fel nas gallaf fi fyned i'w waelod, er ymdrechu fw ngoreu."

Gwelodd yr esgob fod yr agendor rhwng ei syniadau ef a'r eiddo Angharad yn ormod o led i gario ymgom foddhäus ym mlaen ar faterion Eglwysig, ac fel boneddwr caboledig, troes yr ymddyddan gyda'r sylw, "Yr wyf yn ofni, Mrs. Lloyd, na chytuna Mr. Oxley â chwi ar y pen yna."

Ar hyny, torodd yr eisteddiad i fyny, ac aeth y boneddwyr o amgylch yn dyrau i siarad a pharotoi at gychwyn adref.

Yr oedd Llewelyn Llwyd wedi gorfod ymadael i'r gwasanaeth Cymraeg nawnol, lle y pregethai y Parch. T. H. Thomas, ficer y Dinas, yn cael ei gynnorthwyo gan ychydig o offeiriaid gwledig a churadiaid.

Cawsom y fraint neu brofedigaeth o wrandaw ar ymddyddan yr esgob a Mr. Oxley yn union ar ol y ciniaw.

Ebai Mr. Oxley, "Gresyn fod y Cymry mor ystyfnig yn eu hymlyniad wrth eu hiaith a'u hymarferion hynafol, pan y mae y byd yn myned ym mlaen mor gyflym o'n deutu."

"Ië," atebai yr esgob, "ond gobeithiaf y bydd i'r ysgolion a sefydlir yn bresennol, ac ychwanegiad offeiriaid o ddysg a chydymdeimlad Seisnigaidd, ddwyn diwylliant i'r Dywysogaeth. Rhaid gwareiddio, diwyllio, y Dywysogaeth, ac yna ei chrefyddoli. Nid wyf yn credu y bydd ddeugain mlynedd i heddyw neb yn siarad Cymraeg."

Atebai Mr. Oxley, gan rwbio ei ddwylaw gwynlaethog a thoes-feddalion yng nghyd, "Y mae yr iaith Gymraeg yn marw, fy arglwydd, yn marw."

Gwrandawai pedwar neu bump o offeiriaid urddasol ar y sylwadau uchod, ond ni wnaeth un o honynt ymgais at oleuo yr esgob ar y pwnc, os gwyddent yn well. Yn wir y fath oedd y pellder yn yr oes rhwng prelad ag offeiriaid cyffredin, fel na feiddiai yr olaf agor ei eneu yn ei gymdeithas, ond yn unig fel cydsyniedydd.

Am Angharad ddiniwed, buasai i'w hanianawd barablyd hi a'i hysbryd agored, ac i bryder *nervous* Llewelyn Llwyd am fod yn berffaith uniawn ei ymadrodd, ac am roddi gwybodaeth eglur i arolygydd yr Eglwys, droi yr hyn a allasai fod yn orlanw i'w nofio i un neu ddau o frasaf blwyfydd yr esgobaeth, hwyrach yn drai i'w gadael i dreulio maith flynyddoedd ar draethell lom ac oer arfordir Cwm Awen. Dim ond iddynt adael i'r esgob weled a welasai yn yr Eglwys orlawn, y Persondy destlus, y bwrdd cyflawn ei ddanteithion a threfnus ei osodiad, ac ymddygiad moesgar a gwir foneddigaidd Angharad a'i phriod, a buasai i'r esgob ymadaw dan yr argraff ddarfod iddo weled perffeithrwydd. Gair i Syr Robert Vaughan, o Benllys, a'r wybodaeth fod Angharad yn ferch i General Crossford, fuasai yn ddigon i wneyd y gweddill, heb ddim iselwaith ymwybodol ar ran neb. Pa fodd bynag, nid yn unig yr oedd Llewelyn ac Angharad yn amddifad o'r ddoethineb sydd o ddynion, eithr dan lywodraeth y "ddoethineb sydd oddi uchod," yr hon sydd "ddiduedd a diragrith:" â'r gwirionedd pur, yn ei loewder a'i liw ei hun, yr oedd a wnelont. Fel y mae yn alarus meddwl, cylchrediad cyfyng iawn sydd i'r nwydd yma—aur y gwirionedd yn y cun (*bar*)—heb ddelw nac argraff neb dyn arno. Y mae yn anhawdd ei adnabod ym mysg mawrion a bychain. Felly y bu y gwirionedd o eneu Llewelyn Llwyd ac Angharad. Gosodwyd hwy i lawr gan yr esgob a'r deon gwladol fel dau symlyn penboeth â'u cydymdeimlad gyda'r lluaws diddysg, ac er y gallent amcanu yn dda, eto methent y ffordd. Aeth y ddau foneddwr adref i freuddwydio am lwyddiant ym "mharadwys ynfydion," wedi troi eu cefnau ar oleuni a llesâd yr Eglwys. Y mae anwybodaeth ysgolheigion a rhagfarn gwŷr o ddysg yn waeth

Digitized by Google

na'r eiddo y werin. Ceir y cam-olygiadau gwyrog ynddynt hwy wedi eu *varneisio*, a daliant i'w golchi faint y fynoch heb newid.

PENNOD XXIII.

*Ail-agoriad yr Eglwys.*

Tra y dilynol ymadawai cerbydau y prif uchelwyr a'r urddasolion Eglwysig Seisnigaidd o bentref tawel a dinod Cwm Awen, elai y gwasanaeth Cymraeg prydnawnol ym mlaen yn Eglwys y plwyf. Gofalai organydd caredig Eglwys y ddinas am yr emynyddiaeth, a chorganwyd "Cân y Fendigaid Fair Forwyn" a "Chân Simeon," ef allai am y waith gyntaf er ys llawer oes o leiaf yn yr iaith Gymraeg, yn sir Arianrawd. Pregethodd y Parch. T. Henry Thomas, ficer Dinas, oddi ar St. Iago i. 18. Llefarodd yn gryf ac yn eglur iawn ar Air Duw fel yr offeryn effeithiol yn llaw yr Ysbryd i ennill pechadur a'i greu o'r newydd yng Nghrist Iesu. Gwasgodd yn rymus ar feddyliau y gynnulleidfa y pwysigrwydd mawr o ddyfod yng nghyd i wrandaw y Gair hwn, ar iddynt ei drysori yn y cof, ac, heb ymfoddloni ar fod yn wrandawyr, eithr mynu hefyd fod yn wneuthurwyr y Gair. Yr oedd yr Eglwys yn orlawn a'r gwrandawiad yn astud.

Daeth y gwasanaeth hwyrol—y gwasanaeth hwyrol cyntaf erioed, y mae yn fwy na thebyg, yn Eglwys y plwyf yng Nghwm Awen. Rhyfedd, wrth edrych yn ol lai na deugain mlynedd, faint y cyfnewidiadau; yr ydys yn edrych fel i arall fyd. Y mae hen bethau lawer wedi myned heibio, a llawer mwy wedi cael eu gwneyd o'r newydd. Y mae yr Eglwys wedi ymddiosg o lawer o wisgoedd ei chysgadrwydd, ac wedi ymdrwsio mewn addurniadau newydd, ac wedi ymgynnefino â defodau newyddion. Y mae y trawsffurfiad mor gyflawn, fel, pe na chymmerasai amser i fyned trwyddo, ni buasai yr Eglwys yn ei hadwaen ei hun. Ond trawsffurfiad tyfiant mewnol yw. Trawsffurfiad bywyd yn cynnyddu a newid ei agweddion, gan ymddadblygu fel y plentyn yn tyfu yn ddyn. Gwel pawb ef yn cyfnewid ond efe ei hun.

Ond rhaid troi yn ol at wasanaeth hwyrol Llan Cwm Awen. Copi ydoedd hwn o'r gwasanaeth prydnawnol, ond fod Llewelyn Llwyd wedi cymmeryd ei fantais i gorganu y Salmau gosodedig, yn lle Cân Mair a Chân Simeon. Pregethodd y Parch. Lewis Evans, curad Llechryd, ar St. Matt. xxviii. 19, 20. Eglurhaodd y geiriau yn eu holl gyssylltiadau, gan ymdrechu dangos effeithioldeb gweinidogaeth awdurdodedig Crist.

(1) Awdurdod Crist ei hun; (2) awdurdod swyddol y weinidogaeth; (3) presennoldeb Crist yn y weinidogaeth hôno.

Gwasgodd yn ddwys at sylw y dyrfa fod Crist yn aros yr un, y weinidogaeth yn aros yr un, a'r addewid am y presennoldeb yn aros yr un. Gellid tybio mai cnewullyn yr addysg a geisiai roddi ydoedd effeithioldeb gweinidogaeth Eglwys Crist yn achubiaeth pechaduriaid, gan gymmeryd i mewn y gair a'r sacramentau. Ymddangosai y bobl oll yn gwrandaw—rhai mewn syndod ac edmygedd, ac ychydig mewn syndod a boddhâd. Gwŷr oedd y ddau offeiriaid a bregethent y dydd hwnw gwedi eu deffroi i waith yr Arglwydd. Nid oedd dim ganddynt yn ormod i'w aberthu i wneyd daioni ysbrydol. Buasai yn fater cydwybod gan y ddau ddarparu hyd eithaf eu gallu ar gyfer lles eu gwrandawyr. Gwŷr oeddynt ag a ystyrient y buasai yn drosedd yn erbyn Duw pe yr aethent i bregethu i dorf o'r fath ag a ddysgwylid ar ail-agoriad Eglwys, ac mewn difaterwch a segurdod ymfoddloni gosod o'u blaenau gyffredinedd ddiamcan. Yr oedd llon'd y pregethau o sylwedd, ac yr oedd yn sylwedd o'r fath ag a barai ymchwiliad calon.

Ymwasgarodd y dyrfa i'w cartrefleoedd, a neillduodd yr hanner dwsin offeiriaid a oedasant eu hymadawiad hyd ar ol y gwasanaeth hwyrol i'r Persondy. Yma dechreuwyd mesur a phwyso gwaith y dydd, ac yn neillduol ansawdd y pregethau. Beirniaid llym, ac nid llwyr ammhleidiol, yw yr offeiriaid ar eu gilydd. Felly y pregethwyr Ymneillduol. Ond beirniadu *doniau* a dullweddau traddodi y naill y llall y byddai pregethwyr Ymneillduol yr oes, tra y barnai ac y beirniadai yr offeiriaid sylwedd ac athrawiaethau y bregeth. Llenwai offeiriaid y cyfnod safle debyg yn yr Eglwys i safle hynafgwyr y *sêt fawr* ym mysg Ymneillduwyr—hwy oedd ceidwaid ac amddiffynwyr y ffurf o athrawiaeth iachus.

Sylwai Mr. Hughes, cyn gurad Cwm Awen, wrth gyfaill iddo, y Parch. William Roberts, "Pa beth a feddyliech o bregeth y prydnawn?"

Atebodd yntau, "Buasai yn bregeth ardderchog mewn capel Ymneillduol—yr oedd yn llawn o wirioneddau cyffredin; ond nid oedd ynddi ddim addasrwydd neillduol at ail-agoriad Eglwys, yr hen Eglwys apostolaidd—mam crefydd yn ein gwlad."

Gan deimlo ei hunan braidd yn annigonol i ddechreu dadleu ar bwnc neillduol gyda'r Parch. William Roberts, ni wnaeth Mr. Hughes ond sylwi, "Y mae Mr. Thomas, ficer Dinas, yn bregethwr efengylaidd, ac yn ddyn da iawn."

Ar hyn tarawodd cymmydog lled oedranus ar Mr. Hughes, a dywedodd, "Beth am bregeth y

Digitized by Google

curad ieuanc yma? Pregethodd yn ei wen-wisg. Y mae yn gwisgo gwasgod a choler hanner mynachaidd, ac yr oedd llawer mwy o Eglwys nag o Air Duw yn ei bregeth. Os fel yna y mae ein dynion ieuainc diwygiadol am fyned ym mlaen, yn iach i'r hen athrawiaethau Eglwysig, fe fyddant hwy eu hunain yn Rhufain yn fuan, a'r Eglwys yn ddarnau."

Druan o Mr. Hughes, ni wyddai beth i ateb eto. Gallasai amddiffyn ficer Dinas, ond ni wyddai pa fodd i amddiffyn curad Llechryd yng ngwyneb cynnifer o gondemniadau. Felly atebodd, "Yr oedd cymmaint o bethau newyddion ym mhregeth Mr. Evans, fel nas gallaf eu barnu, ond nid oeddwn yn ei hoffi hanner y ffordd i ficer Dinas. Yr oedd Mr. Thomas yn myned yn syth ar hyd yr hen lwybr, a gallem oll ei ganlyn."

Aeth ymddyddan cyffredinol ym mlaen, a deallwyd ar unwaith fod syniadau yr hanner dwsin yn rhanedig—tri yn erbyn tri, neu bedwar yn erbyn dau. Anhawdd oedd cael gwr canol. Ceid dau ganolbwynt, un o amgylch ficer Dinas a'r llall o amgylch curad Llechryd. Ond aeth yr oll drosodd mewn ysbryd brawdol a theimlad tawel, o leiaf, os nad da.

Ymwasgarodd y gweddill oddi eithr curad Llechryd a Mr. Hughes, y rhai a arosent yn y Persondy. Wedi myned o'r rhai hyn i orphwys, er mor lluddedig oedd Llywelyn Llwyd, nis gallai beidio siarad gyd ag Angharad am bleserau a siomedigaethau y dydd—ei obaith a'i ammheuaeth.

Cyfeiriodd Angharad at yr amrywiaeth barn yng nghylch y pregethau, a gofynodd beth a allai fod.

Atebai Llywelyn Llwyd, "Yr oeddwn wedi clywed yn flaenorol am ficer Dinas a churad Llechryd eu bod yn ddynion gweithgar a galluog, ond ni wyddwn fod dim gwahaniaeth o bwys rhyngddynt; felly ymdrechais eu cael yma. Deallaf erbyn hyn fod ficer Dinas yn esampl dda o'r Eglwyswyr efengylaidd, fel eu gelwir, prif amcan y rhai yw gwneuthur pregethiad Gair Duw yn effeithiol i achub pechaduriaid. Gellir dweyd fod eu meddyliau wedi eu llyncu i fyny gan awydd achub eneidiau yn bersonol. Diwyllwyr crefydd bersonol ydynt. Appeliant yn bersonol at bob pechadur i'w ennill yn bersonol at Grist *trwy y Gair*."

Atebai Angharad, "Onid ydynt yn eu lle? Onid dyna amcan yr Efengyl? Beth am gurad Llechryd?"

"Tybiwn," ebai ei phriod, "ei fod yn un o'r blaid a elwir uchel-Eglwyswyr. Ond buasai yn well genyf fi eu galw yn ddiwygwyr gweddusder y gwasanaeth cyhoeddus, ac addysgwyr athrawiaethau esgeulusedig. Cynnwysa Credo yr Apostolion yn unig yn agos i ddeg ar hugain o athrawiaethau, ac eto ni sonir ynddo am y sacramentau, nac, yn uniongyrchol, am gyfiawnhâd na sancteiddhâd. Hawdd felly ydyw esgeuluso cyfres o athrawiaethau crefydd Crist. Pwnc mawr y diwygwyr diweddaraf ydyw dwyn i mewn adfywiad trwy ysbrydoli y gwasanaeth—diwyllio, diwygio, coethi, dyrchafu, ac ymdrechu cynnyrchu ysbryd addoli yn y gwasanaeth; ac ar yr un pryd, rhoddi enaint a bywyd ym mhob athrawiaeth. Ymdrechant i ddysgu dynion i sylweddoli undeb *hanesiol*, undeb ysbrydol, ac undeb sacramentol, ac, os gellir defnyddio y gair, undeb corfforiaethol yr Eglwys â Christ. Ymdrechant ennill eneidiau at Dduw trwy yr Eglwys, a'u magu a'u meithrin yn bobl i Dduw yn yr Eglwys."

"Onid ydyw hyn yna oll yn dda ac yn beth canmoladwy," taflai Angharad air i mewn, "ac onid dyna a wnewch chwi yma?"

"Ië, mewn ystyr," atebai yntau, "ond nid wyf fi yn perthyn i blaid neb; ac nid oes genyf sicrwydd fy mod yn gallu gwneyd cyfiawnder â golygiadau y naill na'r llall yn gyflawn. Ni all *un* dyn byth feistroli golygiadau *dwy blaid* yn gywir. Y mae llawer mwy o ddadleu yn y byd yng nghylch *geiriau* nag sydd yng nghylch sylweddau; ac wrth guro ar olygiadau y naill y llall, dall-ddyrnu ar ledrithion o gread eu hanwybodaeth a'u rhagfarn eu hunain y mae y rhan fwyaf o ddynion."

(*I'w barhau.*)

---

## "WELE, YR WYF YN MYNEGU I CHWI NEWYDDION DA."

"Hed enaid o'r gogledd i'r deheu
  Hyd eithaf y Werydd a'r byd,
Lle egyr tawelfor ei ddorau,
  Lle daw y ddau gefnfor yng nghyd;
Cei arlun o fyd mewn tywyllwch,
  Tir anghof a bro hyll y bedd,
Ond yno mae seren dyddanwch
  Yn ernes gogoniant haul hedd."

Dyna fel y canodd yr hen fardd Owen Williamson, Glan Braint, ar ol darllen hanes marwolaeth Cadben Gardiner, a gwaith clodwiw ei genadaeth yn Tierra del Fuego. Dengys y darlun i ni genadwri hedd Nadolig Crist yn cael ei chyhoeddi nid i fugeiliaid Bethlehem, ond i farbariaid Fuegia; nid gan angel, ond gan un sydd uwch nag angel yn nheyrnas gras, sef dysgybl i Grist, tyst dros ei Arglwydd yn un o'r manau mwyaf tywyll ar y ddaiar. Y mae yn anhawdd i alltud yn y wlad hon amgyffred cyflwr anifeilaidd y Fuegiaid. Bu Darwin yn eu plith tua hanner can mlynedd yn ol, ac er ei fod yn barod i olrhain

Digitized by Google

achau dynoliaeth trwy *epaod* y goedwig i ryw ddechreuad isel iawn, eto bu y Fuegiaid yn ormod hyd yn oed iddo ef. Dywedodd ei fod yn credu fod tylwyth Fuegia yn hollol heb allu i gyfodi i safle bodau rhesymol. Ond lle y methodd *gwyddoniaeth*, llwyddodd Ysbryd Duw. Trwy ddyfal wlith y fendith nefol mae planigyn gras yn blodeuo ar ororau tymmestlog Fuegia. Ceir amryw o'r tylwyth a fu yn arswyd i'r gwyddonwr Darwin yn eu cyflwr truenus o anifeileidd-dra, heddyw yn eistedd wrth draed yr Iesu *yn eu dillad ac yn eu iawn bwyll.* Nid darlun dychymmyg ydyw hwn, ond un wedi ei gymmeryd o fodau byw: *photograph* ydyw o Mr. John Burleigh, un o genadon lleygol y S.A.M.S., sef y nerth yr ystormydd mynych. Y mae ei wraig newydd esgor ar ei phlentyn cyntaf yn y lle, ac ym mhlith y cymmydogion ofnadwy yma. Meddyliwch am gyflwr y ddeu-ddyn hyn yn treulio eu bywyd priodasol yn y fath unigedd ym mhell o olwg câr a chyfaill. Ond cariad Duw sydd yn eu cymhell, ac Efe sydd yn eu nerthu. Os pell o wlad Eglwysi ag maent yng nghymmundeb y saint, ymladd y maent *ar y blaen* ym mrwydr yr Eglwys filwriaethus.

Tystion ydynt i Grist "hyd eithaf y ddaiar." O frodyr esmwyth arnoch yn Sïon, gweddïwch dros y rhai hyn; ïe, dros holl ystâd Eglwys Crist sydd fel hwythau yn planu baner y Groes yng nghyrau pellenig y byd, a boed i ninnau yng Nghymru dawel



genadaeth Dde America, yn dechreu ei ymweliad cenadol â'r ynys fechan yn y môr tymmestlog anghysbell sydd yn golchi godreu y Cape Horn. Yno y mae y dyn hunanaberthol yn byw heddyw gyda'i wraig ffyddlawn, dim cymmydogion ond y creaduriaid barbaraidd yna. Y mae yr ynys yn oer ac yn noethlwm, heb ffrwyth arni i gynnal bywyd, ac weithiau fe gyfyd y tònau mor uchel, fel yr ofnir y gorchuddir yr holl ynys gan eu dyfroedd. Y mae yn byw mewn caban tlawd, na fuasai yn cael ei ystyried yn deilwng i anifeiliaid y maes yn y wlad hon. Ymddibyna ar y llong genadol, yr *Allen Gardiner*, i ddyfod â bwyd iddo o bryd i bryd, ac nid yn anaml y lluddir y llong am amser maith gan gydweithio â hwy mewn gweddïau ac offrymau hyd nes y delo holl deyrnasoedd y byd yn eiddo i'n Harglwydd ni a'i Grist Ef.

W. M. R.

---

## RHIFO'R BOBL: DADLENAD GALARUS.

Ymddangosodd ysgrif ac ystadegau crefyddol ag sydd wedi peri mawr ymchwil calon i lawer yn un o rifynau y *Liverpool Daily Post* ym mis Hydref diweddaf. Ymddengys i olygydd y newyddiadur hwn ddeng mlynedd yn ol ymgymmeryd â rhifo yr holl gynnulleidfaoedd a addolent yng ngwahanol Eglwysydd a chapelydd y dref ar foreu Sul, y 17fed o Hydref.

Digitized by Google

Ar foreu Sul, y 18fed o'r un mis y flwyddyn hon, gwnaeth yr un peth, a rhoddes y canlyniad yn gyflawn yn y *Daily Post*. Myn gryn nifer o'r gwahanol enwadau crefyddol nad ydyw yr adroddiad yn berffaith, ond nid oes neb a ddywed nad ydyw yn onest, ac nid ymdrechir profi ei fod yn wallus iawn. Rhaid i bawb addef ei fod yn lled agos, os nad yn hollol gywir. Dywed y *Daily Post* fod nifer y trigolion o fewn cylch y cyfrif wedi cynnyddu o 169,702 i 188,215 rhwng 1881 a 1891, ond fod nifer yr addolwyr ar foreu Sul wedi lleihau o 63,579 yn 1881 i 63,439 yn 1891. Pan elir i fanylu ar y cyfundebau crefyddol ar wahan, cawn fod yn addoldai

#### YR EGLWYS SEFYDLEDIG

22,613 yn 1881 a 25,709 yn 1891. Ar y pen hwn dywed y golygydd, "Yr unig gorff crefyddol a ddengys gynnydd gwerth sylwi arno ydyw yr Eglwys Sefydledig. Ac eto, y mae y cynnydd ymddangosiadol yn agored i leihâd, o herwydd gadawsid allan bedair Eglwys yn cynnwys tua 1500 o addolwyr o gyfrif 1881. Dygai hyn rif 1881 yn 24,113 ar gyfer 25,709. Felly tua 1600 yw y gwir gynnydd."

#### PABYDDION.

Rhifai y Pabyddion yn 1881, 14,488, a 11,536 yn 1891. Ar y pen yma sylwa y golygydd: Er fod y Pabyddion wedi ychwanegu dau at rif eu capelydd, y mae lleihâd o dair mil yn nifer yr addolwyr yn eu gwasanaeth am un ar ddeg, ac anhawdd iawn ydyw rhoddi un rheswm dros hyny. Y mae yn wir nad ydyw rhif yr addolwyr am un ar ddeg ddim yn un prawf o gyfanrif y Pabyddion yn y ddinas; ond rhif yr addolwyr yng ngwasanaeth un ar ddeg a gymmerwyd yn 1881.

#### ANNIBYNWYR.

Dengys yr Annibynwyr gynnydd o 800.

#### WESLEYAID.

Dangosant hwythau gynnydd o 400.

#### PRESBYTERIAID.

Dangosant hwy leihâd o 1680.

#### UNDODIAID.

Lleihâd o 400. Dyma yr enwad lleiaf yn y ddinas: rhifai 972 yn 1881, a dim ond 574 yn 1891.

#### Y METHODISTIAID CALFINAIDD.

Dyma fel y saif capelydd y Methodistiaid Calfinaidd. Yn y golofn gyntaf y mae nifer yr eisteddleoedd; yn yr ail golofn, nifer y rhai oedd yn y gwasanaeth boreu Sabbath ddeng mlynedd yn ol; ac yn y drydedd golofn, nifer y rhai oedd yn yr addoldai Sabbath y 18fed cyfisol.

| | | | |
|---|---|---|---|
| Catherine-street (Seisoneg) ... ... | 500 ... | 266 ... | 180 |
| Chatham-street ... ... ... ... ... ... | 1050 ... | 603 ... | 147 |
| David-street, Park-road ... ... ... | 400 ... | 250 ... | |
| Fitzclarence-street, Everton ... ... | 1250 ... | 620 ... | 295 |
| Netherfield-road, north ... ... ... | 900 ... | 325 ... | 500 |
| Great Crosshall-street ... ... ... | 700 ... | 146 ... | 115 |
| Shaw-st. (Seisoneg), Everton-brow | 450 ... | 233 ... | 250 |
| „ (cenadol), Arkwright-street | 250 ... | 90 ... | 96 |
| Anfield-road... ... ... ... ... ... ... | 840 ... | 550 ... | 536 |
| Prince's-road ... ... ... ... ... ... | 1200 ... | 353 ... | 514 |
| | 7540 | 3436 | 2633 |

Geilw y *Goleuad* sylw difrifol at y lleihâd amlwg yn nifer addolwyr boreu Sul yn y capelydd, ac nid oes yma le i neb lawenychu. Y mae yn berffaith eglur i bob dyn fod ysbryd defosiynol y genedl yn oeri, a'i difaterwch ysbrydol ar gynnydd. Tra yr ychwanegwyd 52 at y lleoedd addoliad a 18,000 mewn rhif, cawn at yr eisteddleoedd yn Liverpool bu lleihâd o 140 yn rhif yr addolwyr. Tra y gwel y difater ac esgeulus, y carwr esmwythder a seguryd, yn gystal a'r bobl o ysbryd secularaidd, weinidogion yr Efengyl yn troi eu cleddyf yn erbyn y naill y llall, nid rhyfedd iddynt wrthod gwrandaw ar lais neb o honynt. Achos o ofid calon i bob duwiol yw dadguddiadau torcalonus y cyfrif dan ein sylw.

---

## Y WASG.

### "*Cerddi Onllwyn.*"[1]

CYNNWYSA y gyfrol fechan hon ddeunaw a deugain o ddarnau barddonol, o ba rai yr oedd pedwar ar hugain yn gyfansoddiadau buddugol mewn gwahanol gystadleuon yn amrywio o'r cyfarfod llenyddol i'r eisteddfod genedlaethol. Dyry eu llwyddiant cystadleuol ar unwaith iddynt warant o deilyngdod. Gwelwn mai ail argraffiad yw'r llyfryn sydd ger ein bron. Dyma warant fasnachol o'u teilyngdod. Y mae yr oll o destynau y "Cerddi" eto yn foesol, gwladgarol, a chrefyddol: y rhan fwyaf yn Feiblaidd, a daw mwy o'r elfen ddwys i'r golwg ynddynt nag o'r elfen ddifyrus. Dyma nodwedd cyffredin ein barddoniaeth. Cenedl y cywair lleddf ydym i raddau mawr, ac eto fe dynwn fwynhâd ac adeiladaeth o'r oll. Mae athroniaeth y dagrau yn gweddu yn well i ni nag athroniaeth y chwerthin, ac y mae

[1] Aberdar: W. Lloyd a'i Fab, argraffwyr a chyhoeddwyr.

Digitized by Google

yn fwy ffrwythlawn o ddaioni. Rhydd darlleniad "Cerddi Onllwyn" fwynhâd ac adeiladaeth i bob Cymro o chwaeth farddonol.

---

"*Hanes yr Eglwys yng Nghymru: neu, Pennodau yn Hanes yr Eglwys yng Nghymru,*"[1] *gan y Parch. Robert Williams, B.A., ficer Dolwyddelen, a* (*gynt*) *Darlithydd ar Hanesyddiaeth Eglwysig yn Esgobaeth Bangor.*

Y mae enw y Parch. Robert Williams, fel hanesydd Eglwysig dysgedig, bellach yn hysbys ym mhob plwyf Cymreig, a dylai hyny ar unwaith fod yn ddigon o lwybreiddiad i'r llawlyfr bychan hwn i gylchrediad helaeth. Llyfryn bychan, destlus, mewn câs da ac ar bapyr da, mewn llythyren eglur, lân, ydyw. Er ei fod yn fyr, y mae yn gynnwysfawr; ac er ei fod yn gynnwysfawr, y mae yn ddyddorol yn ei fanylion. Rhenir y llyfr yn bedair pennod, lle y rhoddir cyfartaledd da i sylwedd yr hanes yn ol ei bwysigrwydd. Rhoddir pennod o ddeunaw tudalen at hanes yr Eglwys o'i sylfaeniad cyntaf yng Nghymru hyd ei huniad â'r Eglwys yn Lloegr; ail bennod i'w hanes o uniad yr Eglwysi hyd y Diwygiad mewn tri tudalen ar hugain; trydydd bennod ar ei hanes o'r Diwygiad (1558) hyd esgyniad y Frenines Anne (1703) mewn naw ar hugain o dudalenau; a'r bedwaredd bennod i'w hanes o esgyniad y Frenines Anne hyd y ganrif hon mewn deg ar hugain o dudalenau. O fewn fframwaith y bras amlinelliad yna plethir prif amgylchiadau a nodweddion hanes yr Eglwys drwy holl gyfnod ei bodolaeth yn hynod o eglur, a bydd gan y neb a'i darlleno yn bwyllog syniad lled dda am Eglwys ei dadau. Gan ein bod yn amcanu dychwelyd at yr adolygu eto a dwyn i mewn enghreifftiau o'r gwaith, ni ychwanegwn ond yn unig cymhell na byddo un plwyf heb anfon am gopïau o'r llyfr.

---

*Y "Traethodydd" am Dachwedd, 1891.*

Mae y rhifyn hwn o'r *Traethodydd* yn dda a darllenadwy, ac o nodwedd genedlaethol. Cynnwysa ysgrifau llafurfawr ar y gwahanol destynau, megys "Elïas ac Eliseus: neu, Olyniad sicr y Prophwydi," gan y Parch. John Hughes, M.A.; "Barddoniaeth," gan T. Job, Trefecca; "Deongliaeth y Testament Newydd," gan y Parch. Lewis Propert, D.D. Darllenasom yr ysgrif hon gyda blas. Mae yn ddyddorol, eglur, a chatholicaidd. "Y Fasnach mewn Helbul" (sef y fasnach feddwol), gan y Parch. Daniel Rowlands, M.A.; "Y Gymdeithas Lenyddol," gan Eben Fardd; "Syr William Jones," gan y Proffeswr Arnold; "Rhesymau y Parch. Evan Jones dros Ddadgyssylltiad yng Nghymru," gan y Tra Pharchedig J. Owen, M.A., deon Llanelwy; "Nodiadau Llenyddol." Diammheu mai ysgrif y Deon Owen a ddarllenir gyda mwyaf o ddyddordeb o'r oll, yn gystal ar sail ei nodwedd ddadleuol a'i grymusder a theilyngdod sylweddol. Ateb ydyw i ysgrif o'r eiddo y Parch. Evan Jones, Caernarfon, yn y *Geninen* am Hydref, lle y gesyd ei resymau dros Ddadgyssylltiad yng Nghymru. Cyfeiriasom at yr ysgrif hòno yn yr *Haul* am Dachwedd (tudal. 350). Cymmer y Deon Owen bymtheg tudalen o'r *Traethodydd* i ateb rhesymau y Parch. Evan Jones un ac oll, ac yn sicr gorchwyl anghysurus i'r dadleuwr o Gaernarfon fu darllen yr adolygiad miniog hwn. Darllenasom rywbryd am greadur mor wydn ei allu bywydol, fel y gellid ei gymmeryd mewn llaw a'i droi y tu gwrthwyneb allan heb ei niweidio. Y mae gwydneiddiwch dadleuol Mr. Jones rywbeth yn debyg, os gall orfyw y driniaeth deg a boneddigaidd a ddyry deon Llanelwy iddo. Ni ddylai neb a ddarllenodd ysgrif Mr. Jones fod heb ddarllen ysgrif y deon.

---

"*Yr Efengyl yn ol St. Ioan, gydag Esboniad Ymarferol Byr,*"[1] *gan y Dr. W. Walsham Howe, arglwydd esgob Wakefield. Cyfieithedig gan y Parch. Ellis Roberts, rheithor Llangwm, a'i fab, y Parch. Ellis Gregory Roberts, M.A.*

Da genym allu dweyd fod yr esboniad poblogaidd hwn yn awr allan o'r wasg, mewn rhwymiad destlus ac am y pris isel o un geiniog ar bymtheg, ac y mae i'w gael ar werth yn holl ystordai y Gymdeithas er Lledaenu Gwybodaeth Gristionogol (S.P.C.K.). Yr oedd y gymdeithas uchod eisoes wedi cyhoeddi esboniadau y Dr. Walsham Howe yn Gymraeg ar y tair efengyl gyntaf, ac esboniad ar Actau yr Apostolion, at wasanaeth yr Ysgol Sul yn benaf. Deallwn oddi wrth lythyr o'r eiddo y Parch. Edmund M'Clure, M.A., ysgrifenydd y gymdeithas, fod gwerthiant da ar yr esboniadau hyn. Gwerthwyd o'r esboniad ar St. Matthew, 4300 o gopïau; St. Marc, 1450 o gopïau; St. Luc, 1300 o gopïau. Yr achos fod y fath wahaniaeth rhwng rhif y copïau a werthwyd o'r efengylau hyn yw, fod yr esboniad ar St. Matthew allan ym mhell o flaen y lleill, ac wedi myned drwy ail-argraffiad.

---

[1] Caerfyrddin: argraffwyd gan W. Spurrell a'i Fab. (Pris swllt.)

[1] Llundain: cyhoeddwyd gan y Gymdeithas er Lledaenu Gwybodaeth Gristionogol, Northumberland Avenue, Charing Cross, W.C.

Digitized by Google

### "*Cymru*" am *Dachwedd*.

Yn anffodus ni ddaeth y rhifyn o *Cymru* am y mis Hydref i'n llaw mewn pryd i sylwi arno yn yr amser priodol. Y mae y rhifyn hwn yn dda drwyddo, a chynnwysa lawer o bethau newyddion, yn gystal a llawer hen beth mewn goleuni a diwyg newydd. Yr ydym yn mawr hoffi y pennodau ar hanes Cymru. Rhoddir llawer mewn ychydig yma, a chynnorthwyir i edrych ar wahanol gyfnodau hanesiaeth yn wahanredol, ac eto yn eu cyssylltiadau naturiol y naill yn arwain i'r llall. Dyddorol yw cael hanes dyddan "Beirdd Anadnabyddus Cymru;" a "Hanes ein Hathrofëydd a'n Hysgolion;" a bydd yn dda gan lawer o'r beirdd ieuainc gael darllen cyfieithad swynol David Davies, Castell Hywel, o "Grey's Elegy." Ysgrifau ereill ydyw gohebiaeth y "Bwch Gafr;" "Myn'd i'r Môr;" "Dyddgylch Priodas;" "Dafydd y Gareg Wen;" "Goreuon Englyn fy Ngwlad;" "Dychymmygion Llanuwchllyn;" a lluaws ereill. Ni all Tywysogaeth fechan gwyno am ymborth i'r meddwl y dyddiau hyn.

---

## NEWYDDION.

#### DYCHWELWYR I FUGEILIAETH YR EGLWYS.

FEL hyn y llefara y *Goleuad*:—

Mae eich darllenwyr yn ddiau wedi clywed fod y Parch. T. W. Jones, Cendl, wedi penderfynu myned drosodd i'r Eglwys. Yr oeddwn we.li clywed er ys peth amser fod y brawd hwn yn edrych dros y gwrych; a thra yn hyrwyddo y ffordd drosodd, nid oedd yn petruso myned i'w gyhoeddiadau Sabbothol yng nghapelau y Methodistiaid. Buasai y *game* yn cael ei chario ym mlaen yn hwy oni buasai i'r newydd lithro allan, a daeth pwyllgor o hyd i'r gwir. A ydyw y brawd hwn yn un o un ar bymtheg esgob Llanelwy, nis gwn; ond rhaid dirdynu llawer ar Mr. T. W. Jones neu grebachu llawer ar iaith i'w wneyd yn *distinguished man*. Bûm yn edrych ei safle yn yr arholiadau, ac y mae ychydig yn is na'r *average*.

Cristionogol iawn onid e? Yr unig beth a ddywedwn wrth ein darllenwyr ar y pwnc yw, fod Mr. T. W. Jones wedi *troi ei gefn* ar Ymneillduaeth, a siarad *yn ei gefn* y mae yr ysgrifenydd yn y *Goleuad*. Tybed mai oddi wrth yr arferiad yma y cafodd y Seison y geiriau *back biting*?

Ebai y *Guardian* am y 14ydd o'r mis diweddaf:— "Dywedir fod y Parch. Hugh Price James, gweinidogcapel Methodistaidd (Cymraeg a Seisoneg) yng Nghaerffili, wedi hysbysu i ddiaconiaid ei gapel ei fod yn amcanu myned i weinidogaeth yr Eglwys." A oes dim budreddi yn heolydd Caerffili i'w luchio ar ol y boneddwr hwn? Dysgwyliwn yn fuan weled ein carenydd Ymneillduol yn cywilyddio meddwl am y gwaith anrasol o bardduo cymmeriadau dynion. Dyledswydd Gristionogol y gwŷr hyn ydyw anfon at yr esgobion, os oes ganddynt unrhyw beth yn erbyn y dychweledigion. Gofynir ar gyhoedd yn ystod y gwasanaeth ar y Sul yn Eglwys plwyf pob gweinidog, cyn ei dderbyn i urddau sanctaidd, a oes gan neb fai yn ei erbyn. *Scandal* yw pardduo dyn ar g'oedd ag awgrymiadau cas; dyledswydd ysbrydol yw mynegu pob bai ceryddus i'r awdurdodau priodol.

#### SIOMEDIGAETH DADGYSSYLLTWYR YR EGLWYS.

Mae y wlad wedi cael ei byddaru a lluoedd eu hanner meddwi ar ddadgyssylltiad yng Nghymru, ond newydd beth yw dadwaddoliad. Dechreua ein carenydd o bob tu Clawdd Offa gosi penau a holi beth am ddadwaddoliad. Cymmerent hwy y ddau ymadrodd, dadgyssylltiad a dadwaddoliad yn gyfystyr; ond wele flaenoriaid y Blaid Ryddfrydig yn edrych arnynt ar wahan, a thra yn barod i ddadgyssylltu yr Eglwys yng Nghymru, dysgwylient adael y rhan fwyaf o'r gwaddol iddi. Dyma fel y dywed y *British Weekly*: "Arfer y Rhyddfrydwyr swyddogol gwrthwynebol i gymmeryd mewn llaw ddadsefydlu yr Eglwys Anglicanaidd yng Nghymru ydyw addaw troi at y pwnc pan benderfynir â materion yr Iwerddon. Dangoswyd yn eglur pa faint o werth sydd yn y fath addewid, ac nid oes gan y dadgyssylltwyr Cymreig a gamarweinir ganddynt neb i'w beio ond hwy eu hunain. Wrth lwc ychydig a dwyllir." Ond ymddangosodd erthygl yn y *Speaker*, newyddiadur, fel y tybiwn yn sicr, a ystyrir fel papyr swyddogol y Blaid Ryddfrydig, ac yr ysgrifenir iddo gan Mr. Gladstone a Mr. Morley ac ereill, o'r un dosbarth; ac yn yr erthygl hòno dadleuir dros ddadgyssylltiad, ac yn wir bygythir ei fod yn dyfod. Cymhella y *Speaker* ar i gyfeillion yr Eglwys Sefydledig gyfaddasu eu hunain ar gyfer y dyfodol sydd o'u blaen, ac ä ym mlaen i ddweyd, "Yr argraff arnom ni ein hunain yw y byddant yn annhraethol well o hyny allan mewn ystyr arianol nag y buont erioed o'r blaen. Bydd telerau eu dadgyssylltiad yn ddiammheu mor ffafriol, mor or-ffafriol, ag a dderbyniodd yr Eglwys Wyddelig. Bydd i feddiant diogel o'r gwaddoliadau, y llawn—ïe gorhelaeth (*excessive*)—iawn i holl dderbynwyr cyllid Eglwysig, gadael meddiant gofidus i ni o'r Eglwysydd Cadeiriol i'r hyn sydd eisoes yn ymarferol, ac a fydd y pryd hwnw, yn gyfreithiol, yn un enwad ym mysg llawer. Bydd i hyn oll, meddwn, osod yr Eglwys yng Nghymru mewn safle o urddas ac enw anrhydeddus i'r pen. Bydd y genedl Gymreig, y mae yn debyg, yn barod i

Digitized by Google

wneuthur yr aberth mawr hwn er mwyn cyrhaedd eu meddylddrych perffaith o gydraddoldeb crefyddol." Dyma feddylddrych Rhyddfrydiaeth swyddogol am ddadgyssylltiad. Ond beth a ddywed y *British Weekly?* "Y mae y ddychymmyg y bydd i gydraddoldeb crefyddol osod yr Eglwys yng Nghymru mewn 'safle o urddas ac enw anrhydeddus i'r pen' yn un digon rhyfedd. Nid ydym yn gwybod am un dadgyssylltwr yng Nghymru a gytunai ag unrhyw fesur o ddadgyssylltiad na byddai wedi ei gyplysu â mesur cyflawn, llwyr, o ddadwaddoliad. Dadwaddoliad yn wir ydyw y mater mawr yr ymladdwn am dano. Nid ydyw dadgyssylltiad wrth ei ochr ond gwegi."

Beth a ddywed Mr. Lloyd George am hyn? "Gwell genyf aros deng mlynedd am ddadgyssylltiad na boddloni ar yr un peth ag a wnaed yn yr Iwerddon."

Mae y *Goleuad* yn fwy hyderus, ond eto yn ofnus, a dywed—

Mae pwnc y dadwaddoliad, fydd yn rhan o'r mesur i Gymru, yn dechreu blino rhai cyfeillion selog i ddadgyssylltiad. Ofnir ein bod wedi colli golwg yn ormodol ar yr ochr hon i'r pwnc, ac y gallai wedi'r cwbl na fydd y mesur pan ddaw yn werth yr ymdrech a roddwyd i'w gael. Gallai yn sicr ddadwaddoliad hannerog wneyd mesur o ddadgyssylltiad yn beth na fyddai yn werth ei gael. Ni byddai ond yr anghyfiawnder mwyaf sydd yn bosibl â'r wlad, a'r twyll mwyaf gyda hyny, i ddadgyssylltu yr Eglwys, a'r un pryd ei gadael mewn meddiant o eiddo sydd hollol genedlaethol. Ond y mae troi y degwm at wasanaeth cenedlaethol yn rhan o'r penderfyniadau y mae y gyngrhair wedi eu derbyn, ac y mae yn hen ddealledig i arweinwyr Rhyddfrydiaeth yn Lloegr na fydd unrhyw fesur o ddadgyssylltiad yn dderbyniol i Gymru oni bydd yn cynnwys dadwaddoliad llwyr o bob eiddo cenedlaethol. Yr un pryd, rhaid addef mai ychydig sylw mewn cymhariaeth y mae dadwaddoliad wedi ei gael yng Nghymru.

Fe welir yn amlwg oddi wrth y dyfyniadau uchod fod y dadgyssylltwyr mewn penbleth. Y maent hyd yn hyn gwedi hwylio o dan faneraau twyllodrus, neu *false colours*, fel y dywed y Sais. Eu gwaedd barhäus fu am "gydraddoldeb crefyddol" drwy ddadgyssylltiad yr Eglwys oddi wrth y wladwriaeth. Ystyriai Mr. Gladstone a'i blaid mai "cydraddoldeb breintiau ger bron cyfraith gwlad" a olygid wrth hyn. Ond fe gânt ddeall yn fuan mai nid hyny a ofynid. Gwyddem ni mai cant noeth oedd yr holl swn am "gyfathrach anachaidd rhwng Eglwys a'r wladwriaeth," am "gaethiwed yr Eglwys," am ei "rhyddhau o hualau y llywodraeth," ac felly yn y blaen. Cenfigen sectol ac awydd am amddifadu yr Eglwys o'i heiddo oedd y cwbl. Nid yw brwydr y dadwaddoli ond dechreu, a diau fod amser maith eto cyn y gwelir dydd rhanu yr ysbail.

CYDNABOD TEILYNGDOD.

Da genym ddeall fod y Parch. Owen Jones, ficer, Pentrefoelas, wedi cael ei benodi gan esgob Llanelwy yn ganon mygedol o'r Eglwys Gadeiriol. Adwaenir y Parch. Owen Jones ym mhell ac agos fel cerddor coeth a llafurus, nid yn unig drwy ei gasgliad poblogaidd o donau yn Hymnau Hen a Newydd, ond drwy ei garolau lluosog. Y mae wedi bod yn llafurus dros y drydedd ran o'r ganrif hon yn gwella cerddoriaeth a *llenyddiaeth* ei ardal ei hun a'i hamgylchoedd. Nid cerddor yn unig ydyw y Parch. Owen Jones, ond y mae yn llenor coeth a hynafiaethydd gwych, a rhaid myned dipyn o ffordd cyn y ceir gweled cynnifer o hen lyfrau Cymraeg defosiynol ein cenedl ag a geir yn ei lyfrgell ef. Bydd ugeiniau a channoedd o'r bobl a fagwyd o fewn cyrhaedd ysgol a chyfarfodydd llenyddol adnabyddus Pentrefoelas weled llafur eu hen athraw ymroddgar yn cael ei gydnabod.

Y LLITHIAU PRIODOL, RHAGFYR, 1891.

| Dydd | Suliau a Gwyliau | Boreu | Prydnawn. |
|---|---|---|---|
| 6 Sul | 2 Sul yn Adfent | Esai v.<br>2 Pedr iii. | Esai xi. hyd 11 neu [xxiv.<br>Ioan xv. |
| 13 Sul | 3 Sul yn Adfent* | Esai xxv.<br>1 Ioan v. | Esai xxvi. neu xxviii.<br>Ioan xix. 25 [5—19 |
| 20 Sul | 4 Sul yn Adfent | Esai xxx to 27<br>Dad. vi. | Esai xxxii. neu xxxiii.<br>Dad. vii. [2—23 |
| 21 Llun | St. Thomas, Ap. a Mer. | Job xlii. hyd 7<br>Ioan xx. 19—24 | Esai xxxv.<br>Ioan xiv. hyd 8 |
| 25 Gwe. | Y Nadolig† | Esai ix. hyd 8<br>Luc ii. hyd 15 | Esai vii. 10—17<br>Titus iii. 4—9 |
| 26 Sad. | St. Stephan, y Mer. cyntaf | Gen. iv. hyd 11<br>Actau vi. | 2 Cron. xxiv. 15—23<br>Actau viii. hyd 9 |
| 27 Sul | 1 Sul wedi'r Nadolig | Esai xxxv.<br>Ioan xiii. 23—36 | Esai xxxviii. neu xl.<br>Dad. i. |
| | St. Ioan, Ap. ac Efeng. | Exod. xxxiii. 9 | Esai vi. |
| 28 Ll un | Gwyl y Gwirioniaid | Jer. xxxi. hyd 18<br>Dad. xvi. | Baruch. iv. 21—31<br>Dad. xviii. |

* Colect y Cydgoriau yn ddyddiol.
† Salmau Priodol—Boreu, xix., xlv., lxxxv.; Prydnawn, lxxxix., cx., cxxxii. Credo Sant Athanasius. Y Rhagymadrodd Priodol yng Ngwasanaeth y Cymmun hyd Ionawr 1.

CARMARTHEN:
Printed and published by W. SPURRELL & SON, at their Printing Office, situate and being at No. 37, King-street, in the Parish of Saint Peter, in the County of the Borough of Carmarthen, on Monday, the 30th of November, 1891.

Digitized by Google

# CYNNWYSIAD.



Digitized by Google

CAERFYRDDIN: ARGRAFFWYD GAN W. SPURRELL A'I FAB.

Digitized by Google

